# Y TRAETHODYDD.

## AM Y FLWYDDYN 1875.

LLYFR XXIX.

TREFFYNNON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS.

MDCCCLXXV.

## CYNNWYSIAD.

# Y TRAETHODYDD.

## Y BIBL.

Yn euog, yn ofnus, yn dlawd, ac yn ffôl,
Peryglon ofnadwy yn mlaen ac yn ol,
  Caed Dyn yn mro angeu, heb Dduw yn y byd;
Y ffordd a dramwyai a redai i waered,
Er gweled ei dystryw nis gallai ymwared,
  Ei gyflwr bob cam âi yn waeth-waeth o hyd.

Ei lamp, oleuasid âg olew y nef,
Ddeg grâdd a dywyllwyd; palfalu wnai ef
  Am Dduw y gwirionedd yn nhalaeth y gau;
Pa un ai cysgodau ai ynte sylweddau
A welai yn symud yn niwl y pellderau,
  Mae 'n methu cael sicrwydd, a'r goleu'n prinhâu.

Duw welai ei blentyn mewn geudeb a gwall,
Yn difrif ymofyn â dewin y fall
  A wyddai efe pa le trigai ei Dad;
Ac eilwaith yn holi uffernol oraclau
Pa waed a ddiffoddai y ffwrn a'i phoeth-fflamau,
  O hyd oedd yn cynneu o'i fewn heb nacâd.

Ymrwygodd ffynnonau tosturi y Tad,
A nofiai 'i ewyllys ar foroedd o râd,
  A'i law hollalluog o'i fynwes a dỳn;
Cyfodai o'i galon yn newydd-greëdig
Arfaethau o hêdd tuag at y colledig,
  Ei golli,—ei adael i farw ni fỳn.

Bywhâu ei fwriadau â'i Ysbryd ei Hun
Wnai Duw, gan eu llenwi â chyfoeth i ddyn,
  Anfeidrol ddaioni a ga'dd ei foddhâu:
Ond trigent hyd eto yn Nuw yn guddiedig,
Nid ydoedd cyrff iddynt, na ffurfiau gweledig,
  Nis gallai crëadur eu gwel'd a'u mwynhâu.

Tŷf ffrwythau gras ar feddwl Duw erioed
Fel aeron gwridgoch ar gynnyrchiol goed;
  Ond marwol ddyn, sut profa 'i enau ef?
Meddyliau Duw, pa ffurf a roddir iddynt,
Modd gallo dyn daearol weled ynddynt
  Ei Dduw a'i Dad,—ei dda a'i fythol nef?

Atebwyd hyn pan d'wedai Ysbryd Duw,—
"Mae gan ddyn iaith; ac er eiddiled yw,
  A'i llygru gan ddych'mygion gwael, dilun,
Trosglwyddaf Fi dy feddwl bendigedig,
Heb golli dim o'i rym na'i rîn puredig,
  Yn fyw i'w iaith a'i eiriau ef ei hun.

"Yr hyn yw cnawd i'r Gair Tragwyddol, fydd
Iaith ddynol i'th feddyliau Di; ryw ddydd
  Dadguddir ynddi dy ogoniant mawr;
Boddlonir Di yn ngwêdd dy hoff feddyliau
Pan gwisgir hwynt mewn sanctaidd ddynol eiriau,
  A'r nos yn ffoi o flaen eu dwyfol wawr.

"Ar etholedig ddynion amryw ddawn
Disgynaf, a chysgodaf hwynt yn llawn,
  Llefaraf trwyddynt eiriau sanctaidd, cun;
O fewn pob gair preswylia nerth anfeidrol,
Pob sill fydd lawn o fywyd annherfynol,
  Ac yn y rhai 'n preswyliaf Fi fy Hun.

"O flaen y geiriau hollalluog hyn
Tywyllwch ffŷ, cwymp trais, ac uffern gryn;
  Gelynion dyn a lyfant lwch ei draed;
Ant trwy 'r holl ddaear gan agori beddau
Dy bobl, a rhoi anadl yn eu ffroenau,
  A byddant byw trwy rîn y Gair a'r Gwaed."

Ar hyn rhoed sêliau y "cyfammod gwell:"
Arfaethwyd draw yn nhragwyddoldeb pell
  Roi 'n rhôdd i ddyn Y BIBL dwyfol, glân.
Moliannu ei ogoniant anghymharol
Yw 'm boddus orchwyl heddyw; O Dragwyddol
  Lân Ysbryd Duw, rho fywyd yn fy nghân!

Dwy fil a mwy o weithiau ar ei thaith,
Mawredig olygfëydd ei throgylch maith

A welsai 'r ddaear, cyn i ddwyfol wawr
Ysgrythyr dòri ar y t'wyllwch mawr;
Tra 'r oesoedd yn myn'd heibio,
O dad i fab yn treiglo,
'Roedd ambell air *lefarwyd* oddifry;
Ond buan iawn tywyllid
Gorchymyn ac addewid;
Y gair gaed yn ei burdeb
Gymysgid gyda geudeb
Y galon ddynol a'i haflendid du.
Rhaid oedd am lanach cyfrwng rhwng yr oesau
Na thafod dyn i gario nef-feddyliau.

Ar astell lân o'r beryl goreu ryw,
Yn ymyl dyrchafedig orsedd Duw,
'Roedd engraifft wych o feddwl Duw mewn iaith,
Yn nghadw er's tragwyddol oesoedd maith;
Yr Iôr, i foddio 'i hunan,
A ysgrifenodd gyfran
O'r Llyfr, i wel'd ei lun mewn geiriau byw:
Yn lân a chaboledig,
Trwy 'r Ysbryd bendigedig,
I'w law dwy lech odidog
A ddaeth o ddim dihalog,
A'r deng air deddf roed arnynt â bŷs Duw.
Cywreinwaith sŷnai engyl oedd y llechau,
Ac arnynt gwelai Duw ei ddelw 'n olau.

Y llechi hyn a roes y Tad yn llaw
Cyfryngwr y cyfammod newydd, draw
Yn nhragwyddoldeb. Ebai Ef,—"I Ti,
Fy Mab, y mae y rhai 'n. Pwy ond Tydi
A wêl â llygaid dynol
Ogoniant y ddeddf Ddwyfol,
A'i charu fel y caraf hi fy hun?
Ti weli yma ammod
Ac amcan dy gyfryngdod;
O'th fewn, fy Mab dihalog,
Ac yn dy law drugarog
Y dygi 'r ddeddf,—fy nelw a fy llun.
Hon, yn ei lle, fydd cadarn sail dy orsedd,
O'r hon i euog fyd rhêd rhad drugaredd."

Atebai 'r Mab,—"Yn llawen iawn, O Dduw,
Cymeraf hwynt o'th law. O deced yw
Dy ddeddf mewn dynol ffurf! Fy nghalon fŷn
Ei gwel'd ar lechi gwell na'r cèryg hyn;
Ei hysgrifenu 'n ffyddlon
Ar lechi cnawdol calon
Dyn byw a fŷnaf fi â'm gwaed fy hun.

Y llechi hyn a gadwaf
Wrth d' orsedd Di, a byddaf
Am llygaid arnynt beunydd
Hyd nes y daw 'r boreuddydd
Disgynaf fi i'w dodi yn llaw dyn;
Y rhai 'n gânt wasanaethu fel dechreuad
Y gyfrol fydd o honot Ti 'n ddadguddiad."

Aeth oesoedd heibio; a'r tywyllwch du,
Tad angeu, ymdewhäi gan dôi y byd;
Gruddfanai Jacob yn yr Aipht, a llu
Ei flin ofidiau 'n amlhâu o hyd.
Yn arail dëadelloedd
Hyd lethrau serth a glŷnoedd
Tir Midian, gwelid hardd Hebrëwr;
Draw gwelai Sinai wgus
Yn saethu mellt digofus,
Taranau 'n galw ac ateb
Rhwng derch glogwyni Horeb,
Ac yntau godai 'i ben i fyny 'n ddewr;
Gwregysai lwynau 'i enaid gwrolfrydig,
Mewn ffydd edrychai am yr Anweledig!

Praidd Jethro borent yn y glŷn islaw,
A meddwl Moses redai i Gosen draw
Gan yfed gofid; yna tua 'r nef,
O galon ffyddiog denfyn weddi gref;
Ac fel 'roedd yn gweddïo,
Drychiolaeth a ddaeth heibio,
A llais lefarai 'r geiriau hyn,—
"Cwyd, Moses, ysgrifena
Mewn Llyfr sydd byth i bara,
Y nefol ddadguddiadau
Mae Ysbryd Duw dy dadau
I'w rhoi i ti; bydd ŵr digryn."
A'r Ysbryd Glân mewn nerth ddisgynodd arno
Gan buro yn ei dân bob dawn oedd ynddo.

Fel bydd y ddaear noson ddu ddi sêr
I'w theimlo 'n bod, er heb ei gwel'd, a'i thêr
Ogoniant fel anelwig beth yn bod
Yn myd y meddwl, felly 'r grëadigaeth,
A ffyrdd yr Iôr at ddyn; e' wibiai tybiaeth
Mai da yr oll, fel rhith yn myn'd a d'od.

Ond, weithian, cododd haul dadguddiad clir
Ar feddwl Moses; ffŷ y nos, a'r gwir
Oleuni ddengys darddiad da a drwg;

Y crëad glân, y cwymp a'i ganlyniadau,
Rhagluniaeth Duw, ffyrdd dyn, i lawr trwy 'r oesau,
  Hyn oll yr Ysbryd ger ei fron a ddŵg.

Yn un o dân-gerbydau llŷs ei Dad
Y Mab ddisgynodd; ac i'w brophwyd mâd
  Rhoes lechi 'r ddeddf yn sail dadguddiad mwy;
A dygodd ger ei fron weledigaethau
A mawrion a rhyfeddol ddadguddiadau
  Gyfeirient at ddirgelwch dwyfol glwy'.

Y wyrth oedd gafael gyda llaw o gnawd
Mewn peth ysbrydol,—dal, gan ddyn tylawd
  Y weledigaeth fawr o nefol lun,
A rhoi am dani gorff a gwisg ddaearol,
Rhoi gorfod arni hi i drigo 'n fythol
  Yn mhebyll dynion i ddadguddio 'i hun.

Holl fawrion ddygwyddiadau 'r oesau i gyd,
Gweithredoedd Duw a dyn o ddechreu 'r byd
  Anghofiwyd, ac a gladdwyd yn ddwfn iawn
Yn mynwent Amser; ond ceid eu hysbrydion
O hyd yn blino cydwybodau dynion;
  Y rhai 'n a gawsant adgyfodiad llawn.

A gleddir hwynt drachefn? Hwynt-hwy, plant Ham,
Gaent glod am berarogli cyrff, ac am,
  Rhag llygredigaeth, gadw 'r marw mûd:
Ond iddo Ef rhoed nefol fyrr a chasia
I berarogli meddwl; bellach Adda
  A gedwir gyda'i blant drwy oesau 'r byd.

Gorchestion a phrofiadau 'r saint, pob gwêdd
Fu arnynt hwy, eu hofn, eu ffydd, a'u hêdd
  A gedwir mwy mewn myrr o uchel ryw;
Addewid Duw, ei gyfraith, a'i weithredoedd,
Fydd byth yn bur er gwaethaf llygriad oesoedd;
  Na, na, nis cleddir hwy heb gladdu 'r byw.

Un fath a'r gwynt heb wybod dim pa bryd
Nac o ba le y deuai, yn y byd
  O ddyn i ddyn bu 'r Ysbryd oesoedd maith:
Un pryd cynhyrfa galon y tywysog
O uchel waed; ac yna mor oludog
  Preswylia yn y bugail gyda'i waith.

Coronog frenin yw ei enau 'n awr;
Yn ebrwydd, gyda 'r un awdurdod mawr,
  Llefara trwy 'r carcharor yn ei gell;
Un pryd mae 'n ysgwyd tafod y dysgedig,
Drachefn y dysg y gwladwr anmhrofedig
  I ysgrifenu pethau dwfn a phell.

Mae weithian yn y bardd o enaid mawr,
Yn troi caniadau 'r nef i odlau 'r llawr,
  Gan wneyd pob cainc yn llawn o rinwedd byw;
Bryd arall erys yn y dwfn athronydd
Yn olrhain y dirgelion draw yn mröydd
  Yr achos gwreiddiol o bob peth yn Nuw.

Dysg wedy'n yr hanesydd am a fu,
Gan gyfarwyddo 'i law i roi i'r llu
  A grëid ddrych o oesau wedi bod;
Drachefn, trwy eryr-lygaid y gweledydd
Edrycha 'n mlaen i oesoedd pell, a gwledydd,
  A thraetha ini 'r pethau sydd i dd'od.

Fel hyn o oes i oes pob dawn mewn dyn,
Pob gallu feddai natur ynddi ei hun
  Sancteiddiwyd i addurno 'r Llyfr diail;
Pob dammeg werthfawr oedd mewn hanesyddiaeth,
Pob perl, pob tlŵs, a feddai 'r grëadigaeth,
  Yspeiliai 'r Ysbryd i brydferthu ei ddail.

Ar gloriau hwn y chwery 'r Dwyfol gwŷn,
O'i gylch y dynol gwridog geir, a mŷn
  Y naill fenthyca 'i degwch prid i'r llall;
Mae hŷd, a llêd, a dyfnder ei feddyliau,
Fel Duw ei hun heb iddynt byth derfynau;
  Ei gyfoeth a'i ogoniant sydd ddiball.

Unoliaeth perffaith sydd yn cydio ynghyd
Holl ranau 'r adeiladaeth, er cyhyd
  Y pellder rhwng yr adeiladwyr oll;
Pob saer a'i faen, a naddwyd wrtho 'i hunan,
A ddeuai yn ei ddydd i wneyd ei gyfran,
  A'r naill gymerai faen y llall heb goll.

Trwy 'r amryw ddoniau gyfoethoga ei ddail
Yr un a'r unrhyw Ysbryd heb ei ail
  Sydd yn anadlu bywyd ymhob man;
Anfarwol fywyd glywir megys ffrydiau
Yn murmur wrth fyn'd trwy ei lydain eiriau,
  Gan hyfryd lòni 'r llesg a nerthu 'r gwan.

Yr un dystiolaeth glir am Dduw a'i waith
A geir o hyd ar ei ddalenau maith;
  Tad gwreiddiol pob daioni yw Efe.
Oddiwrth aml dduwiau gelwir y cenhedloedd
At un Duw mawr, yr Hwn a wnaeth y bydoedd,
  Ac sy 'n ymhob man, ac oll, oll yn mhob lle.

Ei enw greodd wawr y bore prudd;
Llewyrcha fwyfwy hyd yn hanner dydd,—
  Dydd Haul Cyfiawnder i ymlidio 'r nos;

Trugaredd a gwirionedd gyfarfyddant,
Cyfiawnder Duw a heddwch dyn gusanant
Eu gilydd yma ar bob dalen dlôs.

Duw Abraham ffyddlawn yn yr oesoedd pell
Yw Duw da Dafydd mewn amseroedd gwell,
A Duw yr Apostolion yn eu dydd;
Erioed mae 'n gwisgo 'r un prïodoliaethau,
A dangos wna yr un rhad drugareddau
O oes i oes, a'r un hyd byth a fydd.

Am ddyn, yr un yw gair y tystion oll,—
Ei grëu gan Dduw yn uniawn a digoll,
Ond iddo ef, yn ffôl, ddinystrio ei hun;
Am wyrni ei ffyrdd, annuwiaeth ei feddyliau,
A'r farn oedd yn ei fygwth, âg un genau
Anwrthwynebol tystiant bob yr un.

Y ffordd i gadw rhag y llid a fydd,
Yr un yw hono yn mhob man,—trwy ffydd
Yn annherfynol haeddiant Hâd y Wraig;
Ffydd ynddo Ef yw 'r ddeddf sydd yn cyfanu
Pob rhan o fewn, nas gellir ei wahanu,
Gan wneyd o'r oll un gyfan, gadarn graig.

Yr un yw 'r Gwrthddrych mawr sy 'n rhoddi dawn
Pob sanctaidd awdwr i ddysgleirio 'n llawn,
Fel nad ymgûdd dim rhag eu gwrês a'u gwawl;
Ef, Hâd y Wraig, ac iachawdwriaeth ynddo,
Yw 'r pwnc didranc llefarant oll am dano,—
Ei foliant a fynegant yn ddidawl.

Cyn dyry 'r Ysbryd le ar ddalen lân
O'r Llyfr i ddim, rhaid iddo chwyddo cân
Clodforedd byth-gynnyddol Mab y dyn;
Lle mae Efe, ei fawredd annherfynol,
Ei degwch a'i ogoniant anghymharol,
Sy 'n hawlio 'r lle yn gyfan iddo ei hun.

Efelly bu Colomen nef ddwy fil
O flwyddi uwch y lli' heb gael i'w chîl
Bron ddim ond dalen yr Addewid draw;
Ond wedi hyn y diluw giliai 'n amlwg,
A bryniau tàl Cyfammod ddoent i'r golwg,
A daear newydd welid ar bob llaw.

Gan yr addewid bellach mae ei gwlad
A'i phobl; cânt hwy le mawr heb un nacâd
Ar gyfri 'r Mab sy 'n dyfod trwyddynt hwy:

Helyntion Israel gawsant anfarwoldeb,
Tra gwelir Anghof yn anffurfio ei hwyneb
Uwch beddau gwael teyrnasoedd llawer mwy.

Pennodau maith o enwau sychion iawn
Ei enw Ef yn disgyn trwyddynt gawn,
A dyna 'r oll yn dangos ystyr drud;
Ei gysgod Ef fu 'n ffurfio hanesyddiaeth,
Ei enw Ef ddëongla 'r grëadigaeth,
A'i lewyrch Ef sydd yn esbonio 'r byd.

Yn fwy i'r golwg deuai 'r Hâd o hyd,
A'i ddelw Ddwyfol Ef, o bryd i bryd,
Yr Ysbryd ar y llèn yn llawnach rhydd;
Ei berson mawr, ei waith, a'i ddyoddefiadau,
Yn awr i'r golwg ddoent mewn eglur liwiau,
Dymuniant pobloedd ynddo welai ffydd.

Esaiah awenyddol, Daniel gryf,
A Jeremïah drist, Ezeciel hyf,
Ac eraill, ddŷg yr Ysbryd uwch y byd
I'r mynydd hwnw lle yr ymddangosa
Yr hyn ni wnaed; a gwelent y Messïa
Dan gosb ein heddwch ni, fel oen yn fûd.

Yn llaw yr Ysbryd, ac yn llwythog iawn,
Disgynent eilwaith; yna eu beichiau llawn
Yn rhôl y Llyfr a roent o un i un.
Fel hyn o oes i oes y cyfoethogwyd
Yr Ysgrythyrau glân â beichiau 'r prophwyd,
Hyd nes y daeth y Prophwyd mawr ei hun.

Anfeidrol wyrth! O fendigedig ddydd!
Duw ymddangosodd yn y cnawd! a rhydd
Ei galon ar adferu 'r byd tylawd;
Gwir lun a delw 'r Duwdod anweledig,
Dysgleirdeb ei ogoniant digrëedig
Sydd wedi tabernaclu yn y cnawd!

Tu ol a thrwy ei wên, ei air, a'i waith,
Y gwelir draw i anfeidroldeb maith
Byd Duw,—cyfoethog fyd ei nerth a'i râd;
Gogoniant Duw a'i gariad diddechreuad
Trwy 'i fywyd Ef a gawsant lawn ddadguddiad,
A'i gwelodd Ef sydd wedi gwel'd y Tad.

Yn gwel'd gogoniant Duw yn Nuw ei hun,
'R oedd pedwar gŵr mewn llyfr yn tŷnu llun
Ei berson, gyda lliwiau Ysbryd Duw;
Ac ar y dail y rhoent i lawr ei eiriau
Yn bur, yn gynhes, fel y doent o'i enau,
A'r Llyfr i gyd âi 'n oleu ac yn fyw.

Yn llewyrch cànaid ei oleuni Ef,
Y dengys eraill darddiad afon gref
   Yr iachawdwriaeth rêd o'i farwol glwy';
Anfeidrol ganlyniadau 'r ymgnawdoliad
Mewn nerth a mawredd ddygir i oleuad,
   Cyn cau i fyny 'r Llyfr, a'i selio mwy.

Pob gair ga ei ganolbwynt ynddo Ef,
Difachlud Haul a erys byth yn nef
   Y Bibl, bâr i'r tywyllwch chwalu 'n chwim:
Efe, â'i gyfoeth, leinw i'w hymylau
Ddoe, heddyw, ac yfory 'r Ysgrythyrau,
   Ac hebddo Ef ni ysgrifenwyd dim.

Mae llyfr yn nghelloedd dyfnaf enaid dyn,
   Ond fod yr inc yn awr yn anweledig;
O'i ddal yn ngwrês y Bibl, fe welir llun
   Pob gair, o hyd y daw 'n fwy darllenedig.
Un fŷn ddibrisio hwn, rhag fod ei lais
   Yn aflonyddu dynol ofergoelion;
Un arall fŷn, trwy orthrech a thrwy drais,
   Ei wneyd yn unig ddeddflyfr holl blant dynion;
Ca'r Bibl y fraint o ddeffro 'r Athraw mawr
O'i farwol hûn; ond yna aed i lawr
   At draed Ymwybodolrwydd; ac os mŷn
Dd'weyd rhywbeth nas gall rheswm ei fesuro,
Mae hyny am nad oes wirionedd ynddo,
   A gwlêdd i Wawd a fydd y pethau hyn.

O ddyn, na âd i un ymhònwr gau
   Ddystewi llais dy reswm a'th gydwybod;
Ond er dy fywyd gochel eu mawrhâu
   Uwchlaw y Gair sydd yn dystiolaeth Duwdod.
Mae 'r anamgyffredadwy ynot ti
   Ar goll, fel breuddwyd brenin Babylonia;
Dŵg y Dëonglydd ef ger bron mewn bri,
   A'i adwaen wnei, pan unwaith ymddangosa:
Dal di dy hun yn ngwrês a goleu 'r Gair,
O honot ti dy hun efe a bair
   I dystion godi 'n llu i selio 'i wir.
Cydwybod f'o mewn parch, Gair Duw yn uchaf;
Y rhai'n agorir yn y farn ddiweddaf,
   A dd'wedant hwy, saif dragwyddoldeb hîr.

Llyfr Duw, mae ysbryd dy awdurdod mawr
   Yn hollbresennol; pwy a ddïanc rhagddo?
Mae fel y nefoedd ëang uwch y llawr,
   O hyd uwchben, aed dyn i'r man y mŷno:
Aed gyda'i chwant i ffau tywyllwch du,
   Dy fellt a wna y fan yn ddychrynadwy;
Ar glust y gwadwr fu 'n dy hèrio 'n hŷ'
   Ryw ddydd y tŷr dy daran groch-ruadwy.

Y ddaear a ysgydwaist â dy lais,
O'th flaen dymchwelwyd gorseddfeinciau trais,
A'r anwir deflaist ti i lewygfëydd;
Ac eto nef a daear a ysgydwi,
Anwiredd o bob man i lawr a fwri
I uffern isod a'i didranc bangfëydd.

O fel y treiddia ei leferydd trwy
Drŵch haenau 'r enaid hyd ei ddwfn waelodion!
Trwy 'r weithred gyhoedd â i ddyfnder mwy,
Ac argyhoedda ddrwg fwriadau 'r galon;
Yn îs na hyny dengys ddaear ddrwg
Y cyflwr dû di-Dduw, ac oll sydd yno;
Erchylldra 'r cyfan welir yn y goleu ddŵg,
Cydwybod a ddeffröir i gyd-gyhuddo;
Dŵg ni i farn, condemnia gyda grym,
Cyfiawnder pur a wna ei eiriau 'n llym,
A'r euog gŵyd i eilio 'r ddedfryd fawr;
Holl ysgelerder pechod ddŵg i'r golwg,
A dengys Dduw mor dda, mor fawr, mor amlwg,
Nes syrth y truan megys marw i lawr.

Ond nid gweinidog angeu yw Gair Duw;
Wrth ladd, gwneyd ffordd i fywyd mae 'r llythyren;
Nerth crëadigol yw ei ysbryd byw,
Yn crëu o hyd,—crëu bywyd yw ei elfen;
Wrth wasgu i maes chwyth olaf angeu du,
Trwy ffroenau 'r enaid gŷr anadliad einioes,
A'r bywyd-beiriant oddimewn a dry
Ei gylch di-ddarfod mwy, mewn dedwydd eiloes.
O fewn preswylia 'r Gair yn ffynnon bur
Anfarwol fywyd, nes y cilia cur
O'r enaid, ac y daw yn iach a chryf;
Yn ddigon iach i wisgo anfarwoldeb,
Yn ddigon cryf i gynnal tragywyddoldeb,
A chydag engyl godi ei ben yn hŷf.

Mawr rym y Gair orchfyga ddrygau 'r byd,
Er gwaetha' eu hyllaf lîd yn enaid Cristion;
Annuwiol wŷniau 'r cnawd a drŷdd o hyd
Yn wîn a bara i gryfhâu ei galon;
A'r temtasiynau ddyga uffern ddu
I geisio ei lethu beunydd, arnynt hoga
Efe ei gleddyf, ac a â yn hŷ'
Yn erbyn Satan gerth ac a'i gorchfyga:
Lleferydd Duw a ddenfyn aeth a braw
I wersyll y gelynion, ar bob llaw
Llewygant, syrthiant i annychwel fedd;
Y byd, y cnawd, a'r diafol gydorweddant
Yn nyfnder dystryw, byth nid adgyfodant
I flino eu gorchfygwr yn ei hêdd.

Pan gŵyd afiachus darth a mwrllwch du
  O gorsydd heintus fy llygredig galon,
Gan dduo a phruddhâu ffurfafen gu
  Fy hyder clir, a nef fy nghlaer obeithion;
Ac yntau, Mab Tywyllwch, yn deffroi
  Ysbrydion yr ystorm ar enbyd egwyl,
Y byd yn suddo 'i lawr, a'r nef yn ffoi,
  A dim ond ceudod uffern ddofn i'w ddysgwyl,
Pryd hyn, fy Mibl! anfeidrol nerth a rhîn
Dy eiriau di dry 'r 'storm yn dawel hîn,
  Gan wneyd fy nef yn gliriach nag erioed;
Wrth sŵn dy eiriau 'n sibrwd rhâd faddeuant,
Fy ngwae, fy mraw, a'm hofn a gyd-ddiflanant,
  A mawr a fydd fy heddwch yn ddioed.

Dan gystudd gwelais i fy mrodyr cu,
  Mwy fwy llesgäent yn nygnaf boenau angeu;
Eu nerth ar ball gan ddolur o bob tu,
  A chwys marwolaeth oerai eu hwynebau;
Pryd hyn Gair Duw a gaed, trwy 'r grym a fêdd,
  O'u mewn yn crëu llawenydd annhraethadwy,
Nes oedd prydferthaf liwiau enfys hêdd
  Yn hoenus chwareu ar eu gwêdd lygradwy;
O'u blaen âi cysgod angeu 'n oleu ddydd,
Eu henaid a awyddai fod yn rhydd
  I hedfan adref i dangnefedd Duw:
Dy riniau di, O Ddwyfol Air, droes angeu
I anfachludol ddydd yn wawr ei foreu,
  Tydi roist iddynt fodd i fythol fyw.

Af fi i'r man lle gwaedda 'r Ysbryd, Ust,
Wrth dwrf y byd, ac adnod ro'f wrth glust
  Fy meddwl prudd, gwrandawaf ei sibrydau;
Ac yna clywaf sŵn anfeidrol fôr
Yn llanw o'i mewn,—tragwyddol feddwl Iôr
  Fel tònau yn ymdòri yn ei geiriau.

Y dòn oedd draw yn llòni Duw â'i lli
Sy'n awr yn chwyddo yn fy mynwes i,
  A'r nef, â Duw y daliaf fi gymundeb:
Fy nghyfoeth mawr gynnydda byth fwy fwy,
Goludoedd gras a hêdd a ddygir trwy
  I mi o bell ardaloedd anfarwoldeb.

Tyrfäoedd annifeiriol ymhob oes
Iachäwyd o glefydon blin a gloes,
  Gan rîn y môr fan yma gyda'r glànau;
Er adfer bywyd myrdd a'u golchi 'n lân,
Rhoi ynddynt ysbryd y dragwyddol gân,
  Yr unrhyw heddyw yw y môr i minnau.

Fy Mibl, claer sêr dy ffurfafenau cain
O hyd amlhânt; sêr newydd ar ryw lain
O'th nef o oes i oes a ddarganfyddir;
Mae rhai mor bell nad yw eu goleu cûn
Hyd eto wedi cyrhaedd llygaid dyn,
Ryw ddydd a ddaw y rhei'ny a ddadguddir.

O Lyfr diail, o fewn dy eiriau di
Y cuddiodd Duw drysorau heb ddim rhi',—
Mŵngloddiau cudd ei olud anchwiliadwy:
O'u cylch ymdŷra pobloedd oesau 'r byd,
Dinasoedd gŵyd gerllaw, a'u pobl i gyd
Yn byth fwynhâu eu cyfoeth annhraethadwy.

A'r môr sydd rhyngom â gororau pell
Nefolion leoedd, gluda 'r golud gwell
I gyfoethogi engyl gwŷnfydedig;
Terfynau teyrnas Iesu o fôr hyd fôr
A lawenychant yn niderfyn stôr
Dy gyfoeth di, O Fibl cysegredig.

Nid rhyfedd fod yr Arglwydd Dduw o'r nef
Yn gwylio'th rawd, a bod ei lygaid Ef
Yn danllyd gan eiddigedd drosot ti;
Nid rhyfedd fod ei law gref hollalluog
Yn gwarchod dros dy burdeb gwŷn dihalog,
Na bo i neb ddifwyno 'th ddwyfol fri.

Ysgrifenyddion ar eu memrwn glân
Dan rif roent y llyth'renau fawr a mân,
Gan ddiystyru 'r ysbryd fwy na mwy;
Fel hyn am oesoedd tröwyd eu dallineb
Yn fwyd i'w zêl dros gadw yn ei wiwdeb
Y Llyfr, yn ngenau Crist, a'u barnai hwy.

Teyrnasoedd fu yn siglo hyd eu sail,
Gorseddau cedyrn chwalwyd megys dail,
Ond ti, trwy 'r chwyldröadau, sydd yn fyw:
Cynghreiriau 'r byd ac uffern i dy lethu,
A'u hystryw oll, sydd wedi bythol fethu;
Nis rhwymir Gair yr Hollalluog Dduw.

Er dyfod oddifry yn genad rhad,
Dwyn sêl y Teyrn, a gwisgo gwên y Tad
Trugarog yn ei genadwri glir,
Dyn eto fŷnai sefyll mewn ammheuaeth,
A galw 'r Hollwybodol i ddadleuaeth
A oedd pob peth a dd'wedai Ef yn wir.

A gwaeth nag ammheu,—esgyn cadair barn,
A dwyn o'i flaen Air Duw yn ddarn a darn,
A'i brofi wrth anianol reswm noeth;

Hyf farnu 'n euog bobpeth sydd uwch-ddynol,
Darganfod trawsedd yn y Meddwl Dwyfol,
A thywallt ar y cyfan wawdiaith boeth.

Er bod yn nhewdwr brwydrau trwy ei oes,
Ni welir arno graith, na chlwy', na gloes,
Ei fywyd bythol yw ei wir ei hun.
Y gelyn newid wêdd mor aml a'r lleuad,
Mae weithiau 'n llew, ac eilwaith megys dafad;
Un wêdd yw 'r Gair, a'i nerth a'i arf yr un.

Hyfrydaf waith y dŵl anffyddiwr gynt
Oedd marchog asyn Baalam; wedi 'r hynt,
Dysgwyliai na cheid Bibl o dan y nef:
Ca'r asyn lonydd, bellach; er ei syndod
Dealla 'r marchog fod yr holl asynod
Yn synu 'n ddirfawr at ei ddylni ef.

Daw eto gydag uchelfrydig drem
Astronomydd dysgedig; rhydd wers lem
I'r Bibl am feiddio siarad am y sêr:
Cyhudda ef o ddygnaf anwybodaeth
O'r modd a'r pryd y daeth y grëadigaeth,
Perthynas byd â byd trwy 'r nefoedd dêr.

"Pwy," meddai, "ŵyr ddim oll, nas gŵyr mai hŷn
Yw 'r Haul na'r Ddaear? Am henafiaeth dyn,
Ystori wâg, gŵyr pawb mor ffôl ei phwynt."
Gofyna llais o'i ol,—"O adyn täeog,
Ai ti a roddaist ddeddf i'r Hollalluog?
Pa le yr oeddit ti pan grëwyd hwynt?"

Mae 'n traethu eto,—"Deued yr holl fyd
I edrych ar alanas,—doed ynghyd
Bawb garant wel'd y Bibl yn mhig yr wyll;
Byddinoedd Israel chwalaf mewn dychryndod,
A'u cleddyf hwy eu hunain, a phob tafod
Felldithia mwyach eu hirhoedlog dwyll.

"Haul safodd yn Gibeon, hithau 'r lloer
Yn nyffryn Ajalon; a'r noson oer
A dröed yn hyfryd ddydd i Israel Duw.
Fel yna chwedl mab Nun. Yn awr, y Ddaear
Symuda, nid yr Haul: nid yw ond clebar
Gwerinos fod yr Haul yn myn'd,—sefydlog yw.

"Pe deddf yr Haul fuasai troi o gylch
Y Ddaear, brynti nad oes ddwfr a'i gylch
Yw d'weyd i natur ffyddlon dòri ei deddf:
Lleferydd natur sy'n 'mhob man yn Ddwyfol,
A'i symudiadau yn ddiball dragwyddol;
Am ddyn, mae celwydd ynddo megys greddf."

Ar ol y bôst a'r gwawd-ystormydd hyn,
Mae 'r Gair fel craig yn sefyll yn ddi-gryn,
  A'r haul sy'n codi a machlud ymhob man.
Ceir hamdden têg i ofyn i'r athrodwr,—
Ai pechod yw graslonrwydd y Crëawdwr,
  Wrth siarad iaith ddealla 'i blentyn gwan?

A pha un fwyaf, dyn ai 'r haul? Pa dad
Na rydd ei fyd i gadw ei blentyn mâd?
  O dywyll ddyn, na wyddit gariad Duw!
Ai ammheu 'r wyt anfeidrol allu Duwdod?
Neu ai fod attal haul yn aberth gormod
  Dros un bu farw 'r *Mab* i'w gadw 'n fyw?

O rhwng y sêr yn uchelderau 'r nèn,
Llais ysbryd glywaf, sieryd uwch fy mhen,
  Gwrandawed doethion byd ei eiriau ef,—
"Y gwylaidd Newton, Herschel fwyn, adwaenwn;
Hwy yn fy llaw trwy 'r ehangderau ddygwn,
  Rho'is iddynt lawer o gyfrinion nef.

"Hwynthwy ac eraill fu 'n cynniwair llwybr,
Y Bydded Dwyfol draw o wybr i wybr,
  Addoli wnaent ger bron y Mawredd cun:
A gawsant hwy ryw bryd fod gair Dadguddiad
Yn groes mewn dim i'r gair sy'n ddeddfau 'r crëad?
  A dd'wedant hwy fod Duw 'n gwrthdd'weyd ei hun?

"Ond pwy yw rhai'n, sy'n ceisio rhwydo 'r nef
Yn ei hymadrodd?—fynent fod ei llef
  Yn hyrddio 'r Bibl o'i sêdd i ddirmyg mwy?
Y nef, pe gwyddent, edwyn eu dichellion,
Ac, fel yr Iesu, sieryd mewn dammegion,
  Er clywed, eto ni ddeallant hwy."

Ond gan nas gall ystumio wrth ei fodd
Leferydd nef, y gelyn weithian drôdd
  I holi 'r Ddaear a fu 'n ddystaw c'yd;
Ac atom, bellach, daw doeth ddaearegwr,
Am iddo 'i hun wneyd enw fel disodlwr
  Hen athrawiaethau gredid yn y byd.

Hwn dwng yn enw haenau 'r graig,
A'r olion wêl mewn mynydd ac mewn aig,
  Mai crebwyll yr Hebrëwr yw sail ein crêd;
Medd ef,—"Aneirif ffeithiau clir gwyddoniaeth
Sy'n tòri i lawr yn llwyr am byth dystiolaeth
  Y Gair am grëad byd—yr oll a dd'wed."

Pa bryd meistrolaist ti, newyddian llaith,
Dy wyddon dêg? Ddeallaist ti ei hiaith?
  Ge'st ti i sicrwydd ystyr geiriau 'r nef?

Pan fo daeareg wedi ei gwir ddëongli,
Ac heb â'r Bibl un dichon ei chysoni,
  Nid cynt cei dithau furnio ei eiriau Ef.

Yn awr, o dew dywyllwch oesau fu
  Llef gwaed ddaw ataf—gwaed aneirif luoedd;
A'r llef ddwyshëir gan galon-rwygol rü
  Eneidiau a gyfrgollwyd trwy yr oesoedd.
O Ysbryd trist, dysg fi i drochi 'mhin
  Yn ngwaed y rhai'n, i ysgrifenu eu dïal;
A'u hingoedd hwy fo 'n gwneuthur llîn ar lîn
  Yn fraw i'r bobloedd, fel melldithion Ebal.
Fy ngalw maent i draethu trais a gwŷd
Yr Eglwys gynt at Air ei Duw,—cyhyd
  Bu 'n rhwym fel caffai hi floddestar 'n rhydd;
A dwyn ar gôf i'r byd ei hŷf ystrywiau
I lethu 'r Gair, a beth fu 'r canlyniadau
  Yn ngwae a gofwy myrdd dros lawer dydd.

Gorweddai melldith Babel ar y byd,
  Y plant nis gallent ddeall iaith eu tadau;
Hebräeg a Groeg, er meddu cyfoeth drud
  Meddyliau Duw, nid oeddynt ond mewn llyfrau.
Drachefn y Lladin, Syriaeg, Arabäeg,
  Siaredid; a thra Anghrist eto 'n egwan,
Llif ysbrydoliaeth redai i bob aeg;
  At Grist yr holl genhedloedd ddeuent allan;
Y rhai 'n drachefn anghofid gan y plant,
Ceid newydd dafodieithoedd ar bob mant,
  Anghyfiaith oedd y Gair i'r oesoedd hyn;
Ac yn y cyfwng hwn, rhyfygus Babau
Mewn trais a gwaed seiliasant eu gorseddau,
  A'r Bibl a gadwent mewn caethiwed tŷn.

Wrth weled y cenhedloedd ar bob llaw
  Yn wyw a gwael gan nychdod anwybodaeth,
Y rhai ryddhäodd Crist, trwy ofn a braw
  Yn weision caeth dan orthrwm trawslywodraeth,
Deffröid rhyw rai oedd eto 'n ofni Duw
  I ddwyn i'w heithoedd hwy yr Ysgrythyrau;
Ond caent eu hattal yn eu gorchwyl gwiw,
  Neu fyn'd o dan ofwyol ddïaleddau.
Hòniadau 'r Eglwys, a'i hawdurdod traws,
Ni ddalient oleu 'r Gair, y nos yn haws
  Ddaliasai danbaid lewyrch haul y nef;
Ei hofergoelion fyrdd, a'i thraddodiadau,
Ei gorthrwm erch, a'i dyeithr athrawiaethau,
  A chwelid gan ei dystiolaethau ef.

Oblegid hyn yr Eglwys haerai 'n hŷf
   Nad oedd i'w ddarllen ond gan wŷr dysgedig,
Mai rhyfyg ydoedd, i'w gondemnio 'n gryf,
   Ei ddwyn gan neb i'r ieithoedd llafaredig;—
Nas gallai 'r werin wybod ystyr ddofn
   Ei eiriau heb ddëongliad yr offeiriaid:
Oddiwrth y Gair, fel hyn, trwy ddirfawr ofn,
   Am oesoedd lawer cadwyd llwfr drueiniaid.
Drachefn, nid oedd y Bibl o cymaint pwys
Ag dybiai rhai; nag ef, rhinweddau glwys
   Yr Eglwys oedd yn llawer mwy eu bri;
'Roedd ganddi hi ogyfuwch traddodiadau,
Ac iachawdwriaeth yn ei sacramentau,
   Pe heb y Gair, 'roedd digon ganddi hi.

Ond cyn y safai 'r gau hòniadau hyn,
   Rhaid cau mewn celloedd cûdd yr Ysgrythyrau;
I hyn bygythion, barent ddaeargryn,
   A hyrddiai 'r Pab yn erbyn cyfieithiadau.
Yn awr bu brwydr agored, ymladd gwrdd,
   Dau fyd i'r maes gynnullent eu tyrfäoedd;
Y nef a'r ddaear grynent gan y twrdd,
   Cenhedloedd fu mewn ing a llewygfäoedd;
Duw 'r nef a godai dystion dros ei Air,
Ac uffern ferwai Rhufain megys pair,
   A'i llid a redai 'n boeth trwy 'r byd o'r bron;
Y nef fydd dragwyddoldeb yn gwobrwyo,
Ac uffern fydd byth bythoedd yn gofwyo
   Y dewrder feiddiwyd yn yr ymgyrch hon.

Y Babaeth, fel y caffai bawb i'w llaw,
   Pryd hyn roes fôd i'r Chwil-lŷs a'i arteithiau;
Brenhinoedd byd a elwid gyda braw
   Erch esgymundod i wneyd archwiliadau
Pwy oedd yn meddu 'r Bibl; a phan ei caid,
   Gwŷn fyd yr hwn a frysiai i'w ddinystrio;
Ac am yr adyn geid yn euog, rhaid
   Ei ddwyn i'r Chwil-lŷs, yno i'w boenydio.
Fel hyn y Biblau daenwyd gan y saint
Ddinystriwyd megys pe buasent haint,
   Rhoed hwynt yn fwyd i'r tân mewn llawer gwlad;
A gwaed y tystion rhuddwyd yr arteithglwyd;
Y nef a ŵyr y poenau a ddyoeddefwyd
   Trwy 'r oesoedd hyn rhag gwadu Gair y Tad.

Yn dilyn hyn, am dywyll amser hir,
Y gau oedd fel pe yn gorchfygu 'r gwir,
   Anfynych clywid llais dewr dystion nef;
A llaw haiarnaidd llywodraethai 'r Babaeth,
A'r byd a döid â diluw anwybodaeth,
   A thruan ddyn, gwae oedd ei phïol ef.

Mae ysbryd allan heddyw yn ein gwlad
A fynai wthio 'r Gair a'i rîn a'i râd
O'r golwg yn yr eglwys, i roi lle
I chwyddfawr swydd-awdurdod a defodau,
Neu ynte i athroniaeth a gwyddonau,
Gan farnu rhai 'n yn amgen nag efe.

A fynet ti, O ddyn, gael gweled drych
O eglwys heb y Bibl? Cei gyfle gwych
I hyny, os doi gyda mi yn awr;
Trwy drais, y Babaeth lwyddodd am faith oesoedd
I gloi 'r Ysgrythyr mewn estronol ieithoedd,
A chadw Ewrop mewn tywyllwch mawr.

Yn fuan iawn fe welwyd marwol ddyn
Yn dringo uwchlaw pawb; gan faint ei wŷn
A'i drachwant, hònai hawl i orsedd Duw;
Yn nheml Duw eisteddai, galwai feibion
Rhyddfreiniol nef, a gwysiai 'nghyd holl fawrion
Y byd i blygu o'i flaen, os mynent fyw.

Gosgorddion rhwysgfawr mewn ysplander drud
A geid o'i gylch, ac ymherawdwyr byd
Wladeiddient gan yr olwg ar ei fri:
O ddydd i ddydd ymdröai mewn mwy glythi,
A'i frasder fagai fwy annuwiol frynti,
A'i ddinas foethus, melldith ydoedd hi.

I ddal y rhwysg a chwyddo 'r bloddest hyn,
O'i sêdd, y Pab, yn enw Duw a fyn
Roi holl deyrnasoedd crêd dan drethi drud:
Nacâu eu talu ddygai farn a thrallod;
Fel hyn bu Rhufain megys môr diwaelod
Yn llyncu holl aberoedd golud byd.

Trwy ei hoffeiriaid gwyddai am bob gwlad,
A threfnai eu helyntion; heb nacâd
Ei fûdd ei hun yn ddeddf pob peth a wnae;
Os meiddid ammheu awdurdodau 'r gethern,
Dechreuid tincian agoriadau uffern,
A bygwth hyrddio pawb i fythol wae.

Modd yma Rhyddid lethwyd trwy y byd,
Trueiniaid glywid yn gruddfanu ynghyd,
Holl hawliau dyn i'r eglwys wnaed yn sarn;
Olwynion pob anturiaeth a arafwyd,
Pob cynnydd mewn gwybodaeth a lesteiriwyd,
Gorweddai 'r eglwys ar y byd fel barn.

Dan rith zêl Duw a chariad at y saint,
Lleiandai a mynychdai mawr eu maint
Ddyrchafent eu pinaclau yn mhob parth;

Ac yma ceid aflendid a glythineb,
O'u hawyr heintus ciliai pob moesoldeb:
O gymwynasgar Anghof, cuddia eu gwarth!

Mewn dynion yn y t'wyllwch du di-wawr
Deffröid euogrwydd, ac anghenion mawr
Yr enaid äi o'u mewn yn fwy a mwy;
Er tywallt eu gofidiau i'r cyffeswr,
O ddydd i ddydd yn waeth-waeth äi eu cyflwr;
'Roedd angeu 'n bwyta eu heneidiau hwy.

Aent eilwaith i'r gyffesgell, yno eu cŵyn
Dywalltent; a'r offeiriad, wedi dwyn
Eu harian hyd yr eithaf, yn ddioed
A'u gŷrai hwynt i'w penyd ac i'w hingoedd;
Ac yntau gyda 'u harian äi i'w lythoedd,
A'i galon iach càn höewed ag erioed.

Pangfeydd cydwybod dröed yn wleddoedd brâs
Ar fwrdd yr eglwys, melus oedd eu blâs,
A'i gwîn oedd gwaed y rhai a geisient Dduw;
Drachefn ymhònai, er ei byth waradwydd,
Am arian, werthu 'n rhwydd werth gwaed yr Arglwydd:
Fel hyn am oesoedd y bu 'r Babaeth byw.

Y Pab a'i lu heb neb i'w herbyn hwynt,
Y nos gyrhaeddodd ei thywyllaf bwynt,
A'r Bibl yn ddystaw yn nhir anghof sydd:
Ai nid oes neb faidd siarad â'r gorthrymwr?
Oes neb gyfeiria 'r byd at ryw waredwr
All attal trais, a gwneyd y nos yn ddydd?

I law masnachydd yn *Lyons* daeth rhan
O'r Gair ysbrydoledig, yn y fan
'Roedd Ffrainc a Lombardy i gyd yn fyw;
Drwy 'r wlad 'roedd meirw yn codi ac yn rhodio
Wrth glywed darllen yr Ysgrythyr hono;
Yr un o hyd oedd rhyfedd rym Gair Duw.

Yn Lloegr, gyda hyn, y Gair ryw fodd
A ddaeth dan lygaid Wickliffe, ac fe drôdd
Ei galon ynddo, safai yn ŵr rhydd:
Ei Destament oleuodd wawr yn Mhrydain
Nas medrodd gallu nac ystrywiau Rhufain
Ei throi yn ol, na 'i rhwystro i dori 'n ddydd.

Yn ebrwydd yn Bohemia tŷr y wawr,
Mae Huss yn dadleu â hyawdledd mawr
Wir Duw yn erbyn trais offeiriaid gau;
Mae gorthrwm y mynachod beilch yn siglo,
A chadair dderch y Pab yn crynu dano
Gan nerth y Gair gûdd-redai i bob pau.

Y cryndod hwn a ddeffry ysbryd blwng
Y Babaeth, ac mewn gwŷn cynddaredd twng
  Ddïaledd ar y rhai o'i gelloedd cûdd
A ddygent i oleuni 'r Bibl cysegrlan;
Yr eglwys ni chai hêdd a hwnw allan,
  Rhaid lladd y rhai a'i dygent ef i'r dydd.

O Rufain, gwŷs a gwarant i bob gwlad
Anfonid, i roi terfyn ar y brâd,
  A dal y bradwyr, yna eu llosgi i gyd;
Trwy 'r gwledydd bellach llosgi, lladd, a rhwygo,
Fu rhan canlynwyr Wickliffe, Huss, a Waldo,
  A'u llwch a fwrid i gwterydd byd.

Bu gosteg enyd, Anghrist eilwaith sydd
Trwy nerth llofruddiog fel yn cario'r dydd,
  Teyrnasai braw nes selio genau myrdd;
Ofnadwy arswyd a orweddai 'n llethol
Ar anadl byd, a Rhufain yn herfeiddiol
  Ro'i gamrau brasach ar ei damniol ffyrdd.

"Nodedig amser" Duw i drugarhâu
A ddaeth; O Henffych! henffych! mae 'n dyddhâu!
  Olwyna ymlaen, O Haul Gwirionedd Duw!
Yr Ysbryd sydd yn dysgu i ddyn wybodaeth
A'i dysgodd i ARGRAFFU: Biblau 'n helaeth
  Argreffir mwy, a'r byd wneir drwyddo 'n fyw.

Efe, yr hwn â gwawl-belydrau 'i drêm
Arafodd Saul, pan a'r ei neges lèm,
  Gan losgi 'r cèn oddiar ei lygaid ef,
Sy 'n awr yn nghell mynachlog yn neillduo
Gŵr ieuanc arall, gan ei lawn gymhwyso
  I apostoliaeth ffydd a gras y nef.

Heb lu, heb nerth, ond Dwyfol nerth y nef,
Daeth Luther allan; ac o'i enau ef
  Y Gair, fel taranfolltau Duw, äi trwy
Y byd ymhell, gan ddeffro cydwybodau,
A chrëu mewn nerth yn nyfnder arg'oeddiadau
  Anfarwol egwyddorion ynddynt hwy.

O boethaf ryfel! Ond, ni thycia grym
Pyrth uffern gyda 'u cnawdol arfau llym
  I lestair buddugoliaeth lwyr yn awr;
Bytheiried Pabau eu me blldithion aflan,
Mae 'r wasg o hyd yn bwrw Biblau allan,
  A'r Bibl yn rhydd gryfach na Gehenna fawr.

Mewn unoes hanner Ewrop wnaed yn rhydd,
Miliynau lawenhäent yn hyfryd ddydd
Y mawr Oleuad weithian rêd ei rawd;
Têg ryddid i'r cenhedloedd a adferwyd,
Goleuni pur gwirionedd a wasgarwyd,
A bywyd wridai rûdd y byd tylawd.

O Tyndal ddewr, os bu i fflamau fflwch
Y gelyn diried losgi 'th gorff yn llwch,
Dy Fibl Saesoneg lawn ddïala 'th waed;
Gwna Brydain Fawr yn gorn yn llaw Jehofah
I gornio Anghrist, a chwtogi traha,
A rhoi gorthrymder gwledydd o dan draed.

Fy Nghymru gu, dy hêdd a'th grefydd di
Ni fynant fêdd i enwau uchel fri
Dy Salesbury a dy Forgan anwyl byth;
Am ddwyn i'w hiaith y Dwyfol Ysgrythyrau
Duw folir, ynddynt hwy, gan genedlaethau
O Gymry duwiol tra yr awel chwŷth.

Câf weithian egwyl i hyfrydaf daith,—
Câf ddilyn ôl y Bibl, a gwel'd ei waith
Yn crëu o furddyn byd fyd newydd hardd:
O'i flaen hylldremia dinystr a diffaethdra,
O'i ôl, bob llaw, y wlad a orfoledda,
A'r anial leoedd ffrwythant megys gardd.

Yr anwar gwyllt na fedd na gwisg na thŷ,
Yn iselderau erch Paganiaeth ddu,
A diaflaidd wên uwch dynol gnawd yn fwyd,
Dan rìn y Gair y truan yna ddofwyd
I'w ddillad a'i iawn bwyll, ac fe liniarwyd
I fwynder plentyn ei greulonaf nwyd.

Y fam fu 'n taflu ei baban sugnai' bron,
Er gwaethaf sŵyn a gwên ei wyneb llòn,
I'r *Ganges*, er dyhuddo dîg ei duw,
Ei chalon dröir yn deyrnas i dynerwch,
A'i serch ymegyr mewn anniflant degwch,
A'r nef wêl ynddi hi ei delw wiw.

Mewn llawer gwlad ceid llwythau wedi bod
Gan Satan oesau 'n gaeth, a gwelid nôd
Enwaediad uffern yn eu haflan gnawd;
Dirywiad enaid wnai yn anolygus
Y lluniaidd gorff, y wyneb dealltwrus,
Nydid oedd ddim ond telpyn marw, tlawd.

Y rhai'n o'u tŷn gaethiwed wnaed yn rhydd;
O dan effeithiau gwrês a goleu 'r dydd
A grëa 'r Gair, fe 'u gweddnewidiwyd hwy;
Doethineb Duw oleua eu hwynebau,
A gras yn ffrydiau ddaw dros eu gwefusau,
A'r iachawdwriaeth a'u prydfertha mwy.

Ar draws eu gwledydd oedd anhygyrch iawn
Yr ymestyna ffyrdd, a phontydd gawn
Yn naid-rychwantu eu hafonydd hwy;
Tai heirdd, cludfeni, offer amaethyddiaeth,
Pob dodrefn cartref, a phob celf trafnidiaeth,
A geir yn helaeth i'w cysuro mwy.

Y byd ddyrchafwyd o Baganiaeth erch
Ymffrostia weithian mewn dysgeidiaeth dderch,
Ond ni chydnebydd pawb yr athraw cun:
Y Bibl pan ddaeth nid ydoedd iaith i'w dderbyn
Gan ddyn mewn llawer gwlad; efe fu 'n estun
Yn gyntaf linyn trefn ar eiriau dyn.

Ar ol eu dwyn i ryw ddosbarthus drefn
O'r dyrys dryblith gwyllt, efe drachefn,
A'i Dduw-feddyliau, fel afonydd mawr,
Fu 'n llenwi 'r geiriau, gan wneyd iaith yn gyfrwng
Yr Ysbryd Dwyfol, i wneyd dyn yn deilwng
Ddinesydd o Gaersalem uwch y llawr.

Y gwrdd feddyliau fu 'n symudo 'r byd
O oes i oes, efe a'u pïa i gyd,
O hono ef yr oedd eu rhîn a'u nerth;
Ni fedd llênyddiaeth ddim a gyfoethoga
Anfarwol feddwl, ond mae yn fenthyca
O'i olud ef—dim o dragwyddol werth.

Efe sy'n codi dynion at y gwaith
O olrhain rhyfeddodau 'r nefoedd faith,
Ac eilwaith dilyn Duw yn nghwrs y byd;
Drachefn i holi 'r ddaear beth ŵyr hithau
Am ffyrdd yr Iôr a'i fawrion ryfeddodau,
Er gogoneddu enw Duw o hyd.

Pan na cha 'r Gair rydd-redeg trwy ryw wlad,
Fe drenga ei llwydd, a phren gwybodaeth fâd
A grina, ni cheir arno ffrwyth na dail;
A'r bobl yn ehud gredant bob ysbrydion,
Gan fyw ar chwedlau ffôl ac ofergoelion,
Nes llygru pob cymdeithas hyd ei sail.

Boed iddo ef ei ryddid, yna dawn
A dysg a dyfant i'w maintioli llawn,
A ffrwytha 'r pren, ei ddail fydd byth yn wyrdd;

Amaethir diffaeth feusydd y gwyddonau,
Ac at wasanaeth dyn y celfyddydau,
 A ddygant at ei law fendithion fyrdd.

Ac mewn gwladlywiaeth, cyfaill goreu dyn
Yw Bibl Duw; trahausder, rhaib, a gwŷn
 Gorthrymwyr creulawn doddant o'i flaen ef;
Mae 'n dysgu dyn i barchu 'r awdurdodau,
I'r deiliaid hefyd hawlia eu hiawnderau;
 Anufuddhäer—ysgydwa 'r byd a'r nef.

Ei blentyn ef yw Rhyddid. Fel ei thad
Estyna ei nodded drosti ymhob gwlad;
 Ni feiddia oddef iddi hi gael cam:
Carcharer hi, ac yna yntau eilw
Ofnadwy nerthoedd wna 'i chadwynau 'n ulw,
 A dygant hi yn iach o'i diried nam.

Mae 'n galw dyn yn enw gorsedd Duw
I chwilio am y Gwir, a thrawsedd yw
 Yr hyn ymyra â'i ufudd-dod ef.
O dan ei nawdd teyrnasoedd byd gânt heddwch,
A'r bobloedd ymfoddlonant mewn dedwyddwch,
 Cyfiawnder a gartrefa dan y nef.

Hyn oll, îs-gymwynasau ydynt hwy
Wna wrth fyn'd heibio ar ei neges fwy,
 Ei neges fawr yw d'weyd wrth ddyn am Dduw:
Cyfeiria ef at Geidwad hollalluog
A'i dŵg yn ol i fynwes Tad trugarog,
 Gan faddeu 'i gamwedd ac iachâu ei friw.

Mae 'n deall iaith y galon euog flin—
Ei heisieu dwfn, a'i hofnau fyrdd; gall drîn
 Doluriau enaid gyda thyner law;
Cymhwysa hefyd foddion anffaeledig
I wella 'n holliach glwyfau 'r archolledig,
 Rhydd iddo nerth nas gŵyr am boen na braw.

Dysg ef i roi ei bwys yn dêg, yn llawn
Ar Iesu Grist fel yr anfeidrol Iawn,
 Gan fyw ar gariad i ddiderfyn oes;
Yr Arglwydd Iôr a'i ceidw mewn tangnefedd,
A'i Ysbryd Ef a'i lleinw â gorfoledd
 Yr iachawdwriaeth ddaeth trwy angeu 'r groes.

Efe fu 'n cynnal y merthyron glân
A nerth y nef pan yn y fflamau tân,
 Gan faint ei gysur cryf, prin teimlent glwy';
Ei ysbryd ynddynt a ddiffoddai 'r fflamau,
Ac eilwaith ffrydiai allan yn weddïau
 Dros greulawn leiddiaid a'u merthyrent hwy.

Dan amlder gorthrymderau yn parhâu,
Ceir myrdd o hyd yn hyfryd lawenhâu
   Yn nyfnion bethau Duw ar hyd eu hoes;
Mewn rhyfel cânt y Gair yn glêdd a tharian,
Mewn tlodi llym yn ffrydio cyfoeth allan,
   Dan ŵg y byd ymffrostiant yn y groes.

Tröed angeu iddynt hwy yn seren ddydd;
Dysgwyliant am y goleu hwnw drydd
   Y nos yn ddydd, a'r gelyn dan eu traed;
Chwennychant ddyosg ymaith gorff eu gwaeledd,
Ac mewn gwell gwlad ymwisgo mwy yn unwedd
   A'r Hwn a'u prynodd hwy â'i werthfawr waed.

O fyd nad oedd ond megys un o gerth
Faesdrefi uffern, ti, trwy Ddwyfol nerth
   Dy Ysbryd, grëaist deyrnas i Dduw Dad:
Tragwyddol deyrnas seiliwyd mewn cyfiawnder,
Ddidranc, ddidrai ei heddwch a'i chyflawnder,
   Duw ynddi hi adwaenir yn Ben Llâd.

Un o'r meddyliau grëaist ti dy hun
Lyfr Duw—mae 'n dwyn dy ddelw a dy lun—
   Yw meddwl d'anfon di drwy 'r ddaear faith;
Ac fel dy holl feddyliau, fe'i cyflawnir;
Mae 'r dydd yn brysio dyfod pan y gwelir
   Y Bibl yn llaw pob dyn ac ymhob iaith.

Gymdeithas dêg, O ffyna gyda brys,
Dy Lyfr sy'n fywyd byd; a Duw â'i fŷs
   O'th flaen sy'n agor pyrth fu 'n gauad c'yd;
O tywallt trwyddynt Fiblau i'r cenhedloedd
Eisteddant mewn tywyllwch trwy yr oesoedd,—
   Dy wobr mawr iawn fydd iachawdwriaeth byd!

Parch. Nathaniel Cynhafal Jones—

# HYNT I DDEHEUDIR FFRAINC.

FY ANWYL GYFAILL,—

Yn ol fy addewid, mi roddaf i chwi ychydig o hanes fy ngwibdaith ddiweddar i Ddeheudir Ffrainc, ynghyda'r argraffiadau a adawodd ar fy meddwl.

Y mae y daith o Calais i Paris mor annyddorol a dim a welais erioed. Yr wyf wedi ei theithio bellach bedair gwaith, ac mor bell ag y gallaf farnu, nid oes fawr o ddewis rhyngddi â'r daith o Zag-a-zig i Ismailia yn yr Aipht. Gadewch i ni eu cymharu. Mae y tir o bob ochr i'r Rheilffordd Ffrengig, gydag ychydig filldiroedd fe allai o eithriad, yn gorsiog, gwyllt, ac anniwylliedig, heb ond ychydig winwydd yn tyfu arno, y rhai, yn y gauaf, a edrychant fel briwwydd wedi eu gosod ar eu penau yn y ddaear, heb fod o ddyddordeb i neb ond ambell i deithiwr Seisonig, sydd yn cymeryd gydag ef oddicartref lawer iawn o frwdfrydedd, ac sydd yn dechreu ei ollwng allan càn gynted ag y ffroena berarogl pysgod-farchnad Calais, ac na pheidia wed'yn nes ei ddychwelyd yn ol i'w "wlad brydferth ei hun." Rheda y ffordd Aiphtaidd trwy galon y diffaethwch; nid oes yno gorsydd a phyllau, na meusydd fel mewn diffyg anadl wedi eu hanner orchuddio, na rhesau o boplys yn edrych fel rhan o fyddin Napoleon yn Rwssia, na thai yn furddynod,—dim ond yr ymestyniad maith o dywod, yn fôr byth-newidiol,—yn y fan yma, yn cymeryd ffurfiau digrifol, yn y fan yna, yn ddyffrynoedd a bryniau, mynyddoedd yn brysio i'r gwastadedd, a gwastadedd yn ymddyrchu yn fynyddoedd, un eiliad yn gefnfor ymgreigiedig, y nesaf wedi ei drawsffurfio yn fôr o fywyd. Rhoddwch i mi y Sahara diymhoniad o flaen meusydd ymffrostus Gogledd Ffrainc. Ni arosais ond un diwrnod yn Paris, ond yr oedd hyny yn ddigon i osod yr argraff arnaf fod ei gogoniant wedi ymadael. Gallai fod yr heolydd mor lawn o bobl, yn rhedeg ar ol ffasiwn, fel y rhedai Hamlet ar ol ysbryd ei dad; ond fel y ddrychiolaeth, mae *sylwedd* godidawgrwydd prifddinas Ffrainc wedi cilio, ac nid oes ond y cysgod yn aros. Nid ydych yn gweled y penchwibanrwydd hwnw a olygwn bob amser fel yn nodweddu pobl Ffrainc; mae y wên siriol wedi rhoddi lle i edrychiad lledchwith, a'u hoenusrwydd wedi ei newid am ymddygiadau mwy tawedog a llai boddhäol. Nis gellwch lai na theimlo, yn lle y gor-hoen a'r diofalwch hwnw am y dyfodol a berthynai i'r genedl hon cyn ei phrofedigaethau diweddar, fod ysbryd o ddïal a dwfn gynllwyn wedi ymaflyd ynddi,—ysbryd sydd, fe allai, yn argoeli drygau mwy nag yr aeth drwyddynt erioed. Mae y Parisiaid yn gwneyd yr oll yn eu gallu er symud ymaith bob olion tân ac anrhaith, y rhai, hyd yma, ydynt yn anurddo eu dinas yn gymaint. Y mae Colofn Vendôme eto yn dyrchu ei phen uchel goruwch y tai o'i

hamgylch; mae cannoedd ar waith yn ail-adeiladu neu yn addurno y Tuilieries; ac y mae adeiladau eraill a ddinystriwyd mewn rhan gan dân ac ergydion "o dan driniaeth."

Y mae yn siwrnai faith o Paris i Marseilles, yn cymeryd o unarddeg o'r gloch y bore un diwrnod hyd tua saith y boreu drannoeth; ond gan fod y wlad yn cyfnewid o noethder i ffrwythlonrwydd, nid ydyw y siwrnai, fel yr ydych yn myned ymlaen i'r Dê, yn ymddangos mor faith. Aem ymlaen trwy Ddyffryn y Rhone, ymysg gerddi a llwyni, caeau ŷd yn wyrddion gan y blagur ieuainc, a llethrau wedi eu gorchuddio gan olewydd a merwydd—*mulberry trees*—yna trwy Dijon i Lyons drafferthus, ac ymlaen, nes o'r diwedd y gorchuddiai y nos yr olygfa; ac yna yr ymdrech ofer o geisio cyflawni y wyrth o gysgu yn un o'r cerbydau; ymlaen trwy ddu dywyllwch, trwy fân orsafoedd, lle nad arosem, ac o orsafoedd lle y cyffröid ni o'n cysgadrwydd gan leisiau gwichlyd y *porters* Ffrengig, a hyrddiadau drysau y cerbydau; ymlaen nes y gwenai y wawr arnom dros benau y mynyddoedd, ac nes y deuai awelon Môr y Canoldir yn llwythog gan berarogl blodau i'n croesawu, ymlaen—nes cyrhaedd Marseilles. Nid arosais nemawr ar y pryd yn y dref hono, ond gyru rhagof nes o'r diwedd gyrhaeddyd Nice, ar ol siwrnai o 28½ o oriau. Y fath adgofion cyffrous y mae enwau Toulon a Cannes yn alw allan; mor hanesyddol y cyntaf fel y lle a gymerasid gan y Saeson yn 1793, a'r olaf fel man glaniad Napoleon yn 1815. Yr oeddwn yn pasio y lleoedd hyn ar fy nhaith; gwelais hefyd Ynys St. Maguerite, lle yr oedd y Cyn-gadfridog Bazaine, bŵch dihangol y Ffrancod, wedi ei garcharu.

Ar làn Môr y Canoldir, y môr mawr a phrydferth, y môr *glâs* hwnw, môr y beirdd,—yr anghenfil a fedr lyncu moroedd llai, rhan o'r eigion, ac afonydd yn aneirif, ac eto na fedr godi llanw,—y saif Nice, y gyrchfa fwyaf dymunol ar y Cyfandir i bobl sydd yn ofni gerwindeb y gauaf yn y wlad hon, ac yn myned i ymofyn hîn fwy tymherus Deheudir Ffrainc. Y mae ei safle o'r fath fwyaf dymunol, ac y mae ei hadeiladau yn hardd, yn amrywio o chwech i saith uchder llofft, gyda muriau addurnedig, a thöau cywreinffurf o briddlechi cochion. Y mae iddi rodfëydd a gerddi cyhoeddus, cyfleusderau rhagorol i ymdrochi, siopau mewn cyflawnder i foddhâu y boneddigesau, a chlybiau i ddenu y boneddigion, milwyr i lygad-dynu a boddhâu y genethod, a rhïanod llygad-ddu o ferched Ffrainc ac Italy i lawenhâu calon y llanciau. Y mae ganddi, mewn gair, rywbeth i foddhâu pawb, ac nid rhyfedd ydyw fod Nice yn cael ei llanw âg ymwelwyr o bob parth o Ewrop, ac fe allai, mewn rhifedi mwy fyth o America. Wrth reswm, ar ymwelwyr y mae y lle yn ymddibynu, ond y mae yno hefyd fasnach helaeth mewn perarogledd yn cael ei chario ymlaen. Mi ymwelais âg un o'r gweithfäoedd mwyaf, yr eiddo *firm* enwog y Warwick Brothers, a gwelais hwynt yn gwneyd *violet scent*. Yr oedd ganddynt lonaid amryw fasgedi o flodau *violet*. Y maent yn berwi y rhai hyn mewn brasder, ac wedi iddynt oeri, y maent yn eu gosod dan *hydraulic press*, ac felly yn tynu ymaith y sûdd, yr hwn, wedi ei ddistyllio a'i buro, sydd barod i'w werthu. Pabyddiaeth yw crefydd y lle; y mae yno amryw o hen eglwysi gwych, ac un newydd ysblenydd, yr hon a adeiledid trwy ymdrechion egnïol offeiriad enwog. Y mae neillduolion y grefydd hon yn amlwg yma; ceir ffeiriau

a gwyliau yn sicr ar y Sul; yn wir, y Sabboth cyntaf a dreuliais i yn Nice yr oedd *bazaar* yn cael ei gynnal wrth oleuni torchau yn un o'r gerddi cyhoeddus. Dywedodd un Sais ieuanc, yr hwn oedd Babydd, wrthyf, ei fod wedi mwynhâu ei hun yn fawr y Sul o'r blaen; yr ydoedd newydd ddyfod o Spaen, wedi bod yn yr eglwys yn y bore, mewn Tarw-ymladdfa yn y prydnawn, ac yn yr *Opera* yr hwyr. Dywedai cyfaill i mi, gan chwerthin, wrth foneddwr o Babydd, yr hwn a ddangosasai iddo yr hyn a alwai yn "ddarn o'r wir groes," fod digon o'r groes hono yn awr ar gael, os gwir a ddywedid, i adeiladu llynges. "Ai ni chlywsoch erioed," oedd yr ateb, "am wyrth y torthau a'r pysgod?" Nid oedd o un dyben dyweyd fod yr amgylchiadau yn bur wahanol; os oedd yn angenrheidiol cyflawni gwyrth er achub bywyd ychydig fioedd, pa faint mwy yr oedd eisieu gwyrth er cynnorthwyo ffydd plant yr Eglwys!

Mae y wlad o amgylch Nice yn brydferth ryfeddol. Yn y pellder y mae yr Alpau Arforawl *(Maritime)* dan goron o eira, o ymddangosiad gerwin, ac o liw glâs tarthlyd; yna daw mynydd Chauvan, o ffurf bigyrnol, ac o eiliw rhuddgoch; wrth ei odrau dechreua cyfres o lechweddau, yn cael eu britho yma a thraw gan fân bentrefydd gwŷnion a threfydd, y rhai a ymddangosant yn debyg i ŵyau mewn nŷth aderyn. Mae y llechweddau hyn wedi eu gorchuddio âg olewydd, y rhai sydd yn rhoddi gwêdd freuddwydiol i'r holl wlad. Islaw iddynt yr ydym yn dyfod i wastadedd fe allai o bedair milldir o lêd, a chyfoethog o bob math o hydyfiant, gydag afon yn ymddolenu rhwng ei gnydau; yn nês yr ydym yn gweled maenordai a phalasau, yn cael eu cylchynu gan berllanau a llwyni *oranges*, yna gerddi blodau, caeau gwyrddlas, ac yma a thraw dŷ ar ei ben ei hun, ac yna dyma ni wedi cyraedd y ddinas. Y brif wibdaith o Nice ydyw i Monaco. Mae y lle hwn, gyda Monte Carlo, ryw chwarter milldir oddiwrtho, yn mherchenogaeth a than lywodraeth Tywysog, ond o dan amddiffyniad Sardinia. Monte Carlo ydyw yr unig fan yn y byd yn awr lle y mae byrddau cyhoeddus i hapchwareuon yn cael eu cynnal i fyny gan y Llywodraeth, ac ar y cyfrif hwnw nid wyf yn petruso dyweyd ei fod yr uffern fechan berffeithiaf ar y ddaear. Mae y *grounds* o amgylch ystafelloedd yr hapchwareu yn dra phrydferth. Fe werir miloedd o bunnau bob blwyddyn i wneyd y lle yn ddeniadol. Fe gynnwysa yr adeilad Gyngherddfa fawr ac ardderchog; nid oes dim i'w dalu am y cyngherddau dyddiol, ac y maent yn tynu cannoedd yno, canys y mae y berorfa, yr *orchestra*, o'r fath oreu, a'r gerddoriaeth y fwyaf dewisol mewn bôd. Y mae yno ddwy ystafell fawr ac ysblenydd, bob un yn cynnwys dau fwrdd. Nis gellwch ddal am lai na phum' *franc*, ac y mae terfyn i'r swm a ellwch roddi i lawr ar yr un pryd. Y fath olygfa bruddaidd ydyw gweled genethod ieuainc yn eistedd wrth y byrddau hyn, a chyda dwylaw crynedig yn gosod eu darnau ar ryw ffigyrau y maent hwy yn ddigon ffôl i ystyried yn ffodus. Yr oedd un Dywysoges Rwssiaidd yn adnabyddus i bawb a fynychent Monte Carlo ar gyfrif y symiau anferth a osodai ar y bwrdd, ynghyda'r diofalwch ymddangosiadol â pha un yr afradai ei harian. Gwelais hi unwaith yn sefyll wrth y bwrdd, ac o'i blaen bentwr o bapyrau 1000 *franc*, heblaw pentwr o *Napoleons*. Ni bûm i yno fawr, ond cyn i mi ymadael yr oedd y papyrau wedi diflanu, ac yr oedd yr aur

ymron wedi myned i gyd. Ychydig cyn i mi gyrhaedd Nice yr oedd gŵr ieuanc wedi ei saethu ei hun yn yr ystafell; yr oedd yno gyffro am oddeutu deng mynyd, ac *yna ymdyrent at y byrddau drachefn.* Tra yr oeddwn i yno, darfu i ddyn ei saethu ei hunan yn yr Hotel am ei fod wedi hapchwareu ei holl arian ymaith. Ni lwyddodd i'w ladd ei hunan, felly tanysgrifiwyd 300p. iddo, a danfonwyd ef ymaith. Dywedir wrthyf fod golygfa drist i'w gweled weithiau y tu allan i dai yr hapchwareu,—hen wreigan dlawd, benwan, yn hobian i fyny at ddyeithriaid ac yn erfyn am arian; ac os câ rywbeth, rhuthra ymaith ar unwaith i'r *saloon,* a gesyd ef ar y bwrdd. *Yr oedd y ddynes yna yn arglwyddes ac yn meddu cyfoeth mawr pan ddaeth gyntaf i ymweled â'r lle melldigedig hwn.* Tua dechreu 1874 ymddangosodd ysgrif ragorol yn un o bapyrau Llundain, yr hon a ddangosai y trueni y mae y lle hwn yn achosi, ac a sylwai, os wyf yn cofio yn iawn, y fath warth ydyw na fyddai llywodraethau Ffrainc ac Italy yn ymuno i'w osod i lawr. Byddai yn dda iawn genyf pe gellid dwyn y peth eto o flaen y cyhoedd, ac yn y fath fodd ag i beri cywilydd i ddwy genedl Gristionogol am adael lle sydd yn ganolog rhyngddynt i fod yn ffau mor uffernol.

Fe allai mai y rodfa lawnaf o fwynhâd, fel y fwyaf addysgiadol, a gymerais tra yn Nice ydoedd i dŷ gwyddonwr enwog, o'r enw M. Geny. Yr oedd ei dŷ ar lecyn dymunol, ryw ddwy filldir o'r ddinas. Tŷ isel tlodaidd ydoedd, ond yr oedd pob peth a berthynai iddo yn fanwl drefnus a glanwaith. Gwahoddid ein cwmni—yr oedd tuag wyth o honom—i oruwch-ystafell, yr hon oedd ymron yn llawn o *cases* yn cynnwys ffosylau o bob math, Amonitiaid anferth, dannedd Elephantiaid, cyrn Ceirw—pob math, a maint, a ffurf—y cyfan wedi eu cyfleu yn drefnus, a'u henwau wedi eu gosod yn ofalus arnynt. Yr oedd yno hefyd tuag ugain o gyfrolau mawrion yn llawn o blanhigion; cyfrol fawr gyda 70 math o ffigys wedi eu harliwio yn brydferth, pob sŵp ei hunan yn waith o deilyngdod mawr; yna cyfrol arall o 60 math o *lemons,* yr oll wedi eu paentio fel natur; yna cyfrol arall fwy, gyda phob pysgodyn a geir yn Môr y Canoldir, a phob pysgodyn fel yn *fyw;* yna map helaeth wedi ei wneyd mewn plastr, o'r Alpau Arforawl, pob mynydd, bryn, a bryncyn wedi eu codi yn ol eu cymesuredd, pob dinas, tref, neu bentref wedi ei nodi, a phob ffordd. Fe'm llenwid â syndod gan fawredd ac amrywiaeth y wybodaeth a ddangosid gan y gŵr hwnw, ac hefyd wrth feddwl am y dyfalbarhâd a'i galluogai mewn oes fèr—canys nid allasai fod dros driugain oed—i gwblhâu gweithiau, unrhyw un o ba rai a fuasai yn dychrynu llawer dyn o gymaint gallu, fe allai, ond o lai ymroddiad. Cyn fy ymweliad â chafell M. Geny, byddwn bob amser yn meddwl wrth edrych ar yr hanner cant a throsodd o gyfrolau o weithiau Calvin sydd yn gwneyd rhan barchus o'n pethau gwerthfawr gartref, y rhaid fod yr ysgrifenydd yn un o'r gwroniaid o'r hen amseroedd, y rhai mewn llênyddiaeth, a ysgrifenent ddigon am ganrif, ac mewn rhyfel, a ddangosir bob amser fel yn derbyn neu yn rhoddi ergydion a fuasent, fel y sonia Arglwydd Lytton, yn cracio penglog ŷch arobryn yn ein dyddiau dirywiedig ni. Mewn geiriau eraill, edrychwn ar y fath ddynion fel *rhyfeddodau* oeddynt wedi bod, ond na ellid dysgwyl eu gweled eto. Ond fe'm didwyllwyd; canys o'm blaen yr oedd gŵr ydoedd wedi gorchfygu anhawsderau a fuasent yn an-

mhosibl ond i athrylith feistrolgar, a hono yn cael ei dal i fyny gan ddiwydrwydd hunanaberthol a diflino. Gadawai fy ymweliad â M. Geny effaith ryfedd arnaf; ac er fod gwrês cyntaf y teimlad wedi myned heibio, eto fe barhâ i beri i mi ymgyrhaedd am bethau uwch nag a awgrymai tueddiadau naturiol. Os ewch i Nice, chwi wnewch yn ddoeth ymofyn am gyflwyniad i Mr. Copland, boneddwr sydd yn treulio pob gauaf yn yr ymdrochle hyfryd hwnw. Mae y boneddwr hwn, gan ddymuno gwneyd arosiad ei gydwladwyr yn hyfryd iddynt, a chydag adnabyddiaeth berffaith o'r wlad oddiamgylch, yn cymeryd cwmnïau mawrion, yn gyffredin o tua phump ar hugain, o'r ddau ryw, i'r manau mwyaf dymunol yn y gymydogaeth. Y mae *Copland's Walking Parties*, fel y gelwir hwynt, yn sefydliadau, oblegid nid yn unig yr ydych yn ymweled â phob lle gwerth ei weled gydag arweinydd caredig, yn rhad ac am ddim, ond y mae adnabod y *Chief*, fel y gelwir ef weithiau, yn cael ei ystyried yn ddigon o foddlonrwydd am barchusrwydd, a gallwch siarad yn rhydd â'r neb a fynoch yn y cwmni heb y perygl lleiaf o gyfarfod â'r brofedigaeth ofnadwy o beidio cael eich cydnabod. Nid oes cyflwyniadau yn cael eu gwneyd; mae ffurfioldeb yn cael ei adael o'r neilldu, ac yn ei le y mae y fendith werthfawr o garedigrwydd yn ffynu. Mae y rhodfeydd o amgylch Nice yn anwyl mewn gwirionedd. Mae yno amrywiaeth dibendraw; i rai, rhiwiau serth a chreigiog i'w dringo, i eraill, y llechweddau hyfryd; mae y gerddi yn ddeniadol iawn i rai, a Dyffryn y Rhedyn i eraill; mae Ffynnon y Dymuniadau yn tynu y dynion ieuainc, a mynych y profodd y dwfr a sipid yno yn felusach na mêl i lawer rhian gywilyddgar; mae ogof St. Andre yn ddyddorol i'r gwyddonwyr; yn wir gall pawb gael rhyw fan yno lle y gallant fwynhâu eu hunain, rhyw wrthddrych a fydd yn deilwng o'u sylw. Cyn gadael hyn, yr wyf yn rhwym o gydnabod y caredigrwydd a dderbyniais i gyda llawer eraill oddiar law Mr. Copland, tiriondeb yr hwn mewn rhoddi cymaint o amser, ac weithiau o arian, tuag at ychwanegu mwynhâd yr ymwelwyr â Nice, sydd yn deilwng o bob clod.

Gan fod gwarchodlu—*garrison*—yn perthyn i Nice, mi gefais olwg ar yr helynt derfysglyd sydd bob amser yn dilyn bwrw balot am filwyr. Y mae pob dyn ieuanc yn Ffrainc, o ddeunaw mlwydd oed, yr wyf yn meddwl, i fyned dan y balot; ac y mae y canlyniad gan amlaf yn arwain i'r un peth, sef meddwdod ac afreolaeth,—y rhai fyddant wedi dianc yn llawn hoen am eu ffawd dda, a'r rhai fyddant wedi eu dal yn myned yn ddibris o herwydd eu hanffawd. Yr oedd llïaws o'r teulu diniwed yma yn rhwysg-rodio yr heolydd; ond ymddangosai eu prif hyfrydwch mewn traflyncu symiau anferth o wîn sâl; ar ol gwneyd hyny, ymranent yn rhyw hannerdwsinau, a chan logi cerbydau aent trwy y prif heolydd dan gânu, neu yn hytrach grochfloeddio gymaint a allent. Byddai yn dda pe na byddai hoenusrwydd y Sais meddw yn cymeryd ffyrdd gwaeth i'w arddangos ei hun nag a wnelai yr eiddo y Ffrancod tlodion anffodus hyn. Y mae dinas Nice yn adsain bob dydd gan fiwsig y byddinoedd fel y byddant yn cerdded allan i'r wlad i fyned trwy eu *drill*. Mae y pellder a dramwyant weithiau yn fawr, ac y mae, yn sicr, yn olwg resynus i'w gweled pan yn dychwelyd, yn llychlyd, eu traed yn ddolurus, yn flin, ac yn edrych yn bobpeth ond

mewn tymher hapus. Ac eto dyma fel y mae trwy yr oll o Ffrainc. Y mae hyn oll yn gwneyd llawer tuag at gynhyrfu y bobl a chadw yn fyw y côf am eu darostyngiad dan y Germaniaid, yn gystal ag yn meithrin y dïal a goleddant yn erbyn y genedl hono.

Gellid treulio diwrnod hyfryd mewn ymweliad â Grasse, lle y dygid ymlaen yr ymchwiliad gyda golwg ar ddïanc Bazaine. Hen dref ydyw, o wneuthuriad afreolaidd, ac yn enwog gan mwyaf am ei pheraroglau, y rhai a ystyrir o ansawdd ragorol. Y mae yr ymdaith i Villa Franche yn ddymunol gan y rhai sydd yn hoff o bensil a brwsh. Y mae amryw olygfëydd prydferth i'w cael oddiyno, ac y mae y lle o fewn pellder rhesymol o Nice. Ychydig eiriau am *Hotels*, &c., a dyna fi wedi gorphen fy hanes am Nice. Y gost gyffredin mewn Hotel, gan belled ag y gallaf farnu, fyddai 13 *franc* y dydd,—yr hyn a gynnwysa wely, a boreufwyd, a *Table d' hote*. Gallaf argymhell y *Grand Hotel* fel un gysurus; ond yn sicr mi gynghorwn i ymwelwr i fynu d'od o hyd i *Pension* da, neu dŷ i fyrddio, lle y byddai y costau yn llai ac y gellid cael pob cysur. Arosais i yn un o'r rhai hyn, ac yr oedd genyf bob rheswm i fy llongyfarch fy hun ar fy ngwaith yn gwneyd hyny. Perchenoges y *Pension* oedd boneddiges Germanaidd, yr hon oedd yn dra hoff o gerddoriaeth; ac fe allai, mai i'r ffaith hon yr ydwyf yn ddyledus am yr unig adgof amgen na hyfryd sydd genyf am fy arosiad yn Nice. I'r dyben o roddi i'w hymwelwyr foddhâd mawr, yr oedd ganddi "Brydnawn Cerddorol" bob wythnos, yn yr hwn yr arferai pedwar neu bump o gerddorion proffesedig o'r *Vaterland* ddyfod i'n ffafrio gyda'r darnau mwyaf anhawdd ac alaethus a glywais erioed. Dysgwylid i'r ymwelwyr eistedd o amgylch ein *drawing-room* fawr mewn dystawrwydd; a gallaf eich sicrhâu fy mod wedi clywed deuawd ar y *piano* rhwng dau o'r boneddigion hyn a barhäi dros ugain mynyd. Cyn hyny yr oeddwn yn ddigon hunan-dybus i feddwl fod genyf "enaid cerddorol;" ond dychymygwch fy synedigaeth pan welwn y Germaniaid hyny, y rhai yn ddiammheu genyf a wyddent fwy am gerddoriaeth na mi, yn canmawl y *performances* hyn, tra yr oeddwn i wedi gorfod bod mewn ymddrech i fy nghadw fy hun yn effro. Ar ol y deuawd, ceid cydymuniad o'r pethau alaethus; mynid y *piano*, y *violin*, y *violincello*, y *German horn*, a swrnachent am hanner awr; ar ol hyn ni fyddai ond ychydig o honof fi wedi ei adael,—canys byddwn wedi cilio er ys meityn i'm hystafell fy hun. Ond rhaid i mi beidio anghofio un dyn, yr hwn a chwareuai y *violin*. Rhoddai efe unawdau yn achlysurol; ond yr ydoedd yn garedig; canys fel yr oeddynt yn arteithiol yr oeddynt hefyd *yn fyrion*. Yr wyf gan hyny yn ddiolchgar iddo. Y gwir yw nid wyf yn hoffi miwsig sydd mor farw a hoelen arch, ac yn ymddangos fel yn cael ei llusgo allan o angladd-gerbyd. Yr wyf eisoes wedi lled-addef fy mod yn credu yn awr fod fy chwaeth yn hyn yn ddrwg; ac felly ni raid i chwi fyned i'r drafferth o ddyweyd hyny wrthyf. Dyma ydoedd y diffyg mwyaf pwysig yn fy mywyd mewn *Pension*, ac yr ydwyf yn ei ddyweyd yn unig fel y gallo y teithydd dyfodol ymofyn, cyn cymeryd ystafelloedd, "*A fydd genych brydnawnau cerddorol?*"

Cyn gadael Nice, yr ydoedd gweinidog ieuanc o'r America a minnau wedi penderfynu teithio ynghyd, ac ar fore hyfryd a dysglaer, troisom

ein cefnau ar y ddinas am ba un yr oedd genym ein dau lawer o adgofion hyfryd, ac ar gyfeillion wrth ba rai, er nad oedd ein hadnabyddiaeth ond býr, y teimlem gryn lawer o ymlyniad. Wynebem ar Marseilles, ac ar ol siwrnai led lychlyd cyrhaeddasom yno. Wedi dyfod yno, yr oeddem o fewn taith tri diwrnod i Loegr; ond yr oeddwn i wedi penderfynu er ys cryn amser y dychwelwn hyd y môr, yn hytrach na dyoddef blinder siwrnai ar y Rheilffordd fel a brofais ar fy nhaith i Nice. Ni flinaf chwi â hanes y drafferth a gawsom i gael agerlong at ein pwrpas; ond o'r diwedd cawsom ar ddeall nad allem gychwyn hyd ddydd Iau, ac yr ydoedd y pryd hyny yn ddydd Sadwrn! Ond ar y Cyfandir nid ydyw pobl mor hawdd eu rhoddi "o'r ffordd" a phan fyddant adref. Dylai dyn ofyn y cwestiynau hyn iddo ei hun cyn gadael glànau "yr hen wlad," pan y mae yn myned ymhell,—A allaf fi ddyoddef anghyfleusderau heb gythruddo? A allaf fi gymeryd fy nhwyllo ar y ddeheu ac ar yr aswy, ac er hyny fod yn galonog? A allaf fi fy nhwyllo *fy hun* i gredu fod y peth a fwytäwyf mewn gwirionedd yn olwyth o gîg eidion, pan mae fy holl synwyrau yn dyweyd wrthyf fod yn fwy tebyg mai cîg ceffyl ydyw? Os nad all y cyfaill ei ddwyn ei hun i'r fath ystâd fel y gall ateb y cwestiynau hyn yn gadarnhäol, fy nghynghor i iddo ydyw, *Peidiwch a myned.* Ni a aethom gan hyny i'r *Grand Hotel du Louvre et de la Paix*, na pha un nis gwn am un gwestŷ mwy dymunol gartref nac oddicartref. Yma y penderfynasom aros, a chyda gwir reddf y llwythau crwydr yr oeddem mor gysurus mewn hanner awr a phe buasem wedi bod yn byw yno flwyddyn.

Fe sefydlwyd *Marseilles* y Saeson, *Marseille* y Ffrancod, a *Marsillia* yr henafiaid, mor fore a'r flwyddyn 600 C.C. Ei sylfaenwyr oedd y Pheniciaid, y genedl grwydrol hono yr hon, yn hir cyn y clywn am yr Israeliaid, a gawn rhwng Libanus ac Anti-Libanus; ac wedi hyny a geir yn darganfod gwydr, yn gweithio mewn gwlân, ac yn gwneuthur porphor. Gwelais fy hun bentyrau anferth o gregyn—mae yn debyg eiddo *buccinum*, math o fisglen, *muscle*, a'r *purpura*, neu y porphorbysgodyn—sydd yn aros o amgylch Sidon fel profion o bwysigrwydd masnachol yr hen ddinas, a hefyd yn nodi allan y lle. Yn anfoddlawn ar lànau diffrwyth Syria, trôdd yr hen deulu yma allan i'r môr, a chyda glewder a fawr edmygwn, anturiasant y tu allan i'r byd *adnabyddus* y pryd hyny, ac ymwelsant â'n gwlad ni, ac aethant càn belled i'r Gogledd hyd yn nôd â Chêg y Rhine. Ar eu ffordd galwasant heibio y gwledydd hyd lànau y Canoldir, ac ymhob man yr oedd eu harosiad fel dygiad goleuni i dywyllwch; cymaint yn wir oedd eu dylanwad, fel y mae Cicero yn galw Marseilles yn "Athen Gaul;" ac yr ydoedd yn glodus am enwogrwydd ei sefydliadau. Ni syrthiodd yn ol dan lywodraethiad Rhufain; mor enwog ydoedd, yn wir, fel y gallai gydymgais âg Alexandra a Chaercystenyn. Ond â'r Marseille Ffrengig o'r bedwaredd ganrif ar bymtheg y mae a fynof fi.

Fe ŵyr pawb mai prif borthladd Ffrainc ar Fôr y Canoldir ydyw y ddinas hon; ac y mae Natur wedi ei bendithio â manteision nad all ond ychydig iawn o borthladdoedd ymffrostio ynddynt. Y mae arian mawr hefyd wedi eu gwario ar y lle. Fe all 1200 o longau yn awr orphwys yn dawel yn nyfroedd llonydd y porthladd hwn. Ychydig allan i'r môr fe dŷnir eich sylw ar unwaith gan ynys heb fod o nemawr faint,

yr hon a orwedd rhyw filldir, fe allai, o'r làn. Ar yr ynys yna gellwch weled muriau mawrion yr amddiffynfa a'r carchar enwog, y *Chateau d'If.* Mae gan Dumas, y nofelydd Ffrengig, ffug-chwedl, *Monte Cristo*, lle y mae y *Chateau* yma yn dyfod i'r golwg yn ei holl guchiogrwydd ofnadwy. Dywed Mark Twaine, "Yr oedd un carcharor o bymtheng mlynedd wedi ysgraffinio pennillion ar ei barwydydd, a brawddegau rhyddieithol bỳrion,—bỳrion, ond llawn o deimlad. Llefarai y rhai hyn, nid am dano ef ei hun a'i gyflwr caled, ond yn unig am y gafell lle y dïangai ei ysbryd o'r carchar—am gartref, a'r eilunod oeddynt wedi eu temlu yno." Mor boenus o drist ydyw meddwl am dynged y cannoedd o drueiniaid anffodus a fwriwyd i hwn a charcharau cyffelyb! beddau ymhob ystyr *ofnadwy* i'r gair; ac eto yr oeddynt yn gorfod *byw* yn y cyfryw feddau! Carcherid dynion ynddynt yn mlodau eu dyddiau, a chedwid hwynt i fewn nes y delai llaw dyner Angeu,—i rai o honynt nid yn Frenin Dychryniadau, ond yn Waredwr cyfeillgar,—i'w gwysio i *fywyd* yn eu henaint. Cedwid hwynt felly am ddim ond tramgwyddo ar *air* eu brenin dïalgar. Ond gadewch i ni adael y lle hwn a'i holl adgofion dychrynllyd. Y gwrthddrych nesaf a welwn ydyw Eglwys *Notre Dame*, wedi ei hadeiladu ar ben bryn, yr ochr ddeheuol i'r ddinas. Ar ben y clochdŷ y mae delw Mair y Forwyn a'r Baban Iesu yn ei breichiau; y mae wedi ei goreuro drosti, a dywedir ei bod dros driugain troedfedd o uchder. Pan lewyrcha yr haul arni y mae i'w gweled yn ddysglaer càn belled â deuddeng milldir i'r môr. Defnyddia y morwyr hi fel *beacon* wrth fordwyo. Ant i'r Eglwys hon ar ol mordaith beryglus i dalu diolch am eu gwaredigaethau. Yno hefyd yr â perthynasau y rhai "a ddisgynant mewn llongau i'r môr" i weddïo, ac yn enwedig os bydd yn ystormus. Y diwrnod yr aethum i yno yr ydoedd yn chwythu yn galed iawn; ac am hyny yr ydoedd yr Eglwys yn llawn o famau a chwïorydd a hen wŷr penwŷnion, yn gweddïo yn ddwys ac am amser maith. Yr oeddynt yn dra difrifol yn eu defosiwn. Mae yr esgynfa i'r Eglwys yn dra serth, ac nid ydyw ei dringo ar *dywydd têg* yn hawdd; eto ar wynt a gwlaw, y naill yn chwythu yn ffyrnig, a'r llall yn dyfod i lawr yn bistylloedd, y mae y llwybrau geirwon i'w gweled yn llawn o enethod ieuainc, mamau oedranus, a thadau dan goron o benllwydni. Mae y muriau o fewn i'r adeilad hon wedi eu *gorchuddio* â darluniau bychain, yn arddangos ystormydd ar y môr, llongddrylliadau, a phethau cyffelyb, wedi eu rhoddi gan forwyr, ac yn aml, o bosibl, yn dangos peryglon y buont hwy eu hunain ynddynt. O'r fan yma y ceir yr olwg oreu ar Marseilles. Mae yr olygfa ymron yn amddifad o brydferthwch. Eto y mae gorphwys, os bydd y tywydd yn caniatâu, ar un o'r grisiau yr esgynir hyd-ddynt i'r Eglwys, ac edrych yn gyntaf ar y ddinas brysur, ac yna tua'r eigion tawel, a sỳn-fyfyrio ar hanes ddygwyddlawn y *Château* arswydus, yn ffordd i dreulio hanner awr ddifyr, ac ni fydd yn gwbl anfuddiol. Ond gadewch i ni fyned i lawr i galon y ddinas, i'r heol ysblenydd a elwir *La Canebière.* Mae y dramwyfa fawreddog yma o hŷd a llêd mawr; ar bob ochr saif adeiladau golygus, siopau, gwestai, ac yn enwedig *cafes.* Mae y rhai olaf hyn yn fawr iawn, a gallant gynnwys ugeiniau o bobl. Beth fyddai i ni ysbïo i'r un fawr yna sydd gyferbyn â'r *Bourse?* Y mae ffrynt yr ystafelloedd isaf yn wydr, ac felly gallwn yn hawdd weled yr oll sydd

yn myned ymlaen oddifewn. Ond yn gyntaf oll y mae genym i fyned rhwng rhesau o fyrddau bychain, o tua maint dysgl fawr, wrth ba rai nad all ond dau eistedd. Wedi pigo ein ffordd rhwng y rhai hyn, yr ydym yn dyfod at ffrynt gwydr yr adeilad, ac yn edrych i fewn. Y fath olygfa ddysglaer! Ymddengys fel pe byddai y lle i gyd yn ddrychau a goleuni *gas*. Mae ochrau yr ystafell yn ddrychau, mae y colofnau ysgwâr sydd yn dal y nenfwd yn ddrychau, mae y nenfwd ei hunan yn ddrych. Yna y *gas!* y cant o ffyrdd sydd ganddynt i oleuo y lle; mewn un man cerfddelw brydferth sydd yn dal y fflam, mewn man arall y mae goleuni lliwiedig yn peri i chwi feddwl am wlad y tylwyth têg, ac y mae y lle ar yr un pryd yn adsain gan lawenydd yn dyfod o gŵr pellaf yr ystafell. Gerllaw y ffenestr y mae byrddau i chwareu cardiau, disiau, *drafts*, a *chess;* ynghanol yr ystafell y mae niferi o grefftwyr, neu weithwyr, neu filwyr, yn siarad â'u gilydd yn wresog; tra yn y fan yna, y lle mwyaf neillduedig, y mae tri neu bedwar o hen wleidyddwyr yn myned dros y buddugoliaethau a ennillwyd yn y rhai yr oeddynt hwy yn cynnorthwyo, neu yr aflwydd a ddilynodd o beidio a chymeryd eu cynghor. Nid oes dim meddwi, er fod y *Garcon* yn cael ei uchel alw i "lanw i fyny" wrth y gwahanol fyrddau. Ond pa beth a yfant? Coffi yn benaf, *Claret* hefyd, a adwaenir fel *Vin Ordinaire*, yn yr hwn y rhaid suddo dyn cyn y gall effeithio nemawr arno; ond y maent hefyd yn cymeryd y fath stwff a *Vermouth*, ond mewn dognau bychain yn unig; a chyda y pethau hyn, gan chware cardiau ac ysmocio a siarad uwch eu pen, y maent yn gallu treulio prydnawn hir heb fod eu drwg effeithiau yn dyfod yn amlwg. Fel yr awn rhagom hyd droedlwybr llydan *Canebière* yr ydym yn sicr o gael ein cyfarch gan enethod tua thair ar ddeg oed, yn gwerthu blodau; y maent yn rhyfeddol o ddidroi yn ol, yn gymaint felly fel y gwthiodd un o honynt ei blodeuglwm bychan i'm *coat* gan ei adael yno, yna gydag edrychiad buddugoliaethus hawliai *sou;* yr oedd ei glewder yn anorchfygol, ac felly ennillodd ei phwynt, a chollais innau y *sou*. Mae yr heol hon am wyth o'r gloch y prydnawn yn edrych yn brysurach nag unrhyw le arall a welais i yn Ffrainc; yn wir dywed Dumas fod y trigolion mor falch o honi fel y dywedant "gyda'r sobrwydd mwyaf yn y byd, a chyda'r pwyslais sydd yn rhoddi cymaint o nodweddiad i'r hyn a ddywedir, Pe buasai gan Baris *La Canebière*, fu fuasai Paris yn ail Marseilles." Weithiau gydag anhawsder y gellwch wneyd eich ffordd trwy dorf y rhaid i mi addef ei bod yn ymddwyn yn dda; ac y maent yn ymddangos lawer yn fwy boddlawn a hapus na'u cydwladwyr yn y Gogledd.

Ymwelais â'r *Museum* a'r *Art Gallery*, y rhai sydd yn adeiladau prydferth iawn, ac yn rhoddi golygfa ddymunol. Y mae y rhan at wasanaeth Hanesiaeth Naturiol yn llawn werth ei gweled; ond nid oedd y Darluniau yn dyfod i fyny â'm dysgwyliadau. Cefais olwg hefyd ar y *Zoological Gardens*, ond gyda'r eithriad o *elephant* tra gwych, nid oedd dim ynddynt yn deilwng o sylw neillduol. Y mae dau ddiwrnod yn llawn ddigon yn Marseilles, a chyn fod y pump oedd genym i ddysgwyl wedi myned heibio, yr oeddym yn hiraethu am

A home on the rolling deep.

Ond wedi cael ein cais, buasem yn rhoddi cyfoeth dirif, pe ein yn

meddiant, am lathen ysgwâr o *terra firma*, canys y bore cyntaf wedi i ni adael *Grand Harbour* Marseilles fe ddaeth yr hîn yn bur ddrwg, a chawsom fordaith arw, er nad ond bèr, i Barcelona.

Cyrhaeddasom y ddinas enwog hon ar brydnawn dydd Gwener y Groglith. Nid allasem ddyfod ar ddiwrnod mwy ffodus. Yr oedd y bobl oll allan gyda'u gilydd, wedi ymwisgo yn eu goreu, ac yn edrych mor hapus a dim pobl a welais erioed. Ymddengys ei bod yn arferiad gan rïeni brynu ŵyn i'w rhoddi i'w plant ar y diwrnod hwn, a gallech, ar hyd yr holl brif-ffyrdd, weled cannoedd o rai bychain llawen yn arwain ŵyn wrth ysnodenau sidan; byddai ambell un o'r crëaduriaid bychain wedi ei addurno â blodau, ac yn rhedeg yn awyddus ar ol y plentyn a ddaliai laswellt yn ei law, tra y byddai un arall yn ei arwain gyda'r ysnodenau. Ond gadewch i ni edrych ar y bobl mewn oed, canys dyma y tro cyntaf i ni gyfarfod â'r Ysbaeniaid. Y mae y dynion, fel rheol, càn daled a'r Saeson; o ran pryd y maent o liw *brown,* neu *olive brown;* y mae eu gwallt a'u llygaid càn ddued ag "aden y frân;" y mae eu hymddygiadau mor goeth, ac yn *fwy moesgar,* nag eiddo y Ffrancod; yn eu holl ymddangosiad y maent yn urddasol, ac y mae dillynder o'u hamgylch na chanfyddir ond yn anfynych mewn pobl eraill. Yr wyf wedi siarad fel yna am y dyn oddiallan; ond y mae yn dra galarus, os ydyw y farn gyffredin am yr Ysbaeniaid yn gywir, fod pobl sydd wedi eu cynnysgaethu gan Natur â'r fath ragoriaethau allanol, yn goelgrefyddol, dialgar, a chreulawn. Ond rhaid i mi grybwyll am ferched Barcelona. Y maent, heb un eithriad, y rhai prydferthaf a welais erioed. Ac mi allaf hawlio bod yn rhywfaint o awdurdod ar y pwynt yma, gan fy mod wedi gweled y Parisiaid yn eu gogoniant, boneddigesau Rhufain yn eu hurddas uchel, merched Malta yn cildremio o dan eu penwisg hynod o sidan du, rhïanod Circassia wedi eu dwyn i'r Aipht, merched ysplenydd Bethlam, boneddigesau Damascus hefyd, y rhai a eisteddant yn y gerddi gan ysmocio, heblaw——genethod hawddgar Cymru! Eto nis gallaf dynu yn ol yr hyn a ddywedais,—y mae merched Barcelona yn eu gyru oll i'r cysgodion. Nid ydynt yn rhy dal nac yn rhy fŷr; ni wisgant ddim am y pen oddieithr gorchuddlèn ddu, laes, yr hon a syrthia yn rhydd drostynt; y mae eu gwêdd yn brydferth, felly eu pryd, ond yr wyf yn ystyried fod eu prif swyn yn eu gosgedd, *gait.* Y maent yn rhodio fel brenhinesau, gydag urddas, gyda dillynder, gyda—rhywbeth nad ellir yn hawdd ei ddesgrifio mewn geiriau, ond a dynai sylw yn y fan gan ei naturiolrwydd a'i fawrhydi. Treuliais gryn amser mewn cerdded hyd yr hen heolydd, y rhai, gydag eithriad neu ddau, sydd yn dra chulion. Fel y dynesai y nos fe'm meddiennid gan yr ysbryd rhamantus i raddau na theimlaswn erioed o'r blaen. Un fynyd, dychymygwn fy mod yn nghanol gorphwyllwyr, *desperadoes,* y rhai y deallwn a wisgent glogau o amryw blygion, y fath ag a welwn yn barhäus yn myned heibio i mi; y fynyd nesaf byddai adgofion am "*Spanish Student*" Longfellow yn fy nhrawsffurfio yn *Victorian,* ac mi gawn fy hun yn edrych i fyny yn bensyn i rai o'r balconau hyny sydd wrth bob tŷ, fel yn y gobaith o weled fy *Preciosa.* Eisieu bwyd, sydd yn darostwng brenhinoedd o'u huchelder dyrchafedig i lefel marwolion cyffredin, a'm galwai yn ol o'r wibdaith fèr a gymeraswn i'r Canol

Oesoedd, a darfu i olwyth o *futton a la*—rhywbeth anseiniadwy—fy nychwelyd yn fuan i fywyd cyffredin y ganrif hon. Bore drannoeth aethom i alw gyda *Consul* yr Unol Daleithiau. Yr oeddwn i yn anfoddlawn i fyned ar y dechreu, ond fe fynai fy nghyfaill o America fyned, a chefais allan ar ol hyny fod ein cefndryd yr ochr arall i'r dwfr yn cymeryd hyfrydwch mewn peri teimlo eu presennoldeb ar y *Consul* diniwed pa le bynag yr ânt, fel y caffont rywbeth mewn ffordd o gynghor neu gynnorthwy yn gyfnewid am eu nawddogaeth yn ei osod mewn swydd. Ond cawsom ein gwobrwyo am fynu ei weled, canys dysgasom amryw bethau dyddorol,—pa fodd, tua phythefnos cyn hyny, y buasai ymladd yn y ddinas, mai yr unig lywodraeth a gydnabyddid ar y pryd oedd un filwrol, fod pawb yn ceisio cadw y ddinas yn dawel er arbed dinystr ar feddiannau, fel yr ydoedd yn ddealledig fod y Carlistiaid o fewn tua phymtheg milldir, ac fod rhuthrgyrchoedd wedi eu gwneyd ganddynt lawer yn nês i'r ddinas na hyny; cawsom hysbysrwydd dyddorol hefyd am y llaw-weithfäoedd, yr hwn a roddwyd i ni yn garedig gan fab y *Consul.* Y mae Barcelona yr un fath ag ymron holl drefydd y Cyfandir yr ymwelais i â hwynt yn hyn, ei phrif neillduolrwydd ydyw ei hen eglwys. Cymerwch Paris, dyna Notre Dame; Milan, a dyna ei heglwys gadeiriol ryfedd; Rhufain, a dyna ei byd-enwog St. Pedr; ac yn debyg ymron ymhob dinas. Y mae hen eglwys wêch yn Barcelona hefyd, yr hon a welodd gondemnio cannoedd gan y Chwil-lŷs ofnadwy, sydd, bellach, yn ffodus, wedi ei ddileu. Oddifewn y mae cryn lawer o'r coeg-addurn dirmygedig sydd yn peri i mi feddwl am y llŵch sydd oddifewn i'r "afalau Sodom" hyny, sydd mor brydferth oddiallan. Yr oedd y ddinas yn llawn o filwyr, rhai o honynt yn ymddangos yn hynod o ieuengaidd, ond yr oeddynt yn ein taro ni (nid ydwyf yn llefaru yn olygyddol! ond mewn cyfeiriad at fy nghyfaill o America a minnau) fel yn tra rhagori mewn cadernid ar eu cymydogion y Ffrancod; ac nid oedd ganddynt y rhygyngiad, y *strut* gwrthun hwnw sydd mor annyoddefol; yr oedd eu gosgedd yn hardd, a phan yn catrodio, fel y dygwyddodd i ni eu gweled, yr oeddynt yn dangos *cywirder* sydd yn eisieu yn symudiadau y Ffrancod.

Ond rhaid troi i'r môr, ac yno i gyfarfod peryglon mwy nag oeddynt wedi fy mygwth erioed o'r blaen. Nid oedd y gwynt a gawsom wrth adael Marseilles ond brysgenad ystorm ydoedd i ddilyn; ac ar ol i ni fod ar y môr am noswaith, ymdòrodd arnom yn ei holl gynddaredd. Bore Sabboth ydoedd, ac, yn gyffredin, hyd yn nôd ar fwrdd llong, y mae rhyw gymaint o *dawelwch* ar y dydd hwnw; ond nid felly ar y diwrnod bythgofiadwy dan sylw. Pan honciais ar y bwrdd yn gynar y bore hwnw, mi welwn y nefoedd wedi ei gorchuddio gan gymylau digllawn, cymylau a ymddangosent yn ymosod ar eu gilydd, canys mi ddywedaswn i, heblaw awel y cyhydedd oedd ar y pryd yn ymgreuloni, ein bod hefyd dan ymosodiad *Levanter,* yr hyn a ychwanegai yn fawr at gynddaredd y dymhestl. Y môr,—O, nad allaswn fenthyca ysbryd Barddoniaeth i'w ddesgrifio! Ond mi allaf ddyweyd fod yr olygfa y fwyaf ofnadwy, mawreddog, ac aruthrol a welais erioed. Ac eto yr oedd rhyw swyn dyeithr ynddi; pan welid mynydd o ddwfr yn dynesu ac yn dyfod arnom, pan ymddangosai fel yn dyfod i'n cymeryd ymaith a'n lluchio fel ysglodion ar y làn ydoedd o fewn ein golwg, mor angerddol y cynhyrfiad!

Ac yna, pan fel gydag ymddrylliad ofnadwy taran gref y dyhysbyddai ei gynddaredd ar ein llong ardderchog, ac y ciliai yn ol gan ewynu fel mewn digllonedd, mor fawr oedd ein diolchgarwch ! Ond nid allai yr un o'r teimladau hyn fod yn oruchaf ond am ychydig ; canys yn y fan, wedi i un dòn gael ei hroi yn drochion, deuai un arall, ac un arall, ymlaen gan ewynu, eu cribau yn wŷnion gan ddigofaint, a'u lleisiau yn grŷg wrth ateb ysgrêch y gwynt. Yr oedd yr agerlong, yn y cyfamser, yn ymladd yn wych yn erbyn y gwynt a'r môr ; weithiau yn gŵyro ei phen dan aruthrol bwysau ryw dòn Ercwlffaidd, ac yna yn marchog y nesaf megys gan hèrio ei gwaethaf ; yn fynych fe fyddai y scriw yn uchel a chlir allan o'r dwfr, ac fe deimlid cryndod yn ymweithio trwy ei hasenau nerthol ; ond mewn eiliad, i lawr yn y dyfroedd berwedig, fe fyddai ei *phropeller* yn ymgodymu â'i wrthwynebydd. Nid oedd yr olwg ar y làn mor agos, fel y gallai rhai ddysgwyl, yn ddim cysur ; yr oedd y meddwl yn rhy barod i awgrymu y canlyniadau ofnadwy a fyddai i'r scriw dòri ; fel y byddai raid i ni, yn y cyfryw amgylchiad, gael ein gyru yn anocheladwy ar y làn a welem, ond na wyddem ddim am ei natur. Ond nid ydyw syniadau o'r fath yn para yn hir mewn ystorm, canys y mae pethau eraill yn gorlanw y meddwl. Y mae dyn yn byw dau fywyd mewn ystorm,—y bywyd y mae *wedi ei fyw*, drosodd drachefn, a'r un y *dychymyga y bydd iddo ei fyw yn y dyfodol.* Ond erbyn y nos yr oedd y gwynt wedi tawelu cryn lawer, a chyda chalonau diolchgar troisom i'n gorweddfäoedd.

Nid oes modd camgymeryd Gibraltar. Ni raid eich hysbysu mai y penrhyn anferth yna ydyw un o Golofnau Ercwlff ; y mae ei ffurf mor fawreddog, mor arwraidd, os gellir defnyddio gair mor anmhrïodol, ac eto mor brïodol. Ac nid ydwyf yn cofio i mi erioed deimlo yn fwy gwirioneddol falch o fy nghenedl na phan welais faner hybarch yr *Union Jack* uwchlaw muriau un o'r amddiffynfëydd. Mor fore a'r flwyddyn C.C. 711 yr oedd pwysigrwydd Gibraltar—Calpe yr henafiaid—i amcanion milwraidd, wedi ei ddarganfod gan y Saraceniaid, y rhai a adeiladasant amddiffynfa arno, un tŵr o ba un sydd yn aros eto, ac yn amlwg arddangos olion saethu. Ond ymhell cyn hyny yr oedd y Pheniciaid wedi ymweled â'r lle, mae yn debyg ar un o'u hanturiaethau masnachol y cyfeiriais atynt o'r blaen. Byth er hyny y mae y lle wedi cael ei werthfawrogi fel, fe allai, na chafodd ond ychydig fanau, gan y gwahanol genhedloedd i ddwylaw pa rai y disgynodd. Y mae wedi bod dan warchae ddim llai nag un ar ddeg o weithiau, ond yr olaf sydd yn bwysig i ni. Y mae y Graig yn codi yn unionsyth o'r tir canolog—llain dywodlyd yn gorwedd rhyngddi a'r Ysbaen—ac yn cyrhaedd i 1200 o droedfeddi o uchder. Ei hŷd mwyaf yw tua thair milldir, a'i llêd mwyaf tri chwarter milldir. Rhêd o'r Gogledd i'r Dê, ac y mae ei huchder mwyaf yn 1400 o droedfeddi uwchlaw lefel y môr. Y mae yr ochr Ogleddol tua'r Ysbaen, ac yn unionsŷth; y mae yr ochr Ddeheuol yn llechweddol, ac ar benrhyn llai saif goleudŷ gwych. Mae y dref yn sefyll, neu yn ymddangos yn *lled-orwedd*, ar yr ochr Orllewinol sydd yn wynebu y porthladd, tra y mae yr ochr Ddwyreiniol yn fûr unionsŷth o graig. Ac yn awr yr ydym yn dyfod at y gwarchae mwyaf enwog a fu erioed ar y lle. Yr oedd y Saeson mewn meddiant o'r Graig dan lywyddiaeth Syr Gilbert

Elliot, wedi hyny a wnaed yn Arglwydd Heathfield. Gwarchaeid arnynt gan fyddinoedd cynghreiriol Ffrainc ac Ysbaen, a'r oll a allai medr gwyddor filwraidd ddyfeisio a ddygwyd yn eu herbyn. Gwnaed yr ymosodiad mawr Medi 13eg, 1782. Ar ochr y môr, dygodd y Cynghreiriaid 46 o longau rhyfel i ymosod, gyda lliaws aneirif o gychod gŷnau, a mortar. Ond yr oedd eu prif hyder yn eu *batteries* nofiadwy, a wnaethid gan D'Arcon yn benodol ar gyfer yr amgylchiad, ac ar gôst o *hanner miliwn o bunnau.* Yr oeddynt wedi eu gwneyd yn y fath fodd fel nad allai *shells* gwynias y Saeson ddim treiddio iddynt; ac mor hyderus oedd y Ffrancod y byddai buddugoliaeth yn eiddynt fel y prysurai Count d' Artois, wedi hyny Charles X., yr holl ffordd o Paris i weled y frwydr. Cyrhaeddodd mewn pryd i weled y *batteries* wedi eu llwyr ddystrywio, y rhan fwyaf o'r llynges yn fflamau, a'r Saeson eto yn feistriaid Gibraltar. Tair gwaith yn ystod y gwarchae hwn y dymchwelwyd gŵn oedd wedi ei osod tua 1300 troedfedd i fyny y Graig, yr hyn a ddangosai yn amlwg gyda y fath amcan rhagorol yr oedd y Ffrancod yn cyfeirio eu magnelau. Ond nid oeddynt ddim gwell; canys nid oedd dim nôd y gallent anelu ato trwy ba un y gallent wneyd i'r Saeson fawr o niwed, tra yr oeddynt hwy eu hunain yn gwbl agored i saethau ein cydwladwyr. Er 1783 y mae Gibraltar wedi ei diogelu i Loegr, a rhaid iddi fyned yn galed arni yn wir cyn y gollynga ei gafael o feddiant mor werthfawr. Gair neu ddau ar y cadarnfëydd, y *fortifications.* Ar hyd y làn y mae mur o anferth drwch wedi ei wneyd, gyda gynau, rhai o honynt yn 18 tunnell o bwysau, wedi eu gosod yn fynych ar hyd-ddo. Fel yr esgynwch y Graig prin y gellwch fyned gan' llath na ddeuwch at fagnelfa; yn wir nid ydyw yn ormodiaith dyweyd fod y Graig yn *gwrychu* gan fagnelau, canys felly mewn gwirionedd y mae. Y mae amryw gadarnfëydd gwychion, ond o'r holl weithiau rhyfeddol y mae y "*Galleries*" yn rhagori arnynt oll. Maent ar yr ochr Ogleddol, yn wynebu Ysbaen, a chyrhaeddir hwynt trwy fynedfa ddofn wedi ei thòri i'r graig. Yr ydych yn myned ar hyd y llwybr hwn, heb eich gweled o'r tir na'r môr, nes eich myned i le a ymddengys fel tynel. Mae lled y fynedfa danddaearol yma yn ddigon i gerbyd allu myned ar hyd-ddo. Dywedir fod holl hyd y *Galleries* rhwng *dwy a thair milldir,* ac ar hyd y pellder yna, mewn deuddeg llath i'w gilydd, y mae gyndyllau, *port-holes,* trwy bob un o ba rai y mae *Armstrong* yn cuchio yn erchyll. Mae y gyndyllau hyn wedi eu gwneyd yn y fath fodd fel, er eu bod yn ddigon eu maint i osod y gŵn i weithio ar gylch tra ëang, eto y mae yn anmhosibl i'r gelyn eu gweled yn ddigon da i anelu ei ynau arnynt. Y mae ystorfëydd mawrion o gyfreidiau rhyfel hefyd wedi eu naddu allan o'r graig, a gallwn yn hawdd gredu pan ddywedwyd wrthyf am y swm anferth y mae y cloddiadau wedi gostio, er fod llawer wedi ei wneyd gan garcharorion, y rhai a orfodid i weithio yn y lle. Y mae tref Gibraltar o ffurf dra afreolaidd. Ond pa ryfedd, ac ystyried yr ystormydd y mae wedi weled. Weithiau fe ddeuai pelen o gyflegr a newidiai yn gwbl gyfeiriad heol, bryd arall fe fyddai ymddrylliad *shell* yn gŷru cryn ran o'r dref yn fŵg, fel nad ydyw yn syndod fod ffurf y dref yn ddyeithr a gwneuthuriad y tai yn amrywiol. Y mae tua 20,000 o drigolion yno, heblaw y milwyr, y rhai a rifant tua 2,500. Y mae ymron bob crefydd

adnabyddus i'w chael yno; ond Pabyddiaeth sydd yn ffŷnu fwyaf. Fe gymerir y mesurau llymaf er rhwystro i'r boblogaeth gael ei lïosogi trwy newydd-ddyfodiaid, ac nid ellwch aros yno heb *Permis de si jour*, yr hwn a roddir gan yr ustusiaid neu yr heddgeidwaid; mae y rhai hyn yn dal am 10, 15, neu 20 niwrnod; wedi hyny rhaid eu hadnewyddu. Mae y deddfau Seisonig mewn grym, ond ceir yn fynych eu bod yn annigonol. Y mae masnach helaeth yn cael ei chario ymlaen mewn eiddo gwaharddedig, *contraband*, y rhai a ânt i Ysbaen. Y mae o chwech i wyth miliwn o bwysi o Dobacco yn cael ei *smugglo* i Ysbaen bob blwyddyn.

Mae yn llawn bryd i mi ddwyn yr epistol maith hwn i derfyniad; eto nis gallaf wneyd hyny heb godi fy llais, er fe allai i ddim dyben, yn erbyn y chwareuon poblogaidd ond barbaraidd hyny o eiddo yr Ysbaeniaid, y Teirw-ymladdau. Ni welais i yr un *Bull-fight* erioed, ac yr wyf yn ddiolchgar am hyny; ond yn ystod deuddeng niwrnod fy arosiad yn Gibraltar, prin yr elai ciniaw heibio heb fod y pwnc yma yn cael ei ddwyn i'r bwrdd, a rhoddid yn fynych y fath adroddiadau bywiog am yr hyn a gymerai le yn y cyfryw chwareuon fel y gallwn roddi eu hanes, dybygaf, fel pe buaswn wedi eu gweled. Gadewch i ni mewn dychymyg ymweled âg un o'r golygfëydd ofnadwy hyn. Yr ydym yn ymgymysgu â thorf lawen o bobl fel y nesawn at y *Coliseo de los Tererost*, fel y gelwir yr adeilad yn gyffredin. Yr ydych yn sylwi nad oes llawer o fenywod yn myned i fewn, ac fod y rhai a ânt y fath na charech adnabod. Mae y dynion yn eu dillad goreu, yn goegwych, yn llawen, yn drystfawr, a braidd yn afreolus. Yr ydym yn myned i fewn i adeilad lle yr eisteddai o wyth i ddeng mil o bobl. Mae y canol yn agored, gydag amgae o goed o'i amgylch; i hwn y mae drŵs yn agoryd o'r man lle y cedwir y teirw. Y mae drŵs arall yn agor i'r lle hwn sydd yn gollwng i fewn orymdaith a wneir i fyny, yn gyntaf, o ynad, neu ryw ŵr mawr; yna dilyna y *picadores*, neu y rhai a ymladdant â'r tarw, yn marchogaeth; y *banderilleros*, neu y rhai a ymladdant ar draed; a'r *matador*, neu yr hwn a ladda y tarw. Y mae nifer o wasanaethwyr a elwir *chulus* yn canlyn hefyd, ond nid ydyw eu gwaith hwy o nemawr bwys; tynant ymaith sylw y tarw oddiwrth *picadore* cwympedig, neu cymerant ymaith yr anifail pan wedi ei ladd. Mae udgorn yn cânu, ac archa y prif ynad ar fod y tarw yn cael ei ddwyn i fewn. Mae y *picadores* ar eu meirch, crëaduriaid culweinion truenus fel yr oedd braidd yn sŷn genyf ddeall; mae y *banderilleros* a'u clogau a'u gwaewffyn yn barod; cynhyrfiad ofnadwy sydd yn ffŷnu; rhuthr! a dyna y tarw, crëadur du, gwych, tua thair oed, yn sefyll am eiliad yn sŷn yn nghanol y lle agored; eiliad eto, a rhuthra at un o'r *picadores*, a chan gymeryd y ceffyl yn ei fynwes gerfydd ei gyrn, fe'i teifl drosodd ar ei gefn, a'r trymswn fel y lletha ei farchogwr a adseinia dros y tŷ; rheda y *chulus* ymlaen a chyfodant y dyn sydd yn ddideimlad a chymerant ef ymaith, a chyn myned ymaith cawn glywed ei fod wedi marw (ffaith a gymerodd le yr hâf diweddaf.) Ond mae y tarw wedi cael ei frathu gan waewffŷn bychain ei ymosdwyr, ac hefyd wedi ei wallgofi gan y floedd fawr o *Bravo toro* a ysgydwai y tŷ pan laddai ei elyn blaenorol. Rhuthra yn awr at *banderillero*, ond mor ysgafndroed ydyw ef fel nad ydyw yr anifail cynddeiriogwyllt ond yn rhuthro yn

erbyn yr amgae goed a orchuddir gan glôg ei wrthwynebydd. Drachefn ymosoda ar geffyl, a rhwyga i fyny ei gylla; syrthia y truan i lawr, ond y mae *bywyd ynddo eto,* ac felly rhuthra y *chulus* ymlaen a churant ef nes y cyfyd; ac yna ymosodir arno drachefn, neu fe'i gyrir o amgylch y cylch *a'i goluddion yn hongian allan.* Os syrthia drachefn aiff un o'r *chulus* i fyny ato, ac os nad oes digon o fywyd ynddo i sefyll, lladdant a llusgant ef ymaith oddiar y ffordd. Ond am eiliad mae y tarw yn llwfrhâu, a gwna ruthr at y drŵs trwy ba un y daeth i fewn; mae yr ymosodiad yn ofnadwy, yn gymaint felly fel y mae wedi gŷru ei gyrn trwy y bwrdd tew, ac fe'i delir yno. Yna fe arllwysir bloeddiadau, a melldithion, a iaith fudr, y fath ag a geir yn unig mewn tarw-ymladdfa Ysbaenaidd, ar y tarw truan; ac os na fydd i'r *chulus* yn fuan ryddhâu y caeth hunan-rwymedig, deuant i fewn am eu rhan. Y mae yn rhydd; a thrachefn ymosoda a lluchia farch a marchogwr bendramwnwgl, y cyntaf yn farw, yr olaf yn ddideimlad; symudir y ddau ymaith, ac aiff y *chwareu* ymlaen! Pedwar yn ychwaneg o geffylau a leddir, ond dianga eu marchogwyr. Ac yn awr daw y *Matador* i fewn. Wedi ymwisgo mewn clôg a dwbled ysblenydd, eurfrodiog, gyda chlôs penglin o sidan, hosanau ac esgidiau o'r un peth, fe rodia i'r canol gyda chleddyf noeth yn ei law; mae y tarw yn ei weled ac yn rhuthro arno, ond pan o fewn llathen iddo, derbynia y cleddyf, wedi ei gladdu i fyny hyd y carn, rhwng ei ysgwyddau; llifa y gwaed o'i enau, mae yn honcian, syrthia, bydd farw, a chymerir ef ymaith yn nghanol taranau o gymeradwyaeth. Mae y tarw lladdedig yn eiddo y *Matador,* ac yn fynych tŷr y tafod allan a theifl ef i blith yr edrychwyr fel prawf ei fod yn rhoddi y gelain i'r tlodion. Gyfaill, a gawn ni ddysgwyl a gweled tarw arall, ac un arall, yn dyfod i fewn? Na wnawn yr wyf yn meddwl! Cawsom ddigon, a gormod. Ac eto y mae pobl sydd yn ymhyfrydu mewn, ïe yn hiraethu am, y fath arddangosiadau.

Yr wyf yn ofni fod fy syniad am ddwyn yr epistol maith yma i derfyniad yn lled debyg i un o arwyr Maccabe y *Ventriloquist,* yr hwn a ddywed y "bydd iddo derfynu trwy wneyd ychydig sylwadau yn ychwanegol." Yr oedd ei sylwadau ef *lawer yn rhy ychydig;* ond yr wyf yn ofni fod yr eiddof fi *ychydig yn ormod.*

Wythnos o fordaith, yn ystod pa un y gwelais nifer lïosog o *whales,* y môr-grëaduriaid anferth hyny a gymherir gan Milton i ynysoedd—

Fo y morfil uthr
Y Lefiathan, mwyaf mil a nawf
Yr eigion a wnaeth Duw; o ddamwain hwn
Yn nghwsg ar weilgi Norwy llywydd rhyw
Lestr gwael cyfeiliorn yn ngwyll nos o dyb
Mai ynys oedd, dywedant forwyr, aml
Yn nghen ei groen angora wrth ei gîl,
Tra hudda nos y môr, ac oedi gwawr,—

a chyrhaeddais Liverpool ar brydnawn Sadwrn. Dygodd hyny fy siwrnai i ben, a gwna yr un peth gyda'r llythyr hwn.

Ydwyf, anwyl gyfaill, yr eiddoch yn bur ddiffuant,

Ap Idloes.

Mr Edmund R Cleaton Llanidloes

## ISAAC JAMES.

II.

Yr oedd darllen yn un o'i hoff bethau, ac yn un o'i destynau ymffrost. Anaml y rhoddai i fyny i neb am hyn, gan y cyfrifai ei hun yn un o'r darllenwyr goreu. Byddai yn cael ei ystyried hefyd gan eraill yn ddarllenwr, yn gystal ag yn esboniwr; ac y mae hyn yn rhyfedd, gan mai "dyn yr un llyfr" ydoedd, fel y dywedai Ebenezer Morris am dano, gan feddwl nad oedd ganddo ddim ond y Bibl. Ond chware têg iddo, y Bibl oedd efe yn proffesu bod yn ddarllenwr o hono, a dim arall. Yr oedd darllen yn bwnc Cymanfa yn Nolgellau unwaith, ac oblegid ei fod ef yn broffeswr yn hyn, galwyd arno i siarad. Ymysg pethau eraill, dangosai yr angenrheidrwydd am roddi pwyslais prïodol wrth ddarllen, er mwyn darllen yn ddeallus ac er adeiladaeth. Nodai, er engraifft, yr adnod hono, "Nid yw rhedfa yn eiddo y cyflym," &c., a dywedai mai ar y gair *eiddo* yr oedd y pwyslais i fod. Byddai yn fynych yn argyhoeddi rhai am eu diffyg fel darllenwyr, a gwnaeth hyn hyd yn nôd âg Ebenezer Richard "Mr. Richard," meddai wrtho, ar ol darlleniad teuluaidd, "nid oeddych yn rhoddi pwyslais fel y dylech ch'i heddyw." "Ai nag o'wn i, Isaac bach?" gofynai Mr. R. "Nac oe'ch," meddai yntau, gan nodi rhyw ranau o'r bennod. "Dyna fel 'r'w' i, i ch'i," meddai hwnw, "'d'w' i ddim yn gwybod ar ba air i roddi y pwys, ac oblegid hyny gwell gen' i beidio pwyso yn neillduol ar un gair." "Wel, ro'i ddim pin o'm llawes am beth fel hyny." "Ië, 'ry'ch ch'i, Isaac bach, yn gwybod pa le i bwyso, a gallwch ch'i *fentro*." Pa fodd bynag, yr ydym yn cael i Mr. R. ryw dro arall roddi cynghor iddo i beidio *mentro* gormod yn hyn. "Gochelwch ch'i, Isaac," meddai, "fod yn rhy benderfynol am y pwyslais, rhag ofn i chwi trwy hyny wneyd cam â'r Ysgrythyr." "A ydych yn meddwl," gofynai yntau, "fod mwy o berygl i ni wneyd cam â'r Bibl wrth bwyso ar ryw ranau o hono, na phe byddem yn peidio rhoddi pwys ar ddim?" Ni chawsom yr atebiad. Byddai yn cael rhai weithiau fyddai yn troi arno, yn debyg fel y byddai yntau yn troi ar eraill. Pan ddaeth ar nos Sabboth i Benllwyn, aeth yn union i'r pulpud, a darllenodd bennod; yna plygodd ei ben dros yr astell i lawr, a dywedodd, "Evan Robert, ewch dipyn i weddi." "Na 'na i, siŵr," meddai hwnw, "gweddïwch eich hunan; os gweddïo, fe allwn i ddarllen hefyd cystal a chwithau." Yr oedd hwnw yn deall am ei hòniad fel darllenwr.

Byddai yn fynych yn dal ar eraill yn dyfynu o'r Bibl, a chan ei fod

mor gyfarwydd ynddo, yr oedd ar unwaith yn eu hargyhoeddi. Yr oedd Mr. Davies, Cefn Mabws, yn dyweyd wrtho am yr adnodau oedd wedi rhoddi llawer o gysur iddo, megys y rhai canlynol:—"Megys dy ddyddiau y bydd dy nerth;" "Ei fara a roddir iddo, a'i ddwfr fydd sicr." Ond dywedai Davies hwy yn ol fel y mae y wlad yn eu dyfynu,—"Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth," a, "Dy fara a'th ddwfr fydd sicr." "Yr ydych yn cael rhyw addewidion rhyfedd iawn," meddai, Isaac James, "'che's i erioed y fath rai a'r rhai yna gan y 'Nhad nefol; ond 'ry'ch ch'i ac yntau mor gyfarwydd â'ch gilydd, o ran hyny." "Na, Isaac James," meddai Davies, "mae arnaf ofn nad wyf fel 'ry'ch ch'i'n dyweyd." "Wel, o b'le cawsoch ch'i rhai'na, ŵr?" "O'r Bibl, Isaac bach," meddai Davies. "O, welais i erioed o hony'n nhw," meddai yntau. Yna aethant i chwilio yr addewidion, a gwelwyd y cam. Holwyd ef unwaith, paham nad oedd "llawnder y cyfoethog yn gadael iddo gysgu." "O," meddai, "wedi stwffio ei fola yn rhy dŷn y mae." Pan yn darllen y geiriau, "Hyn yw holl ddyled dyn," dywedai er eglurhâd, "Dyled *dyn* cofiwn, ac nid dyled *pechadur*." Gellir dyweyd, wedi'r cwbl, mai "gŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau" oedd Isaac James, ac yr oedd yn cael ei ystyried felly gan bawb a'i hadwaenent oreu. Byddai llawer, fel Evan Robert, yn dyweyd ambell i air garw wrtho, gan eu bod yn gwybod pwy oedd ganddynt, ond nid o ran yr un diystyrwch arno ef fel darllenwr. A byddai llawer yn holi ei feddwl am y ffordd i ddarllen, ac am feddwl adnodau, oblegid eu bod yn gwybod y cäent ryw damaid oddiwrtho a fyddai o werth i'w gael, ac oblegid y gwyddent beth oedd ei hoff waith yntau.

Ond ei waith yn gweddïo oedd y prif beth a'i cododd i sylw; dyma y prif beth oedd yn peri i enwogion penaf y genedl ei fawrygu pan yn fyw, ac sydd yn gwneyd ei goffadwriaeth yn fendigedig yn ngolwg yr oes hon a'r oesoedd dyfodol. Tŷnodd sylw yn fuan yn Nê a Gogledd Cymru fel gweddïwr mawr; a bu yn gweddïo yn gyhoeddus mewn degau o Gymanfäoedd, ac mewn ugeiniau o Gyfarfodydd Misol; ac yr oedd pob dyn o feddwl a duwioldeb yn hoff iawn o'i glywed. Pe gofynid beth oedd yn gwneyd i fyny ei hynodrwydd mewn gweddi, fe allai y gellir dyweyd mai y tri pheth canlynol oeddynt:—1. *Yr oedd yn gartrefol iawn.* Yr oedd fel plentyn yn gyfarwydd bron â holl bethau ei Dad,—pa bethau oeddynt, pa le i'w cael, beth oedd eu hamcan, ac ammodau eu gweinyddiad i ddynion. 2. *Yr oedd yn ddadleuwr mawr.* Yr oedd fel pe byddai yn gallu cael gafael ar Dduw yn gynt na'r cyffredin; ac wedi ei gael, yr oedd yn anhawdd cael neb y gellid dyweyd am dano yn well, ei fod yn "llanw ei enau â rhesymau." Dangosai ffydd ddiysgog yn llwyddiant gweddi, a hyny oblegid yr ymrwymiadau Dwyfol yn nhrefn cadwedigaeth y byd, a'r gogoniant fyddai hyny yn adlewyrchu ar gymeriad y Bôd anfeidrol. 3. *Yr oedd ei ysbryd yn effro a gwresog iawn.* Fel y mae pawb o'r un galon âg ef, âi at ei bwnc yn ddiymdroi; byddai ei eiriau yn bwrpasol, ei ymadroddion yn fyrion, a'i ddull o ddeisyf yn hynod o darawiadol. Cymerer y canlynol yn engreifftiau:—

*Y cŵd a'r gardod.* "Dyma ni yn dyfod atat ti eto, Arglwydd, rhaid i ni gael y cŵd a'r gardod genyt Ti heddyw, 'does gyda ni ddim i gael, mae ein cypbyrddau yn

hollol wâg, ac heb obaith am damaid o unlle ond oddiwrthyt Ti." Y mae begeriaid yn dyfod â'r cŵd ganddynt, fel nad ydynt yn gofyn am ddim ond y cardod; ond yr oedd ef yn gweled tlodi dyn yn fwy, fel yr oedd yn rhaid iddo ef, nid yn unig gael bendith i'w mwynhâu, ond hefyd calon i'w derbyn.

*Dyn trwy Dduw yn byw i Dduw.* "Cyfrana, Arglwydd, ac ond i Ti roi i ni, fe gei dithau rywbeth oddiwrthym ninnau wed'yn—ond i Ti faddeu, gwnawn ninnau garu; ond i Ti dŷnu, fe redwn ninnau, er llesged ydym; ac ond i Ti fywhâu, gwnawn ninnau alw ar dy enw." Nid oedd ein hysbysydd yn cofio ychwaneg, ond yr oedd yn dyweyd fod cyfres o'r *rhoi* a'r *cael* yn y weddi hon.

*Yr Iawn o osodiad Duw.* Mae llawer wedi clywed fod Henry Rees yn arfer crybwyll am ryw weddi hynod a glywodd ganddo. A chan ein bod wedi clywed Mr. Rees yn gwneyd hyn mewn Cymanfa yn Drefnewydd, pan yn pregethu oddiar Jer. xxx. 21, rhoddwn yr hanes yma mor bell ag y gellir fel y cymerodd le yno. Pan oedd Mr. Rees yn dangos y cymhellion cryfion oedd gan bechaduriaid i *nesâu at Dduw*, dywedodd, "Mae llawer o honoch wedi clywed am y dyn bach mawr hwnw o Sir Aberteifi, Isaac James, a rhai o honoch wedi ei wrando yn pregethu. Nid oedd llawer yn ei ystyried yn bregethwr mawr, ond un mawr oedd o. Yr oedd unwaith yn gweddïo yn Nghymanfa Machynlleth, a daeth rywbryd yn ei weddi ar draws y geiriau hyny, 'Yr hwn a osododd Duw yn iawn.' 'Y Ti gosododd e,' meddai, 'a dyma ni dorf o honom yn mentro arno 'Fe heddyw, a rhyngot Ti âg E.'" Cerddodd y dywediad fel trydan trwy y dorf, ac yr oedd yn amlwg fod Isaac James, er wedi marw, yn llefaru eto, a hyny nes gwefreiddio cewri Gogleddd a Dê, y rhai oedd yn bresennol ar y pryd.

*Y gwahaniaeth rhwng Duw a dyn yn dyfod â gwlaw.* "Diolch i Ti, Arglwydd, am y gwlaw; pe byddem ni yn cael y llywodraeth i'n dwylaw ein hunain, ni allem wneyd yn well, ond 'f'alle y daethem âg ef yn gynt." Fel yr oedd y diweddaf yn hoff air Mr. Rees, yr oedd hwn yn hoff air Evan Harris, Merthyr, a gwnaeth ddefnydd o hono droion pan y byddai y wlad mewn angen am wlaw, ac mewn cyfarfodydd diolchgarwch.

*Bara o rywle.* "Diolch i ti, Arglwydd, am ddefnyddio y môr i ddwyn bara i ni, a hyny na wyddo' ni yn y byd o ba le: ond 'ro'et Ti yn gwybod p'le 'r oedd i'w gael, a phwy oedd a'i eisieu." Mewn amser prin iawn ar y wlad am fara, daeth llong fawr i mewn i Aberdyfi, a tharawodd wrth graig; dïangodd y dwylaw i Lundain, a gwerthwyd y llwyth gan y *Custom*, a hyny yn hynod o rad.

*Pryder am drugaredd Duw.* "Yn wir, Arglwydd, y mae arnom dy ofn di 'leni yn ein calonau, a fydde' ni ddim yn mentro atat Ti fel yma oni bae dy fod wedi arfer trugarhâu." Hon eto ar amser sychder.

*Y peth sydd yn ennill i Dduw ac i ddyn.* "Achub ni, Arglwydd, cei di a ninnau dipyn wrth hyny: ond os ein damnio a wneir, mae yn wir y cei Di rywbeth oddiwrth hyny, ond 'chawn ni ddim."

*Maddeu neu beidio.* "Maddeu i ni, Arglwydd; ond maddeu neu beidio, 'thalwn ni byth i Ti."

*Yr efengyl yn eiddo Duw.* "Ti bïa'r môr, Ti bïa'r pysgod, a Thi bïa'r rhwyd, a dyma ninnau yn ei bwrw ar dy air, a rhyngot Ti a hi."

Yr oedd rhyw bethau oedd yn peri chwerthin i rai yn ei weddïau, yn enwedig ei weddïau teuluaidd, ond yr oedd y cwbl yn llawn o ystyr. "Diolch i ti, Arglwydd," meddai, "am yr ymborth ydym yn gael, ac am 'stumog i'w fwyta; byddai yn bur ddiflas arno' ni, er cael byrddau llawnion, pe na byddai genym, fel llawer, ddim ond edrych arno." Dro arall dywedai, "Diolch i Ti am archwaeth at y bwyd, ac am synwyr i ddeall ein digon." Ond pwnc mawr yn ei olwg ef oedd gweddïo, a hoff waith ei fywyd ydoedd; gwyddai y rhan fwyaf hyny oedd yn ei adnabod, a dyna paham y galwodd Ebenezer Richard ef i weddi mewn Cyfarfod Misol pan oedd pawb yn pallu, ac aeth ati yn union; a dyna lle bu yn diolch am orsedd gras, ac am y "cyfleusdra" i ddyfod ati, nes yr oedd llawer yn edrych gydag anfoddlonrwydd ar yr anufuddion. Yr oedd William Llewelyn, Sir Benfro, yn adrodd hanes gymerodd le

yn Brysgaga, pan oedd ef a chyfaill iddo yno yn lletŷa. Daeth Isaac yno yn fore drannoeth, cyn iddynt ymadael, ac erbyn y ddyledswydd. Ond wrth fod y ddau gyfaill yn cymhell eu gilydd at y gwaith, "Isaac James," ebai Mr. Watkins, gŵr y tŷ, "cydiwch yn y Bibl." "Diolch yn fawr i chwi," ebai yntau, ac aeth drwy y gwasanaeth. "A wyddoch ch'i," meddai Llywelyn, wrth ddyweyd yr hanes, "buasai yn dda genyf gael myn'd dros y golwg i rywle; ni fu arnaf y fath gywilydd yn fy mywyd."

Yr oedd cadw dyledswydd fel cyfraith y Mediaid a'r Persiaid ganddo. Mynai ei chadw pa bethau bynag fyddai y rhesymau dros beidio. Pan oedd unwaith yn lletŷa yn nhŷ Mr. Owen, Treffynnon, ni ddaeth i lawr o'r ystafell nes yr oedd y ddyledswydd drosodd, yr hon oedd yn cael ei chadw yn lled foreu fynychaf. Beth bynag, wedi iddo ef gael ei foreufwyd, sylwodd Mr. Owen ei fod yn ddiflas ac yn anesmwyth iawn, a meddyliodd beth oedd arno. "'Rydy' ni," meddai, "wedi cadw dyledswydd, Isaac James; nid oeddym yn gweled y dylem eich galw chwi i lawr gan ei bod mor foreu, a chwithau wedi blino." "Ië eich dyledswydd ch'i oedd hono, ac nid fy nyledswydd i; rhaid i minnau gael y Bibl eto i gael cadw dyledswydd i mi fy hun," ac felly y bu. Ond bu y ddeddf gaeth yma yn dda iddo lawer gwaith; ni wnawn nodi ond yr amgylchiad canlynol. Yr oedd mab iddo unwaith wedi dyfod allan yn dyst mewn achos cyfreithiol, yn erbyn dyn ieuanc corffol, anhyblyg ei ysbryd, yr hwn oedd meistr tir Isaac, fel yr oedd gwaethaf yr achos. Ar ei dir y porai y fuwch a'r ceffyl, &c. Daeth hwn i fewn pan oedd y teulu yn gorphen ar yr ymborth ac yn barod at y ddyledswydd, a dyna lle yr oedd yn rhuthro a bygwth, nes yr oedd pawb ond gŵr Duw, yn ymollwng mewn cryndod. Ond cododd ef ar ei draed i ymaflyd yn y Bibl, a dywedodd, "Dyma fi yn myn'd i ddarllen gair Duw, naill ai ewch allan, neu eisteddwch i lawr yn dawel;" ac eistedd wnaeth. Darllenodd yn araf a phwysleisiol fel arfer, ac yna aeth i weddi. A chyfeiriodd gymaint at yr ystorm oedd wedi codi yn ei dŷ, ac am Ddwyfol allu i'w gostegu, fel yr effeithiodd gymaint bron ar y gŵr esgyrnog oedd yn y tŷ ag a effeithiodd y gàreg o'r ffòn dafi ar Goliath o Gath. "Wedi gorphen," ebe Mr. James, Brynllys, "cymerodd y cawr ffroenuchel Isaac i'w gôl fawr, fel *lapdog* bychan, gan erfyn ei faddeuant, a'r dagrau yn llifo dros ei ruddiau, ac am beidio sôn gair mwy am y cynghaws. Ac os oedd yn gymwynasgar gynt i'r gweddïwr, bu yn llawer mwy felly ar ol hyn."

Daeth yntau yn Ddirwestwr. Ac y mae cael dyweyd hyn am dano ef yn gryn lawer. Bu ef, fel llawer yn ei ddydd, yn groes iawn i'r symudiad da hwn ar ei gychwyniad, a chafwyd gwaith mawr i'w godi o gwbl o chwarel fudr yr hen oruchwyliaeth yfol hono mewn cysylltiad â'r weinidogaeth. Ac ar ol ei godi, hen gàreg digon garw ac aflêr ydoedd, a chafwyd gwaith mawr caboli arno, er ei wneyd yn gymhwys i'r adeilad ddirwestol lân a hardd. Ni ddywedai ryw lawer yn erbyn Cymdeithas Cymedroldeb, ond pan wasgwyd Dirwest ar y wlad, aeth yn bur anesmwyth. "Yr oedd y gymdeithas arall oedd ganddynt," meddai, "yn hen *lady* ddigon prydferth i ddyfod â hi ger bron y wlad; ond am hon, dim ond gorthrymu dynion yw ei holl amcan." Daeth Mr. Richard, Tregaron, allan ar unwaith o blaid Dirwest, fel yr oedd

ei arfer gyda phob diwygiad, a bu yn cymhell llawer arno yntau i wneyd yr un peth. Ac er ei ddarbwyllo i hyny, dywedai y dylai wneyd er mwyn eraill, gan ei fod yn bregethwr. "Ië," meddai yntau, "er mwyn eraill, nid oes eisieu gwneyd pob peth er mwyn eraill; nid yw y Bibl yn gofyn gyda ni ond caru ein cymydog fel ni ein hunain, ond y mae hon yn myn'd lawer pellach." Profiad y barnwr anghyfiawn oedd ei brofiad yntau gyda Dirwest, ni ddaethai yn ddirwestwr pe cawsai lonydd, ond daeth rhag iddynt ei "syfrdanu." Yr oedd cymaint o rym yn y diwygiad, cynifer yn ymuno â'r gymdeithas, a chymaint o siarad am hyny gan bawb, fel yr oedd yn gywilydd ganddo yntau ddyweyd nad oedd yn ddirwestwr. Ac heblaw hyny, yr oedd gorchymyn am beidio dyfod â'r drwyth feddwol i'r tai capeli o gwbl, a chymhelliad hefyd yn cael ei roddi am beidio ei gynnyg i bregethwyr mewn lleoedd eraill; ac felly yr oedd wedi myned yn dywydd lled sych yn yr ystyr yma, ac nid oedd yn un dyben i bregethwr beidio bod yn ddirwestwr, o ran dim a gawsai, fel yr arferid gynt. Beth bynag, yr ydym yn clywed iddo ar rai adegau wneyd defnydd lled rŷdd o'r adran "oddieithr yn feddygol" oedd yn ammodau yr ymrwymiad; ond ni wnaeth ddim y gellid cael gafael ynddo fel troseddwr.

Gwyddai y wlad yn ddigon da am ei deimlad fel dirwestwr, a byddai llawer yn ei holi er mwyn cael ei ffraethineb allan ar hyn fel ar bethau eraill. Yr oedd llawer yn gofyn iddo a oedd yn ddirwestwr, ag arferai yntau ateb, "Ydwyf o fola, ond nid o egwyddor." Ryw dro, pan oedd ymddyddan ar Ddirwest mewn Cymdeithasfa, gofynodd Mr. Richard, Abergwaun, "Isaac James, a ydych ch'i'n ddirwestwr!" "Odw," ebe yntau. "Ië a y'ch ch'i'n ddirwestwr o galon?" "Be sy fynoch ch'i â nghalon i; rwy'n ddirwestwr o fola." Pan oedd unwaith mewn ffermdŷ, nid pell o Langeitho, ac yn gorfod myned y diwrnod hwnw dros fynydd Siôn Cwilt, dywedodd un wrtho, "byddai cwart yn dda iawn heddyw, Isaac James, gan ei bod mor oer." "Byddai," meddai yntau, "ond rhaid i mi gosbi fy nghorff o achos rhyw hen folgwn fel ch'i." Yr oedd yn dyfod unwaith i Blaentwrch, Sir Gaerfyrddin, a hyny y tro cyntaf wedi iddo fyned yn ddirwestwr, a gofynodd Mrs. Morgans iddo pa fodd yr oedd yn dyfod at y dwr? Ei ateb oedd "'D'w'i ddim yn dyfod ato fe, ond fe sy'n d'od ata' i." Yr oedd unwaith wedi dyfod dros fynydd noeth, ar wlaw trwm iawn, ac erbyn iddo gyrhaedd tŷ lle yr oedd yn arfer galw, yr oedd wedi gwlychu hyd ei groen, a'r olwg arno yn bur druenus. Ac erbyn aros ychydig, deallwyd fod clefyd y dirwest yn ei flino, a dywedodd gŵr y tŷ, "Mae cymaint o dwrw gyda nhw am ddirwest 'nawr fel na ellwch fentro cymeryd llymed at eich rhaid." "Mae dynion wedi myn'd yn rhyfedd iawn," meddai yntau. "Chaiff dyn ddim chware têg am ei fywyd gyda nhw; 'dyw ê ddim rheswm fod hen ŵr fel fi yn cael ei gaethiwo rhag cymeryd y peth o'wn i'n arfer gymeryd ar hyd fy oes." Yr oedd wedi bod dros y mynydd hefyd, pan ddaeth heibio i Mrs. Richard, Tregaron, yr hwn ofynodd iddo pa fodd yr oedd. "Yr wyf bron a sychu fyny yn gorcyn," meddai, "rhwng yr oerfel yma a phob peth." Deallwyd yn union at beth yr oedd yn awgrymu. Ond er y cwbl, peth rhyfedd oedd iddo ddyfod yn ddirwestwr o gwbl; yr oedd yn hŷn na'r rhan fwyaf oedd ar y maes ar y pryd, ac felly yr oedd yn anhawddach iddo fod heb y

ddïod o ran corff, ac yn anhawddach darbwyllo ei feddwl; ond ymrestrodd gyda'r fyddin, a hyny bron ar derfyn ei oes.

Gellid dysgwyl llawer o hanesion am un o'i ffraethineb ef pan yn llettŷa mewn manau, gan mai mewn ymddyddanion y mae yn fwyaf tueddol i rai o'i fath ddyfod i'r golwg. Y mae llïaws o'r cyfryw hanesion ar gael, ond ni adroddwn agos yr oll a glywsom. Beth bynag, rhoddwn rai o'r goreuon ger bron, y rhai sydd fwyaf tebyg o ddangos ei wir gymeriad i'r rhai na chawsant gyfleusdra i'w weled a'i glywed. Mae y llettŷ yn beth pwysig yn ngolwg pob pregethwr, ond yr oedd ef yn orfanwl gyda hyn, fel yr oedd yn anhawdd weithiau cael neb i'w gymeryd, oblegid fod dynion yn gwybod hyny am dano. Mewn un Cyfarfod Misol yn Llangwyryfon, yr oedd am gael bod yn nhŷ y capel; a chan fod William Williams, Aberteifi, wedi cael yr addewid o'i flaen, yr oeddynt yn gwrthod iddo. "Yr wyf fi yn henach o lawer na W. Williams," meddai, "a rhaid i ch'i roddi hyn o barch i'r hen." "Na, Isaac James," meddai David Edward, Argoed, "rhaid i chwi ddyfod i'r Argoed; 'ry' ni wedi meddwl am danoch." "Felly," meddai yntau, "mae yn well i mi fyn'd i'r Argoed na bod dan y llwyn; ond pam na cha'i fod yma?" Yr oedd ef a D. Edward, cofier, yn ddigon cyfarwydd â'u gilydd. Mewn Cyfarfod Misol yn Rhiwbwys, gofynwyd iddo, "A ewch ch'i i Gilfach-hafel, Isaac James?" "Nag af ddim," atebai, "'dyw ê ddim rheswm i ch'i anfon hen ŵr fel fi mor bell a hyny, ystyriwch fy oed i." "A ewch ch'i i Benlàn, ynte?" "B'le mae hwnw?" "Y tŷ sydd fan draw yn y coed ydyw, ni ellwch ei weled oddiyma." "A allaf fi ei weled ef rywbryd, y'ch chi'n meddwl?" "O mae yn ddigon hawdd i ch'i fyn'd." "O dyna fel mae pob lle os coelir ch'i, ond pwy aïff a fi yno?" Ar hyn daeth dyn digrefydd ymlaen, a dywedodd yn lled arw, "Mi af fi a ch'i yno bob cam, pe byddwn yn gorfod myn'd a ch'i ar fy nghefn. Ond os ewch ch'i i faneitha (gair Sir Aberteifi am rwgnach neu duchan), taflaf ch'i i lawr yn y fan, a chewch fod yno trwy y nos o'm rhan i." Yna gofynodd, "A allaf fi fentro dyn fel yma, dywedwch?" Pa fodd bynag ei fentro a wnaeth, a daeth y ddau yn gyfeillion mawr cyn terfyn y daith, a hyny heb gario ar y cefn na thaflu i lawr. Yn Llanerchpentir, lle yr oedd dau ŵr dyeithr o'r Gogledd ac yntau wedi dygwydd dyfod i lettŷa, dywedodd Isaac Rowlands, "Mae genyf wely i ch'i Isaac James ar y lofft, a chaiff y ddau ŵr dyeithr fyn'd gyda'u gilydd." Ond pan ddaeth yr amser i fyny, "Dewch i'r gwely" ebai Isaac James wrth yr henaf, "'rw' i'n myn'd." Ac aethant i wely y parlwr, a chafodd y gŵr ieuanc ymladd ei ffordd am orphwysfa. Ar ryw nos Lun yr oedd yn cadw odfa yn Dewibrefi; a'r diwrnod hwnw yr oedd wedi dyfod dros y mynydd ar eirwlaw mawr, fel erbyn cyrhaedd y lle, yr oedd yr *oilcloth* mawr oedd am ei het wedi rhewi wrth y napcyn oedd am ei ben, a hwnw drachefn wrth ei wallt. Galwodd am y benywod yno i ryddhâu ei ben o'r caethiwed; ond yn yr ymdrch, yr oedd ei wallt yn cael ei dŷnu mor enbyd, fel y dywedodd yn union wrth un brawd, pan welodd ef, "Da machgen i, dere yma, rhwystra'r crëaduriaid yma, neu fe dŷna'n y ngwallt i gyd o'r gwraidd, os nid y mhen i oddiwrth fy nghorff i." Llwyddwyd o'r diwedd i ddadmer y rhew, wedi cael gwrês y tŷ, y tân, a'r holl ddwylaw. Ond nid oedd esmwythder i gynnal yr odfa, nes cael gwybod am

y llettŷ; ac wedi cael gwybod, "O dyna," meddai, mae rhagluniaeth yn dybenu yn dda fynycha'."

Yn y llettŷ, byddai helynt yr ymborth, y gwely, a phethau cyffelyb, yn dyfod yn fynych yn destun siarad rhyngddo â'r rhai fyddai yn gofalu am danynt, fel yr oedd ar lawer ei ofn o'r herwydd. Yr oedd Mrs. Humphreys, Llandyfeiliog, wedi parotöi cyw iddo i swper; ac wedi dyfod â'r bwyd o'i flaen, dywedodd, "Dyna, Isaac James, bwytewch yn *hearty*, yr wyf wedi gwneyd y ffowlyn mor *dender* ag y gallwn; gwyddwn fod eich 'stumog yn wan." "O, wel," meddai, "'f'alle i ch'i 'neyd eich goreu, ond y mae yn ddigon gw'dyn ei wala eto." Pan yn Ffôs-y-bleiddiaid, lle yr oedd yn gyfarwydd iawn, fel yn Llandyfeiliog, wedi gweled y swper nos Sadwrn, gofynodd i'r wraig, "Ai dyma beth sydd gyda ch'i i bregethwr? a oes gyda ch'i ddim *radins* a *lettuce* i gael?" "Na," meddai hithau, "'dyw pethau fel hyny ddim yn tyfu gyda ni ar y mynyddoedd yma, Isaac James." "O, wel, swper y mynydd yw hon, mae'n debyg," ac yna yr oedd pob peth yn dda. Yr oedd mewn un lle, a chan fod caws a bara a'menyn o'i flaen, yn cymeryd yn helaeth o honynt. Ond yr oedd hyn yn ormod gan y wraig oedd yn cyfranu, a dywedodd wrtho, "Wel, yn wir, Isaac James, 'dalla' i lai na dyweyd wrthych, 'rwy'n credu 'ch bod ch'i'n gwastraffu trugareddau." "Pam hyny?" gofynai. "'Ry'ch ch'i'n bwyta dau enllyn gyda'u gilydd." "Gyda'u gilydd ma' nhw i fod," meddai yntau, "'doedd dim busnes i ch'i gwahanu nhw ar y dechreu." Yr oedd yn meddwl am gaws Lloegr, sydd yn cynnwys y caws a'r 'menyn, a chan nad oedd yn eu cael felly o'i flaen, penderfynai wneyd un allan o'r ddau. Yr oedd y wraig hono yn un bur gyfoethog, ond ymhell o fod yn haelionus. A dywedodd yntau wrth gyfaill iddo oedd gerllaw, wedi cael cyfleusdra, "Na fwyta fwyd y drwg ei lygad, onidê?" Yn Dôlclettwr, Tre'rddol, yr oedd Mr. Richard, Tregaron, ac un arall, yn llettŷa ar adeg Cyfarfod Misol, ac yr oedd yntau yno gyda hwy. Gofynodd Mrs. James i'r ddau arall beth a fynent i swper, ond ni ofynodd iddo ef. A phan ddaeth amser y bwyd i fyny, dywedodd Mr. R. wrtho, "Isaac James, gofynwch fendith." "Gofyned y sawl sy'n myn'd i'w fwyta fendith arno," ebai yntau, "'dw' i ddim yn meddwl ei fwyta."

Yn Blaentwrch, wedi iddo fyned i'r gwely, gwaeddodd allan, a rhedodd y wraig i fyny a gofynodd beth oedd arno. "Dim sy arna' i,' meddai yntau, "a dyna beth yw'r mater." "Dim dillad, ŷch'i'n feddwl?" "Ië, ïe." Daeth hithau â chwaneg arno, a gofynodd a oedd yno ddigon. "Mae nhw rywbeth fel cyfrwy ar gefn mochyn 'nawr; dewch ch'i eto." "A oes yna ddigon 'nawr?" "Nac oes." "Wel, 'rwy'n methu deall ffordd y goddefwch ch'i nhw." "O, 'musnes i yw hyny, dewch ch'i â nhw yma." Wedi cael y dilledyn diweddaf, gofynwyd yr un cwestiwn. "Wel, mae yma rywbeth tebyg iddo 'nawr." Nid oedd y wraig hon yn gyfarwydd âg ef y tro hwn, ond bu o hyny allan, a byddai bob amser yn gofalu am lwyth da o ddillad gwely erbyn y byddai ef yn dyfod yno i gysgu; a byddai pawb yn debyg, wedi cael prawf arno unwaith. Byddai dwy wraig dda am lettŷa yn arfer siarad â'u gilydd ynghylch helynt y llettŷa; ac un tro yr oedd gan un o honynt i ofyn i'r llall, pa fath wely gafodd Isaac ganddi. "Cafodd wely 'ffeirad," ebai hithau. "A oedd e'n achwyn?" "Oedd, ond

digon tebyg mai rhy fach o ddillad oedd arno." "O," meddai hithau, "mi *ffita* i ê am hyny y tro nesaf." Daeth y tro nesaf; a gofynodd bore drannoeth iddo sut y cysgodd. "Wn i yn y byd," meddai. Dychrynodd y wraig, gan feddwl ei fod wedi cael ei anfoddloni y tro hwnw drachefn. "Beth oedd?" meddai. "O, dim," meddai yntau, "ond i mi gysgu trwy y nos; pe byddwn i heb gysgu, gallwn ddyweyd rhywbeth wrthych am y noswaith." "O, da iawn," ebai hithau, fel pe buasai wedi cael gwaredigaeth fawr. "A oedd digon o ddillad arnoch?" "Oedd," meddai yntau, "ond dim yn spâr." A thystiolaeth y wraig yma oedd, fod cymaint arno ef ag oedd ar y tri gwely arall oedd yn y tŷ. "Sut cysgsoch chwi neithiwyr, Isaac James?" ebai gwraig arall wrtho, pan oedd yr holl deulu ar foreufwyd. "Wel," ebai yntau, "mi es i'r gwely, mi gauais fy llygaid, a dyma fi 'nawr." Cafodd pawb bryd o fwyd maethlon brâf i'r meddwl am y diwrnod, rhwng *wit* y cysgu, a'r ddyledswydd, ar yr hon yr oedd bob amser yn hynod.

Anfonodd cyfaill o Dinorwig, ger Caernarfon, yr hanes canlynol i ni am dano. Yr oedd yn ei gofio yn dyfod i'r lle hwnw at odfa nos Sadwrn. Ar ol yfed tê yn nhŷ y capel, dywedai wrth yr hen ferch blaen a charedig iawn i bregethwyr oedd yno yn byw, fod eisieu eillio arno. Wedi iddi hi fyned â dwfr poeth iddo i fyny i'r llofft, a rhoddi pethau eraill oedd yn disgyn i'w rhan hi i wneyd, aeth yntau i fyny. Ond yn y fan, dyma efe yn ei ol yn gwaeddi, "Ellen, pa le mae'r *instruments?*" "Yn enw 'r anwyl," ebai hithau, "wn i ddim am beth 'rydych yn holi." "Wel, ond am gelfi *shavo*, ferch," ebai yntau; "ydych ch'i ddim yn cadw taclau *shavo* at wasanaeth gweision yr Arglwydd, ddynes?" Ar hyn estynwyd *razor* iddo, yr hon a dybiai ein cyfaill, wrth ei lliw, a fyddai yn sicr o grafu ei wyneb yn dda; ond ei fod ef yn hynod o ddedwydd am hyn, gan fod ei wyneb mor fychan. Byddai weithiau yn ymollwng i dipyn o ddigrifwch yn y tai yr oedd yn ymwybodol fod y bobl yn hoff o hono. Yr oedd Abercwmdolau, Penllwyn, yn un o'r cyfryw, a byddai yn treulio rhai diwrnodiau yn olynol yno yn fynych. Ryw noswaith, "Mrs. Lloyd," meddai, "tŷnwch fy *Wellington boots* i." "Na wnaf, Isaac James," meddai hithau, "nid wyf wedi tynu bwdsen David Lloyd erioed," sef ei phrïod. "O dyna, dyn a'i helpo fe, mae yn well arna' i, ddyn tlawd, eto, nag arno fe, druan." Yr oedd Mr. Lloyd wedi colli ei gôf yn fawr, ond yr oedd Isaac James yn medru ei gadw yn hollol gysurus tra fyddai ef yno. Unwaith wedi iddo ddyfod heibio, clywai ei hen gyfaill yn ei holi sawl gwaith am yr un peth, a gwaeddodd yn uchel arno, "Y dyn, be' ch'i'n fy holi i o hyd am yr un peth; a ydych yn meddwl 'mod i'n dyweyd celwydd?" Gwnaeth hyn lawer o lês i Mr. Lloyd am y diwrnod.

Y mae rhyw ychydig o bethau na roisom i fewn mewn lleoedd eraill, ond y byddai yn dda eu cofnodi, gan eu bod yn cyffwrdd âg amryw linellau yn ei gymeriad, ac yn taflu ychydig o oleuni ar y cylchoedd y byddai yn troi ynddynt.

*Y Degwm.* Ar nos Sabboth, yn Ysbyttŷ, wedi gwisgo ei holl ddillad i fyned i'w lettŷ, ymdröai o gwmpas, gan grintach a sènu; ond o'r diwedd gofynodd, "A ydych yn rhoi rhywbeth i'r pregethwr am ei lafur, ai nad ydych? 'R'ych ch'i am ddilyn

ffasiwn Aberystwyth, 'falle—rhoi peth i'r pregethwr wedi iddo fyned ar gefn ei geffyl ar y *street*, a hwnw, druan, yn gorfod rhoi yr hyn gaffo yn ei ben, nes myn'd allan o'r dre', rhag i'r plant waeddi ar ei ol." Yna brysiodd Daniel Evans, y Neuadd, i gyrchu y tâl. "Dyna, Daniel," ebai yntau, "peidiwch ch'i a gwneyd fel yna â'r pregethwr rhagor."

*Y mesur pytatws.* Yn yr un lle, pan yn ymddyddan â rhyw wraig yn y cyfarfod eglwysig, a hono yn achwyn cryn lawer arni ei hun, dywedoddd, "Pe byddech ch'i uwchben mesur o datw yn y dref acw, 'rwy'n siwr mai nid fel yna y byddech ch'i'n siarad. A rhyfedd fel y medrwn ni ganmol pob peth yn well na threfn gras."

*Dylanwad yr efengyl.* Achwynai Mr. James, Castellnewydd, wrtho fod yr efengyl heb fawr o ddylanwad ar feddwl y wlad. "Y dyn," ebai yntau, "edrychwch fel y mae cannoedd a miloedd o ddynion yn tŷru ar ol un dyn, a pheidiwch dyweyd nad oes gan yr efengyl ddylanwad ar y wlad tra pery pethau fel yma."

*Gwaith prophwyd.* Yr oedd wedi talu sylw mawr i'r tywydd, ac i arwyddion dydd a nos. Fel y mae cryddion yn gyffredin yn dra hoff o *almanack*, ac yn gwybod ei holl gynnwys, fe allai ei fod yntau wedi cael cychwyn i'r ysbrydiaeth yma pan oedd yn ysbryd ei grefft. Yr oedd mewn un man, lle y bu yn gweithio ei grefft, wedi tòri rhiciau ar y mur, er gweled faint o'r dydd a fyddai. A dim ond i rywrai ofyn beth o'r gloch fyddai, yr oedd yr ateb yn barod bron i'r fynyd, os byddai yr haul yn tywynu; ac os na byddai yn tywynu, yr oedd mor graffus ar yr arwyddion fel y medrai ddyweyd yn bur agos. Ond pan ddaeth i'r lle hwn drachefn, fel pregethwr, yr oedd yr haul dri chwarter awr yn gynt yn dyfod i'r marciau nag yr oedd pan fuasai ef yno yn grefftwr. Ni fedrwn ni egluro hyn, am hyny gadäwn ef i rai fedr ddëongli y dirgelwch. Pan yn Llangwyryfon ryw noswaith, dywedai y gwnelai wynt mawr yn y nos nes diwreiddio coedydd; ac erbyn trannoeth, yr oedd yno lawer o goed wedi eu diwreiddio; ac y mae rhai eto yn fyw yn cofio lle yr oedd y coedydd, ac yn cofio yr holl siarad oedd yn y gymydogaeth am brophwydoliaeth Isaac James. *Cyn haul* oedd arwydd yr ystorm ganddo, sef cylch o gwmpas yr haul pan yn machlud, a rhyw ddarn dysglaer ar ei du gogleddol neu ddeheuol, a hyny yn y cylch ei hun.

*Dim ond llaeth a dwfr.* Pan oedd yn nhŷ Mr. James, Castellnewydd, a hyny ychydig cyn iddo ardystio yn ddirwestwr, wedi iddo weled dim ond dwfr ar y bwrdd i ginio i'w yfed, gofynodd, "O, oes yma ddim ond dwfr genych i'w yfed?" "Fe gewch laeth, Isaac James, os ydyw yn well genych." "O, y mae yn drueni mewn tŷ fel yma," meddai, "nad oes yma ddim ond dŵr a llaeth i'w hyfed." "Rhaid i ch'i dd'od yn ddirwestwr, Isaac James." "Ië, y rhaid yna sy'n 'nafu y cwbl; ewyllys rydd i ddyn."

*Iachawdwriaeth yn tarddu.* Pan oedd Ned y Dolau yn adrodd ei brofiad yn Penygarn, gofynodd Isaac James iddo o ba le y tarddodd iachawdwriaeth, a hyny er mwyn profi ei wybodaeth. Yr oedd arno beth attal dyweyd; ond wedi bod yn ymryson ychydig â'r *O*, gwaeddodd allan o'r diwedd, "O 'nghalon i!" a hyny dan wylo yn hidl. "Wel, wel," ebai yntau, "fe darddodd o'r lle gwaetha' feddet ti." Wedi ychydig o ddystawrwydd, gwaeddodd allan, "O bobol, O bobol, be' 'nawn ni i'r dyn yma? Y Duw mawr a dy helpo di, medda' i." Yna aeth ato yn fanylach i'w gyfarwyddo.

*Cî yn y cae gwair.* Pan oedd un yn dyweyd wrtho yn Penygarn am beidio bod mor sarug wrth bregethu, &c., am iddo fod dipyn yn fwy mwynaidd. "Yr ydych fel cî yn y cae gwair," ebai yntau, "ni wna bori ei hun, ac ni chaiff yr anifeiliaid bori ychwaith."

*Ceffyl pregethwr.* Pan oedd unwaith yn cychwyn i'w gyhoeddiad, dymunai un wraig arno fyned â phecaid o farlys i'r felin drosti, gan ei fod yn myned y ffordd hono. "Na, 'na ddim," meddai, "ceffyl pregethwr sydd genyf, a myn'd i bregethu 'rw' innau." Teimlodd ar unwaith ei bod yn myned yn rhy ëofn arno, a chan nad oedd hi yn medru ymddwyn, gwelai ei bod yn ddyledswydd arno ei dysgu.

*Y porth cyfyng.* "Mae yn gyfyng iawn i ddyn balch; os byth yr âi di trwyddo, cei weled y bydd hylldod o'th gnawd di ar hyd y pyst. Peidiwch a meddwl, bobol fach, yr ewch i'r nefoedd wrth chware; na, rhaid i ch'i dŷnu eich breichiau o'ch llewys, a myned ati o ddifri'."

*Y Teiliwr.* Yr oedd dyn lled falch yn y gymydogaeth lle yr oedd yn byw; a chan ei fod ef yn hollol onest a di-dderbyn-wyneb, dywedodd wrtho pan oedd ar ganol ei waith o fesur pobl eraill, "Ned, a wyddost ti i bwy yr wyt ti yn debyg?" "Na wn i." "Yr wyt ti yn debyg i'r teiliwr, yn mesur pawb ond dy hunan. A chofia

di, pe byddai yr holl chŵydd yna sydd ynot yn cael ei dŷnu lawr, y byddet ti dy hunan yn llai na llawer wyt yn fesur. Fe dy gynghorwn i di i wneyd defnydd o dy linyn weithiau i fesur dy hunan tlawd."

*Balchder.* "Dallineb rhyfedd yw balchder; gwêl pawb y dyn balch ond ef ei hun; ac y mae ei falchder yn amlwg i bawb eraill, ond ni wêl ef ei hun byth mo hono."

*Talu am bregethu.* "Mae gwahaniaeth mawr," meddai, "rhwng cael arian am bregethu a phregethu am arian."

Er ein bod wedi dyweyd llawer am dano yn barod mewn gwahanol gyfeiriadau, yr ydym yn ymwybodol fod rhywbeth eto heb ei ddyweyd ag y dysgwylid am dano wrth roddi hanes Isaac James, sef rhyw air o eglurhâd ar y sŵn sydd ymhlith rhyw ddosbarth o ddynion, ei fod yn anghymeradwy gan y wlad fel dyn a phregethwr. Yr ydym wedi dyweyd o'r blaen nad oedd ynddo ddigon o elfenau poblogrwydd i'w wneyd yn gymeradwy gan y werin fel pregethwr; ond nid yw hyny yn un prawf nad oedd yn bregethwr *da.* Mae yn rhaid dyweyd fod rhywbeth ymhellach na hyny gan ddynion yn ei erbyn, sef ei ddiffyg mewn moesgarwch cyffredin,—diffyg yn y pethau hyny sydd yn gwneyd dyn yn aelod carüaidd a dedwydd o gymdeithas. Cyfrifid ef gan lawer yn *busy-body* gorthrymus, yn cymeryd gormod o ofal am ei bethau ei hun, a rhy fychan o amgylchiadau y rhai a weinyddent arno. Gan fod ei ymddangosiad hefyd yn ddiserch, ei ymadroddion yn sarug, a'i anerchiad yn sychaidd, byddai llawer yn cymeryd ei ymddygiad tuag atynt fel sarhâd bwriadol. Ac ni fŷn rhai nad rhyw ddynyn bychan hunanol ydoedd, anhawdd i neb ei foddloni, ac yn cael ei lywodraethu gan ysbryd *peevish,* cyndyn, a chrintachlyd. Yr oedd tri math o ddynion, ar y cyfan, yn teimlo yn bur oer tuag ato, sef y rhai fyddai yn cadw mis, y rhai fyddai yn llettŷa, a'r rhai a ofalent am y ceffylau. Byddai yn helynta gormod gan y rhai hyn ynghylch y tân, y bwyd, y gwely, a'r anifail. Unwaith, wedi iddo ddyfod i dŷ capel, gofynodd am dê, pan yr hysbyswyd ef fod y dwfr heb ferwi. "Mae fy mola i," ebai yntau, "yn dyweyd y dylai fod wedi ei ferwi a'i yfed; ond cofiwch ch'i, wraig, os na chaiff fwy o dân na hyn, waeth i ni beidio sôn am ferw na bola." Mewn lle arall aeth ar ol yr *ostler,* a gofynodd, "Beth sydd ar y ce'l bach, ŵr?" "Wn i ddim; a oes rhywbeth arno?" "O, eich gweled yn rhoddi mor lleied o'i flaen yr o'wn i, ac yn meddwl y gallai fod rhywbeth arno." Fel yna, yr oedd yn anhawdd iawn i rai nad oeddynt yn ei weled ond rhyw unwaith mewn blwyddyn, beidio cymeryd ei *wits* yn fwy o sènau danneddog na ffraethineb digrif; ac nid rhyfedd oblegid hyny fod llawer yn ofni ei gymeryd i dŷ, na rhoddi dim o'i flaen, rhag ofn y clywent ryw bethau nad oeddynt yn hoffi. Gwir a ddywedodd un hen athronydd, "*All men are fond of companions whom they can entertain upon easy terms, and are most inclined to love when they have nothing to fear.*" Ond ar ein hynt ymchwiliadol, yr ydym wedi cyfarfod â llawer, a'r rhai hyny o'r dosbarth goreu, ac yn cael eu gwneyd i fyny o'r tri dosbarth ydym wedi nodi, ydynt o farn hollol wahanol am dano. Ac y mae yn bur hynod mai y rhai oedd fwyaf cyfarwydd âg ef yw y rhai hyn bron yn ddieithriad. Byddai ef yn y lleoedd mwyaf cyfarwydd yn aros yn fynych am ddiwrnodau yn olynol; ac felly yr oedd yn Abercwmdolau. Er hyny dywedai Mrs. Lloyd nad oedd neb yn troi i'r tŷ

yr oedd y plant a hwy yn hoffi yn fwy, na neb oedd yn gosod argraff well ac mor hir ar y teulu. "Nid wyf yn cofio," meddai, "i Isaac fod yma erioed nad oedd pawb yn teimlo yn well ar ol iddo fod." Yn awr, wrth i ni gymeryd yr oll i ystyriaeth, yr ydym yn gorfod credu fod rhyw gyfrif i'w roddi am yr ymddygiadau a ystyrid yn wael heb gondemnio y person; o'r pethau a ystyrid yn frychau, heb gondemnio y cymeriad.

Yr ydym yn cynnyg y pethau canlynol fel eglurhâd. Yn gyntaf, *yr oedd yn ddyn natur.* Yr oedd y rhan fwyaf o hynodrwydd ei fywyd gydag ef yn dyfod i'r byd, a chafodd y byd ef fel yr oedd natur wedi ei wneyd. Nid oedd hyd yn nôd pethau pigog ei fywyd ond natur yn cael ei gweithio i ymarferiad. Cafodd ef lawer o boen wrtho ei hun, i geisio cadw ei dymherau naturiol dan lywodraeth rheswm a chrefydd; ond er y cwbl, natur yw natur. Y mae pethau sydd yn dyfod yn *ail* natur yn gryfion; ond y mae natur ei hun yn fwy felly. Yr oedd ef wedi ymddyddan llawer am grefydd â rhyw wraig oedd yn cadw mis, yr hon a ddywedodd wrtho, "Wyddoch ch'i, Isaac James, yr wyf yn hoff iawn o'r dyn newydd sydd ynoch ch'i; ond am eich hen ddyn, waeth gen' i pe byddwn heb ei wel'd ê byth." "Felly," meddai yntau, "pe byddech ch'i yn gwybod cymaint am fy hen ddyn i ag a wn i, fe fyddai yn gasach genych am dano." Daeth hon yn fwy hoff o hono byth ar ol hyny. Gwelodd mai ei natur oedd yn y cwbl, a bod hono yn fwy o ofid iddo ef ei hun nag i neb arall. Nid oedd ef yn meddu ar dafod têg, ac ymddygiad carüaidd a dengar, fel sydd gan rai; ond fel y dywedai Mr. James, Brynllys, Borth, am dano, "Yr oedd ef yn fwy tebyg i ddwfr yn y gauaf, â haen drwchus o rew ar y wyneb, ond ar yr un pryd dwfr rhedegog, gloew, iachus, yn cynhyrfu dano." Yn ail, *ni chafodd fanteision addysg.* Cafodd natur chware têg ynddo ef i weithio ei hunan allan—ni chafodd ddygiad i fyny manteisiol i'w gwrthsefyll; ni chafodd cymdeithas goethedig fantais i gaboli dim ar ei erwindeb, ac ni chafodd ond ail i ddim o addysg mewn llyfrau. A phe buasai yn cael manteision felly yn moreu ei oes, gallasai ddyfod yn llawer mwy cymeradwy gan y lliaws, ond ar yr un pryd beidio bod hanner mor enwog ag y daeth. Cafodd llawer fanteision er caboli eu natur, a daethant trwy hyny i gerdded yn fwy esmwyth trwy y byd; ond ni wnaethant fawr o'u hôl *ar* y byd, ac oblegid hyny darfu eu coffadwriaeth gyda hwynt i raddau pell. Yn drydydd, *cafodd ei gadw mewn amgylchiadau anffafriol trwy ei oes.* Dyn tlawd ydoedd o ran ei amgylchiadau tymmorol, a chafodd ei gadw yn ol hefyd fel pregethwr trwy ei oes, heb gael yr anrhydedd oedd ei alluoedd yn deilyngu; ac felly yr oedd y cwbl yn tueddu i'w wneyd yntau yn fwy diflas ei feddwl, ac yn fwy garw i deimladau rhai eraill. Yr oedd llawer yn cymeryd mantais ar ei sefyllfa i'w ddiraddio, a byddai yntau yn deall hyny, a gallai iddo arfer ei awdurdod yn bur bell ac eglur tuag at y cyfryw ar ryw achlysuron, ac mai hyny roddodd y cymeriad y lleferir yn isel am dano gan rai. Yr oedd llawer mwy o wahaniaeth yn cael ei wneyd rhwng pregethwyr yn ei amser ef, yn narpariaethau y rhai fyddent yn cadw mis ac yn llettŷa. Byddai rhai mor ddigydwybod yn hyn, fel y gwnelent barotöadau haelfrydig i groesawu rhai; ond am dano ef a chynghorwyr eraill, byddai yn rhaid iddynt fyw ar bethau pur gyffredin. A chan ei fod yntau yn

gwybod hyn, nid rhyfedd ei fod yn dangos hyny ar rai adegau. Yn y lleoedd hyny oedd yn croesawu pregethwr *fel* pregethwr, byddai ef yno yn gartrefol ac yn ei elfen; ac, o ganlyniad, y dynion hyny oedd yn cael mantais i weled beth ydoedd; ac y mae y rhai hyny gan mwyaf wedi ffurfio meddwl mawr am dano, a byddai yntau yn ymddwyn fel tywysog a dysgawdwr yn eu mysg.

Rheol fawr ymddygiad Lord Chesterfield, a'r hon a argymhellai ar eraill, oedd, *gentleness of manners with firmness of mind.* Wrth feddu y cyntaf, heb yr ail, byddai dyn yn agored i fod yn blentynaidd a hawdd ei droi gan bawb i'r cyfeiriad a fŷnent; ac wrth feddu yr olaf heb y cyntaf, byddai dyn yn agored i fod yn wrthnysig a chyndyn, yn ddolurus i deimladau eraill, ac yn wrthddrych i chwerthin am ei ben. Os yr un, y cyntaf, sef hynawsedd ymddygiad, oedd yn eisieu arno ef, ac yr oedd ymddygiadau annhêg llawer tuag ato yn peri iddo ymddangos yn fwy diffygiol ynddo nag ydoedd. Am yr olaf, yr oedd ganddo gyflawnder o hono. Ac yr oedd ei feddiant o ddiysgogrwydd meddwl a barn, wedi eu cael i addfedrwydd, yn ei wneyd yn ddyn annibynol, gonest, a di-dderbyn-wyneb. Mae yr amgylchiad canlynol yn ddigon i argyhoeddi pob dyn o farn am gymeriad y gwrthddrych sydd genym. Yr oedd ymrafael wedi cymeryd lle rhwng rhyw frodyr, mewn eglwys yn ei gymydogaeth; ac yr oedd wedi myned mor bwysig, fel y darfu i'r Cyfarfod Misol ddanfon yr ynad galluog, Ebenezer Morris, yno, er mwyn cael pethau i drefn. Galwodd Mr. Morris i amryw siarad ar y pwnc, ac yn eu plith rai y dysgwylid barn gywir oddiwrthynt; ond nid oedd yn cael boddlonrwydd yn yr un o'r tystiolaethau. "Isaac James," meddai, "codwch ch'i i ddyweyd gair ar hyn;" a chan droi at y gynnulleidfa, ychwanegodd, "fe gawn ni y gwir gan Isaac, beth bynag ydyw." Rhoddodd yntau y mater ger bron yn eglur, yn bwyllog, a hollol syml. "Dyna rywbeth o'r diwedd," meddai Mr. Morris; "y mae tystiolaeth Isaac wedi fy llwyr foddloni. Yr wyf yn gwel'd yn ddigon eglur pa beth yw y bai yn awr, a phwy sydd yn euog o hono; y mae y bai i gyd ar ——, a —— yn hollol rydd." Yr oedd tystiolaeth Isaac yn erbyn prif ddynion y lle, ac yn erbyn ei brif gyfeillion yntau; ond ni fu yn dyst anwir, tyngodd i'w niwed ei hun ac ni newidiodd; ac ni dderbyniodd barnwr y Cyfarfod Misol chwaith wyneb mewn barn. Os oedd rhyw bethau yn Isaac James oedd yn annymunol i deimladau rhai, yr oedd ynddo egwyddor dan lèn y gerwindeb fyddai yn ei wneyd yn ddyn, ac yn ddyn mawr, pan fyddai galwad am dano.

Yr oedd yn gymeriad, a dyma ddirgelwch y cwbl. Cydnabyddir yn gyffredin ddau fath o gymeriadau, sef y cymeriad sydd yn perthyn i ddynion, a'r dynion sydd eu hunain yn gymeriadau. Yn y cyffredin, mae y cyntaf yn cael ei ennill, a'r olaf yn feddiant gwreiddiol. Mae y cyntaf bron gan bawb, ond yr olaf, fel y cenad o ladmerydd, "un o fil" ydyw. Mae meddyliau dynion yn debyg i'w cyrff yn yr ystyr yma. Y rheol ydyw fod cyrff dynion, ar y cyfan, yn debyg i'w gilydd, o ran ffurf a maintioli; ond y mae rhai mor hynod o ran eu ffurfiad, fel pe byddent wedi eu bwriadu i fod yn rhyfeddod i bawb eraill. Felly y rheol yw fod meddyliau dynion, ar gyfartaledd, yn lled debyg i'w gilydd, er y gwahaniaethau bychain yn maint a nerth y meddwl; ond y mae rhai mor annhebyg i bawb eraill o ran eu dull o feddwl, siarad,

a gweithredu, fel y maent yn hollol ar eu pen eu hunain mewn cymdeithas. Er yn nghanol y lliaws, fel pawb eraill, ni cheir hwy fel y lliaws mewn dim. A dyma y rhai a elwir yn gymeriadau. Y mae rhyw gymeriad *gan* bob dyn, ond y mae y rhan fwyaf mor brin o hynodrwydd fel nad ydynt hwy eu *hunain* yn gymeriadau. Ac ymddengys nad yw Awdwr natur wedi bwriadu i'r rhai hyn fod yn aml, gan mai ychydig o honynt a welir ar unwaith mewn Sîr gyfan. Ac o dan ddylanwad y coethi celfyddydol sydd yn awr ar bregethwyr, odid fawr y ceir *un* mewn Sîr. Eithriadau ydynt, ac nid rheol. Ond y mae y rheol yn meddu ar gymaint o fawredd, fel y gall oddef yr eithriadau hyn heb i hyny effeithio unrhyw chwyldröad niweidiol yn ei thiriogaeth; yn hytrach gwasanaethant er dangos ei gwerth a chryfhâu ei dylanwad. Nid ydym yn petruso dyweyd fod Isaac James yn un o'r cymeriadau hyn; yr oedd mor hynod fel y daeth yn Isaac James y Methodistiaid; yr oedd pawb eraill mor annhebyg iddo fel nad oes ganddynt yr un ond efe. Ac os oedd ynddo rai pethau garw a phigog, anghenrhaid yw cofio na fuasai genym yr un Isaac James pe buasai heb y pethau hyny. Efe ydoedd yn yr oll.

Mae ambell i lyfr ac ambell i ddyn yn dyfod i'r golwg mewn teilyngdod yn fwy ar ol eu hoes nac yn eu hoes; ac y mae hyny yn myned ymhell i brofi mai ar eu hoes yr oedd y bai am eu hanmhoblogrwydd. Gwelir teganau gwael weithiau yn dysgleirio yn mhelydrau yr haul, pan y mae meini llawer mwy gwerthfawr na welir dim o honynt heb sylw manwl. Mae llawer o farn ac arferiad yr hen Rufeiniaid eto yn y byd. Ni byddai gwroniaid yn cael eu dwyfoli ganddynt hwy nes y byddent farw. Wrth holi am Isaac James, yr ydym wedi clywed lawer gwaith mai yn ei flynyddoedd olaf y daeth i'r golwg, ac na welodd ond ychydig ef cyn hyny. *No praise is lasting but what is rational;* ac y mae fod ei air da yntau yn cynnyddu hyd derfyn ei oes, ac ar ol ei oes, yn dangos y dylasai ei gael yn fwy yn ei oes a chan ei oes. Ond aeth blynyddoedd lawer heibio heb i neb weled y perl hwn. Bu am oes faith ger bron y byd, a'r byd yn sylwi arno am amser maith, heb i ond ychydig weled ei deilyngdod. Beth bynag am a fu, daeth yntau i'r golwg o'r diwedd, a hyny fel cristion ac fel pregethwr. Fel yr oedd ei dymher naturiol yn sych ac oer, felly y dywedir fod ei dymher grefyddol am lawer iawn o'i oes. Yr oedd Thomas Richard, Abergwaun, a chyfaill iddo mewn rhyw fan yn pregethu, a sylwai Mr. Richard mai sych iawn oedd Isaac o dan ei weinidogaeth; ac wedi myned i dŷ y capel, dywedodd wrtho, "Hen wrandäwr sych y'ch ch'i, Isaac; pwy bynag fyddo â'i gnu yn wlyb, 'r'ych ch'i yn sych eich gwala." "Pam na byddai'n sych," ebai yntau, "os bydd yn sych i fyny; yr o'wn i yn cael peth gwlith dan weinidogaeth eich cyfaill, ond dim gyda ch'i." Yr oedd yn gwybod yn ddigon da â phwy yr oedd yn siarad. Pa fodd bynag, ymhen blynyddoedd ar ol hyny, tòrodd yntau allan i wylo yn hidl dan weinidogaeth Mr. R. pan oedd yn pregethu ar Gen. iii. 15, ac yn ei hwyliau mawrion yn gwaeddi, "Taflwyd y tri llanc i dân; dyna *snatch* i'r sowdwl; ond wrth eu cadw yno a'u gwaredu oddiyno heb i flewyn o'u pen gael ei ddifa, rhoddwyd ergyd i ben y sarph. Taflwyd Daniel i'r ffau, dyna gyffwrdd eto â'r sowdwl; ond wrth ei gadw yno rhag cael un niwed, dyma ergyd i ben y sarph. Ac wrth groeshoelio Crist ar bren, rhoddwyd yr ysigdod

mwya' 'rioed i'r sowdwl; ond ar fore'r trydydd dydd, pan, er gwaetha'r maen a'r milwyr, y cododd Iesu'n fyw, fe gafodd gyflawn fuddugoliaeth ar holl allu y tywyllwch," &c. Tòrodd allan mewn gorfoledd gogoneddus eilwaith, pan oedd y Parch William Roberts, Caergybi (yn awr Dr. Roberts, America), yn pregethu ar "Ddilëu ysgrifenlaw yr ordeinadau." Ond tua therfyn ei oes yr oedd y ddau amgylchiad.

Nid yn unig yn yr odfeuon cyhoeddus y byddai efe yn cael mwynhâd o wleddoedd iachawdwriaeth, ond yr oedd ei feddwl yn ymborthi arnynt yn barhäus. Yr oedd yn dyweyd wrth rai am y myfyrdod dwys y bu ynddo ar lwybr y saint i'r nefoedd. Dechreuodd ei feddwl ymweithio wrth ddarllen hanes Iesu Grist yn esgyn o fynydd yr Olewydd. "Bûm am chwech wythnos," meddai, "yn methu yn dêg a chael llonydd gan fy meddwl; yr oedd yn rhedeg i fyny at y planedau yna heb yn wybod i mi, ac yno y mynai fod, yn ceisio chwilio am y ffordd yr oedd eneidiau y gwaredigion yn esgyn i'r gogoniant. Ond ryw ddiwrnod, daeth y geiriau hyny i fy meddwl, 'A'i ddwyn gan angelion i fynwes Abraham.' O dyna, dyna, meddwn ynof fy hun, os do'n nhw, gwna nhw o'r goreu â mi. Ac ar ol hyny cefais lonydd llwyr gan y pryder." Yr oedd ef y pryd hwn yn teimlo ei fod rywle tua rhosydd Moab, ac nid oedd yn rhyfedd ei fod mewn ymchwil pryderus am dŷ ei Dad. Pan oedd unwaith yn cysgu gyda pherthynas agos iddo, tòrodd allan mewn hwyl orfoleddus rywbryd yn y nos, wedi cael gafael yn y geiriau, "Haleluia i'r Oen bwrcasodd ein pardwn," &c., a chanodd ef nes dihuno pawb trwy y tŷ. "Taw, taw, Isaac bach," ebai ei gydwelywr wrtho. Ni chawsom yr atebiad, ond clywsom na ddystawodd am amser maith. Yr oedd ei feddwl gyda Christ, nid yn unig yn y nos, ond hefyd yn nghanol trafferthion y dydd. Cyfarfyddodd â John Davies, *butcher*, Llanbadarn, ar y ffordd yn y pentref hwnw, ac wrth fyned heibio, tarawodd ei law ar ei ysgwydd, a dywedodd, "Iesu Grist." Er fod hwn yn gyfarchiad hynod, waeth beth am hyny, cofiodd y sawl a'i clywodd ef byth; a dengys yr hanes mor gysegredig i Grist oedd meddwl yr un a'i rhoddodd, ac fod ganddo amcan cywir i wneyd ei oreu drosto. Mae John Davies, fel yntau, yn y nefoedd erbyn hyn; a hwyrach fod coffa am yr amgylchiad wedi bod cyn hyn, os ydynt yno wedi dygwydd cwrdd â'u gilydd.

Yr oedd pawb yn hoff o'i glywed yn pregethu yn ei flynyddoedd olaf, ac nid yn unig hyny, ond yr oedd i raddau yn boblogaidd. Yr oedd llawer o bobl Llanilar yn clywed ei fod yn pregethu yn hynod o dda, ond yr oedd wedi ei gau allan oddiyno, gan na cheid dynion i'w wrando. Pa fodd bynag, daeth yr amser i'w gyhoeddi eto; ac yn lle dyfod â'i enw ef ger bron, dywedodd Evan Morgan, Feillionen, fod gŵr dyeithr o'r Gogledd i fod yno y Sabboth nesaf. Felly daeth yno gapelaid o bobl; ac er iddynt gael eu siomi am y peth oeddynt yn feddwl, cawsant hefyd siomedigaeth arall, sef un i'r ochr oreu, yn yr un oedd wedi ei fagu yn eu plith. Bu hyn yn ddechreuad cyfnod newydd ar ei bregethu yn y lle, a bu yr un mor boblogaidd yno bob tro ar ol hyn ag y bu yn enw gŵr o'r Gogledd. Ac nid yw hyn ond un engraifft i ddangos fel yr oedd ymhob lle arall. Ac oblegid ei fod yn pregethu mor dda, yr oedd llawer yn anesmwyth iawn am na byddai yn cael ei ordeinio, a llawer yn beïo y rhai blaenaf am na buasent yn trefnu i hyny fod. Ond

cafodd ef fyned i'w fedd heb y llawryf o enw gweinidog, a myned i "Swper neithior yr Oen" heb unwaith gael gweinyddu yr arwydd o hono ar y ddaear.

Yn ei gystudd diweddaf yr oedd llewyrch y nefoedd yn gryf ar ei babell, a chafodd roddi tystiolaeth dan dywyniad ei belydrau ddarfod iddo ryngu bodd Duw. Daeth cyfaill ato, a dywedodd rywbeth am ei wybodaeth pwy oedd ei bobl. "O," meddai yntau, "nid 'nawr yr w'i'n myn'd i chwilio'r achau." Dywedodd un arall wrtho, "'Does dim perygl i ch'i, 'ry'ch chi'n barod er's blynyddoedd." "O," meddai, "peth manwl iawn yw crefydd; rhaid ein nyddu ni mor feined, fel ag i fyn'd trwy grai y nodwydd ddur." Pan oedd offeiriad y plwyf yn dyfod ato, a gofyn, "Ffordd yr y'ch chi'n meddwl y try hi arnoch 'rochor draw?" "O 'rwy' i'n gadael hyny i *honour* y Gŵr; yr w'i wedi *trusto* fy hunan iddo fe er's blynyddoedd, ac mi wn y bydd ê cystal a'i air." Yr oedd gan y gŵr hwnw olwg fawr arno, ac yr oedd yn cynghori ei gurad i ymddyddan llawer âg ef, gan y gwnelai hyny lês mawr iddo. Aethant ill dau i roddi tro am dano yn ei gystudd, ac wrth ymadael, gofynodd y person iddo, pa un oedd oreu ganddo ai marw ai byw? "O'm rhan fy hun," meddai yntau, "byddai yn well genyf farw; ond o ran eraill, byddai yn well genyf gael byw." Pan oedd yn ei glefyd diweddaf, yr oedd teimlad dwys yn cael ei amlygu bron gan bawb, gan eu bod yn gweled fod gŵr Duw yn myned i'w gadael. Hunodd yn yr Iesu, Ebrill 14eg, 1840, yn 74 mlwydd oed. Y mae ei fedd erbyn hyn yn hynod o adfeiliedig; y gâreg wedi tôri yn ddarnau, a'r oll yn sathrfa o gwmpas. Pwy deimla? Os bydd rhywun am weled y gâreg, caiff hyny yn mynwent Llanfihangel-geneu'r-glyn.

# Y DAIONI DWYFOL.

O BOB testun, nid oes un ag y mae y myfyriwr defosiynol yn fwy hoff o edrych arno na'r testun hwn. Yr oedd y Salmydd yn ymhyfrydu mewn adolygu yr amlygiadau o ddarbodaeth a haelioni y Brenin mawr trwy holl ranau ei lywodraeth ëang. "Bydd melus fy myfyrdod am dano," meddai ef; a hyn yw profiad pob sylwedydd crediniol. Y mae yr Arglwydd ei hun yn llawenychu yn ei weithredoedd; ac y mae ei holl weision yn teimlo dyddordeb wrth syllu ar fraich ei hollalluogrwydd Ef yn gweithio yn y grëadigaeth; wrth edrych ar yr amlygiadau a geir o'i anfeidrol ddoethineb Ef mewn crëadigaeth a rhagluniaeth; ac yn benaf oll wrth olrhain y llwybrau ar hyd pa rai y mae *daioni* Duw wedi teithio ac yn teithio tuag at fyd o grëaduriaid dibynol.

Wrth y daioni Dwyfol yr ydym yn golygu y dueddfryd sydd yn Nuw i leshâu ei grëaduriaid, a'u gwneyd hwynt yn ddedwydd. Fod y dueddfryd hon yn y meddwl Dwyfol sydd anwadadwy, canys y mae wedi dyfod i'r golwg mewn llawer o ffyrdd prydferth a nodedig iawn. Y tair ffordd fawr ar hyd pa rai y mae daioni Duw wedi teithio at ddynion y ddaear ydyw Crëadigaeth, Rhagluniaeth, a Phrynedigaeth; ond y mae ymhob un o'r ffyrdd hyn yn dadblygu ei hun mewn llawer iawn o agweddau. Wrth fyfyrio ar y testun hwn, arweinir ein meddwl yn ol at grëadigaeth pob peth, i ganfod daioni yr Achosydd mawr yn rhoi ei ddoethineb a'i allu ar waith i gynnyrchu bydoedd mawrion a bodau dirif. Ychydig iawn o ddynion meddylgar a geir yn gallu credu fod defnydd yn bodoli heb Grëawdwr. Yr ydym yn gweled nas gallai defnydd fodoli "heb ffurf," fel y sylwa Charnock, "na chymeryd arno un ffurf heb weithrediad rhyw achos. Rhaid fod yr achos hwn mewn bod cyn iddo weithredu. Yr hyn nid yw yn bodoli, nis gall weithredu." Yr ydym hefyd yn gweled fod mater yn ddarostyngedig i gyfnewidiadau; a chan na all attal ei hun rhag cyfnewid a gwaethygu, nis gallwn feddwl y gallasai roi bodolaeth iddo ei hun, na'i fod yn bodoli trwy ragoroldeb a pherffeithrwydd ei natur o angenrheidrwydd, ac o dragywyddoldeb. Felly rhaid fod cyfnod pan na fodolai dim ond yr Achosydd mawr cyntaf—pan na thrigai dim yn y gwagle dystaw, difesur, ond Duw ei hun; a rhaid fod cyfnod wedi dyfod pan y tryfrithwyd ac y prydferthwyd y gwagle ëang â bydoedd mawrion, rif dail y goedwig. Gall fod yr adeg y crëwyd defnydd ein daear ni ymhell iawn yn ol cyn cyfnod hanesyddol Moses; ond eto ei grëu a gafodd ryw bryd. Dichon fod y "dechreuad" yn yr hwn y dywed Moses y crëodd Duw ddefnydd y ddaear yn anfesurol bell cyn y cyfnod hanes-

yddol; gall fod cyfnodau daearegol hirfeithion wedi araf ymdreiglo heibio, yn y rhai yr oedd y ddaear yn cael ei pharotöi i gymeryd ei ffurf bresennol; cyfnodau yn y rhai yr oedd glo, haiarn, aur, arian, prês, copr, a gwahanol feteloedd eraill, yn ymffurfio fel ag i fod yn barod erbyn y byddai i angen dyn alw allan ei fedr a'i lafur i'w darganfod. Yr oedd Duw yn bwriadu ac yn dymuno crëu dyn, ond Efe a ymattaliai rhag ei grëu nes cael cartref cyfaddas iddo i fyw ynddo, ac Efe a arosai i gyfnodau anferth eu meithder dreiglo heibio, yr hyn oedd angenrheidiol er cyfaddasu y ddaear i fod yn breswylfa addas a chyflëus i'w grëadur,—nes y deuai ymhob ystyr yr hyn y dymunai y Perydd mawr iddi fod, fel y gallai ddadgan am dani,—"Wele, da iawn ydoedd."

Do, darfu i'r Anfeidrol, gyfaddasu y ddaear i fod yn drigfa gymhwys a digonol ymhob ystyr i ddyn dibynol mewn sefyllfa o brawf. "A'r ddaear a roddes Efe i feibion dynion." Cawsant hwy yr anrhydedd o ddyfod yn dir-ddeiliaid dan y Perchenog mawr, i lafurio y ddaear, ac i ddefnyddio ei chynnyrch a'i hadnoddau er eu cynnaliaeth. Ac y mae yn ystyriaeth deilwng o sylw, er yr aml genedlaethau sydd wedi byw ar y ddaear, eto fod ei chynnyrch a'i chynnwysiad hi yn parhâu o hyd mewn cyflawnder. Nis gallwn lai na gweled darbodaeth ddoeth Duw yn hyn. Rhaid i drigolion y ddaear fyw *ar* y ddaear. Nis gallant hwy fenthyca dim gan un byd cymydogol, na derbyn cymhorth na chymwynas oddiwrthynt. Nid oes byth lwyth o ŷd na gwair yn dyfod o'r lleuad, na llwyth na llongaid o lô, na haiarn, nac aur nac arian, yn ein cyrhaedd o'r un o'r planedau. Ac nid oes eu heisieu chwaith, am fod y Darbodwr doeth a da wedi ystorio digonedd o'r sylweddau angenrheidiol ar ddyn yn nghoffrau y mynyddoedd, ac yn seleri dyfnion y dyffrynoedd. Os dygwydd i'r glô brinhâu yn ein hynys ni, yr hyn nid yw yn debyg, darganfyddir digonedd o hono yn ein trefedigaethau, ac mewn teyrnasoedd eraill. Y mae cryn bryder wedi cael ei ddadgan yn ddiweddar ar gyfrif drudaniaeth y glô, a rhai braidd yn ofni rhag fod prif ddefnydd eu tân yn darfod, ac amryw awgrymiadau a chynnygion wedi eu gwneyd ar y mater,—un o ba rai ydyw fod y glô, fel llawer o bethau eraill, i gael ei drethu. Gallai y byddai ei drethu yn foddion i leihâu peth ar y gwastraff sydd arno; ond yr ydym yn credu, ac nid heb seiliau, na raid ond myned ymhellach a dyfnach i seleri yr hen ddaear i weled fod yno gyflawnder o hono. Megys y mae cynnyrchion arwynebedd y ddaear yn ddigonol er diwallu a diddosi dyn ac anifail, felly hefyd ni a gredwn fod y fath gyflawnder o drysorau gwerthfawr yn gorwedd yn ddystaw yn mynwes y ddaear ag a fydd angenrheidiol er cyfarfod â'i angen am danynt hwythau hefyd.

Weithiau ymgynnygia ymholiadau fel y rhai a ganlyn i'r meddwl:—Paham y crëwyd pob peth? Paham y tryfrithwyd yr ehangder difesur â bydoedd, yn hytrach na'i adael yn wagle tywyll? Pa beth a duedd-odd y Bôd mawr i grëu o gwbl? Yr ydym yn barnu nas gallwn ateb y cwestiynau hyn yn well nag yn ngeiriau yr hen ysgrifenydd Anthony Faringdon:—"Pa ddyben arall ond ei ddaioni a allasai fod ganddo Ef i grëu y byd, a dynion, ac angelion mewn modd mor ryfeddol? Pwy a'i cynghorodd, pwy a'i cynhyrfodd Ef i'w gwneyd? Yr oedd Efe o hono ei hun yn hunan-ddigonol, heb eisieu dim. 'Nis gall fod chwanegiad

at Dduw,' meddai yr athronydd. Nis gallwn roddi un rheswm ond ei ddaioni Ef, yr hwn sydd yn ddiorphwys, yn wastad mewn gwaith, ac, fel ffynnon, nas gallai ei chadw ei hun ynddi ei hun, ond y rhaid iddi gael *vent* i ymwasgaru." O'r ffynnon hon yn y fynwes Ddwyfol y llifodd allan gefnfor o ddaioni trwy y grëadigaeth oll. Y mae y ffrydiau o'r un naws â'r ffynnon—"Ffynnon y dyfroedd byw;" neu, fel y dywedodd yr un hen awdwr, "Ei weithredoedd Ef sydd iaith ei gariad, a'i law sydd dafod ei ddaioni."

Nid yw y golygiad mai awyddfryd y fynwes anfeidrol i wneyd daioni, trwy gael gwrthddrychau cyfaddas i gyfranogi o'i daioni a'i dedwyddwch ei hun, a gynhyrfodd y Bôd mawr i grëu, yn anghydsafol, credwn, â golygiad arall, sef mai ei ogoniant ei hun oedd mewn golwg ganddo Ef wrth grëu y cyfan. Digon gwir fod dadguddio ei ogoniant ei hun mewn golwg gan y Crëawdwr, ond yr oedd hyny i gael ei wneyd trwy gael crëaduriaid galluog i fwynhâu ei ddaioni, cyfranogi o'i ddedwyddwch, ei ryfeddu a'i fawrhâu Ef yn ei weithredoedd, a'i addoli Ef. Daioni Duw ydyw ei ogoniant Yr oedd ar Moses eisieu i Dduw ddangos iddo ef ei ogoniant, a'r modd y gwnaeth Duw hyny oedd trwy ddodi Moses yn agen y graig, a gwneyd i'w holl *ddaioni* fyned heibio o flaen ei wyneb ef (Exod. xxxiii.) Yn ei ddaioni, ei ewyllys da, ei haelfrydedd, ei diriondeb, a'i gariad fel y dadlenir hwynt mewn crëadigaeth, rhagluniaeth, a gras, y daw gogoniant cymeriad y Jehofah amlycaf i'r golwg; ac yn yr olwg ar y dadleniadau hyn, y daw dynion i edmygu, caru, canmol, ac addoli eu Gwneuthurwr; a thrwy hyny i fod yn ddedwydd yn awr a byth ynddo Ef.

Y mae ewyllys da y Crëawdwr tuag at ei grëaduriaid yn dyfod i'r golwg yn ei waith Ef yn cyfaddasu natur mor rhyfeddol er cyfarfod âg anghenion dyn. Y mae dyn yn sefyll mewn angen am ymborth i'w fwyta, dïod i'w hyfed, dillad i'w gwisgo, annedd i fyw ynddi, a moddion i feddyginiaethu ei anhwylderau. Ac i'w ddilladu a'i ddiwallu ef, y mae Duw wedi darparu crëaduriaid lliosog iddo ef gael eu cîg i'w fwyta, a'u gwlân a'u crwyn i ymddilladu â hwynt, ynghyda ffrwythau a llysiau afrifed er ei feddyginiaeth a'i gynnaliaeth. Y mae arno ef eisieu annedd i fyw ynddi, ac y mae Duw wedi darparu cyflawnder o goed, a chêryg, a chalch, at ei wasanaeth.

Felly yr ydym yn edrych ar y grëadigaeth wedi tarddu o ddaioni Duw. Fel y dywedodd Efe am ddyn wedi ei grëu, "Nid da bod dyn ei hunan," felly braidd na anturiem ninnau ddyweyd am y Bôd mawr pan y bodolai Efe yn y tragywyddoldeb draw cyn crëu dim—Nid da bod Duw ei hunan; beth bynag, nid *mor* dda. Ac nid oedd Efe am aros ei hunan. Gwir ei fod Ef yn ddedwydd ynddo ei hun, ond gwell fu yn ei olwg gael crëaduriaid dirîf i fod yn ddedwydd gydag Ef. Heb grëu dim, parhâu ei hunan y buasai Duw, heb neb i'w ryfeddu, i'w garu, a'i addoli, a bod yn ddedwydd yn y mwynhâd o hono. Heb grëu, Duw a dim a fuasai am byth Ac onid yw Duw a dyn—Duw ac angelion—Duw a chrëadigaeth ardderchog, yn fyrdd gwell na Duw a dim? Pwy feiddia wadu fod bodaeth yn well na dim—miliynau o fydoedd ardderchog yn well nag ehangder gwâg, tywyll, dystaw?

Ni a ddylem ddiolch am ein crëadigaeth, a gwneyd yn fawr o'n bodaeth. Ychydig o ddynion mewn cymhariaeth sydd mor ddrwg a

thruenus fel y buasai yn well ganddynt beidio bod na bod. Gwell gan y mwyafrif mawr o ddynion gael bywyd fel y mae,—gyda'i holl beryglon a'i brofedigaethau, na bod hebddo. Gwell genym fod yn fŷr o ddyddiau a llawn o helbul na bod heb ddyddiau o gwbl. Er mor fawr yw trueni y ddynoliaeth, eto y mae ynddi hi o hyd ddymuniad cryf am barhâu ei hun; ac er gwaethed a thloted ydyw y byd, eto y mae llawenydd am eni dyn iddo yn barhäus. Eithriad ydyw i ddyn felldithio dydd ei enedigaeth, ac o dan y profedigaethau chwerwaf y gwnaeth ychydig o ddynion da y fath beth.

Y mae pob dyn da, i raddau mwy neu lai, yn ddedwydd, ac am wneyd daioni, a gweinyddu dedwyddwch. Pan y mae dyn da yn edrych ar olygfëydd prydferth anian, neu ar gydgasgliad o ryfeddodau celfyddyd, ymgyfyd y teimiad o awydd yn ei fynwes yn aml am i'w gyfeillion absennol fod gydag ef i gael gwledda ar yr olygfa. Ac y mae yn naturiol i ni feddwl am yr Anfeidrol Fôd, wedi cynnyrchu crëadigaeth odidog, yn teimlo dymuniad am gael bodau deallol i gydlawenychu âg Ef yn ngweithredoedd ei ddwylaw.

Y mae daioni Duw i'w ganfod yn nghyfansoddiad, ffurf, a phrydferthwch, pob crëadur—yn ei ragoroldeb, ei allu o hunanfwynhâd, a'i gyfaddasrwydd i gyrhaedd yr amcan i ba un ei gwnaed. Y mae Dr. Paley, ac ysgrifenwyr eraill ar dduwinyddiaeth naturiol, yn dangos yn helaeth fel y mae dyben daionus yn gystal a deallus i'w ganfod trwy holl weithredoedd Duw. Nid rhoi bod yn unig oedd ei amcan Ef, ond hefyd cynnyrchu crëaduriaid galluog o fwyniant a phleser. Y mae ymborth yn angenrheidiol er cynnaliaeth pob crëadur; ac, meddai Dr. Paley, "Y mae bwyta yn angenrheidiol; ond nid yw y pleser sydd ynglŷn âg ef yn angenrheidiol." Y mae y pleser hwn o bwys a gwerth mawr i bob crëadur. Y mae llawer iawn o amser crëaduriaid direswm yn cael ei gymeryd i fyny mewn bwyta, cnoi cîl, cysgu, a chwareu, fel ag y mae bywyd llawer un o honynt yn un o fwyniant parhäus. Ac y mae llawer o gysuron ynglŷn â bywyd dyn ar y ddaear. Y mae ei synwyrau yn gyfryngau o fwyniant iddo ef, ac nid o boen, fel y gallasai ei Grëawdwr fod wedi ordeinio oni bae ei fod yn Fôd da. Y mae gweled, clywed, arogli, archwaethu, teimlo, yn bleser i ni. Ac y mae y grëadigaeth tuallan i ni wedi ei threfnu yn gyfoethog, fel ag i weini boddhâd i ni trwy y synwyrau hyn. Boddhëir y llygaid â phrydferthwch y byd allanol; boddhëir y glust â chynghanedd a pheroriaeth natur a chelfyddyd; yr archwaeth â melusder, a'r arogl â phereidd-dra. Nid yw anghenion y crëadur direswm yn lliosog iawn, ac y mae ef yn gallu eu gwneyd i fyny trwy reddf naturiol, fel ag y mae dyn yn gallu gwneyd i fyny ei anghenion yntau trwy reswm, dysg, a chelfyddyd. "Yr anifail dynol," meddai yr athronydd, "yw yr unig un sydd yn noeth, a'r unig un a all ddilladu ei hun."

Y mae yn anmhosibl traethu gymaint o fwyniant sydd trwy y grëadigaeth yn barhäus. Y mae ein byd ni, beth bynag, yn llawn o fywyd; a lle y mae bywyd y mae mwyniant yn gyffredin ynglŷn âg ef. Yr ydym wedi sylwi ar hirddydd hâf mor lawn ydyw yr awyr a'r ddaear, tir a môr, o fywyd. Gyda chyfodiad haul y mae y grëaduriaeth fawr yn ymddeffröi i fwynhâu ei hun hyd ei fachludiad. Ac y mae pob crëadur o'i mewn, am a wyddom ni, o'r gwibedyn i'r eryr, ac o'r mil-

filyn anweledig sydd yn ymchwareu yn y dyferyn dwfr hyd y morfil a'r môr-lew sydd yn rhwygo ac yn corddi y cefnfor dyfnfawr, yn mwynhâu eu hunain mewn afiaeth.

Y mae daioni y Bôd mawr i'w weled yn amlwg yn nghynnaliaeth pob peth a grëodd Efe, ac yn ei ddarbodaeth barhäus a gofalus ar gyfer anghenion ei holl grëaduriaid. Y mae addef bodolaeth Duw, a'i fod ef yn Grëadwr, a gwadu ei Ragluniaeth wastadol ac effro, yn hollol anghyson ac afresymol. Yr oedd crëu pob peth o ddim yn rhoddi perchenogaeth pob peth i Dduw. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder;" ac a yw yn debyg ei fod Ef yn gwbl ddiofal am ei eiddo ei hun? Os oedd yn werth ganddo Ef ei alw i fod, ai nid yw yn werth ganddo ofalu am dano? A'i fod Ef yn gofalu am ei "eiddo" mawr i gyd sydd ffaith na ellir ei gwadu. Ar bwy arall, gofynwn, y pwysai y cyfan, ond arno Ef? Pa fodd y gellir cyfrif am fywyd a symudiad ymysg gwrthddrychau a bodau y grëadigaeth ar wahân i'r Hwn ag yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bôd, ynddo? Ac Efe yw y Duw a wnaeth y byd, a phob peth sydd ynddo. Pa fodd y gallwn ni gyfrif am barhâd bywyd llysieuol, anifeilaidd, a dynol,—am ddïogeliad yr holl rywogaethau o grëaduriaid trwy awyr, tir, a dwfr—am gyfartaledd y rhywogaethau gwrywaidd a benywaidd, &c.? Pa fodd y gellir cyfrif am dyfiant a ffrwythloniad, olyniad rheolaidd y tymmorau, —nad yw amser hâu a medi, hâf a gauaf, hydref a gwanwyn, yn pallu trwy holl oesau y ddaear, heb addef fod Crëawdwr a Pherchenog pob peth yn parhâu ei ofal a'i wyliadwriaeth dros yr oll a wnaeth? Gwir yw mai trwy gyfrwng y deddfau a'r egwyddorion llïosog a sefydlog sydd yn rhedeg trwy natur oll y mae Efe yn gwneyd hyny; ond beth yw y deddfau hyny ond ei wahanol foddau Ef o weithio? Ac onid yw y deddfau hyn yn golygu Gosodwr a Gweinyddwr o honynt? Nid colli y Llywydd a'r Pen-rheolwr mawr yn neddfau natur a wnai yr ysgrifenwyr ysbrydoledig, ond canfod a chydnabod ei law ef ymhob peth. (Gwel Salm civ. 10—28.) Yr oeddent hwy yn gweled ei drugaredd Ef ar ei holl weithredoedd, ac yn canfod ei ragluniaeth dirion yn porthi y brain ac yn gofalu am adar y tô (Mat. x. 29; Luc xii. 24). Ond deallent hefyd fod ganddo Ef ofal mwy arbenigol am ei grëaduriaid rhesymol. "Ei hiliogaeth Ef ydym ni;" ac y mae yn gofalu am danom ni fel tad am ei blant. I'n cynnal ni y mae Efe yn peri i'r cymylau wlawio, i'r haul dywynu, i'r awelon chwythu, ac i'r ddaear ffrwytho, fel y gorchuddir ei dyffrynoedd âg ŷd, ac y gwisgir ei dolydd â defaid. I'n cynnal ni y mae Efe yn llenwi y ddaear â chrëaduriaid, yn peri i'r dyfroedd heigio gan bysgod, ac yn britho yr awyr âg adar. Mor brïodol o hyd ydyw geiriau yr Apostol Paul yn Lystra:—"Ni adawodd Efe mohono ei hun yn ddidŷst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymmorau ffrwythlawn, a llenwi ein calonau â lluniaeth ac â llawenydd" (Act. xiv. 17).

Ond er mor haelionus ydyw trefniadau parhäus Rhagluniaeth, y mae darpariadau y daioni Dwyfol er cyfarfod âg anghenion moesol dyn yn anfeidrol fwy. Y mae yr anghenion ysbrydol hyn mor wirioneddol â'r rhai corfforol, er nad yw dynion yn eu cydnabod mor gyffredin. Y mae dyn, er hyny, yn gorfod teimlo yn aml ei fod yn grëadur moesol a chyfrifol. Y mae ynddo ef gydwybod sydd yn dyweyd wrtho ei fod ef

yn ddeiliad deddf foesol, ac yn droseddwr o honi, ac felly yn agored i gosb gyfiawn oddiwrth y Brenin digiedig. Dygir ef i deimlo hawliau cyfreithlawn Duw i gael ei galon a'i wasanaeth. Efe a deimla ei anghen am Dduw—am wrthddrych gwell ac uwch nag ef ei hun iddo ymddiried ynddo, ei garu, a'i addoli. Hyn sydd yn cyfrif pam y mae dyn ymhob gwlad yn addoli. Ceisio am Dduw y mae. Efe a addola ei eilun yn gyffredin, credwn, am y tybia fod hwnw yn cynnrychioli duw—rhyw wrthddrych anweledig, gwell a chryfach nag ef ei hun, i'w ofni a gobeithio ynddo. Cyn y gall dyn fod yn ddedwydd, rhaid iddo ef gael gafael ar yr unig wir a'r bywiol Dduw. Y mae addoli, caru, gobeithio, ac ymddiried, yn naturiol iddo ef; a phan y daw i adnabod y gwir Wrthddrych, daw i deimlo yn foddlawn a dedwydd. Y mae y Duw da wedi ymostwng i ddadguddio ei hun, ac i ddadguddio ei hun yn y fath agweddau daionus a chariadlawn ag sydd yn ennill ymddiried calon dyn. Coron y daioni Dwyfol ydyw trefn y Prynedigaeth. Prïodoliaethau naturiol Duw—ei allu, ei ddoethineb, ei holl-bresennoldeb, a'i ddaioni cyffredinol, yn benaf a welir yn ngweithredoedd y greadigaeth; yn y Prynedigaeth y daw ei brïodoliaethau moesol Ef yn benaf i'r golwg—megys ei sancteiddrwydd, ei gyfiawnder, ei drugaredd, ei ras, a'i gariad. Yn anfoniad ei Fab yr agorodd Efe ei fynwes, ac y dangosodd i ni ei galon dosturiol, a'i ymysgaroedd gwresog a thadol. Yn y Prynedigaeth y mae Efe yn gwneyd rhan y Samariad da â'r truan, ac yn dyfod i ni yn Brynwr byw, yn Gyfathrachwr, yn *Goel*, i adfer i ni ein hetifeddiaeth golledig. Yma yr ymddengys golud ei ddaioni a'i gymwynasgarwch, ïe, anchwiliadwy olud ei ras Ef. Yma y mae y daioni Dwyfol yn gwisgo yr agwedd o drugaredd tuag at bechadur truenus ac andwyol, a'r Llywydd cyfiawn yn profi fod yn hoff ganddo Ef drugaredd. Yma yr ydym yn ei weled Ef, tra yn arddangos gofal Llywydd uniawn am anrhydedd ei gyfraith a'i lywodraeth, yn arddangos hefyd deimlad awyddus tad i faddeu i'w blant gwrthryfelgar. Yma ni a ddysgwn fod pob parodrwydd yn meddwl Pen-rheolwr hollalluog y bydoedd oll i dderbyn plant afradlawn ein byd enciliedig ni yn ol i'w deulu, a'i fod wedi rhoddi i ni yr annogaethau cryfaf sydd yn bosibl i godi a myned at ein Tad.

Y mae gwrthddadleuon wedi eu dwyn ymlaen yn erbyn y daioni Dwyfol, yn benaf oddiwrth y ffaith o ddrwg moesol a drwg naturiol. Cyfeirir ni gan y gwrthwynebwyr at ddaeargrynfäau, ystormydd, llifogydd, hinsoddau afiachus, tlodi, damweiniau, clefydon, cystuddiau, trosedd a chosb, ac at gyfanswm annarluniadwy dyoddefiadau presennol, dyfodol, a thragywyddol. Y mae y creadur direswm hefyd, druan, wedi cael ei ddarostwng i oferedd, ac yn cael cam dirfawr, heb ei ewyllysio na'i haeddu. Gellir dyweyd fod pob anhawsder ynglŷn â'r mater dyrys hwn yn cyfodi oddiwrth y ffaith o ddyfodiad drwg moesol i'r byd, canys byth er hyny y mae cyflwr dyn ar y ddaear yn wahanol iawn i'r hyn ydoedd yn sefyllfa diniweidrwydd. Nid gwrthddrych ymhyfrydiad a daioni Dwyfol digymysg ydyw dyn mwy, ond y mae efe hefyd yn ddeiliad cosb a dysgyblaeth; ac y mae yn gorfod teimlo llawer o arwyddion o anfoddlonrwydd ei Wneuthurwr o herwydd ei bechodau.

Y mae cysoni y ffaith o ddyfodiad a goddefiad drwg moesol â daioni Duw, yn waith ag y mae llawer o anhawsderau cryfion ynglŷn âg ef,

ac yn fater ag y mae gwylder, parch, a gostyngeiddrwydd yn gweddu i bob ymgais o eiddo dynion ffaeledig i'w egluro. Y mae dyweyd fod yn *rhaid* i Dduw wneyd fel hyn, ac na *allasai* Duw wneyd fel arall, yn ddull o siarad nad yw yn gweddu yn dda i ni, ddynion, sydd mor derfynol ein cyrhaeddiadau. "Canys *o ran* y gwyddom, ac *o ran* yr ydym yn prophwydo." Nis gallwn ni wybod yr holl resymau sydd gan y meddwl Anfeidrol dros ei weithrediadau, fel y sylwodd y duwiol Doddridge yn ei *Lectures:*—"Gofynir eto, Paham y goddefwyd drwg moesol? I hyn atebir yn gyffredin ei fod yn ganlyniad rhyddid naturiol; ac mai addas ymysg yr holl restrau a graddau eraill o fodau, fod rhai wedi eu ffurfio yn meddu ar hwn, gan y tueddai hyn at gydgordiad y bydysawd, ac at yr amrywiaeth prydferth o fodau o'i fewn. Eto gofynir, Paham na buasai Duw yn attal y camddefnydd hwn o ryddid? Ni fynai un ddyweyd nad ydyw Efe yn abl i wneuthur hyny heb dreisio natur ei grëaduriaid; ac nid yw yn bosibl i neb brofi hyn. Dywedir yn gyffredin iddo Ef oddef hyn mewn trefn i dynu o hono ddaioni mwy. Ond gellir gofyn ymhellach, 'Ai ni allasai Efe gynnyrchu y daioni mwy hwnw heb y fath foddion? Ai ni allasai Efe sicrhâu ymysg ei holl grëaduriaid ddaioni cyffredinol a dedwyddwch cyffredinol mewn cyflawn gysondeb â'r rhyddid a roddasai Efe iddynt hwy?' Yr wyf yn cydnabod na welaf fi un ffordd i ateb y cwestiwn hwn ond trwy ddyweyd, Yr oedd ganddo Ef yn wir allu naturiol i'w wneyd; ond Efe a welodd mai gwell oedd peidio ei wneyd, er fod y rhesymau am y rhai yr ymddangosai hyny yn fwy dewisol ganddo Ef yn hollol anadnabyddus i ni."

Heb geisio ymddoethi i allu egluro y "rhesymau" hyny, y mae yn beth mawr i ni fod genym seiliau i gredu y bydd cyfanswm y da moesol a'r dedwyddwch yn annhraethol fwy yn y diwedd na swm y drwg moesol, a'r drygau naturiol, a'r trueni, mewn canlyniad. I ni y mae llawer sydd yn effeithiol yn y syniad a ganlyn,—Er y rhagwelai y Crëwr da y camddefnydd anniolchgar a wnai dyn o'i grëadigaeth, eto na ddarfu i'w ddaioni ei attal Ef i'w grëu ef yn rhydd a dedwydd, mwy nag y darfu i ragwybodaeth yr Un mawr o'r gwrthodiad anniolchgar a wnai dynion yn rhy gyffredin o'i anwyl Fab, ac o ddoniau y prynedigaeth, attal i'w gariad, ar anfeidrol draul, ddarparu trefn iachawdwriaeth. Attal ein haelioni a wnawn ni yn gyffredin os byddwn yn tybio na chaiff dderbyniad teilwng gan ei wrthddrychau. Ond y mae Duw mewn crëadigaeth, rhagluniaeth a gras, yn dadguddio ei hun yn ddaionus a haelionus tuag at rai anniolchgar a drwg. Rhoddi ychydig a wnawn ni, hefyd, o'r llawer yr ydym yn ei dderbyn; ond y mae Duw yn rhoi o'i wir eiddo ei hun, gan nad oes neb uwch nag Ef i gyfranu dim iddo Ef yn gyntaf. "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheiniadwy ydynt! Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu pwy a fu gynghorwr iddo ef? Neu pwy a roddes iddo ef yn gyntaf, ac fe a delir iddo drachefn? Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth."

Nid fel yr edrych dyn yr edrych Duw. Nis gallwn ni ganfod ond rhanau o'i ffyrdd a'i gynlluniau Ef; ac y mae barnu a beio cynllun cyn ei ganfod i gyd yn dangos gwendid dyn brysiog. Y mae meddwl Duw yn canfod pethau i'w terfynau pellaf. Y mae ef yn gwybod perthynas

ein byd ni â bydoedd eraill, a gwel yr hyn sydd i gymeryd lle yn ac ar ein byd ni yn y dyfodol. Y mae cyfnod hir a dedwydd i wawrio ar y ddaear hon, pan y bydd drygau moesol a drygau naturiol, os nad wedi eu llwyr ddifodi, eto wedi eu dirfawr leihâu. Y mae ffynidwydd i gyfodi yn lle drain, a mieri yn lle myrtwydd. Y mae y pantiau i gael eu codi, a'r bryniau eu darostwng; y gŵyr i gael ei wneyd yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd, a gwybodaeth yr Arglwydd i lenwi y ddaear. Adferir hinsawdd hyfryd Eden eto yn ol. Bydd dyddiau y nefoedd ar y ddaear. Bydd i'r daioni Dwyfol lenwi y byd â dedwyddwch fydd yn cyrhaedd i lawr hyd yn nôd at y grëadigaeth ddireswm, fel ag i ad-dalu mewn ffordd i'r gwahanol rywogaethau o grëaduriaid diniwed a defnyddiol am yr anghyfiawnder hirfaith sydd wedi ei ddyoddef ganddynt hwy.

"Megys y mae y prynedigaeth yn adfer dyn i'w wir ddyben," meddai Charnock, "felly y mae yn adfer y crëaduriaid i'w gwir ddefnydd. Adferiad y byd i'w brydferthwch a'i drefn ydoedd amcan y daioni Dwyfol yn nyfodiad Crist, fel y dangosir yn Esai. xi. 6—9. Megys na ddaeth Ef i dôri y gyfraith, ond i'w chyflawni, felly ni ddaeth i ddinystrio y crëaduriaid, ond i'w hadfer hwynt; i adfer i Dduw anrhydedd a phleser y grëadigaeth, ac i adfer i'r crëaduriaid eu dedwyddwch wrth adfer eu trefn *(order)*. Darfu i'r cwymp ei lygru, ac y mae prynedigaeth gyflawn dynion yn ei adfer. Gelwir yr amser diweddaf, nid yn amser o ddystryw, ond o adferiad, a hyny ar 'bob peth' (Act. iii. 21,)—o natur gyffredinol, y rhan fwyaf o'r grëadigaeth, o leiaf. Dyfethir yr holl bethau hyny ag oeddynt yn effeithiau pechod. Symudiad yr achos a gura i lawr yr effaith. Annhrefn ac afreoleidd-dra y crëadur, yn cyfodi oddiar wenwyn trosedd dyn, a holl greulondeb y naill grëadur tuag at y llall, a ddiflana. Ni bydd y byd yn ddim ond gwên gyffredinol. Bydd i natur ddodi am dani wisgoedd buddugoliaeth. Ni bydd taranau dychrynllyd, niwloedd taglyd, tarth afiach, na phlanhigion gwenwynig. Pe amgen ni byddai yn adferiad pob peth. Y maent yn awr yn agored i gael eu hanrheithio o herwydd pechod eu meddiannydd, ond bydd i berffeithrwydd prynedigaeth dyn eu rhyddhâu oddiwrth bob trueni. Y maent wedi eu dyrchafu yn awr, canys y maent dan Ben mwy gogoneddus, gan eu bod yn feddiant Crist, yr Adda nefol,—llawer uwch na'r cyntaf, fel y mae yn ogoniant i ddyn fod yn was i dywysog ragor i ŵr tlawd. Ac ar ol hyn, hwy a gânt eu dyrchafu i sefyllfa uwch, gan gyfranogi o ddedwyddwch dyn, megys y gwnaethant o'i drueni, fel y mae gweision yn cael eu lleshâu yn ffawd dda eu meistr, a'u gwella trwy ei ddyrchafiad ef yn ffafr ei dywysog. Megys yr oedd dyn yn ei grëadigaeth gyntaf yn gyfnewidiadwy, ac agored i bechod, felly yr oedd y crëaduriaid yn agored i oferedd; ond megys trwy ras y rhyddhëir dyn oddiwrth y newidioldeb, felly y rhyddhëir y crëaduriaid oddiwrth ofnau anrheithiad trwy yr oferedd a'u niweidiodd o'r blaen. Bydd i gyflwr y gweision gael ei gyfaddasu i gyflwr eu Harglwydd, i'r hwn eu bwriadwyd hwynt o'r blaen. Felly gelwir ar yr holl grëaduriaid i lawenhâu ar berffeithiad iachawdwrieth, ac ymddangosiad awdurdod brenhinol Crist yn y byd. Pe baent i gael eu dinystrio, ni buasai sail i'w gwahodd i orfoleddu, (Salm xcvi. 11, 12; cxviii. 7, 8). Fel hyn mae y daioni Dwyfol yn estyn ei freichiau caredig dros yr holl fyd."

Y mae yr apostol Paul yn y rhan nodedig o'r 8fed ben. o'r Epistol at y Rhufeiniaid, at yr hon y cyfeirir uchod, yn personoli y grëadigaeth anifeilaidd, dan bwys ei cham a'i gofid, yn awyddu ac yn gobeithio am y jubili wynfydedig sydd i wawrio ar y ddaear, pan y "rhyddhëir y crëadur yntau hefyd." Gobaith ydyw un o elfenau cryfaf ein cysur a'n cynnaliaeth ni, tra yn dyoddef dan effeithiau drygau moesol a naturiol. "Trwy obaith y'n hiachâwyd." Gobaith am iechyd sydd yn cynnal meddwl y claf yn ei gystudd; gobaith am ryddhâd sydd yn nerthu calon y caeth; gobaith am amser gwell sydd yn dyddanu ysbryd deiliad adfyd. Ac er mor fawr ydyw y trueni sydd yn y byd trwy bechod, y mae gan bob credadyn obaith da na phery sefyllfa bresennol pethau ddim o hyd, ac y gwawria dydd dysglaer maith o ddedwyddwch ar y ddaear wedi ei holl flinderau. A phan gymerwn i ystyriaeth y swm mawr o ddedwyddwch a ffŷna y pryd hwnw, ac yn enwedig pan feddyliom am ddedwyddwch perffaith a diddiwedd y nefol fro, ymddengys daioni Duw mewn goleuni prydferth a gogoneddus. Y mae da i orchfygu drwg ar ein daear ni ryw ddydd; ac am y "wlad well," ni ddisgyna malldod na melldith drwg moesol ar ei meusydd ffrwythlon a bythol-wyrddion hi yn dragywydd.

Parch. Henry Parry Machynlleth

---

# TUDUR ALED A'I AMSERAU.

Bodau pwysig oedd y beirdd yn yr hen oesoedd. Yr adeg gyfoethocaf ar Gymru am feirdd oedd oes Tudur Aled; ac efe oedd y penaf o feirdd yr oes awenyddol hono. Yr oedd y beirdd y daeth eu clod a'u caniadau i lawr atom ni yn wŷr o ddysg ac enwogrwydd mawr, yn enwedig wrth eu cyferbynu â'u cyfoeswyr. Peth buddiol yw cymharu y naill oes â'r llall er mwyn gweled cynnydd gwareiddiad, celfyddyd, cyfoeth, a gwybodaeth; ond dylid barnu pob dyn o ran ei chwaeth a'i ddysgeidiaeth yn ngoleuni ei oes ei hunan, a'i fesur wrth eraill fyddo yn anadlu yr un awyr foesol ag ef ei hun. Dïau i lawer o brydyddion y cynoesoedd ddiflanu i wlad anghof, rhai o honynt, ond odid, cyn iddynt syrthio i'r bedd, ac eraill yn fuan ar ol iddynt ymddyosg o'u ffolineb, a throi yn llwch a lludw. "Beirdd gwlad," neu feirdd "annigrif gwladaidd," y gelwid rhai felly, yn gyferbyniol i feirdd Llŷs, y rhai a gofrestrent achau yr uchelwyr a'r dyledogion yn y neithiorau, ac ar amserau gosodedig eraill. Byddai y beirdd rheolaidd a dysgedig yn clera, neu deithio o lŷs i lŷs, ac o fonachlog i fonachlog, lle yr oedd eu croesaw yn fawr, a'u gwasanaeth yn bwysig, i gofnodi helyntion y tymmor, ac i gânu moliant i'r abadau, ac i arglwyddi y cyfoeth. Mewn pellder gweddus

i'w gradd, yn canlyn y fyntai urddfreiniawg o hirbell, yn llyfu eu gweflau, a'r dŵr glâs yn rhedeg o'u dannedd, mewn rhaib anniwall am ran o'r ysbleddach, y byddai y beirdd gwlad, y pastynfeirdd anghywraint ac annigrif, y rhai a elwid "clêr y dom," a "bonyglêr,"—grwgnachwyr eisteddfodol yr oes oleu hono, y rhai a regent yn ddystaw, ond na feiddient rwgnach yn gyhoeddus, rhag ofn gŵg y Pencerdd, yr hyn allasai derfynu mewn "dwyn cyrch cyflafan" yn eu herbyn, ac i Bleddyn fin pladur eu murnio yn ddisyfyd.

Y mae un peth pwysig, fel ffaith hanesyddol, y carem alw sylw ein darllenwyr ato, sef egwyddorion crefyddol y beirdd Cymreig, oes neu ddwy cyn y Diwygiad Protestanaidd. Mae rhai Eglwyswyr, o herwydd eu hanwybodaeth, yn ddïau, yn haeru fod y beirdd o ran eu syniadau crefyddol yn Brotestanaidd, trwy yr holl oesoedd er dyddiau y gyneglwys Brydeinig. Amcan y rhai a hònant y fympwy yma yw profi mai olyniad yw Eglwys Loegr o hen eglwys gyntefig y Brutaniaid, ac mai ganddi hi, trwy flaenafiaeth, y mae hawl apostolaidd i'r holl ynys, ac mai lladron ac ysbeilwyr yw pawb a ddaethant i mewn ar ei hol i'r tiriogaethau. Gwyddys i'r Pabyddion oresgyn yr holl wlad yn y canoloesoedd; ond haerir i'r beirdd mewn modd dirgel, yn eu plith eu hunain, gadw yr hen athrawiaeth yn fyw, fel nad oedd gan y Diwygiad nemwr o ddim i'w wneuthur heblaw taflu iau Rhufain oddiar wàr y deyrnas, a gadael lle i ddysgeidiaeth flaguro a dwyn cnŵd. Mor hawdd a didrafferth yr â rhai dynion drwy anhawsderau mawrion! Nid yw symud mynydd ond yr un peth iddynt hwy a chwalu crugyn o bridd y wâdd. Na, rhaid i Eglwys Loegr, fel pob sefydliad arall, fyw neu farw yn ei theilyngdod mewnol, ac nid ar fonedd ac uchel achau ffugolyniad trwy linach y beirdd, pan oedd cadwen ddychymygol yr offeiriadaeth wedi pydru gan ofergoelion. Y gwirionedd ar y pen yma yw hyn,—*Yr oedd holl feirdd Cymru, o oes Tudur Aled hyd Siôn Tudur, yn Babyddion rhonca.* Mae yn ffaith hynod i'r beirdd aros yn Babyddion yn hîr wedi i'r llywodraeth newid ei chrefydd drwy ddeddf seneddol. Darllener gwaith Siôn Brwynog, Gruffydd Hiraethog, Siôn Tudur, William Llëyn, Rhys Cain, &c., a cheir digon o brawf o wirionedd yr hyn a ddywedwn. Dyma Gruffydd ab Ieuan ab Llywelyn Fychan o'r Llanerch, yn Nyffryn Clwyd, yr hwn a gânodd y Cywydd yn erbyn delwau a chreiriau Pabaidd, yn gweddïo ar Gynhafal Sant, yn lle ar Dduw y gwirionedd. "Deliwch sylw ar y geiriau canlynol," ebai Gwallter Mechain, "o gwynfan bardd at Sant Cynhafal, am gael adferiad nerth ei aelod; nid oes air o grybwyll Duw trwy y Cywydd:—

Dy genad wna gnawd yn iach,
Cynhafal! Cwyna 'i hyfach;
Dod ddau bwnc, dedwydd eu bod,
Erch imi ddwy arch-ammod;
Iechyd im' rhag nych wayw dwys,
A'm rhoi wedi ym mharadwys."

Digon hawdd cael darnau yn cynnwys syniadau efengylaidd, fel y gellir cael gan awduron Pabaidd yn gyffredin, yn ngwaith y beirdd; ond y mae dyfynu yn unochrog yn annhêg. Tybia rhai i'r hen fardd uchod newid ei farn cyn diwedd ei oes, canys y mae "Cywydd dyodd-

efaint Crist, ac "Awdl y Grôg," yn cynnwys llawer o syniadau iachus.

Dyma Llawdden eto yn cânu i Fair:—

Yn foreu d'weda' i fawrair,
Ac yn f'oes, blygain i Fair;
*Avëa Marïa* o Röeg,
Ac o rad Duw geiriau têg.
Mi a luniaf mau lawnwaith,
Gywyddau a Salmau saith;
A naw emyn o newydd,
A phob gair i Fair a fydd;
A gosper pan fyner fod,
Llaswyr rhag y lle isod;
Gofyn a gweddi gyfarch,
Weithian, rhag purdan, yw 'n parch;
Clyw fy mod am y clwyf mau,
Mair wyryf am ofer eiriau;
O dŵg fi, er dy dêg fam
Syberw, i fynwes Abram.

Nid oes ôl "bwyell Llawdden" ar un o'r llinellau uchod. Digon tebyg mai "Fair wyryf am ofer eiriau" a ddywedodd y bardd, yr hwn, meddynt, er ei ofergoelion Pabaidd, oedd pensaer a pherffeithiwr y gynghanedd, yn 1450.

Dyfyniad eto o waith Tudur Aled:—

Ni ddywed neb ar ddeuair.
Aruthr y modd wyrthiau Mair;
Gwae fi na fedrais, gwiw fu,
Saith ugeinwaith ei ganu;
A'm camu yn amcanawl,
A phob gair i Fair yn fawl.
Mair anwyl yw 'r gair ini,
Os Mair yn unair â ni:
Mair wyryf wna 'r mawr eiriol,
Hon ni âd y ni yn ol;
Mair a'n tŷn o'r mïeri,
Ac wedi hyn, gyda hi,
Cawn wynfyd gan y Wènfair,
Cawn y nef oll,—canwn i Fair.

Y nesaf a ddygwn ymlaen yw Guto'r Glŷn, cyfoeswr i Tudur Aled, yr hwn oedd yn dal fferm yn Nglŷndyfrdwy, yn mhlwyf Corwen:—

Nid â i'r nef, rhaid yw 'n wir,
Ffinio dros y corff anwir,
A thalu 'r ffîn gatholig
Yn y tân yr enaid dig;
Crist ni dderbyn o'r brasdan
Enaid i'w law ond yn lân.

Byddai yn hawdd ymhelaethu. Yr oedd Siôn Brwynog yn diystyru y Diwygiad, megys ag y byddai Eglwyswyr yn diystyru "pregethwyr bòl clawdd:"—

Yr oedd gynt arwydd a gaid
Olew yn eli enaid;
Onid oedd dôst mewn dydd a dau
I'r llawr fwrw 'r allorau.

Ond yn awr, y byd wedi ymlygru ac ymranu yn rhyfedd:—

Rhai 'n lew am y ffydd newydd,
A rha 'n ffèl am yr hen ffydd.
Côr ni bydd, cŵyr yn y byd,
Na chanwyll yn sâch enyd.

Hogiau diddysg yn cael urddau eglwysig, ac yn myned o gwmpas i faldorddi, fel y darlunia un o honynt:—

Wrth y bwrdd o nerth ei ben
I bregethu brygawthen.
Ni sôn am offeren Sul
Na chyffes mwy na cheffyl;
Oerder yn ein hamser ni,
A'r iâ glâs yw 'r eglwysi.

Dywed Gwallter Mechain:—"Tebyg yw fod Siôn Tudur yn Babydd yn nechreu ei oes, beth bynag oedd yn ei henaint; canys yn ei '*Freuddwyd*' y mae yn enllibio yr offeiriaid Protestanaidd yn waradwyddus."

Os nad yw hynyna yn ddigon i argyhoeddi dyn o synwyr cyffredin fod y beirdd yn Babyddion rhonca cyn y Diwygiad, ac iddynt bara felly nes i'r frawdoliaeth ddiflanu yn oes y frenhines Elsbeth Tudur, darllener Awdl Gwilym Tew i Fair Wèn o Ben Rhys; Canu Dewi, gan Gwynfardd Brycheiniog; Cywydd Illtyd Sant, gan Lewys Morganwg; Cywydd Teilo Sant, gan Ieuan Llwyd ab Gwilym; Cywydd Dewi Sant, gan Ieuan Rhydderch ab Ieuaa Llwyd; Cywydd Sant Cattwg, gan Risiart ab Rhys; Cywydd Cynog Sant, gan Hywel ab Dafydd ab Ieuan ab Rhys; Cywydd i Fair, gan Ieuan ab Rhydderch ab Ieuan Llwyd; Awdl i'r Brenin Harri y Seithfed, gan Dafydd Nanmor; Cywydd i Sant Ffraid Leian, gan Iorwerth Fynglwyd; a llu mawr gyda hyny o ganiadau beirdd y Canoloesoedd. Yna wedi darllen barddoniaeth a rhyddiaith beirdd y 14eg, y 15fed, a'r 16eg canrif, a'u deall, a thrwy hyny wneyd eu hunain yn gymhwys i roddi barn ar y mater, gofynir iddynt a allant osod un llaw ar y pentwr llyfrau, y llaw arall ar y creiriau, yn ol yr hen ddull o dyngu, ac edrych yn ddifrifol yn wyneb y wlad, a chofio eu bod yn "tyngu trwy berfedd," a dywedyd yn uchel ar air a chydwybod,—*Yn wir, Protestanaidd oedd hen feirdd Cymru cyn y Diwygiad Protestanaidd!* Gresyn oedd i ddynion a gyfrifid yn wybodus a dysgedig mewn pethau eraill, ymollwng i'r fath amryfusedd. Eto gellir dyweyd fod rhai beirdd, megys Dafydd Ddu o Hiraddug yn Ngwynedd, a Siôn Cent yn Eirinwg, yn feirdd â llawer o syniadau Protestanaidd yn eu penau, tua chan' mlynedd cyn oes Tudur Aled; ond cofier mai Lolardiaid, neu Wickliffiaid, yn yr Eglwys Babyddol oedd y rhai hyny, megys ag y bydd ambell offeiriad efengylaidd, neu Fethodistaidd, yn Eglwys Loegr yn yr oes hon. Dichon fod Twm Ifan Prys o Forganwg, yr hwn hefyd a elwid yn "Dwm Celwydd Têg," o flaen ei oes mewn gwybodaeth grefyddol, a bod Thomas Llewelyn o Regoes wedi troi allan i bregethu yn mlaenau Morganwg, cyn codiad Ymneillduaeth yn Nghymru.

Gwnaeth y beirdd lawer yn ddïau i gadw ein iaith yn fyw, ac i feithrin llênyddiaeth yn gyffredinol, a'u gwaith hwy yw yr unig gofion dilys sydd genym o hanes ein gwlad a'n cenedl. Ond yr ydym yn fynych yn cael ein trethu yn drwm wrth orfod gwrandaw areithiau eisteddfodol, yn haeru mewn haerllugrwydd, neu anwybodaeth cadarn, mai y beirdd a'r eisteddfodau sydd wedi diwygio a gwareiddio ein gwlad, a'i gwneuthur yr hyn ydyw! Trueni ysbeilio yr Ysgol Sabbothol o'i choron.

Ond y mae yn bryd i ni, bellach, ddyweyd rhywbeth am Dudur Aled. O ran "âch ac edryd" disgynai o lwyth Hedd Molwynog, o'r un cyff a Llwydiaid Hafodunnos, Llwynymaen, a Llanforda. Yr oedd Dafydd ab Edmwnt yn ewythr o frawd ei fam iddo, a gwelsom yn rhywle ei fod yntau yn ewythr i William Salesbury, y cyfieithwr. Buasai yn dda genym allu olrhain ei achau yn fanwl, ond nis gallwn. Preswyliai ar làn yr afon Aled, mewn lle, yn ol traddodiad, a elwir Garth Geri Chwibryn, yn mhlwyf Llansanan, a chymerodd ei gyfenw barddonol oddiwrth yr afon hono. Gan ei fod yn ŵr boneddig o ran ei gysylltiadau

teuluaidd, ac yn nai i brif-fardd yr oes, yn ogystal ag yn ddysgybl iddo hefyd, gallwn gasglu iddo gael pob manteision addysg a allai yr oes hono gyfranu. Hefyd, yr oedd John Birchinshaw, brodor o Lansanan, yn abad Sain' Werbwr, yn Nghaerlleon, i'r hwn y canodd Tudur awdl orchestol, ac abadau Dinas Basing a Maenan, yn Gymry trwyadl, a'r bardd yn fawr ei barch gan bob un o honynt. Efe, ar ol marwolaeth D. ab Edmwnt, oedd Bencerdd a Chadeirfardd Gwynedd a Phowys, a'r holl feirdd yn cydnabod hyny yn ostyngedig.

Ymddengys i'r bardd, yn moreu ei oes, syrthio dros ei ben a'i glustiau mewn cariad at ryw rïan brydferthach na chyffredin, ac i hono farw cyn i adeg yr undeb prïodasol ddyfod. Cânodd un o'r cywyddau tyneraf a phrydferthaf a ganwyd erioed ar ei hol, dan y penawd, "Cywydd Marwnad a wnaeth Tudur Aled i'w gariad a fuasai farw:"—

Gwae fi! cedwais gof cadarn,
Nad heddyw f'ait dydd y farn!
Dyn wyf a'r iâ dan ei fron,
A gweli yn ei galon;
Am forwyn mae fy araith,
Am hon ni chaf fy mhen chwaith;
Mae fy anadl am feinir,
Fal nad tew f' ol yn y tir;
Mae eilun f' oes mal yn fud,
Yn îs im' oni symud;
Mae Gwèn a fu yma gynt?
Mae 'r adar? ai meirw ydynt?
Hawdd im' wrth roi hawdd ammawr,
Gael gwlith o'r golwg i lawr;
Ola' 'rioed alar ydyw
A wnaf â merch yn fy myw;
Os marw bun, oes mwy o'r byd?
Mae 'r haf wedi marw hefyd!
Ni fynwn yn y Faenol
F' oes yn hŵy fis yn ei hol;
Ni ddo'ir mwy, ni ddaw o'r man,
Bi dau waeth y byd weithian,
Gan na wn fyw Gwèn yn faith,
Ni fynaswn fyw noswaith!
Ni byddwn awr hebddi 'n iach,
Ni fu briddyn fyw bruddach;
Dwy ffynnon am hon i'm hais,
Dau alwyn, do, a wylais;
Ban aethum i'r boen eithaf,
Heb wythen iach, beth a wnaf?
Dyn a'i friw dan ei fèr ais,
A'i ddwyglwyd sydd yn dduglais;
Mae anadl yn fy mynwes,
A âi drwy 'r pridd, y derw, a'r prês;
Ebwch hiraeth, heb chwarau,
A dòrai faen ydyw 'r fau;
Ymroi i'm cwyn, marw ym caid,
Ymwahanu a'm henaid;
Mae eisieu merch yn mis Mai,
Mae 'n ei harch a'm hanerchai;
Mi a oerias o'm hiraeth,
Mae y grym? yn ymgur aeth;
Croes imi acw yw 'r symud,
Hi ddoe 'n fwyn, a heddyw 'n fud;
Ymrafaeliodd marwolaeth,
Braw syn, fel pe'm briwiai saeth,
Och finnau! o chaf einioes,
Na bai 'n fyw, neu ben fy oes;
Ammodau rhwymau oedd rh'om,
Eithr angau a aeth rhyngom;
Rhwymo 'r awr wedi rhoi mryd,
Onis cawn, nis cai enyd;
Ni chaf y fwynaf i fan,
Yn iach fyth, na chaf weithian;
A chan farw o'r ferch yn forwyn,
I farw mi âf er ei mwyn;
Mwyaf gofal i'm calon
Y cawn fyw rhawg, gan farw hon;
Na roe Dduw im' un o'r ddau,
Ai 'n fyw 'r fûn, ai 'n farw finnau.

Ymddengys fod y bardd yn ysgrifenu marwolaeth, marfolaeth,—yn ol dull hen bobl o seinio *f* yn lle *w*: "ymrafaeliodd marfolaeth." Clywsom hen bobl yn dyweyd byfoliaeth am bywioliaeth, gorfedd am gorwedd, &c.

Rhoes y bardd heibio bob meddwl am brïodi mwyach, fel y dywedai yn y Cywydd, mai hwnw oedd y tro olaf

A wnaf â merch yn fy myw.

O hyn allan rhoes y bardd ei fryd ar fywyd monachaidd, a gwisgwyd ef yn y wisg lwyd, fel un o'r brodyr lleiaf, neu fonach o urdd St. Francis.

Yr oedd gan Eglwys Rhufain bedwar math o fyneich, a thri math o honynt i'w hadnabod wrth liw eu dillad, sef, llwydion, gwŷnion, a duon. Rhyw afradloniaid diwygiedig, er mwyn gwneyd iawn am eu rhysedd gynt, oedd sefydlwyr y cyfryw urddau. Un felly oedd Francis o Assisi ger Naples, yn 1208, pan y sefydlodd urdd y Brodyr Llwydion. Nis gwyddom paham yr ymunodd Tudur Aled â'r frawdoliaeth hon, gan mai myneich gwŷnion neu Garmeliaid oedd o'i amgylch ymhob man. Tebygol mai ei gysylltiad â Syr Rhys ab Thomas a'i dygodd i undeb â'r Brodyr Llwydion yn Nghaerfyrddin. Pa fodd bynag, dyna'r urdd a ddewisodd; ac ymddengys, wrth ei ganiadau, ei fod yn ŵr mawr gyda monachod Caerlleon, y Maesglas, Aberconwy, &c. Canodd lawer i foneddigion o'i amgylch, yn enwedig i'r Salbrïaid o Lyweni. Un o'r rhai hynotaf yn y teulu yma oedd John Salesbury, yr hwn a elwid "Siôn y Bodiau." Siôn oedd cawr Dyffryn Clwyd. Cafodd ei wneyd yn farchog urddol yn 1542. Bu yn cynnrychioli Sir Ddinbych yn y Senedd, 1542, 1547, 1553, 1554. Bu farw 1578. Canodd Tudur Aled "Gywydd Moliant John Salusbury," pan oedd yn dra ieuanc, sef tua 1514, pan aeth efe yn ŵr llŷs at Harri yr Wythfed. Yr oedd Siôn y pryd hwnw yn fwy golygus, ac yn gryfach na neb arall a wyddai y bardd am dano:—

Siôn ffriw at asenau Ffranc,
Sy lew braf, Salbri ifanc;
Dy fŵa praff o dŵf pren,
Dan ddau wlw daw 'n ddolen.
Oes un grafanc, Siôn, gryfach?
Drwy dy gorff dûr wyd i gyd.
Dewr a chall wyt, drych y llu,
Doeth ac ynfyd a'th ganfu.

Mae traddodiad fod gan Siôn ddwy fawd ar bob llaw, ac ar bob troed; ond nid harddwch na chryfder, ond rhwystr yn hytrach, fuasai hyny. Oni all bodiawg arwyddo cymalog, aelodog, &c. Mae Rhys Jones o'r Blaenau yn galw rhywun yn "wâs bodiog," o herwydd maint ei ysbodiau, mae yn debyg. Ewythr i "Siôn y Bodiau" oedd y Dëon Ffowc Salusbury o Lanelwy. Mae Tudur Aled yn canmol hwn yn anghyffredin, ac yn darogan ei ddyrchafiad i fod yn archesgob Caergaint, neu Gaerefrog. Y gŵr hwn oedd y Deon yn amser y Diwygiad, ac efe, yn 1534, a gydnabyddodd Harri yn ben Eglwys Loegr. Cyn hyny, sef tua 1511, cânai ein bardd am ei godiad yn Eglwys Rhufain:—

Cap a rydd i'r cop rhuddaur,
Carw a'i gyrn mewn crug aur;
Coron Iorc i ŵr o'n iaith;
Coroni cae hir unwaith;
Cyn teirawr cenad Harri,
Caniatäed het Caint i ti.

Dichon na newidiodd Ffowc Salusbury mo'i farn, os oedd ganddo farn i'w newid; ond newidiodd ei feistr; cymerodd Harri yn ben yn lle y Pab, a daliodd ei ddëoniaeth fel o'r blaen. Mae yn annichonadwy i ddeddf seneddol newid barn a theimlad gwlad; ond gall newid y gweinyddiadau; a gall dynion sydd heb gael eu poeni gan farn a chydwybod, droi yn ddidrafferth "gyda phob awel dysgeidiaeth." Arosodd y surdoes i lefeinio yr awyr, a disgynodd, fel hadau ffwng a chwyn, i'r ddaear; ac wrth i'r Defodwyr ail-aredig y tir, mae pob math o fresych

a chaws llyffaint yn ail-dyfu, ac Eglwys Rhufain yn chwerthin yn ei llewys wrth weled yr Eglwyswyr yn arloesi y ffordd i Babyddiaeth yn Lloegr a Chymru.

Yr oedd Tudur Aled yn un o feirdd goreu yr oesoedd. Ystyrir ei ddesgrifiad o'r march yn un o'r darluniadau mwyaf barddonol yn ein iaith. Er mwyn i'n darllenwyr sydd, gan mwyaf, mae yn debyg, heb wybod nemawr am y bardd hwn, gael rhyw syniad am ei allu ar farddoni, rhoddwn ger bron yma rai dyfyniadau o'i gynnyrchion. Mae Cywydd y March yn hysbys i lawer, gan ei bod yn argraffedig yn *Ngorchestion Beirdd Cymru.* Dywedodd Tudur Aled ei hun, mewn ymddyddan â Tomas, Abad dinas Basing, "Mi a genais Gywydd Merch, sef Cywydd i Wenfrewi, na chanodd D. ab Gwilym erioed ei well." "Gwir i gyd," ebai yr Abad. Mae yn debyg mai yn oes Tudur Aled y daeth Ffynnon Gwenfrewi i enwogrwydd, pan adeiladwyd y capeldŷ cywrain sydd uwch ei phen. Nis gallai y fath chwedl a Buchedd Gwenfrewi dyfu yn fuan. Yr oedd tòri pen y ddiweirfun, a'i asio yn ol gan Beuno, llyncu y llofrudd fel "llŷn tawdd" i'r ddaear, y ffynnon gryfaf yn Nghymru yn tarddu o le sych, a elwid o'r blaen Sychnant, ôl gwaed Gwenfrewi i'w ganfod byth ar y mwswg a'r cèryg, a'r ffynnon yn feddyginiaeth rhag pob dolur, yn dameidiau rhy freision i'w llyncu ar unwaith, ac yn ormod o waith i grebwyll un oes lunio y fath ramant hyfedd, a'i droi i ddybenion mor fanteisiol i'r goelgrefydd Babaidd. Ond mae y chwedl ynddi ei hun, nid yn unig yn wrthun o afresymol a phlentynaidd, ond yn llawn o groesddywediadau,—megys fod Beuno yn ewythr i Wenfrewi o frawd ei mam, pan, yn Muchedd Beuno, dywedir mai unig blentyn ei dad a'i fam ydoedd, mor debyg ag y gallent lunio o ran amgylchiadau ei enedigaeth i Ioan Fedyddiwr. Gosoda Tudur Aled oes Gwenfrewi yn B.A. 1010, tra yr oedd Beuno yn byw yn y 6ed ganrif. Ond at y Cywydd. Darnau detholedig yn unig a argraffwn yma:—

Caradog lawog o lîd,
Hyd ei theml daeth i'w hymlid;
Lladdodd Wèn, lle 'dd oedd unawr,
Llŷn tawdd a'i llyncawdd i'r llawr.
Gwae 'r ynfyd er gwirionfun,
Gwae o'i ladd hi golli 'i hun,
Trwy i mwnwgl taraw meinwen,
Treiglo 'r arf trwy goler wèn;
Rhedeg o'r pen rai deigr pur,
Obry at wastad briw tostur;
Codi 'i phen lle caid ffynnon,
Ban ei rhoes Beuno ar hon;
C'lymu hwn, cleimio 'i henaid,
Wrth y corff, a'i wyrthiau caid;
Nodi amgylch nid ymgudd,
Nôd yr arf yn edeu rudd;
Tra fu 'r mab ar ei aberth,*
A'i weddi 'n Nuw iddi 'n nerth,
Arwain afon o'r nefoedd,
A chwys gras, a chysgu 'r oedd;
Teyrnged pan goded Gwèn,
Tarddu enaint Iorddonen.
Main gwyarog mewn gweryd,
Mwsg a balm yn mysg y byd;
Man pêr ar y maen purwyn,
Main âg ôl gwaed mwnwgl gwŷn;
Beth ydyw 'r ôl byth a drig?
Ba'nd y gwaed bendigedig!

* * *

Irder byd yw 'r dŵr bedydd,
A elwir *ffons* olew 'r ffydd;
Aed i'w nofio dyn afiach,
Ef â'r naill ai farw, âi 'n iach;
A f'o arno haint i farw 'n hon,
Ef â i'r nef o'r un afon;

*Beuno yw y "mab," sef y mabsant oedd ar yr aberth, &c. Canys, yn ol y chwedl, gosododd Beuno y pen wrth y corff, a thaflodd ei fantell drosto, ac aeth ymlaen gyda'r Sacrafen, neu'r aberth, fel arfer, a thra yr oedd efe yn gweddïo felly, daeth bywyd i Wenfrewi, tarddodd y ffynnon, a difodwyd Caradog, &c. Dyna ôl y gwaed byth yn y ffynnon!

Iechyd o glefyd i glaf,
Ac i hengleirch gwahanglaf;
Enaint o fŵg nant y fagl,
I rai truain yw 'r trïagl;
Aed i offrwm y diffrwyth,
Fe ddeffry hon iddo ffrwyth;
Doe'n yno â dyn annoeth,
Oddiyno daw yn ddyn doeth;
Eithr dwyfraich a thraed efrydd
A fo 'n rhwym fe â yn rhydd;
Blin a thrwm heb law na throed,
A ddaw adref ar ddeudroed.
Os help y feddyges hon,
Y *ddau* iechyd a ddichon;
Iechyd y corff uchod caid,
A chadw fun iechyd f'enaid.

Dyna ddigon i brofi fod talent wirioneddol gan y bardd, ac i brofi ffugwyrthiau Gwenfrewi a'i ffynnon hefyd. Mae y Cywydd, fel y dywedodd D. Ddu Eryri, "yn eithaf gorchestol. Gresyn na buasai ganddo well testun." Cyffelyb yw ei Gywydd i ofyn Tarw; mae ei ddarluniad o'r tarw yr un mor naturiol a grymus.

Canai yn well pan fyddai ganddo well testun, megys,—

Rhown ein gofal bob calon,
Ar Grist fry, a'i groeswaed fron;
Man nad oes na garw loes gur,
Na dïaledd na dolur,
Nac erlid llid nac oerloes,
Na dîg, na galar nid oes,
Na newyn, chwerwddyn, na chwyn,
Na syched, na nos achwyn.

Amser enbyd oedd oes Tudur Aled; adeg rhyfel y Rhosynau, pan oedd cestyll a barwndai Gogledd Cymru yn cael eu tòri a'u llosgi. Efe a gânt yr englyn hwn o gôf a chadw, 1468:—

Harlech a Dinbych bob dor,—yn cynneu
Nant Conwy yn farwor;
Mil a phedwar cant mae Ior,
A thriugain ac wyth rhagor.

Gellir cael mwy o wersi dïarebol yn ngwaith T. Aled nag yn ngwaith nemawr fardd, megys,—

Hysbys y dengys dyn
O ba râdd y bo'i wreiddyn.

Rhaid i'r hwn y rho Duw ras,
Gyd gerdded gydag urddas.

Deuair sy raid eu deall,
Gair mam, gair llysfam yw 'r llall.

Bryd arall fe ganai yn hynod o doddedig, megys,—

Y gŵr marw, e gâr morwyn
Ddaear dy fedd er dy fwyn.

Gofalu heb dŷ, heb dâl,
Gwanhâu 'r wyf gan hir ofal.

Mae ei "Awdl-farwnad Thomas Salsbury, Marchog Urddol," yn gampus. Dechreua—

Gwae holl Grêd trymed tromwedd—am erchwyn
Y Marchog o'r Gogledd;
Cloi 'r bwrdd, a'r clai ar y bedd,
Cau Llyweni Cell Wynedd.

Dyma ddwy linell rymus iawn i ddangos maint y galar,—

Daear oedd yn diwreiddiaw,
Dan ebwch drom Dinbych draw.

Canwyd yr Awdl hon yn 1505.

Yr oedd Tudur Aled yn bleidiwr gwresog i Syr Rhys ab Thomas o Ddeheubarth, ac yn llawenychu yn fawr yn mrenhindawd y Tuduriaid, a buddugoliaeth Harri y Seithfed ar Risierdyn Gefngam yn maes Bosworth. Cânodd gywyddau ac awdlau gorchestol o fawl i Syr Rhys am ei wrhydri milwraidd yn gorchfygu y baedd, ac yn codi gwaed Cymro i orsedd Prydain, neu "goroni gŵr o Wynedd."

Ond fel Pencerdd, neu Fardd Cadeiriog, y mae a wnelom yn benaf â Thudur Aled yn awr. Yn ol Cyfreithiau Hywel Dda, yr oedd y Pencerdd yn ŵr pwysig iawn yn llŷs y brenin. "Sef fydd Pencerdd bardd gwedi yr ennillo gadair. Ni henyw y Pencerdd o rif y swyddogion llŷs. Y bardd teulu a gân yn ail yn y neuadd, canys y Pencerdd a ddechreua." Cadeirfardd, yn ol Dr. Pughe, yw un a chanddo hawl i lywyddu mewn gorsedd. "Pan fyner canu cerdd, y bardd cadeiriog a ddyly ddechreu â'r canu cyntaf o Dduw, a'r ail o'r brenin a bieufo y llŷs; ac oni bydd iddo ef a ganer, caned o frenin arall. Gwedi y bardd cadeiriog, y bardd teulu bïa gânu y trydydd canu o gerdd amgen."—*Cyf. Cym.* "Pedwar cadeiriawg ar ddeg y sydd yn y llŷs; pedwar o naddunt (yn yr) îs gorf, a deg (yn yr) uch gorf. Y cyntaf yw y brenin; efe a ddylai eistedd yn nesaf i'r celwy; ac yn nesaf iddo yntau y canghellor; a gwedi hyny yr osb; ac wedi hyny yr edling; a gwedi hyny y penhebogydd; a'r troedawg am y ddysgl ag ef (sef y brenin); a'r meddyg yn môn y golofn, am y tân ag ef; yn nesaf i'r celwy arall, yr offeiriad teulu wrth fendigaw y bwyd a chanu y Pader; a'r golofn uwch ei ben ef a ddylai y gostegwr ei maeddu; yn nesaf iddo yntau yr ynad llys; yn nesaf iddo yntau y bardd cadeiriog; y gôf llŷs ymhen y fainc, rhag deulin yr offeiriad. Y penteulu a ddyly eistedd ar y tàl isaf i'r neuadd, a'i law aswy at y talddrws; a'r hyn a fyno o'r teulu gydag ef; a'r rhai eraill y parth arall i'r drŵs, y bardd teulu ar y naill law i'r penteulu; y pen gwastrawd am y celwy a'r brenin; y pen cynydd am y celwy a'r offeiriad." Gwelwn mai y degfed oedd y bardd cadeiriog yn llŷs y brenin, yn ol cyfreithiau Hywel Dda. Lluniwyd llawer o ddeddfau gynt i wneuthur trefn a dosbarth ar wŷr wrth gerdd; dysgu moesoldeb a gweddeidd-dra iddynt, a'u hattal rhag myned yn glergwn gwlad i boeni boneddigion yn eu trigfanau. Yr oedd y beirdd, y cerddorion, a'r monachod am y mwyaf haerllug a digywilydd, yn glewa o dŷ i dŷ, yn llyna ac yn dadwrdd, yn cânu serth a gogan i'w gilydd, fel nad oedd fawr o heddwch yn fynych i ddynion yn eu tai eu hunain. Ond gofynid i'r beirdd rheolaidd a gwarantedig fod yn foneddigion mewn dysg, gwybodaeth, a rhinwedd. "Pedair cerdd raddawl y sydd o herwydd y *statud,* sef Prydydd, Dadgeiniad, Telyniawr, a Chrythawr; sef dau wrth gerdd

dafod, a dau wrth gerdd dant." Pencerdd y gelwid y penaf o bob un o'r dosbarthiadau uchod, am ei fod yn flaenor y cerddedwyr a dreiglent fel clêr a chylfeirdd yn eu galwedigaeth; a thincerdd y gelwid yr olaf. Mae Meirig Dafydd yn galw Siôn Mawddwy yn "Siôn y tincer o Fargam," a dywedodd rhywun arall,—

Ddaw Tincerdd yn Bencerdd byth.

Yr oedd gan bob un o flaenoriaid y galwadau uchod ei fathodyn i ddynodi o ba gerdd, ac o ba râdd yr ydoedd. "Sef yw Pencerdd, a fo gŵr wrth gerdd dafawd, neu wrth gerdd dant, a fo yn arwain y tlws a ddirpero ei gelfyddyd ar ei ysgwydd, yn arwydd ei fod yn athraw o bencerdd yn warantedig o farn eisteddfod. Cadair Prydydd a ddengys ei awdurdawd o gyfeistedd ac yngnadaeth; a phob tlws arall a ddengys gelfyddyd a'i harweinio."

Ymddengys na byddai neb ond Prydydd yn cael Cadair. Rhoddid i bob un arwyddlun ei gerdd ei hun. Nid am brydyddu y rhoddid cadair i brydydd chwaith, ond am athrawiaethu. Arwyddlun dysgaduriaeth yw cadair. Eistedd mewn cadair y bydd gŵr doeth fel cadeirdraw i addysgu eraill. Nid yw arwain dyn i gadair, a dal cleddyf uwch ei ben, fel y gwneir yn eisteddfodau yr oes hon, yn tueddu dim at wneyd y cyfryw brydydd yn gadeir-fardd, fel y cawn weled wrth olrhain hanes y cadeir-fardd Tudur Aled.

"Pedair ariandlws y sydd, nid amgen Cadair aur neu arian, ac i Brydydd, sef gŵr wrth gerdd dafawd, y perthyn: Telyn aur neu arian, a Thelyniawr a'i harweinia; Crwth aur neu arian, a chrythwr a'i harweinia; a Thafawd aur neu arian, a'i arwain gan y goreu o ddadgeiniaid." Hyny yw, llun cadair oedd ar fathodyn y bardd, llun telyn oedd ar fathodyn y telynor, llun crŵth oedd ar fathodyn y crythwr, a llun tafod oedd ar fathodyn y dadganwr. Gwisgid y cyfryw dlŵs ar yr ysgwydd, fel y gwelai pawb i ba urdd y perthynai ei arweddwr. Math o *challenge medal* oedd y gadair arwyddluniol hono, tebyg i wregys yr ymladdwyr, neu'r gwpan aur a ennillwyd gan gerddorion enwog y Deheudir yn y Palas Grisial. Yr oedd y Cadeirfardd mewn perygl i ryw awenydd gyfodi, a'i ddisodli yn ngorchestion Cerdd Dafod, a dwyn y gadair oddiarno. Nid gwobr i'r Pencerdd oedd y gadair, ond amlygyn o'i swydd a'i râdd yn ei alwedigaeth. "Gorphwysfa pob ariandlws yw llŷs Arglwydd y cyfoeth y bo ynddo yr eisteddfod; ac yno ei dychwelir pan fo marw y Pencerdd a'i harweinio. O bydd ariandlws yn gorwedd yn segur yn ei gorphwysle berthynasol, ba le bynag y bo, herwydd gorchymyn ar yr athraw a'r dygiadur diweddaf a fu yn ei harwain, a bod pencerdd yn clywed ei hunan yn abl idd ei dwyn wrth fraint ei gelfyddyd, ac i ateb drosto ei hun, ei chymeryd a all oddiyno, dan rybudd cyflawn undydd a blwyddyn yn mhob ffair, a marchnad, a llŷs cyfreithiawl, o fewn ei dalaeth, i ddangos ei fod yn cymeryd yr ariandlws dan ei berygl, ac yn ymadneu o hono. Ac o bydd neb yn ymglywed a rhoi gwrthryn arno, o fewn yr undydd a blwyddyn, rhodded hyny dan ei berygl yntau; sef yw hyny, llawnwerth yr ariandlws o aur neu arian, ac heblaw hyny ei râdd hefyd yn warantedig o eisteddfod, neu neithiawr riawl. Ac ni chaiff neb wrthryn a *sialensio* arweiniawdr yr ariandlws, ond a gafas

radd dysgybl pencerddaidd yn y blaen; ac os rhoi *sialens*, neu wrthryn, a wna, neu ymadneu, a heb allu dwyn hyny i ben, colla ei radd a chywerthydd yr ariandlws; ac os gallu cadw yr ariandlws a wna'r amddiffynwr y *term* a ddywedpwyd eisioes, drwy ateb i bawb a'i *sialensio* ni ellir mwyach ei dwyn oddiarno yn ei oes ef a'i harweinio; ond rhaid yw iddo yr eisteddfod nesaf a fyddo, i ddangos ei fod yn abl ei hadneu, ac i'w chadw, o nerth celfyddyd a gwybodau awen. Ac ar bawb o'r pendefigion y mae ei gynnal, a'i gadarnhau, a dodi iddo awdurdod i wneuthur dysgyblion wrth yr *ystatud*, a braint y gelfyddyd; ac o hyny allan i'r dalaeth ei gymmeryd yn athraw ar ei gelfyddyd ef; a bydd yn nawdd pendefigion y dalaeth hono, mal y dywedwyd o'r blaen, wrth ragorfraint y gelfyddyd, ac nid achos i neb geisio gradd a gawsant hyn o ragorfraint."

Ymddengys, wrth yr hanes yn y *Greal*, fod cadair arian beirdd ynys Prydain ynghadw gan Gruffudd ab Nicolas o Ddinefwr yn 1450, ac iddo roddi "gwys a gwawdd" i holl feirdd Cymru i ddyfod i Gaerfyrddin, ar ei draul ef, i ymgystadlu am dani. Aeth Dafydd ab Edmwnt a Gutyn Owain i'r ymgiprys; y ddau yn foneddigion o ddysg a meddiannau, yn ogystal ag o athrylith a thalent. Dafydd ychydig yn hŷn, mewn mantell lwyd o wlân, a Gutyn fel macwy yn gwasanaethu arno mewn "hug sidan" o liw glasawyr. Dywedodd Ieuan ap Hywel Swrdwal wrth ŵr boneddig, pan oeddynt ar eu taith i'r eisteddfod, "Nid ä'r gadair fyth o Gaerfyrddin ond ar ysgwydd un o honynt." Dywedodd Gruffydd ab Nicolas yn yr eisteddfod, "Llyma yr ariandlws,—y goreu ar ganu, y gorau ar wybodau canu, a'r gorau yn gwellhâu gwybodau a chelfyddyd canu, a'i caiff." Dywedodd ymhellach, wedi rhybuddio beirdd y Deheu i wneyd eu goreu i gadw ygadair arian yn eu plith yn Neheubarth, lle, ebai, ei cadwed hyd yn awr er yn amser yr amherawdr Arthur, ond os y gŵr llwyd o Wynedd a'i hennill hi, efe a'i caiff i fyned ar ei ysgwydd adref." "Gwedi ennill o Ddafydd ab Edmwnt y gadair arian, efe a'i harweiniodd yn anrhydeddus tra fu byw. Gwedi hyny y daeth i'w gorphwysle, nid amgen Caerfyrddin; ac yn amser Syr Rhys ab Thomas ab Gruffydd ab Nicolas, y cafas Tudur Aled hi drwy osteg a rhybudd cyfreithiawl undydd a blwyddyn, yn ymadneu a hi."

Cynnaliwyd eisteddfod gyntaf Caerwys yr ail ddydd o Orphenaf, 1525. Amcan yr eisteddfod hono oedd "gwneuthur trefn a llywodraeth ar wŷr wrth gerdd dafod a thant;" ac ymhlith pethau eraill, "Tudur Aled a ganiadwyd, ac a gyfrymied yn athraw Cadeiriog, i arwain ariandlws, fal yr oedd er pan ei cymmerasai dan ei berygl i'w ddwyn o'r lle yr oedd."

Bu i Dudur Aled arwain y gadair hono yn anrhydeddus hyd ei fedd, fel unig bencerdd a chadeirfardd ei oes, a'i enw yn adnabyddus, a'i awdurdod yn bwysig, ymhob parth o Gymru; a chan iddo farw yn Nghaerfyrddin, diau iddo adael y gadair yno, megys ag y gwnaethai ei ewyrth D. ab Edmwnt o'i flaen.

"Gwedi hyny," medd yr hen gofion, "Lewys Morganwg a'i harweiniodd yn foliannus, drwy farn a dawn eisteddfod a drefnwyd gan Syr Matthew Caradog yn Abertawy; a rhai a ddywedasant mai o gynghor Syr William Herbert o Raglan y cafas efe hi, mewn eisteddfod

anrhydeddus yn ei gastell; a gwedi hyny myned ar goll; a rhai a fynent iddi fyned yn ngorphwys yn Llys Llwydlo, gwedi marw o Lewys Morganwg yn Brwmiart, lle ydd aeth ef i fyw o Forganwg, i'r cyfoeth tiriawg a brynasai efe yno." Dyna'r gadair wedi myned yn ol yn anrhydeddus i Ddeheubarth, ac wedi ei cholli yn rhywle yn Sir Henffordd gan Lewys Morganwg. Bardd da iawn oedd Lewys, fel y dengys ei awdl i Leision Abad Glynnedd, a difai olynydd i Dudur Aled. Gofynid i fardd arwain bywyd hynod o fucheddol, yn ol yr hen addysg a draddodid yn yr eisteddfodau. "Arno y mae ymwrthod yn gadarn a'r saith brifwyd, a'r pechodau marwolion; nid amgen trais a lladrad, a balchedd, a godineb, a glythineb, a llid, a llesgedd, a chenfigen; canys y rhai hyn a ddiffrwythant gôf, ac awen, ac athrylith, a dychymyg y Prydydd; ac yn lle y rhai hyny y dylai efe ymarfer â'r wyth gynneddfau dwyfolion; sef y rhai ydynt, haelioni, a chywirdeb, ac ufudd-dod, a diweirdeb, a dirwest, a chariad perffaith, a diwydrwydd, a thangnefedd; y rhai hyn a wellhânt gôf, ac awen, ac athrylith, a dychymyg y prydydd, ac a amlhant wybodau moliannus a daionus, ac a ffrwythant gerdd dafawd."

Felly gŵr myfyrgar, diwyd, cymedrol ymhob peth, geirwir, diweniaith, a chyfiawn, "ar air a chydwybod" oedd y bardd i fod, a dysgyblaeth lèm arno, a chosb drom os troseddai. Os nad oedd y beirdd yn dyfod i fyny â'r athrawiaeth yn eu bucheddau, ni ddylid beio Barddas am hyny, mwy nag y dylid beio crefydd am golliadau ei phroffeswyr. Adnabyddid y bardd wrth ei wisg a'i arwyddnod, fel yr adnabyddir Clerigwyr wrth eu gwisgoedd yn y dyddiau presennol.

"Prydydd gwarantedig o gelfyddyd a ddwg arwydd o dlŵs euraid, neu arianaid; sef a'i dodir iddo o awdurdod eisteddfod ddefodawl yn warantedig; a chanddo ef y cymerant y gwyr wrth gerdd dafawd eu hansoddau a'u cyfarwyddyd, a'u dysg, a'u gwybodau, mal y bont deilyngion."

Tudur Aled oedd athraw y beirdd ar ol marwolaeth D. ab Edmwnt. Cyhuddir D. ab Edmwnt o ddyfeisio y pedwar mesur ar hugain yn eisteddfod fawr Caerfyrddin yn 1450, ac yn yr ail eisteddfod a fu yno yn 1461. Dywedir hefyd i eisteddfod gael ei chynnal yn Nghonwy ar y Sulgwyn 1460, ac mai D. ab Edmwnt oedd y Pencerdd. Eithr nis gall neb craff yn ansawdd y mesurau ganfod un mesur newydd o'i eiddo; canys nid yw *Gorchest y Beirdd* ond math o hypynt wedi ei blethu a'i gyfrodeddu, nes ei wneyd yn ddisynwyr o orchestol. Gellir dyweyd yr un peth am y *gadwyn fyr*,—yr hen *gadwyn gyrch* wedi ei chadwyno yn ormodol yw hono yn y diwedd. Yr oedd D. ab Edmwnt yn gwynfydu mewn gorchestion cynghaneddol. Gwelsom awdl o'i waith ar *Orchest y Beirdd* i gyd! Nid oes genym gofion ysgrifenedig o reolau D. ab Edmwnt, ond yr hyn a ddaeth i ni drwy Dudur Aled yn eisteddfod Caerwys. Anfynych y cynnelid eisteddfod yn yr oesau hyny, am nad cyfreithlawn eu cynnal heb orchymyn neu ganiatâd brenhinol. Ofnid fod "y brenin a'r eglwys" mewn perygl, os cynnelid cyfarfod, hyd yn nôd gan feibion tangnefedd, heb "Lythyr Cynnwys" oddiwrth y brenin yn grasol ganiatâu i feirdd a cherddorion arfer eu doniau. Arglwydd y cyfoeth fyddai yn gofyn caniatâd i gynnal eisteddfod yn ei dŷ ei hûn, ac ar ei draul ei hun hefyd. Peth rhyfedd oedd

i'r beirdd feithrin egwyddorion rhyddid, a chadw annibyniaeth barn mor berffaith, a hwythau gwedi cynnefino cyhyd â'r fath waseiddiwch diraddiol. Nid y beirdd eu hunain oedd y barnorion yn y cyfryw eisteddfodau; ond yn ol *Statud* Gruffudd ab Cynan,—"Pan ymgydgyfarfyddo'r gynnulleidfa ynghyd, yn ol rhybudd neu wysiad rhagflaenol, i ryw dref arbenig, neu bentref, y maent yn gyntaf i ddewis deuddeg o wŷr deallus yn yr iaith Gymraeg, ac nid yn hyny yn unig, eithr hefyd mewn Prydyddiaeth, Barddoniaeth, ac Arwyddfarddoniaeth, os bydd y cyfryw i'w cael, yn farnwyr; y rhai hyny sydd i roddi testun i'r beirdd i gânu arno, naill ai mewn englynion unodol union, cywydd, neu rywun o'r pedwar mesur ar hugain; ac nid mewn dyri, carol, neu wael gerddi, y rhai na fu gwiw gan y prif-feirdd gynt gymaint a'u crybwyll; o herwydd nad oes reolau perthynasol iddynt. A'r Barnwyr sydd i orchymyn iddynt na chânont duchan na gogangerdd y naill i'r llall; a rhoddi iddynt amser cymesur i wneuthur bob un o honynt ei englyn, neu gywydd, neu'r peth a welont hwy yn gymhwys. Y Cwest hyn sydd i dderbyn enwau cynifer ag a fyddo yn bresenol o'r beirdd ar fedr cânu, fel y gallont eu galw bob un wrth ei enw mewn trefn i'r gadair, i ddadgan eu cerddi; a chynifer o'r beirdd a gollo'r gadair, sydd i addef hyny, mewn papyr, a'i draddodi i'r Prif-fardd, neu yr hwn a enillo'r gadair; a'r beirdd hyny a gollo, sydd i yfed iechyd y Prif-fardd, ac i roddi bob un o honynt chwe' cheiniog yn yr odart i'r Prif-fardd. A hwnw a fydd benadur arnynt, oni bydd iddynt hwythau enill mewn eisteddfodau ereill."

Y boneddigion llenorawl, gan hyny, fel rheithwyr eisteddfodawl, a farnent eiddo pwy oedd y gadair. Rhaith felly a roddes y gadair i D. ab Edmwnt yn Nghaerfyrddin, ac i Dudur Aled yn Nghaerwys.

Nid ydym yn gwybod i Dudur Aled newid na diwygio dim ar Reolau Cerdd Dafod, oblegid yr oedd beirdd ei oes, a beirdd yr oes o'r blaen hefyd, yn medru cânu mor gywrain ag yntau. Nid yw Dosbarth, neu Reolau T. Aled, sydd yn argraffedig yn *Nghyfrinach y Beirdd,* ond pethau diweddar o waith D. ab Edmwnt, Gutyn Owain, &c. Dyma benawd y Dosbarth:—

"Nid amgen na phedwar mesur ar hugain yn gynifer *Cadair Cerdd Dafawd*, o herwydd dosbarth a wnaethpwyd ar fesurau gan Dafydd ab Edmwnt, a gwedi a gonffirmiwyd herwydd y dangos arni, gan Theodor Aled, Bencerdd, yn Eisteddfod gyntaf Caerwys; a barnu yn ofermesurau pob mesur arall, ac ni weddai i brydydd o Bencerdd eu cânu, a'u dangos ger bron Eisteddfod." Gan ein bod gyda'r gadair farddawl, tröwn yn ol am eiliad i weled ei helynt yn yr hen oesoedd. Yr hynaf o'r Cadeirfeirdd y sylwn arno yw Geraint Fardd Glas, neu Fardd Glas y Gadair yn y 10fed ganrif. Dywedir fod hwn yn Fardd o Bencerdd ac Athraw Cadeiriog, a goreu am wybodau a barn o bawb y cafwyd y Geraint, a rhoi pob cadair yn Nghymru a Lloegr iddo, ac o hyny y gelwid ef y Bardd Glas o'r Gadair. Cadair i'r goreu ei farn a'i wybodaeth, sef i'r cymhwysaf i fod yn athraw, oedd yr hen gadair. "Addurnwyd Iolo Goch âg addurn cadair am ei wybodau." Yr oedd cadair yn Morganwg, yn ol y gofres a gawn yn y Rhagdraith i waith Llywarch Hen, er dyddiau Trahaiarn Brydydd Mawr, yn 1300. Dichon fod llawer o anghysondeb amseryddol yn y gofrestr hono; ond mae un

peth yn eglur, sef ei bod yn amlygiad o'r drychfeddwl oedd ganddynt hwy am fardd cadeiriog, sef mai hwnw, yn ei dro, oedd athraw yr orsedd, a bod y lleill i gyd yn "awenyddion" neu ddysgyblion iddo.

Oni buasai arswyd y gŵr bia'r nenbren, buasai rhyfel gwyllt yn fynych rhwng y beirdd â'u gilydd pan gyfarfyddent yn y cyfryw lysoedd. Cant Taliesin Tustl y Beirdd yn Llŷs Maelgwn Gwynedd; a darllenwn am Phylip Brydydd yn ymryson â'r "beirdd ysbyddaid," a'r "gofeirdd," yn llŷs yr Arglwydd Rhys Ieuanc yn Llanbadarnfawr; ac yn ddiweddarach Dafydd ab Gwilym a Rhys Meigen, pan drengodd Rhys gan angerdd y Crasder pan ydoedd yn gyff cler.

Yr oedd tafod diflawg gan Dudur Aled hefyd, mal y dengys ei englyn i Abad Llandudoch:—

Abad mul brychiad mael broch—diobaith,
Neud Abad Llandudoch;
Abad gytgat llygatgoch,
Abad a fyn bwyd i'w fôch.

Dyna ni wedi dyweyd digon am Dudur Aled am y tro hwn; awn y tro nesaf i draethu am ei Deithiau ef a'i gyfoeswyr barddonol i glera, ei farwolaeth wrth ymweled â Syr Rhys ab Thomas, ei farwnadau, a phethau eraill a ddyddorant yr hynafiaethwyr. (Gwel *Eirlyfr Bywgraffyddol*, Lerpwl, d. g. Aled: *Gorchestion Beirdd Cymru*. Ail argraffiad; lle mae rhagor o hanes a gwaith Tudur Aled.)

Parch. Robert Ellis (Cynddelw)

# PREGETHAU Y DIWEDDAR BARCH. EDWARD MORGAN.

*Pregethau y diweddar Barch.* E. MORGAN, Dyffryn, o dan olygiad y Parch. O. THOMAS. Rhanau I., II.

*Cofiant y Parchedig* JOHN JONES, Talsarn, gan OWEN THOMAS. Rhanau X., XI., XII., XIII.

MAE ymddangosiad amryw weithiau awdurol yn y blynyddoedd diweddaf, yn dwyn cysylltiad â phulpud y Methodistiaid Calfinaidd, yn taflu goleuni ar un neu ddau o gwestiynau ag y dichon fod dadl yn eu cylch. Un ydyw, ystâd bresennol llênyddiaeth ymysg ein cenedl. Y llall ydyw, safle bresennol y weinidogaeth yn y Cyfundeb, o'i chymharu â'r hyn a fu yn nyddiau ein tadau.

Buom weithiau yn meddwl yr arweinid ni ymhell ar gyfeiliorn pe byddem heb un fantais i ffurfio barn ar lênyddiaeth Cymru heblaw yr adroddiadau a geir yn y newyddiaduron am ein heisteddfodau. Pe bernid pethau wrth yr adroddiadau hyny, edrychid ar yr eisteddfod fel safon a ffynnonell ein llênyddiaeth. Byddem yn rhwym o feddwl fod pob gwir lenor yn Nghymru yn eisteddfodwr, mai yr eisteddfod a fywhäodd ei feddwl, a ddadblygodd ei athrylith, a'i crëodd fel llenor; ac mai goleuadau mawrion y genedl mewn gwybodaeth, a'i harweinwyr mewn moes, ydyw y beirdd a'r ofyddion. Nid rhaid i ni ddyweyd nad ydym yn eiddigus na diystyr o'r eisteddfod; ni fynem ei difodi pe gallem. Credwn fod yn rhaid i bob cenedl wrth ei chyfarfodydd poblogaidd, a'r rhai hyny o duedd i ddifyru yn gystal ag i adeiladu. Credwn hefyd fod yn llawer gwell i'r werin yn Nghymru gyrchu wrth y cannoedd i'r eisteddfod fawreddog, na rhedeg ar ol y Saeson, i redegfëydd ceffylau a chynnulliadau gwaeth hyd yn nôd na'r rhedegfëydd. Ynfydrwydd fyddai meddwl fod yr eisteddfod ymysg achosion rhagoriaeth Cenedl y Cymry, eto nid ydym yn ammheu nad yw hoffder y genedl o'r eisteddfod yn un o'r *profion* o'i rhagoriaeth. Cenedl uchel mewn moes a gwareiddiad ydyw y genedl hono a all fwynhâu difyrwch o natur cymharol uchel. Gellir mesur coethder cenedl wrth ei difyrion. Pell ydym oddiwrth feddwl fod difyrwch ein sefydliad cenedlaethol yn ddifai, ac o duedd i amaethu y meddwl a'r galon; eto mae yn rhaid cydnabod ei fod yn ddifyrwch pur wrth ei gymharu â rhai o ddifyrion cenhedloedd eraill. Yr ydym yn gwahaniaethu oddiwrth arfolwyr yr eisteddfod, yn benaf am natur y gwasanaeth a brïodolant iddi. Meddylia y Sais—yr hwn a ddaw i'r eisteddfod i guro cefn y Cymro

tlawd—mai yr eisteddfod ydyw ffynnonell holl ddaioni y Dywysogaeth. Nid yn unig y mae wedi gwneyd y Cymry yn genedl o ddarllenwyr, ond y mae wedi gwneyd troseddau yn anaml yn y wlad. Gweigion yw y carcharau oblegid yr eisteddfod. A pha beth bynag am feddwl, fel hyn y siarada ambell Gymro. Golygir yr adnewyddiad sydd wedi bod ar yr Eisteddfod yn y blynyddoedd diweddaf fel dechreuad cyfnod newydd yn hanes y genedl; dyma ddechreuad yr oes euraidd. Nid yw yn beth sỳn fod y Saeson ac ambell Gymro Seisnigaidd yn gwneyd y fath gamgymeriadau digrifol. Nid oedd, er engraifft, yn rhyfedd yn y byd fod Syr Watcyn yn traddodi pethau dyeithrol yn eisteddfod fawreddog Bangor. Pan gadeiriwyd gweinidog Ymneillduol am ei gân fuddugol ar y Bibl, dywedodd y pendefig caredig, gyda gras mawr, fod yn dda ganddo longyfarch yr Ymneillduwyr, *am fod ganddynt eto yn eu plith rai dynion o ddysg yn astudio y Bibl.* Mae yn ddiddadl fod tystiolaeth o'r fath, oddiwrth y fath un, yn llanw yr Ymneillduwyr oedd yn bresennol â diolchgarwch, oblegid derbyniwyd y sylw gyda "tharanau o gymeradwyaeth." Disgynai ar y dorf gyda newydd-deb darganfyddiad. Ond nid y Sais a Syr Watcyn ydyw yr unig ddau sydd yn gwneyd camsyniadau o'r fath. Ceir syniadau cyffelyb gan rai o'r Cymry, y rhai a ddylent wybod gwell pethau. Yn lle golygu yr eisteddfod fel cyfarfod o ddifyrwch rhad i'r bobl, siaradant am dani fel prif nawddle llênyddiaeth y genedl—fel y sefydliad sydd wedi dwyn allan a chefnogi prif dalentau y wlad, fel y safon anffaeledig wrth ba un y mae pob anturiaethwr llênyddol i sefyll neu syrthio. Y mae gan y Ffrancod, dywedant, eu safon yn yr *Academy*, ac y mae gan y Saeson eu *British Association;* ond ni ddylem ni y Cymry ostwng ein penau, y mae genym ninnau ein Heisteddfod. Mae yn anhawdd dychymygu am gamsyniad mwy dybryd; a byddwn yn dirgel dybied nad oes neb yn syrthio iddo ar ei ddyddiau pwyllog cyffredin—ei ddyddiau anfarddonol. Yn nghyffröad dyddiau yr eisteddfod yn unig y rhoddir bôd iddo; un o ddydd-freuddwydion beirdd ac ofyddion ydyw, ar yr adeg yr amgylchir eu gyddfau â thlysau. Onid y darnodiad cywir o'r eisteddfod ydyw,—Cyfuniad y *minimum* o lênyddiaeth â'r *maximum* o ddigrifwch. Pa le y ceir ffrwyth blynyddoedd o eisteddfodau? A welir ar estyll tai y gweithwyr yn ein gwlad, lyfrau wedi cael eu bôd trwy yr eisteddfod, y rhai a ledaenir wrth y miloedd, ac sydd yn agweddu meddyliau ein ieuenctyd? Yn wir, mae yn beth anhysbys i ni fod yr eisteddfod hyd yn nôd yn *amcanu* at sicrhâu llênyddiaeth o râdd uchel; a phe yr amcanai, ni fyddai yn debyg o lwyddo. Nid y gobaith am wobr neu am glod ydyw cymhellydd llenyddiaeth uchel. Nid nwydd yn cael ei ddarpar erbyn dydd nodedig, gogyfer â chystadleuaeth; ond cynnyrch naturiol, addfedffrwyth y meddwl sydd yn ymwybodol fod ganddo genadwri bwysig i'w mynegi, yr hon a deimla yn faich arno, fel nas gall fod yn esmwyth heb ei dyweyd. Nid ydym yn gwybod am un traethawd arobryn wedi gallu ymgodi i blith gweithiau safonol, y rhai y mae y wlad yn anfoddlawn iddynt farw. Ac y mae yn ddiddadl fod ein Hysgolion Sabbothol a'n cyfarfodydd gweddïau, yn y rhai nid oes neb yn ymgeisio yn uniongyrchol am na gwobr na chlod, wedi bod yn fwy o fagwrfeydd i wybodaeth a doniau ymysg y Cymry nag y gallai deng mil o eisteddfodau fod.

Tra yn barod i addef fod difyrwch ac ysmaldod yr eisteddfodau yn ddiniwed, wrth ei gymharu â'r llygredigaeth a ennynir yn rhedegfeydd y Saeson, ac mewn rhai o'u chwareudai, yr ydym yn bell oddiwrth feddwl fod ei difyrwch hi o'r fath natur ag a duedda i goethi chwaeth ac i buro moesau y rhai a arferant gyrchu iddi. Yr ydym, i'r gwrthwyneb, yn ofni ei fod yn esiampl nodedig o'r "coegddigrifwch a'r ymadrodd ffôl" a gondemnia y Bibl. Nwydd o werth mawr, yn ddiammheu, lled ammheuthyn a phrin hefyd, ydyw *humour* o rywogaeth uchel; y mae yn un o nodau penaf athrylith, gan amlaf yn trigo yn y meddwl pur a difrifol, ac mor wahanol ag y dichon fod i ysmaldod a choegddigrifwch. Mae y ddau yn cael eu mwynhâu gan ddynion o feddyliau cwbl wahanol. Mae *humour* lednais yn flasusfwyd gan bobl o chwaeth a phurdeb; nis gall yr anghoeth a'r siolwag ei ddirnad na'i werthfawrogi. Porthir yr anwybodus â'r ymborth mwyaf anmhur,—âg ysmaldod isel, cynnyrch asbri a nwyfiant diderfyn yr ysbrydoedd anifeilaidd; ac nid â ffrwyth meddwl o athrylith. Mawr yw y gwahaniaeth rhwng gwên lednais a serchog y dyn difrifol, a chrechwen wâg y cellweiryn; a'r un gwahaniaeth sydd rhwng *gwir humour* ac ysmaldod. Cyfyd y naill o feddwl galluog, pur, a difrifol—meddwl yn cymdeithasu â sylweddau; cyfyd y llall o feddwl ysgafn a gwagsaw, a rhydd foddhâd yn unig i bobl o feddyliau cyffelyb. Pe ceid toraeth o'r cyntaf yn yr eisteddfod, gwnelai hi yn sefydliad o werth, oblegid nid yw digrifwch o nodwedd uchel yn llygru neb. Ond hyd y gwelsom, tenaû iawn yw y digrifwch hwn yn maes yr eisteddfod; chwŷn ysmaldod a gynnyrchir ganddi fwyaf, a chryn lawer o ddrain a mieri, â pha rai y bydd yr eisteddfodwyr yn fflangellu eu gilydd am wythnosau ar ol pob eisteddfod. Ac am y nwydd yma, mae yn rhaid cydnabod, y mae lliaws a gyrchant iddi yn ymofyn; ac anfynych y maent yn cael eu siomi. Y maent yn ffodus yn arfer cael yr hyn y talant am dano. Ynfydrwydd gan hyny ydyw enwi yr eisteddfod yn yr un frawddeg a'r *British Association* oddieithr mewn ffordd o wrthgyferbyniad. Rhed elfen o ddifrifwch trwy gyfarfodydd y gymdeithas hono; dynion yn teimlo rhywfaint o ddyddordeb mewn gwyddoniaeth, ac yn awyddus am oleuni chwanegol ar eu hoff byncicau, ydyw y rhai sydd yn arfer eu dilyn; ac ychydig o fwynhâd a gai y dyn difeddwl ac anwybodus ynddynt. Nid yw yn bosibl dyweyd yr un peth am yr eisteddfod, heb wneyd cam mawr â'r gwirionedd. Mae yn amlwg fod naw o bob deg o leiaf o'r cannoedd a gyrchant iddi heb ond ychydig o archwaeth at lenyddiaeth; y maent yn myned yno yn unig i glywed cânu da, i weled defodau dyddorol, ac yn benaf i gael eu cynhyrfu i chwerthin gan arabedd ac ysmaldod yr arweinydd. Soniwyd llawer yn ddiweddar am buro a dyrchafu yr eisteddfod; ond y mae yn amlwg, pe byddai hyny yn bosibl, y gwneid ef ar draul ei phoblogrwydd; ni fyddai yn "fawreddog" na chenedlaethol mwy, ond elai yn gyfarfod i'r ychydig. Tuag at ei gwneyd yn gynnulliad i'r miloedd, mae ei chefnogwyr yn teimlo fod yn rhaid ei chyfaddasu at chwaeth y miloedd; ac anmhosibl ydyw gwneuthur hyny heb gydffurfio â'r cynghor a rydd rhai i bregethwyr—*myned yn ddigon isel at g bobl.* Ein hachwyniad ni yn erbyn yr eisteddfod ydyw ei bod yn myned yn *llawer rhy isel.* Heblaw cael pendefig i lywyddu, yr hwn, y rhan amlaf, sydd

mor lân oddiwrth lênyddiaeth ag unrhyw ŷch ar ei dir, mae yn rhaid cael arweinydd. A'r arweinydd ydyw gwir arwr y cyfarfod. *Presennoldeb* y llywydd yn unig a ofynir; digon ydyw ei weled ef, a chael y pleser o edrych arno yn llanw y gadair. Yr arweinydd ydyw haul yr eisteddfod. Ei dafod ef ydyw bywyd y gweithrediadau. A'i nôd-anghen ef ydyw, nid rhagoriaeth uchel mewn llênyddiaeth, nid cymhwysder i gyfarwyddo dynion ieuainc ymofyngar, ond cronfa ddiderfyn o arabedd ysmala, heb unrhyw ledneisrwydd puritanaidd yn attal yr arllwysiad didor o hono allan, i beri i'r Philistiaid chwerthin! Os bydd yr arweinydd yn ŵr mewn urddau sanctaidd, goreu oll. Tafla hyny lèn o gyfreithlondeb dros y cwbl; trawsylwedda y coegddigrifwch; sancteiddia yr allor yr offrwm fyddo arni.

Na sonier am yr eisteddfod fel ffynnonell a safon ein llênyddiaeth. Cydnabydder hi y peth ydyw mewn gwirionedd; dyweder mai hi ydyw Gŵyl flynyddol Digrifwch y Cymry. Mawrhäer hi am fod cannoedd o lanciau a llancesau yn cael ynddi ddiwrnod neu ddau o adloniant sydd yn llai darostyngol yn ei effaith na champau a chwareuon cenhedloedd eraill, ac na'r hen wylmabsantau fuont gynt mewn bri yn Nghymru. Ond am yr hyrwyddiad a wna i lênyddiaeth, am ei dylanwad diwylliol ar y genedl, am y trysorau athrylith y cyfoethoga y wlad â hwynt, am y talentau a ddadblygir ganddi, y mae yn llawn bryd rhoddi heibio y fath wâg-siarad. Nid oes eisieu ond cyfeirio at hanes ein llênyddiaeth yn y ganrif hon, fel cyn hyny, i ddangos mai gwâg-siarad ydyw. Meddylier am brif lyfrau y Cymry am ddwy neu dair oes—y llyfrau a welir yn gyffredin yn nhai y bobl; a ydyw y wlad yn ddyledus i'r eisteddfod am danynt? Ni a wyddom fod ambell un o gymwynaswyr y genedl wedi bod, yn y rhan foreuaf o'u hoes, mewn cysylltiad â'r Eisteddfod; ond nid oes neb bellach na hwy o brïodoli eu defnyddioldeb iddi. Ac am y gweithiau awdurol sydd wedi cael y cylchrediad mwyaf trwy Gymru, nid oedd un berthynas rhwng eu hawdwyr â'r eisteddfod. Dyna y Parchedigion Mr. Charles o'r Bala, a Dr. Lewis, yn nechreu y ganrif; Peter Williams, a'r "Hen Bantycelyn," cyn hyny; nid yr eisteddfod ar ol un afon yn Nghymru, ac ni chysylltir hwy ychwaith â misoedd y flwyddyn. Nid ymffrostiant yn ehediadau yr eryr, nac yn nghryfder y llew; ond boddlonant ar eu henwau bedydd, fel dynion dirodres eraill. Ni chawsant eu hurddo yn archdderwyddon, nac yn feirdd wrth fraint a defawd. Fe rheol, gyda rhai eithriadau, dynion aneisteddfodol ydyw awdnron y llyfrau y darllenir mwyaf arnynt gan y genedl. Dyn o ychydig farn fyddai mewn perygl o gystadlu cynnyrch blynyddoedd o eisteddfodau âg un o brif draethodau Dr. L. Edwards—dyweder ei Ragdraethawd i Gorff Duwinyddiaeth Dr. Lewis; neu â Chofiant y Parch. John Jones gan y Parch. O. Thomas; neu â Phregethau John Jones, neu Bregethau Henry Rees, neu Bregethau Edward Morgan. Os sonir am farddoniaeth, yr ydym yn tueddu i feddwl—dichon y meddylia rhai mai rhagfarn neu anwybodaeth, os nad y ddau gyda'u gilydd, ydyw yr achos—ond yr ydym yn meddwl fod mwy o wir farddoniaeth mewn un o'r pregethau uchod nag a gynnyrchir mewn ambell i eisteddfod ag y gwneir trŵst mawr gyda hi. Un prawf o wirionedd ein haeriadau ydyw fod llyfrau o'r fath yn gweithio eu ffordd yn raddol trwy y wlad, yn ennill eu safle yn ein llênyddiaeth, yn cael eu darllen a'u gwerthfawrogi gan hen ac

ieuainc; tra y mae cynnyrchion ein Heisteddfodau yn cael eu hangofio y rhan fwyaf heb ddim sôn am danynt ar ol diwrnod yr eisteddfod, a hyd yn nôd y rhai goreu, gydag ychydig eithriadau, megys rhai o gyfansoddiadau Eben Fardd, Hiraethog, Emrys, &c., yn methu ennill safle ymysg clasuron Cymru. Fel rheol, dysgawdwyr y genedl yn ei phethau crefyddol ydyw ei harweinwyr hefyd mewn llênyddiaeth. Yr eglwys yn Nghymru, nid yr eisteddfod, ydyw mammaeth talentau y wlad. Yr Ysgolion Sabbothol a'r cyfarfodydd gweddïau sydd yn deffro meddwl a dawn yn hytrach na'r eisteddfodau a'r cyfarfodydd cystadleuol.

Mae cyhoeddiad y Pregethau a nodasom yn rhoddi mantais i ddeall safle y weinidogaeth yn Nghymru yn yr oes bresennol. Er fod yn rhaid i ni gysylltu y gair anhyfryd *diweddar* âg enwau John Jones, Henry Rees, ac Edward Morgan, a'u bod hwy yn awr, er ys blynyddau, ar yr ochr anfarwol i angeu, ac yn byw yn nghymdeithas hen ddiwygwyr Cymru a sylfaenwyr y Cyfundeb y perthynent iddo, eto y mae yn dêg edrych arnynt ymysg pregethwyr yr oes hon. Yr oedd yr olaf felly yn arbenig, er fod mwy na hanner y gwrandäwyr presennol heb un côf am y cyntaf. Mor fuan y mae cenedl yn anghofio ei phregethwyr! Mae yn sŷn meddwl mai ychydig nifer ymhob cynnulleidfa sydd yn cofio am John Jones, Talsarn! Mae sylwadau beirniadol Mr. Thomas arno ef fel pregethwr, yn y Cofiant, ar Mr. Rees, ac amryw eraill o'u cydoeswyr, yn gystal ag ar eu rhagflaenoriaid, yn ymddangos i ni yn bob peth a ellid ddymuno. Er fod y Cofiant yn faith, prin yr ydym yn meddwl yr achwyna neb a'i darlleno ar ei feithder. Cwyna y darllenydd, fe allai, yn y dechreu, ond anghofia wrth fyned ymlaen, ac erbyn y diwedd, dymunai i'r ymadrodd gael ei chwanegu. Mae y ffordd mor bleserus, y golygfëydd ar bob llaw mor brydferth, yr amrywiaeth mor fawr, yr awyr a anedlir mor adfywiol, yr arogledd mor hyfryd, fel y carasai i'r daith barhâu yn llawer hŵy. Ac nid ydym yn cofio i ni weled neb sydd wedi darllen y llyfr yn cwyno oblegid ei feithder. Dymunasem yn enwedig i'r gyfran ar yr hen bregethwyr fod yn llawer hŵy; a rhôdd werthfawr i ddarllenwyr fyddai, wedi ei chyhoeddi ar ei phen ei hun, gyda'r chwanegiadau lawer a fedd yr awdwr, y rhai a adewir allan o'r Cofiant, rhag chwyddo y gwaith yn ormodol. Teimlem yn anhawdd, wrth ddarllen y gyfran hon, ei dodi heibio cyn myned trwyddi. Cynnwysa, yn sicr, y feirniadaeth oreu a allesid ei gwneuthur ar brif bregethwyr y genedl. Nid oedd genym o'r blaen ddim cyffelyb yn ein hiaith. Gydag ychydig eithriadau, megys erthyglau Dr. Edwards ar y ddau Charles, Henry Rees, a Richard Humphreys, a Rhagdraethawd Mr. Griffith Parry i Bregethau John Jones, rhy brin yr oedd rhai ceisiadau blaenorol yn yr un cyfeiriad yn haeddu eu hystyried yn feirniadaeth.* Brasluniau bywiog, brysiog oeddynt; ni fwriedid iddynt fod yn amgen; ac er eu bod yn ddarlleniad dyddorol am y pryd, eto i lênyddiaeth ddarfodedig y dydd y perthynent, fel y bwriedid iddynt fod. Nis gallant feddu ar ragoriaeth uchel, gan mai sylwi yn benaf y maent ar y pethau hyny yn y pregethwr sydd yn amlwg i bawb, ac nid dwyn i'r golwg y teithi nas gall neb ond y beirniad craff eu canfod. Gall yr erthygl hono sydd yn hysbysu pa fath

* Rhag gwneyd cam â neb, dichon y dylid cyfyngu hyn at gyfundeb y Methodistiaid. Cofus genym ddarllen desgrifiadau rhagorol gan weinidogion o enwadau eraill o Christmas Evans, a Williams o'r Wern.

drwyn, a llygaid, a thalcen sydd gan y pregethwr; pa fodd y mae yn sefyll yn y pulpud, yn taflu ei law, yn trîn ei lais, a phethau o'r fath, roddi difyrwch i bawb. Ond prin y mae y cyfryw gynnyrchion yn haeddu yr enw o feirniadaeth. Brasluniau ydynt o allanolion amlwg pregethwyr. Gwelsom ddarluniadau eraill y gellir eu galw yn *folawd-iau*, yn y rhai y mae yr ysgrifenwyr yn ymollwng i glodfori y pregethwr fel un yn meddu ar bob rhagoriaeth yn y graddau uchaf. Engraifft nodedig o'r math yma o gyfansoddiad ydoedd "Eliasia" Brutus. Nid oedd o'r dechreu i'r diwedd ond canmoliaeth ddigymysg, yn dyrchafu y gwrthddrych i'r fath uchelderau o berffeithrwydd nas gallai un marwol byth eu cyrhaeddyd. Dyrchefir ef uwch ein penau fel gwrthddrych i'w ryfeddu a'i edmygu, ond yn llawer rhy uchel i'w feirniadu, heb sôn am geisio ei ddilyn. Nis gellir ei ddeall, na chydymdeimlo âg ef; mae yn rhy bell oddiwrthym; ac y mae mor berffaith fel y mae yr olwg arno yn ein digaloni yn hytrach nag yn cyffroi awydd ynom i ymdebygu iddo. Mae arluniau rhai o'r hen feistri o'r Forwyn a'i Mab yn rhyfeddol o bryd-ferth a godidog; ond ni chyflwynant ddrychfeddwl cywir, er hyny, o'r fam oedd mewn amgylchiadau cyffredin, fel y rhan fwyaf o wragedd Nazareth, ac o'i Mab, yr Hwn a wnaethpwyd ymhob peth fel ei frodyr. Mae arlun Mr. Holman Hunt o hono—*The Shadow of Death*—yn gweithio, fel unrhyw saer arall, yn ei weithdŷ yn Nazareth, a'i fam yn ei ymyl mewn diwyg cyffredin, heb unrhyw brydferthwch annaearol yn y naill na'r llall, na dim dysgleirdeb yn eu hamgylchu,—mae yr arlun yma yn cael effaith llawer dwysach arnom, a hyny am ei fod yn fwy gwirioneddol, yn arddangosiad cywirach o bethau fel yr oeddynt. Yr un modd gyda darluniadau o bregethwyr. Nid oes fawr o'r gwir ddynol, o ymgais at wirionedd, mewn cyfansoddiad tebyg i "Eliasia." Ei amcan ydyw gogoneddu ei wrthddrych, trwy ei cylchynu â heulen o ddysgleirdeb; nid mynegu, mewn dull dirodres, pa fath ydoedd mewn gwirionedd. Mae y math arall o ysgrifau—y brasluniau sydd o bryd i bryd yn ymddangos yn y cyfnodolion a'r newyddiaduron, yn fwy cywir o lawer, ac felly yn dwyn y gwrthddrychau yn agosach atom. Ond eu prif ddiffyg hwy, fel rheol, ydyw, nad ydynt yn gwneyd fawr o sylw ond yn unig o'r pethau mwyaf amlwg—y nodweddion hyny yn y pregethwr sydd yn cymhell eu hunain ar sylw pawb. Nid ydynt yn ceisio "gwthio i'r dwfn." Arosant yn benaf ar allanolion y pregethwr: hysbysant y cyhoedd, mewn dull hynod o ddyddorol, pa fath drwyn a genau sydd ganddo. Ond fe ŵyr pawb nad dyma y pethau mwyaf pwysig. Ni fuasai yr olaf o'r tri phregethwr a nodasom yn haeddu brasddarlun o gwbl, oni buasai ei fod yn meddu toraeth o ansoddau dyfnach, á phell-ach o olwg y cyffredin, na'r allanolion ag y gwna awdwyr y brasluniau gymaint o honynt.

Mae y gyfran o Gofiant Mr. John Jones sydd yn ymdrin â'r prif bregethwyr, o ddechreuad y Cyfundeb hyd ei amser ef, yn ein bryd ni yn wir feirniadaeth, a hono o radd dra uchel. Cynnwysa holl ragor-iaethau y braslun a'r folawd, a llawer o bethau gwell a mwy am-mheuthyn yn chwanegol. Faint bynag ydoedd parch ac edmygedd Brutus i John Elias a Christmas Evans, ac eraill o'r hen bregethwyr, iawn y gallai Mr. Thomas ddyweyd, "Myfi yn fwy." Gŵyr pawb a'i hadwaen y medda y parch dyfnaf iddynt, a'r cariad gwresocaf at eu

coffadwriaeth. Pe buasai heb Un anfeidrol fwy i'w addoli, ofnasem yn fawr am dano; yr unig arwyr y buasai yn y perygl o'u parchu yn ormodol ydyw awdwyr a phregethwyr. Ond er dyfned ei barch iddynt, nid yw yn effeithio yn y mesur lleiaf ar ei farn, ond yn unig yn y modd y dylai cariad effeithio ar farn. Nid oes dim yn peri i ni feddwl yn uwch am dano fel beirniad, na'r ffaith ei fod, ag yntau yn coledd y fath feddyliau serchog am danynt, yn gwneuthur tegwch hollol â hwynt. Mae yn rhaid cydymdeimlo â chymeriad cyn y gellir ei ddeall; ni wna calon oer byth feirniad da. Eto y mae yn bosibl i edmygedd mawr o berson anghymhwyso un i ffurfio barn gywir am dano. Y mae cariad yn ddall. A gwyddom am rai, trwy eu hoffder o bregethwr, yn methu canfod ei ddiffygion, a phe gallent, rhagoriaethau fyddent yn eu golwg. Ni welir dim o'r peth hwn yn mhortrëadau Mr. Thomas. Nid yw ei edmygedd o'r mwyaf o'r hen bregethwyr, pwy bynag ydoedd, wedi gwneuthur yr *un* hwnw yn safon pregethu yn ei olwg. Y mae ganddo ei safon, yn ei feddwl ei hun, yr hon a ffurfiwyd ganddo yn ystod blynyddoedd o ymroddiad cysegredig i'r gwaith, trwy astudio y cynlluniau uchaf o bregethu mewn gwledydd eraill ac mewn oesoedd a fu. Ac yn ei feirniadaeth, dyga bob un at y safon hono; ac er fod rhai, yn enwedig John Elias, Henry Rees, a John Jones, yn ymgodi yn uchel at y safon, eto nid yw y perffeithiaf o honynt, yn ymgyrhaedd ato. Gellir gwell hyd yn nôd na'r goreu. Tra y mae ei hoffder o'r hen bregethwyr, yr hyn a deimlodd trwy amryw o honynt, a'r duedd sydd ynddo i ddywedyd pob daioni a ellir am bawb, yn ei wneuthur yn feirniad caredig—fel y gwelir yn neillduol yn ei sylwadau ar y diweddar Barch. Thomas Rees Davies, y Bedyddiwr a'r Wesleyad; eto y mae ei wybodaeth am bregethwyr a phregethu y tu allan i genedl y Cymry ac mewn oesoedd o'r blaen, addfedrwydd a chraffder ei farn, a'i ofal i gael allan y gwirionedd, yn ei gadw rhag syrthio gymaint ag unwaith i ddim tebyg i organmoliaeth. Er nad yw yn eu cymharu â'u gilydd, eto y mae yn ddigon eglur pa rai a gyfrifir ganddo yn agosaf i'r safon; yn gystal â pha rai a wnaethant yr argraff ddyfnaf arno ef ei hun. Nid ymddengys i ni y gall fod dim rhagorach a thecach na'i sylwadau ar John Elias. Yr ydym yn gweled y pregethwr rhyfedd hwnw yn fwy byw ger ein bron, yn ei weled fel yr oedd mewn gwirionedd, yn narlun Mr. Thomas o hono, nag mewn dim a welsom gan neb o'r blaen. Mae portrëadau eraill o hono yn ein gorfodi i gredu ei fod yn un o bregethwyr penaf yr oesoedd, ond rhy brin y dangosant *pa fath* ydoedd. Dywedant fel y byddai effeithiau annesgrifiadwy weithiau yn cydfyned â'i weinidogaeth, ond ni roddant gyfrif am hyny heblaw dyweyd ei fod yn ymadroddwr penigamp, a'i ysbryd yn llosgi gan dân Duw, ac Ysbryd Duw yn ei wisgo â nerth. Yr oedd y darluniadau yn rhy anmhenodol. Ond yma cynnorthwyir ni i ganfod ei brif ragoriaethau; ac y mae y darlun yn fwy tarawiadol, ac yn fwy tebyg i'r gwrthddrych, am fod ynddo fanau heb fod mor oleu a'r lleill. "Elias oedd ddyn" yn mhortrëad y llyfr hwn, er ei fod yn ddyn Duw, ac yn bregethwr heb ei fath yn ei ddydd. Yr ydym yma yn ei weled yn ddyn zelog, o feddwl cryf a chraffus, o ewyllys benderfynol a chydwybod grêf, yn llawn tân, yn barod i gyffroi, yn llosgi o awydd am achub pechaduriaid, yn ennyn gan eiddigedd dros yr athrawiaeth a feddyliai yn ol Gair yr Arglwydd,

yn pryderu am ddyfodol y Corff, yn llawn parch at goffadwriaeth sylfaenwyr y Cyfundeb, yn rhy dueddol i ammheu iawn gredÿdd ei frodyr ieuengach, yn uwch o'i ysgwyddau yn y pulpud na phawb o'i gydoeswyr, wedi ei wneyd gan natur a gras yn bregethwr heb ei ail, o ran llais, ymadrodd, ac aceniad, yn esboniwr dihafal i gynnulleidfa gymysg, yn meddwl, nid gyda phwyll yr athronydd na phrydferthwch y bardd, ond gyda chyfeirioldeb ymarferol areithiwr a fynai wneuthur gwaith mawr a thragywyddol bob tro y pregethai; y mwyaf yn ei oes fel pregethwr, er nad y mwyaf fel meddyliwr neu fel cyfansoddwr pregethau. Mae desgrifiad Mr. Thomas o hono yn dangos ei fod y blaenaf yn ei oes mewn doniau poblogaidd, yn cael ei gydnabod yn gyffredinol felly, ac yn haeddu y lle a roddid iddo. Rhagoriaeth Mr. Thomas ydyw ei fod yn llwyddo i ddangos hyny, tra ar yr un pryd nad yw yn cuddio ei ddiffygion; a hyd y gwyddom, efe ydyw y cyntaf o'i feirniaid i awgrymu fod eraill yn tra rhagori arno mewn rhai elfenau meddyliol o'r gwerth mwyaf. Mae Mr. Elias yn llawer mwy yn y darlun hwn nag y gwelir ef yn y darluniau sydd yn ei wneyd ymhob ystyr yn bregethwr perffaith.

Dengys Mr. Thomas hefyd y gydnabyddiaeth fanylaf hyd yn nôd âg allanolion y pregethwyr a wrandawyd ganddo. Rhydd ddesgrifiad bywiog o'u hymddangosiad corfforol, eu prydweddau, lliw eu gwallt, eu hystumiau areithyddol, natur eu lleisiau (mae yn feirniad rhagorol ar "rywogaethau lleisiau"); ac y mae y rhanau hyn o'i bortrëadau yn eu gwneuthur yn hynod ddyddorol. Yr ydym hefyd yn cael ganddo lïaws o ffeithiau am yr hen bregethwyr na chyhoeddwyd o'r blaen, rhai wedi eu hadrodd wrtho gan gyfeillion, ond y rhan fwyaf yn ffrwyth ei sylwadaeth ef ei hun. Yn y rhagoriaeth yma saif Mr. Thomas, yn ddiammheu, ar ei ben ei hun; y mae wedi talu sylw nodedig o fanwl i neillduolion bychain megys i nodweddion pwysicach y prif bregethwyr: a chymhwysder hanfodol mewn beirniad ydyw craffder sylwadaeth; oblegid amlygir gwir gymeriad dyn yn ei bethau bychain fel yn ei nodweddion hynotaf; yn hytrach y mae y cyntaf yn arwyddion o'r olaf. Dangosir dwysder ymroddiad Syr Isaac Newton i destynau ei fyfyrdod yn yr hanesynau digrifol am y modd yr anghofiai bob peth o'i amgylch, gan fel y byddai ei feddwl wedi ei feddiannu mor lwyr gan wrthddrych ei astudiaeth. Ac y mae y modd y byddai John Jones yn anghofio pob peth gweledig, yn peidio sylwi rai gweithiau ar ei gymydogion, a hyd yn nôd yn methu adnabod ei blant ei hun, yn dangos maint ei ddifrifwch fel meddyliwr. Braint y dyn galluog o feddwl ydyw cael ei orchfygu, a'i lyncu i fyny yn hollol, gan ei fater. Mae hanes John Jones, yr un modd a hanes meddwl pob dyn mawr, yn help i gywiro camsyniad y mae pobl fychain yn bur dueddol iddo, sef, mai y prawf mawr o feddwl galluog ydyw gallu i fyfyrio a chynnyrchu gyda rhwyddineb. Nis gall fod camsyniad mwy. Y meddwl galluog ydyw yr un a orchfygir gan ei bwnc—a fedr sefyll yn hir uwch ei ben—a ymrydd gyda'i holl nerth iddo: wedi cael ei orchfygu ei hun gan ei fater, ildio ei hun yn gyfangwbl i'w fater, y mae y mater, yn y canlyniad, fel ad-daliad, yn rhoddi ei hun iddo yntau, ac yn ymagor i'w ddyfnderau o flaen ei ddirnadaeth. Iaith y gwirionedd yw, "Y neb a'm caro i, a garaf finnau." Ar ol cael ei lwyr orchfygu, y mae y

meddwl yn gorchfygu. A'r achos, yn ddïau, fod Mr. John Jones yn gallu treiddio i galon ei fater, fod y fath ddwysder yn ei feddyliau—ac, fel canlyniad, yn ei arddull, trwy ba rai y gwnai argraff mor ddwys ar ei wrandäwyr, oedd dwysder ei ymroddiad fel meddyliwr. Yr oedd ei feddwl yn cael ei feddiannu yn llwyr gan y pethau y myfyriai arnynt. A dyma ydyw prif nôd difrifwch meddyliol. Mae Mr. Thomas yn nodi amryw bethau o'r fath am Mr. Jones a Mr. Rees. Mae yr amrywiaeth a'r cyflawnder "o bethau newydd a hen" a fedd y bywgraffydd yn ei "drysor" yn gymhwysder arbenig ynddo i'r gwaith, ac yn peri fod ei ddarluniau yn llawer mwy tarawiadol na phe buasent heb fod yn ddim ond dadansoddiad athronyddol o alluoedd a chymhwysderau yr hen bregethwyr. Ond heblaw yr amrywiaeth a fedd o adgofion dyddorol, y mae yn feddiannol hefyd ar deithi pwysicach y beirniad mewn gradd uchel. Edrycha ar y neillduolion bychain yn eu perthynas â'r meddwl a'r cymeriad; arwyddion ydynt yn ei olwg; neu ffenestri trwy ba rai y craffa ar nodau y dyn oddimewn. Gallai unrhyw ddyn o gôf cryf adrodd faint a fynech o hanesynau am y pregethwr hwn neu acw. Ond adrodda Mr. Thomas ei adgofion, nid er mwyn yr adgofion eu hunain, ac i beri digrifwch i'r darllenydd, ond i'r dyben o ddangos pa fath oedd y meddwl—pa fath oedd y cymeriad. Mae ei Gofiant o'r Parch. John Jones, yn yr ystyr yma, yn gyffelyb i lyfrau y Deon Ramsay, yn y rhai y ceir yr hanesynau mwyaf dyddorol i ddangos pa fath yw y caracter Ysgotaidd. Yn yr un dull y mae pob hanesyn gan Mr. Thomas yn gorwedd yn ei le, fel maen mewn adeilad, neu fel adnod brïodol yn y bregeth; mae yn ein galluogi i ddeall y neb y traethir am dano yn llawer gwell nag a fuasai y dadansoddiad goreu heb adgofion o'r fath. Dylid dyweyd hefyd y gofala Mr. Thomas am wneyd gwahaniaeth têg rhwng gwahanol gymhwysderau yr hen bregethwyr. Dengys yn eglur, er fod rhyw bregethwr neillduol yn meddu ar lawer o ragoriaethau, eto ymha un neu ddau o bethau yr oedd yn fwyaf rhagorol, ymha bethau yr oedd yn sefyll ar ei ben ei hun oddiwrth ei holl frodyr.

Mae ei elfeniad o alluoedd a chymhwysderau gweinidogaethol John Jones a Henry Rees yn ymddangos i ni yn rhagorol. Mae yn dêg a thra chyflawn. Nid oes ynddo na gormod na bychan. Mae Mr. G. Parry, yn ei Ragdraeth rhagorol i Bregethau y Parch. J. Jones, yn nodi "deall cryf a meistrolgar" fel sylfaen ei ragoriaeth meddyliol. "Yr oedd," meddai, "wedi ei gynnysgaethu â meddwl o nerth a chwmpas anghyffredin. Pa bwnc bynag a gymerai mewn llaw, cydiai ynddo gydag ymafaeliad cawr. Yr oedd yn feddyliwr gwir alluog; ac yr oedd y gallu hwn yn amlygu ei hun bron yn gyfartal mewn dau gyfeiriad hollol wrthwyneb i'w gilydd—y ddau ddull o feddwl ac ymresymu trwy ba rai y cerir allan ymchwiliadau ymhob cangen o wybodaeth naturiol a moesol—dadansoddiad *(analysis)*, a chyfosodiad *(synthesis)*." Yr un ydyw golygiad Mr. Thomas, pan ddywed fod "nerth a threiddgarwch anghyffredin yn ei reswm, ac mai dyma ei ragoriaeth arbenig." A chwanega, "fod y gallu hwn yn gryf ynddo yn y ddau gyfeiriad gwahanol, yn y rhai y mae yn cael ei arddangos mewn meddyliau athronyddol o'r dosbarth uchaf; y naill yn olrhain ac yn casglu y ffeithiau neillduol, y llall yn canfod yr egwyddor gyffredinol; y naill yn ymwneyd â'i amrywiaeth, y llall yn gweled yr

unoliaeth; y naill yn ymgyfodi o, a thrwy y dygwyddiadau, nes cael gafael ar y deddfau mwyaf sefydlog, y llall yn cychwyn gyda'r deddfau, ac yn disgyn i lawr oddiwrthynt i esbonio y dygwyddiadau."

Dichon mài ychydig o wrandäwyr Mr. Jones a Mr. Rees a feddylient fod y ddau yn debyg i'w gilydd, oddieithr mewn mawredd, daioni, a dylanwad. Yr ydym ni, fodd bynag, yn barnu fod ynddynt lawer o debygrwydd yn rhagoriaethau sylfaenol eu meddyliau. Nid oeddynt yn debyg yn y pethau hawddaf eu canfod—y tebygrwydd arwynebol hwnw sydd yn taro y meddwl lleiaf craffus; nid tebygrwydd mewn llais, tônyddiaeth, neu ystum, yr hwn a allai fod rhwng dau hynod annhebyg i'w gilydd mewn teithi pwysicach; ac nid, ychwaith, y tebygrwydd mewn archwaeth a syniadau a ddichon gael ei achosi, i raddau mawr, gan hir gyfeillgarwch a chydymdeimlad dwfn rhwng dau â'u gilydd. Yr oeddynt yn debyg i'w gilydd, yn naturiol, yn mhrif ragoriaethau meddwl. Nid yw hyn yn un darganfyddiad o'r eiddom ni. Nid yw ond yr un peth a dyweyd, os cyrhaedda dau bregethwr, yn yr un oes, feistrolaeth a dylanwad o natur gyffelyb ar genedl, a hyny yn parhâu am lawer o flynyddoedd, ac yn cynnyddu hyd eu marwolaeth, fod yn rhaid fod y ddau hyny, yn mhrif ragoriaethau eu meddyliau, yn gyffelyb i'w gilydd. Prif ragoriaeth meddwl ydyw rheswm cryf; ac yr oedd John Jones a Henry Rees yn dra thebyg i'w gilydd yn y rhagoriaeth hwn. O holl ragoriaethau y meddwl, dyma y penaf ymysg y rhai sydd yn rhoddi i bregethwr ddylanwad têg a pharhäus ar wrandäwyr, ac ar bob dosbarth fel eu gilydd. Mae y dylanwad sydd yn sylfaenedig ar ddawn neu ddychymyg neu fywiogrwydd, neu hyd yn nôd deimlad, yn lled debyg o leihâu mewn amser. Er fod yn rhaid i bregethwr wrth ddoniau ysbrydol, yn ymddibynu mwy ar naws ei galon nag ar gryfder ei feddwl, eto i sicrhâu meistrolaeth arosol ar ei gyd-ddynion, nis gellir hebgor y meddwl galluog—y rheswm o nerth a chwmpas. Mae yn rhaid i'r gwrandäwyr deimlo fod y pregethwr yn ddyn llawer mwy, yn gystal ag yn ddyn llawer gwell, na hwy eu hunain, cyn y byddant yn foddlawn i gymeryd eu harwain yn gaethion ganddo. Bu Mr. John Jones a Mr. Henry Rees yn feistriaid y gynnulleidfa am lawer o flynyddoedd, ac yr oedd eu hymafaeliad ar feddyliau eu cyd-ddynion yn myned yn dŷnach dŷnach hyd y diwedd, am y teimlai pawb eu bod, nid yn unig yn saint o radd uchel, ond hefyd yn ddynion o feddyliau tywysogaidd. Yr oeddynt wedi eu gwneuthur gan Awdwr natur yn ddynion o feddyliau mawr a chwmpasog. Yr oedd llawer mwy o un math o debygrwydd rhwng John Jones a'i ddiweddar frawd, Mr. David Jones. Ond gyda golwg ar brif ragoriaethau meddwl, yr oedd y tebygrwydd yn fwy, dybygem, rhyngddo a Mr. Rees. Yr oedd y ddau olaf yn debycach i'w gilydd yn y gallu mawr a feddent i roddi corff o wirionedd yn eu pregethau; ac yr oedd hyny yn codi oddiar rym cynhenid eu meddwl. Nid nad oedd Mr. David Jones yn berchen meddwl gwir alluog, ac mor lawn o ryw fath o athrylith a hwythau. Mewn rhai o ragoriaethau pregethwr yr oedd yn rhagori arnynt. Mae yn rhaid fod nerth anarferol yn y pregethwr a wirionai gynnulleidfäoedd—a barai i gannoedd wênu trwy eu dagrau—heb ymddangos ei hunan mewn dim cyffro. Ac felly y gwnai Mr. David Jones. Yn yr hamdden mwyaf, fe swynai gynnulleidfa fel rhiniwr—fe ladratai

feddyliau pawb heb yn wybod iddynt—anghofiai pob un ei hunan, gan mor hyfryd y melusder; elai yr awr heibio fel ychydig fynydau; a phan y tawai, gofidiai pawb na pharhasai hanner awr yn hŵy. Nis gallasai neb ond gŵr o feddwl galluog iawn beri cymaint o effaith gyda chan lleied o drafferth. Yr oedd rhywbeth mwy hyfryd, mae yn rhaid cydnabod, yn Mr. D. Jones nag oedd yn Mr. Rees, nac hyd yn nôd yn ei frawd. Teimlai y gwrandäwyr eu bod, wrth ei wrando, fel mewn gardd o bêrlysiau. Cyfrifid ef yn bregethwr mwy barddonol. Yr oedd mwy o ryw fath o ddysgleirni a gorwychder parhäus yn ei bregethiad; ac nid allai fyned mor farwaidd ag y gallai ei frawd a Mr. Rees fyned rhai gweithiau. Yr oedd Mr. Morgan, yn ein tŷb ni, yn bregethwr tebycach i Mr. David Jones yn nheithi ei feddwl fel yn effaith ei bregethau, nag ydoedd i Mr. Rees neu Mr. John Jones. Yr hyn a nodweddai feddwl a gweinidogaeth y ddau olaf oedd mwy o rymusder a threiddgarwch. Yr oedd ymafaeliad eu meddwl yn y gwirionedd yn fwy cawraidd; ac er na chyfrifid hwynt mor farddonol gan y lliaws, eto yr oedd eu barddoniaeth o nodwedd uwch. Meddent ar grebwyll cryf iawn. Yr oedd eu pregethiad hwythau, mae yn wir, yn gweini boddineb mawr; eto nid dyna y gair i ddynodi yr argraff; yr oedd yr effaith yn ddwysach a mwy cynhyrfiol. Pa fodd yr oedd yn bosibl i gynnulleidfa deimlo yn foddus, pan fyddai Mr. Rees, fel yr aberthwr gynt, gyda'i gyllell finiog, yn cyrhaedd trwodd nes gwahanu yr enaid a'r ysbryd, y cymmalau a'r mêr? Ac nid difyrwch neu foddineb oedd y prif deimlad pan y byddai Mr. John Jones yn gwysio y gwrandäwyr i wyddfod y tragywyddol a'r ofnadwy, ac yn gwasgu mor drwm ar eu gwynt wrth ddangos gwagder eu hesgusodion. Boddhâd dymunol ydyw y peth a deimlir yn ngolwg rhai o olygfëydd natur; wrth rodio trwy yr ardd bêrlysiog; wrth weled y cae gwenith yn ymdòni dan yr awel dyner; yn ngolwg yr afon lydan yn llifo yn araf a dystaw; ond nid boddineb yw y teimlad a geir yn nghanol yr ystorm frawychus o fellt a tharanau, neu wrth edrych ar y rhaiadr mawreddog, neu y mynydd mawr, cribog. Mae y teimlad a gynnyrchir gan fawredd ac arucheledd yn deimlad llawer dyfnach, mwy cyffröus, a mwy arosol yn ei effaith, er nad yw, fe allai, yn llawn mor hyfryd. Dyma natur y teimlad a gynnyrchid gan weinidogaeth John Jones a Henry Rees—teimlad dwys a dwfn, fel effaith nerth. Meddent ar allu mawr i sylweddoli y tragywyddol, ac i gipio cynnulleidfa o fysg pethau bychain gweledig i ganol sylweddau mawrion y byd ysbrydol; i beri i ni deimlo nad oedd y presennol a'r gweledig ond hollol ddibwys, ac mai "y pethau a fyddant ar ol hyn" ydyw yr unig bethau mawrion. Yr oedd dwysder eu dylanwad yn codi, mewn rhan, oddiar garacter eu meddyliau. Er mai agwedd ysbryd y pregethwr, dan oruchwyliaeth Ysbryd Duw, ydyw y brif elfen yn nylanwad ei bregethiad, eto y mae a wnelo *natur* y dylanwad hwnw â theithi naturiol meddwl y pregethwr. Mae perthynas rhwng nerth cynhenid ei feddwl â nerth ei weinidogaeth. Ennillgar a thoddiadol ydyw natur y dylanwad rai prydiau; ac fe geir fod hyny yn fwy cydrhywiol â theithi meddwl y pregethwr. Yr oedd gweinidogaeth John Jones a Henry Rees yn ennillgar a thoddiadol, ond yr oedd ynddi nerth mawr hefyd; a hyny i ryw fesur yn codi oddiar rymusder a chwmpas eu drychfeddyliau. Ond heblaw deall treiddgar, cryf, cwm-

pasog, yr oeddynt hefyd yn feddiannol ar grebwyll cyfoethog dros ben. Cyfunent yn eu meddyliau reswm yr athronydd a chrebwyll y bardd; ac felly y mae y farddoniaeth a geir yn eu pregethau yn farddoniaeth o rádd nodedig o uchel. Iawn y dywed Mr. Thomas fod rhywbeth o natur Filtonaidd yn narfelydd John Jones. Nid y crebwyll hwnw—os teilwng yr enw—sydd yn ymloddestu yn wastadol mewn ffugyrau, ac yn pentyru cymhariaethau ar eu gilydd, ydoedd eu crebwyll hwy; yr oedd yn allu llawer uwch, a thra gwahanol yn ei natur: mor wahanol ag ydyw gallu yr adeiladydd sydd yn cynllunio yr adeilad mawr, a medr y paentiwr sydd yn lliwio rhan fechan o hono. Nid oedd Mr. John Jones a Mr. H. Rees, yn enwedig yn y rhan olaf o'u hoes, yn ceisio addurno eu cynnyrchion; yr oeddynt yn ymwrthod âg addurniadau bychain, ac yn ymwneyd â meddyliau mawr a syml. Yr oedd arucheledd eu meddyliau mewn undeb â symledd mawr; a mwy na bod undeb rhyngddynt, yr oedd perthynas hanfodol rhwng y naill a'r llall. Mae y gwir arddunol bob amser yn syml. Po gryfaf crebwyll y meddyliwr, mwyaf fydd ei symledd. Yr oedd Mr. John Jones a Mr. Henry Rees yn feddiannol ar grebwyll o rádd uchel. Darllener pregeth y cyntaf ar "Y Bywyd Tragywyddol," ac eiddo yr olaf ar "Fawrhâu y Gyfraith," ac fe ddaw meddwl y darllenydd i bresennoldeb yr ardderchogrwydd hwnw nas gall dim roddi bôd iddo ond crebwyll aruchel. Dichon mai barddonol, yn hytrach nag athronyddol, ydoedd crebwyll y ddau. Dyna'r gwahaniaeth rhyngddynt a Mr. Humphreys, Dyffryn. Meddai efe, fe allai, ar lawn cymaint o allu i ymwneyd â gwirionedd yn ei wahanol gysylltiadau. Yr ydoedd yn wir athronydd, fel y gwelir wrth ddarllen y Cofiant dyddorol am dano. Ond yr oedd yn ddiffygiol, o'i gymharu â hwynt, yn y gallu i ganfod a chyflwyno gwirionedd yn ei odidogrwydd. Meddent hwy ar grebwyll yn ei ddwy swydd. Yr oeddynt yn alluog i olrhain y gwirionedd yn ei wahanol gysylltiadau—i edrych arno yn ei holl ehangder; ac yr oeddynt yn gyflawn o allu y bardd hefyd, trwy ba un y gwelent ef yn ei ogoniant mawr, ac y parent i'w gwrandäwyr, nid yn unig i'w ddeall, ond hefyd i ryfeddu ac addoli wrth edrych arno. Mae dirnadaeth o wirionedd yn ddigon i allu rhoddi goleuni arno; ond goleuni sych ac oer a fydd, oni bydd y ddirnadaeth mewn undeb â chrebwyll y bardd a theimlad yr areithiwr. Fel y dengys Mr. Thomas, nid oedd meddwl John Jones yn cael ei hynodi gan y meddiant o ddarfelydd cyfoethog, os dyna y gair goreu am *fancy;* ac y mae yr un peth yn wir am Mr. Rees yn y blynyddoedd yr ydym ni yn ei gofio. Yn nechreu ei weinidogaeth yr oedd ei ddarfelydd ef yn hynod fywiog a chyfoethog; ac y mae ei bregethau boreuaf yn dysgleirio gan gymhariaethau bychain, tlysion. Ond cafodd fyw i oroesi yr ystâd yma ar ei feddwl, ac i deimlo gormod, fe allai, o ddiflasdod ar y blodau fuont unwaith yn dysgleirio ar faes ei athrylith. Swydd darfelydd ydyw addurno cyfansoddiad â chymhariaethau ac egluriadau. Ei nwydd penaf ydyw ffugyrau. Cenfydd y naill beth yn ngoleuni peth arall. Lliosoga gyfatebiadau. Mae a wnelo fwy âg egluriadau bychain nag â drychfeddyliau mawrion. Tra y mae y crebwyll, fel y mae y gair yn arwyddocâu, yn crëu, y mae y darfelydd yn addurno. Am fod y cyntaf mewn cymundeb agosach â'r gwirionedd ei hun, y mae, oblegid hyny, yn fwy syml. Gan fod yr olaf yn brysur a ffrwythlawn i gynnyrchu cyffelybiaethau, y mae yn

amddifad o symledd a dwysder y cyntaf. Gall lïosogrwydd y cymhariaethau sefyll rhwng meddwl y dyn ei hun, a meddyliau y gwrandäwyr yn y canlyniad, â mawredd y gwirionedd y bwriedir hwy i'w egluro—fel y gall y dail a'r blodau guddio y canghenau, neu addurniadau amrywiol y wisg dynu ein golwg oddiar brydferthwch y person. Aml y buom yn colli y gwirionedd ei hun yn ysblander y wisg; serenid ein llygaid gan y gymhariaeth, fel yr anghofiem y peth y dywedid hi er ei fwyn. A gwelsom aml un yn cofio cyffelybiaeth hapus gan bregethwr, neu hanesyn cynhyrfiol, ond wedi llwyr anghofio y cymhwysiad o honynt. Mae perthynas agosach rhwng crebwyll a'r gwirionedd ei hun; mae yn myned yn un â dirnadaeth o'r gwirionedd; felly nid yw i'w wahaniaethu yn gymaint â darfelydd oddiwrth y rheswm. Dichon darfelydd cryf fod mewn undeb â galluoedd rhesymiadol gweiniaid; gall llawer o addurniadau guddio eiddilwch corff bychan o wirionedd. Ond y mae crebwyll cryf mewn undeb yn wastad â rheswm galluog. Felly yr oedd yn Shakspere, yn Milton, yn Bacon; ac felly hefyd, mewn graddau, yr oedd yn John Jones a Henry Rees. O herwydd fod a wnelo gwir grebwyll â hanfod gwirionedd, ac mai ei arddangos y mae yn ei fawredd cynhwynol ei hun; ac o herwydd ei fod yn wastad mewn undeb â galluoedd rhesymiadol cryfion, y mae y gweithiau sydd yn cael eu hynodi ganddo—sydd yn llawn o hono—yn weithiau nad yw y darllenydd byth yn diflasu arnynt. Y maent yn parhâu o oes i oes. Nid oes neb yn galaru ar weithiau y rhai a nodasom yn awr, nac ar ysgrifeniadau Hooker, Jackson, neu Howe. Prin y gellid dyweyd yr un peth am ysgrifeniadau Jeremy Taylor, er fod ei ddychymyg o'r fath fwyaf barddonol, ac yn nodedig am ei ffrwythlonrwydd. Un rheswm am hyny, fe allai, ydyw fod ei ddarfelydd ef yn rhy gyfoethog, fel y rhydd ormod o'r un peth i'r darllenydd; ac fod y cyflawnder o ffugyrau a ddefnyddia weithiau yn cuddio y gwirionedd dan ei sylw o'r golwg yn hytrach nag yn taflu mwy o oleuni arno.

Mae y llinellau canlynol o'r "Cofiant" yn ddangosiad têg, dybygid, o'r gwahaniaeth rhwng y ddau frawd yn y peth hwn.

"Yr oedd ei ddychymyg ef (John Jones) yn gyfryw, yn ystyr brïodol ac uchaf y gair, ar wahân oddiwrth y rhywogaeth îs o hono, a elwir darfelydd *(fancy)*.......Yr oedd mwy o *fancy* gan ei frawd, Mr. David Jones. Yn wir, prin y gallai efe agor ei enau i draethu ar ddim na byddai y syniadau yn ymwisgo mewn rhyw gymhariaeth, yr hon a chwareuai yn esmwyth a difyrus ar deimladau ei wrandäwyr. Ac fe fyddai y cymhariaethau yn dilyn eu gilydd mor gyflym; y naill yn lluchedenu agos yn ngoleu y llall, fel y byddai llygaid y bobl braidd yn teryllu wrth edrych arnynt. Ond nid felly y byddai Mr. John Jones. Gellid gwrando arno ef am ddeng mynyd, neu ychwaneg, yn traethu yn oleu ac yn rymus ar y mater a fyddai ganddo dan sylw, yn yr iaith symlaf a choethaf, ond hollol rydd oddiwrth bob tlysni barddonol; ac yna, er perffeithio yr eglurhâd, efe a äi ar aden ei ddychymyg nerthol, ac a gydiai mewn rhyw gymhariaeth fawr, a phrydferth, a chyflawn, o nodwedd hollol Filtonaidd,—ac mor gyfaddas i'r amcan uniongyrchol y defnyddid hi erddo, ag i wneyd lle iddi ei hunan dros byth yn meddyliau ei wrandäwyr. Yr oedd trwy nerth ei ddychymyg, yn gallu ysbrydoli holl anian, ac â'i gyffyrddiad yn cyfnewid ei hamrywiol wrthddrychau yn ddelweddau byw, er portrëadu y gwirioneddau dwyfol a bregethid ganddo."

Yr oedd Mr. Rees a Mr. John Jones yn dra thebyg i'w gilydd yn rhagoriaethau sylfaenol eu meddyliau—yn y meddiant o reswm cryf i

ymaflyd yn y gwirionedd; o grebwyll galluog a goruchel i'w gyflëu ger bron mewn ardderchogrwydd mawr; ac o hyawdledd o nodwedd uchel, trwy ba un y derbyniai pob gallu arall a feddent y fantais oreu. Eto, er yr holl debygrwydd, yr oeddynt yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd mewn rhai pethau; ac yr oedd y gwahaniaeth rhyngddynt yn fawr, wrth ystyried maint y cyffelybrwydd oedd yn eu meddyliau i'w gilydd, yn eu nodweddau sylfaenol. Gwahaniaethent yn y pethau y tebygent fwyaf ynddynt. Llef yr Arglwydd oedd y ddau, fel Ioan Fedyddiwr, a hono yn rymus a threiddiol; ond yn y naill, clywid y llef yn fwy mewn nerth; yn y llall, yn fwy mewn prydferthwch. Dichon fod mwy o nerth a threiddgarwch naturiol yn meddwl Mr. Jones; a mwy o ddillynder a lledneisrwydd yn meddwl Mr. Rees. Beth bynag am nerth, yr oedd mwy o feiddgarwch yn y cyntaf; mwy o ehangder hefyd, a mwy o hyawdledd naturiol. Yr oedd mewn mwy o berygl na Mr. Rees i ddyweyd pethau, yn ngrym llifeiriant ei hyawdledd, na fuasai yn eu dyweyd yn ei adegau tawel. Yr oedd chwaeth y ddau yn bur odiaeth, a hyny ynddynt yn ffrwyth dysgyblaeth fanwl ar eu meddyliau am flynyddoedd; ond yr oedd mwy o burdeb naturiol fe allai yn chwaeth y naill, a mwy o ffrwyth y gofal mwyaf eiddigus a chydwybodol yn mhurdeb chwaeth y llall. Nis gallai Mr. John Jones lefaru dim isel; nid allai ac ni fynai Mr. Rees wneuthur hyny. Yr oedd chwaeth yr olaf yn fwy anhawdd ei boddhâu; nid yn fynych yr ymostyngai at bethau pur gyffredin, rhag tòri ar draws rheolau chwaeth dda. Elai Mr. John Jones at bethau ac amgylchiadau bywyd cyffredin, soniai yn ei bregeth am ei wraig a'i blant, nes y teimlai y dyn mwyaf anwybodus ei fod yn ei ymyl, ond er hyny, ni fyddai dim cyffredin yn ei ddull o'u trin, ond gwisgai hwynt yn wastad âg ardderchogrwydd mawr. Yr oedd yn hyn yn debyg i Luther, yr hwn a ddygai bethau mawrion yr efengyl i ymyl y gwŷr a'r gwragedd tlodion. Dichon fod mwy o annibyniaeth naturiol yn perthyn i'w feddwl nag oedd yn meddwl Mr. Rees; a dangosiad o hyny oedd yr ymadroddion beiddgar a ddywedai rai gweithiau. Yr oedd ei hoffder hefyd yn fwy o'r cwestiynau hyny sydd yn gorwedd ar y terfyn rhwng duwinyddiaeth ac athroniaeth. Llefarai lawer am ddyn fel crëadur Duw, yn gystal ag am dano fel pechadur yn ei erbyn. Traethai yn ardderchog am Dduw a'i grëadigaeth, a'i lywodraeth, yn gystal ag am Grist a'i iachawdwriaeth. Yr oedd yn ehangder maes ei weinidogaeth yn gyffelyb i eiddo Dr. Chalmers. Yr oedd *lled* mawr yn ei weinidogaeth. Mae yn anhawdd gwybod pa fodd y daeth i gydnabyddiaeth mor ëang â gwirioneddau, nad oedd fawr i'w gael arnynt yn yr iaith Gymraeg yn ei amser ef. Mae y peth yn aros yn ddirgelwch i ni; ac y mae yn ffaith fod Mr. John Jones yn berchen meddwl o gwmpas a nerth anghyffredin. Braidd na feddyliem ei fod yn rhagori yn hyn ar bawb o'i flaen yn y Cyfundeb.

Yr oedd Mr. Rees, yr un fath ag yntau, yn feistr ar iaith. Dichon na cheir un arddull fwy perffaith a dillyn yn yr iaith Gymraeg. Mae ol y gofal a'r perffeithiad manylaf arni, ac nid yw, trwy hyny, yn colli ond ychydig ar ei hystwythder a'i naturioldeb. Nid oedd Mr. John Jones yn ysgrifenwr fel efe. Yn y pregethau a ysgrifenwyd o'i enau, pan y byddai efe yn pregethu, y canfyddir y rhagoriaethau penaf o ran meddwl ac ymadrodd. Ond y mae y pregethau a barotöwyd gan Mr.

Rees ei hun yn gynlluniau o berffeithrwydd, er y rhaid addef, eu bod, yn enwedig y rhai olaf a barotöwyd ganddo, yn colli mewn grym a bywiogrwydd, fel canlyniad manylrwydd ei ofal am berffeithrwydd y cyfansoddiad. Yr elfen oedd yn hynodi Mr. Rees fel pregethwr, hyd yn nôd oddiwrth Mr. John Jones, oedd cyflawnder ei ddoniau ysbrydol. Nid nad oedd eraill yn meddu yr un doniau i raddau mawr; ond Mr. Rees yn fwy. Fel y dengys Mr. Thomas, yr oedd efe wedi ei fedyddio â hwynt yn helaethach na neb o'i frodyr, nes yr oeddent wedi treiddio pob gallu oedd ganddo—wedi cysegru a sancteiddio y cwbl nes taflu rhyw oleuni nefol drostynt, a pheri fod dylanwad ei weinidogaeth, er nad mor gyffröus bob amser ag eiddo John Jones, eto yn fwy pur, yn fwy dwys, ac felly yn fwy arosol. Credwn mai Mr. Rees oedd y pregethwr mwyaf *gwir* effeithiol a fu erioed yn Nghymru. A phrif ragoriaeth ei bregethau argraffedig ydyw yr eneiniad ysbrydol a sanctaidd yma sydd yn aros ynddynt. Dywedwn, eu *prif* ragoriaeth; nid am nad oes ynddynt gorff o'r gwirionedd mwyaf sylweddol—nid am nad oes aml un o'i bregethau yn draethawd cyflawn ar ryw wirionedd pwysig, ac nid am nad ydynt oll, o ran meddwl ac arddull, yn gynlluniau o'r hyn a ddylai pregethu fod—ond am fod yr ireidd-dra a'r eneiniad ysbryd sydd yn eu trwytho yn elfen mwy ammheuthyn hyd yn nôd na grym meddwl neu ddillynder cyfansoddiad. Saif y pregethau hyn, o ba gyfeiriad bynag y bernir hwynt, yn gyfochrog o leiaf â'r pregethau goreu yn yr iaith. Dichon eu bod, a chymeryd yr holl ragoriaethau gyda'u gilydd, yn rhagori ar unrhyw gyfansoddiad o'r un natur a ymddangosodd o'r blaen yn ein gwlad. Os oes mwy o wreiddiolder yn mhregethau Charles o Gaerfyrddin, a mwy o allu awgrymiadol; ac os oes ychwaneg o nerth a beiddgarwch y crebwyll areithyddol yn y pregethau hyny o eiddo John Jones, a ysgrifenid wrth ei wrandaw, y mae corff cyflawnach o wirionedd, ymdriniaeth fwy dyhysbyddol o'r mater, a mwy o berffeithrwydd a dillynder llênyddol yn mhregethau Mr. Rees. Ac y mae ynddynt, fel y dywedasom, elfen arall werthfawrocach na'r cwbl, o herwydd pa un y safai Mr. Rees ar ei ben ei hun ymysg ei frodyr. Yr oedd efe, mewn mwy nag un ystyr, y pregethwr mwyaf efengylaidd o bawb yn ei oes. Yr oedd felly yn mater ei weinidogaeth. Os pregai Mr. Richard Humphreys lawer ar Dduw, a Mr. John Jones ar y Crëawdwr a'i weithredoedd, ac ar ddyn yn rhagoriaeth ei natur a'i gyfrifoldeb i'w Grëawdwr, mater mawr Mr. Rees, ar y llaw arall, oedd *Duw yn Nghrist*. Mewn graddau mwy na neb arall, Crist, a hwnw wedi ei groeshoelio, oedd canolbwynt ei bregethiad; ïe, yr oedd yn fwy na bod yn ganolbwynt. Efe oedd yr oll yn yr oll:—

Iesu 'r testun, Iesu 'r bregeth,
Iesu 'r ddeddf, a Iesu 'r ffydd.

Meddai ar allu arbenig i edrych ar bob gwirionedd a phob dyledswydd yn eu perthynas â Christ a'i iachawdwriaeth. Arosai gyda'r gwirionedd am ei Berson fel Duw yn y cnawd, ac amlygai beth llawer uwch na dirnadaeth feddyliol uchel wrth ymdrin â'r gwirionedd—amgyffred ysbrydol dwfn am fawredd a gogoniant y Person bendigedig. Pan draethai, ar achlysuron nodedig, am dano Ef, fel yr Hwn a

wnaethpwyd o wraig, ac a wnaethpwyd dan y ddeddf, yr Hwn a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, byddai yr effeithiau fyddai yn cydfyned o rywogaeth uwch a phurach, ac yn cynnyrchu teimladau mwy nefol a sanctaidd na dim a welsom dan weinidogaeth neb erioed. Nid teimlad cyffröus o gwbl ydoedd, ac nid teimlad y cyfranogai yr anystyriol a'r difeddwl lawer o hono, er y byddai yr ymwybyddiaeth o ryw bresennoldeb mawr yn y gynnulleidfa yn taflu difrifwch dros ei feddwl yntau; ond tangnefedd a gorfoledd, tawel a dwfn, yn llifeirio i galonau gwir gredinwyr; y sawl fyddai yn caru Crist yn cael eglurhâd neillduol o hono; y saint yn cael eu dwyn i'r gwindŷ, a chariad yn faner drostynt, ac yn profi yn helaeth o'r llawenydd annhraethadwy a gogoneddus—y peth tebycaf i'r peth a deimlodd Pedr ar fynydd y Gweddnewidiad yn nghwmni ei Arglwydd, gyda Moses ac Elias, ïe, y peth tebycaf a gafwyd, yn yr oes hon, ar y ddaear, i fwynhâd nef y gogoniant. Yn ngweinidogaeth Mr. Rees y dysgid ni fwyaf i sylweddoli y syniad nad oes ond llèn deneu rhyngom â thragywyddoldeb—fod y saint yn y byd hwn wedi dyfod i fynydd Sïon—mai y nefolion leoedd ydyw yr eglwys ar y ddaear. Teimlodd miloedd wrth ei wrando o bryd i bryd nad oes ar ddyn eisieu mwy, tuag at ei wneuthur yn dragywyddol wynfydedig, na chymundeb â Duw, ac adnabyddiaeth o Iesu Grist, ac mai "gweled ei ogoniant Ef" ydyw hanfod dedwyddwch y nefoedd. Buasai cyffro yn y gynnulleidfa yn anghydweddol â natur y mwynhâd. Cawsai ei ddigysegru gan floeddiadau. Yr arddangosiad mwyaf naturiol o deimlad dwys, medd Awstyn, ydyw dagrau; ac yr oedd effeithiau gweinidogaeth Mr. Rees yn brawf nodedig o hyny. Os nad ydym yn camsynied, dan ei weinidogaeth ef y gwelsom fwyaf o ddagrau; a'r fath ddagrau!

Wylo cariad pur,
  Yn ddagrau melus iawn.

Dagrau ffydd a chariad; dagrau enaid yn gobeithio, yn erbyn gobaith, am fod rhyw ddydd yn wŷn fel eira, yn sanctaidd fel Duw ei hun. Ychydig a fyddai gan y teimladau dynol â'u cynnyrchu. Hawdd i ddyn o ddawn a theimlad ydyw dwyn gwrandäwyr o dymherau gweiniaid i wylo, trwy adgofio iddynt y profedigaethau yr aethant trwyddynt, y cynnal fu arnynt yn y profedigaethau hyny, trwy gyfeirio at berthynasau cu a gollasant trwy farwolaeth, a thrwy ddal o'u blaen derfyniad eu bywyd eu hunain, ac awr eu marwolaeth; ac nis gellir condemnio gwaith y pregethwr yn cymeryd mantais oddiwrth deimladau naturiol a chyfreithlawn ein natur i gyfnerthu y serchiadau mwy crefyddol. Byddai Mr. Rees yn gwneyd yr appeliadau mwyaf effeithiol rai gweithiau at y teimladau dynol yn ei wrandäwyr, a llawer tro y gwelsom gawodydd o ddagrau yn disgyn mewn canlyniad i'w waith yn cyfeirio at yr hen famau duwiol oedd ar y pryd yn y gogoniant. Ond yr ydym yn awr yn sôn am effeithiau llawer purach, y rhai a gynnyrchid heb fawr o gynnorthwy y dynol; effeithiau a berid trwy ddarluniadau goruchel o ogoniant Person yr Arglwydd Iesu, ac o olygfëydd Bethlehem, Gethsemane, a Chalfaria; darluniadau fyddent mewn modd araf a dystaw yn cyffröi y serchiadau mwyaf ysbrydol eu natur,

nes gwneyd wynebau hen dduwiolion yn fudron gan wylo. Cai yr effaith ddwysaf ar deimladau y Cristionogion hyny sydd wedi eu sefydlu mewn crefydd, a'r rhai, o herwydd oedran, y byddai eu teimladau naturiol wedi marweiddio llawer. Un achos o ddwysder yn gystal a phurdeb yr effaith a barai ei weinidogaeth, ydoedd efengyleidd-dra ei mater. Crist yn ei Berson, a Christ yn ei aberth, ydoedd yr oll yn yr oll o honi. Y ddyledswydd fawr a bregethai oedd ffydd ynddo Ef. Un o brif nodau ei weinidogaeth oedd ei gallu i roddi y lle mwyaf i *gredu.* Yn hyn yr oedd wedi yfed yn helaeth o ysbryd Paul a Luther. Traethai Mr. Rees fwy ar gredu, a thraethai hefyd yn well, ac yn fwy cyfeiriadol, nag un pregethwr yn ei oes. Ychydig a soniai am rinweddau, fel y cyfryw; grasusau yn canlyn credu oedd y cwbl; ufudd-dod ffydd ydoedd yr holl fuchedd dduwiol. Edrych ar Iesu oedd yr unig beth angenrheidiol i roddi bywyd i'r pechadur, a sancteiddrwydd i'r credadyn. Ac heblaw fod mater ei weinidogaeth yn drwyadl efengylaidd—a'i fod yntau yn deall yr efengyl, fel trefn i ymgeleddu pechadur, mewn dull mwy ymarferol nag un o bregethwyr ei oes—yr oedd ei holl ysbryd, hefyd, yn y cydgordiad mwyaf perffaith â hi. Nid yn unig yr oedd yr efengyl yn cael ei chredu ganddo gyda ffydd gref a gwastadol, ond yr oedd ei holl enaid wedi ei drwytho gan ei hysbryd. Ac yr oedd y trwythiad yma ar ei ysbryd yn treiddio trwy ei holl alluoedd, a'i holl ddoniau, fel ag i'w wneuthur ymhob peth a berthynai iddo,—ei feddyliau, ei iaith, ei lais, ei wêdd, y cynnrychiolydd goreu o ras a melusder yr efengyl o holl bregethwyr Cymru. Mae yr un ireidd-dra nefol eto yn aros yn ei bregethau argraffedig; ac y mae yr elfen yma sydd yn eu hynodi yn sicr, dybygem, o roddi parhâd iddynt. Mae y grym meddwl a'r dillynder arddull sydd ynddynt yn sicr o roddi lle iddynt ymysg y llyfrau na adewir iddynt farw; ond y mae rhagoriaeth eu hysbryd yn sicrhâu hyny yn fwy. Mae hwn yn rhagoriaeth mwy ammheuthyn, fel y dywedasom o'r blaen. Dyma y brif elfen sydd yn hynodi llyfr bychan Thomas à Kempis, wedi ei gadw yn fyw am oesoedd, ac yn peri ei fod heddyw mor newydd âg erioed. Yr oedd yr hen sant hwnw wedi dyoddef llawer, a theimlo pethau ysbrydol yn nyfnder ei ysbryd: a meddwl difrifol wedi dyoddef a theimlo yn ddwys sydd yn llefaru yn "Nilyniad Crist" wrth feddyliau difrifol cyffelyb. Yr ydym yn darogan poblogrwydd o'r un natur i bregethau Mr. Rees; nid poblogrwydd ymysg dynion o feddyliau a theimladau ysgeifn; ond lle a pha bryd bynag y ceir dyn ag y byddo Duw wedi cyffwrdd â'i galon, enaid yn ochain dan ei faich, calon yn ymdeimlo â'i phlâ, ac yn dyheu am waredigaeth, caiff hwnw, yn y pregethau hyn, y cynnorthwy goreu yn y gwaith o farweiddio llygredd ei galon, a meithrin y bywyd ysbrydol o'i fewn.

Yr ydym wedi gadael pregethau Mr. Morgan hyd y diwedd heb wneuthur un sylw o honynt; a dichon ei bod eto yn rhy gynnar, am nad oes ond dwy ran o honynt wedi cael eu cyhoeddi; ac y ceir darluniad o hono fel dyn a phregethwr gan y Golygydd. Ond gan i ni ddodi enw Mr. Morgan uwchben yr ysgrif, byddai yn annhêg ynom beidio gwneuthur rhyw sylwadau arno ef a'i bregethau. Megys yr oedd Mr. John Jones a Mr. Rees y ddau bregethwr hynotaf yn eu dydd, felly, yn ddiammheu, yr oedd Mr. Morgan ymysg ei gyfoedion, Ni

chododd un pregethwr yn Nghyfundeb y Methodistiaid yn gyfoed âg ef, nac ar ei ol, a ennillodd boblogrwydd mor ëang, a chymaint o ddylanwad ar y cynnulleidfäoedd. Yr oedd mor boblogaidd llawn a Mr. Rees, ac agos mor boblogaidd â Mr. John Jones; ac y mae y ffaith iddo ennill y fath boblogrwydd, a hyny mor dêg, a than yr anfanteision dirfawr o feddu corff mor wanaidd, yn ddigon o brawf ei fod yn ddyn o ŷni, ymadferth, penderfyniad, a gallu anghyffredin.

Dywedir mai prif nôd dyn mawr ydyw gallu i adael argraff barhäus ar genedl. Mae y rhan fwyaf o lawer o blant dynion yn y sefyllfa o fod yn dderbynwyr. Ysbryd yr oes, a dylanwad y llïaws, sydd yn argraffu eu delw arnynt. Ceir nifer llawer llai o ddynion, y rhai, ar ol derbyn, sydd yn dychwelyd i eraill yr hyn a gawsant; yn adlewyrchu y goleuni a belydra arnynt: ac i'r dosbarth yma y perthyn braidd bawb o bobl ddefnyddiol y byd a'r eglwys. Ond y mae ambell un, cyfoethog mewn adnoddau, yn rhoddi llawer mwy nag a dderbyniodd, ac yn dwyn y byd dan ddyled iddo; mae yn grëwr cyfnodau newyddion; yn arweinydd ar ei genedl i diriogaethau newyddion; yn darganfod gwirionedd ag y mae dynion mewn anghen am ei wybod, yr hwn ni chafodd fawr o help ganddynt i'w gael allan, nac, ar ol ei gael allan, i'w gefnogi. Yr oedd rhywbeth o hyn yn hynodi Mr. Morgan. Yr oedd yn ddiwygiwr yn ei genedlaeth. Yr oedd ar unwaith yn feddyliwr, yn siaradwr, ac yn weithiwr; ac fe adawodd gymaint o'i ôl ar y Cyfundeb y perthynai iddo, a'r naill neu y llall o'r ddau y gwnaethom o'r blaen sylwadau arnynt. Mawr yn unig yn y pulpud oedd Mr. John Jones. Yr oedd Mr. Rees yr un mor fawr fel gŵr o gynghor yn y Gymdeithasfa ag ydoedd yn y pulpud. Meddai ar farn addfed, dêg, ac ar gyflawnder o bob dawn, i ymdrin â phob mater a ddygid ger bron: a chydnabyddid ef gan bawb fel y penaf o arweinwyr y Cyfundeb. Yr oedd safle Mr. Morgan, er nad, o herwydd ei oedran, càn uched a'r eiddo Mr. Rees, eto yn safle uchel iawn. Ac yr oedd un peth ynddo nad oedd yn agos i'r un graddau yn Mr. Rees; yr oedd yn fawr am gynllunio, ac am annog y Cyfundeb i waith. Ac y mae yn rhaid cydnabod ei fod wedi gwneuthur gwrolwaith, a hyny yn wyneb rhagfarnau cryfion, a llawer o duedd i'w gamddarlunio gydag achos bugeiliaeth eglwysig. Llwyddodd i lefeinio y Cyfarfod Misol y perthynai iddo, a'r eglwysi mewn cysylltiad âg ef, â'i egwyddorion ei hun; a gwelodd, cyn ei farw, holl deimlad ac argyhoeddiad y parth hwnw o Gymru o blaid y fugeiliaeth. Dywedai bethau weithiau a gyfrifid ar y pryd yn eithafol gan rai. Ond erbyn hyn y mae braidd bawb o'r un farn âg ef. Ac heblaw llefaru yn glir a doniol o blaid y symudiad, gweithiodd hefyd yn benderfynol a di-ildio o'i blaid, trwy glod ac anghlod, hyd ei fedd.

Ond fel pregethwr y mae a wnelom yn awr âg ef. Dywedasom ei fod yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd yn yr oes; ac yr oedd yn haeddu y poblogrwydd hwnw; nid oedd achos i neb eiddigeddu wrtho o'i blegid, fel y mae yn demtasiwn eiddigeddu wrth boblogrwydd ambell un, am mai nid ei achos ydyw, nid rhagoriaeth y pregethwr, ond dylni y bobl. Yr oedd cymhwysderau Mr. Morgan yn sicrhâu iddo boblogrwydd gyda phob dosbarth. Yr oedd yn siaradwr rhagorol, ac yn un o'r meddylwyr mwyaf hapus. Rhagorai ar Mr. John Jones a Mr. Rees yn *mywiogrwydd* ei ddoniau. Yr oedd yn llawn o yni bywyd, yr hyn a

ddeuai i'r golwg yn ei bregethau, ond yn fwy, fe allai, yn ei areithiau mewn Cymanfa. Byddai ei bregethau hefyd yn hollol efengylaidd yn eu mater a'u hysbryd, fel y cenfydd y darllenydd yn y rhifynau sydd ger ein bron, yr oedd ei ffydd yntau, yr un modd a Mr. J. Jones a Mr. Rees, yn gref iawn yn ngallu yr efengyl fel unig drefn Duw i achub y byd; ac nid oedd arno gywilydd o honi. Dichon y rhagorai arnynt hwy mewn gwybodaeth o bethau cyffredin, o drefn y grëadigaeth, a hanes y byd yn y gwahanol oesoedd; a meddai ar allu i ddarostwng pob peth i fod yn wasanaethgar i'w weinidogaeth. Mae hyn yn awgrymu i ni ei brif nodwedd fel pregethwr—ei allu i egluro y gwirionedd â'r cymhariaethau mwyaf hapus a dysglaer, wedi eu cymeryd o bob tiriogaeth, ond yn benaf o lyfr Duw. Yr oedd y gallu hwn yn gryf a chyfoethog dros ben ynddo. Yr oedd mor gryf a chynnyrchiol, fel y syrthiai rhai i'r camsyniad mai dyna ei unig allu meddyliol. Ond camsyniad mawr ydoedd. Yr oedd craffder ei feddwl yn fawr. Yr oedd yn alluog iawn i ymresymu gwirionedd allan, ac i edrych arno yn ei wahanol gysylltiadau, ac i'w gyfleu mewn modd eglur o flaen y gwrandäwyr. Aml iawn yr amlygai dreiddgarwch meddyliol anghyffredin, nes gwneyd yr argraff ar ddynion o feddyliau sylwgar fod ynddo wreiddiolder mawr fel meddyliwr, yn gystal a dychymyg cryf a chyfoethog fel arluniwr. Ymddengys ei feddiant o'r gallu hwn, yn gystal a'i ddarfelydd bywiog, yn nodedig yn y dyfyniad canlynol o'i bregeth ar y "Mab a'r Etifedd:"—

"Perthynas seiliedig ar ras ydyw. Y mae y ddau air, *gelyn* ac *estron*, y rhai a fuant unwaith yn ddarluniad o wrthddrychau y berthynas hon, yn dangos fod yn rhaid mai un seiliedig ar ras ydyw; felly y mae yn un sydd yn rhoddi i'w pherchen, yn wyneb deddf, hawl mewn pethau nad oeddynt yn perthyn iddo fel arall. 'Wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad,..... er mawl gogoniant ei ras ef:' oddiyna y cychwynodd hi. Ond os perthynas seiliedig ar ras ydyw, sef ar 'foddlonrwydd ei ewyllys ef,' pa le, meddir, y mae ei sicrwydd hi? Oblegid y mae yn debyg i Eleazer o Damascus fod yn fabwysiedig gan Abraham, ac i Ismael fod yn fabwysiedig gan Sarah; ond aeth Eleazar yn was yn ei ol, ac Ismael yn 'fab i gaethes' drachefn, yn lle bod yn fab gwraig rydd. Ond am hon, er mai perthynas o ras ydyw, nid oes dim ansicrwydd yn perthyn iddi, am mai perthynas ydyw sydd yn dyfod i ni yn rhinwedd undeb â Christ, gan ein bod yn gyd-etifeddion âg Ef, yr hyn sydd yn dilyn y berthynas. Y mae yn rhaid fod rhyw gyffelybrwydd yn y berthynas ei hun i'r eiddo Ef: ïe, oni ddywedir ei fod wedi ei wneuthur ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr, yn ei gysylltiadau â phethau y byd hwn? Y mae ei frodyr hefyd wedi eu gwneuthur, yn eu perthynas â Duw, ymhob peth yn gyffelyb iddo yntau, hyd y goddef natur feidrol fod yn debyg i un anfeidrol. Beth ydyw ei berthynas Ef â Duw? Y mae yn uniganedig Fab Duw; felly nid all neb ddyfod i'w le Ef byth. Isaac a ddaeth i lanw lle Eleazer ac Ismael, yr hyn a fu yn achlysur iddynt hwy gael eu bwrw allan; ond y mae perthynas yr uniganedig â'r Tad yn gyfryw ag y mae anmhosiblrwydd yn natur pethau i neb ddyfod i'w le Ef. Yn ei berthynas â'i frodyr, 'cyntafanedig' ydyw 'ymhlith brodyr lawer.' Y mae hon hefyd yn berthynas na ellir ei newid byth. Cysylltwch y ddwy â'u gilydd, ac fe welir sicrwydd perthynas y testun. Yn ei berthynas â Duw, uniganedig Fab ydyw; yn ei berthynas â'i frodyr, cyntafanedig ydyw. Y mae sicrwydd parhâd perthynas y brodyr yn gorphwys, ar fod yr Hwn sydd yn gyntafanedig, yn ei berthynas â hwynt, yn uniganedig yn ei berthynas â Duw. Felly y mae eu perthynas â Duw, hyd y gall y meidrol fod yn gyffelyb i'r anfeidrol, yn gyffelyb i berthynas yr uniganedig â'r Tad. Yr oedd yn bosibl cymeryd lle Ismael, gan mai ar foddlonrwydd ewyllys yr oedd y berthynas yn ymddibynu: gallasai yr un peth ag a roddodd fôd iddi ei difodi; ac felly y bu. Ond nid un felly oedd perthynas Isaac: yr oedd hono o'r fath natur fel nad allesid ei difodi. Mab, unig fab Isaac,—a phe buasai yn bosibl uno rhai âg Isaac mor agos, fel ag i

wneuthur Isaac, oedd yn uniganedig yn ei berthynas â'i dad Abraham, yn gyntafanedig yn ei berthynas â hwynt; yna, buasai mor anhawdd difodi eu perthynas hwynt âg Abraham, ag oedd difodi perthynas Isaac ei hun. Y mae hyn yn cael ei wneuthur yn nhrefn yr efengyl; fel, er mai perthynas seiliedig ar foddlonrwydd ewyllys ydyw, y mae hi mor sicr a pherthynas tragywyddol Fab Duw â'r Tad. Dyna hi yn sicr o ran dim a all ddyfod oddiallan i'w thòri. Y mae hi mor sicr oddimewn hefyd, oblegid y mae pawb sydd ynddi wedi derbyn ysbryd mabwysiad: felly nid mab yn ngolwg cyfraith yn unig ydyw, onb mab mewn gwirionedd. Am eu bod yn feibion yn yr ystyr gyntaf, sef trwy fabwysiad, yr anfonodd Duw 'Ysbryd ei Fab' i'w calonau. Nid ysbryd meibion: gallasent gael hwnw, a bod fel angylion: ond 'Ysbryd ei *Fab*,' Ysbryd yr uniganedig, y cyntafanedig. Onid yw hyn yn rhoddi math o debygolrwydd yn y berthynas? Y mae yr un peth yn cael ei ddarlunio mewn lle arall yn dywallt cariad Duw yn y galon. Amlygiad o'r ysbryd hwn ydyw 'llefain Abba, Dad.' Yr oedd y mabwysiad yn rhoddi hawl i wneyd hyny,—gallu i fod yn feibion i Dduw; ond derbyniad ysbryd mabwysiad sydd yn rhoddi y teimlad, y mae Abba, Dad, yn amlygiad o hono. Er bod Ismael yn fabwysiedig gan Sarah, eto, fe ddangosodd, yn ei waith yn gwawdio Isaac, nad oedd ynddo ysbryd mabwysiad; am hyny fe dòrwyd y berthynas. Ond nis gall dim ansicrwydd byth godi i berthynas y testun o'r cyfeiriad yma. Y mae pob mab yn 'llefain Abba, Dad.' Dyma berthynas pechadur â Duw yn nhrefn yr efengyl; ac wrth edrych arni, nid rhyfedd ydoedd i'r apostol ddywedyd:—'Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw.' Y mae dau beth mewn cysylltiad â'n galw ni yn feibion, yn amlygu mawredd y cariad. Ymhlith yr hen genhedloedd, nid oedd neb yn mabwysiadu estroniaid ond y rhai a fyddent heb blant o'u heiddo eu hun. Fe waherddid gwneyd hyny gan gyfraith ymysg y Rhufeiniaid; ond y mae yn debyg nad oedd llawer o achos rhoddi y gyfraith hono mewn gweithrediad, am na theimlid odid un amser demtasiwn i'w throseddu hi. Nid ydoedd yn beth hynod gweled Abraham wedi, neu yn bwriadu mabwysiadu Eleazer i fod yn etifedd iddo, pan ydoedd yn ddiblant, ond buasai yn beth rhyfedd ei weled yn gwneuthur hyny wedi geni ei fab Isaac: eto hynyna a wnaed â ni. Nid am nad oedd ganddo Fab y mabwysiadwyd ni gan Dduw; na, yr oedd iddo Fab, a hwnw yn uniganedig Fab. Nid am nad ydoedd yn caru y Mab hwnw y mabwysiadwyd ni; na, yr oedd yn hyfrydwch iddo beunydd, yn anwyl Fab, yn brïod Fab: eto, wele y cariad tragywyddol yn rhedeg ar y ddynoliaeth. Gwelwch pa fath gariad! Dyma beth newydd na chlybuwyd am ei fath o'r blaen, ac ni chlywir am ei debyg byth mwy."

Ond ei brif ragoriaeth fel meddyliwr oedd cyfoeth ei ddarfelydd. Defnyddiai fwy o ffugyrau a chyffelybiaethau na neb arall, yr hyn a roddai gyfrif, mewn rhan, am ei boblogrwydd, ac am effeithiolrwydd ei weinidogaeth. Nid oes un dull mwy effeithiol o lefaru na'r dull hwn. Un yn llefaru mewn dammegion oedd yr Arglwydd Iesu ei hun; felly y dysgai efe y tyrfäoedd; a gwnelai hyny am fod natur yn ddrych o'r ysbrydol, yr amserol yn bortrëad a chysgod o'r tragywyddol. Dedwydd yw y dysgawdwr hwnw sydd ganddo glustiau i glywed lleferydd natur, a thafod i ail adrodd y dirgelion a ddadguddia iddo. Ychydig o effaith a gâ meddyliau dansoddol ar unrhyw gynnulleidfa: nid yr anghoeth a'r anwybodus yn unig sydd yn gofyn am ddelweddau daearol i egluro yr ysbrydol, ond y coeth hefyd yn gystal. Rhesymau, ebe un hen awdwr, ydyw colofnau y bregeth, ond egluriadau ydyw y ffenestri i ollwng goleuni i mewn. Mae egluriadau hefyd yn angenrheidiol i gynnyrchu dyddordeb yn y gwrandäwr yn y mater, ac i'w argraffu ar ei feddwl a'i gôf. Mae mawr ddrwg bradwriaeth yn dyfod yn fwy i'r golwg yn hanes erchyll Judas, echryslonrwydd twyll a chelwydd yn hanes Ananias a Sapphira, nag yn y traethawd arddansoddol goreu ar y pechodau hyn. Nid oes un gair yn yr Hen Destament yn dangos gofal tyner yr Arglwydd am Israel, o'r Aipht i Ganaan, yn well na'r ffugyr prydferth hwnw o eiddo Moses: "Fel y cyfyd eryr ei nŷth, y castella dros ei gyw-

ion, y lleda ei esgyll, y cymer hwynt, ac y dug hwy ar ei adenydd;" neu y gair hwnw o eiddo Hosea: "Mi a ddysgais i Ephraim gerdded, gan ei gymeryd erbyn ei freichiau." Yr oedd Mr. Morgan yn deall nerth y dull hwn, heblaw ei fod mor naturiol iddo ag ydyw i'r dwfr redeg i'r pant. Yr oedd ei gymhariaethau, nid yn unig yn brïodol, ond hefyd yn fywiog a dysglaer iawn yn wastad yn y traddodiad o honynt. Yr oeddent, nid yn taflu goleuni oer ar y mater fyddai dan ei sylw, ond yn cyffroi teimladau y gwrandäwyr—yn gweithredu fel swyn arnynt, yn peri iddynt deimlo y dyddordeb dyfnaf yn y gwirionedd, ac yn eu dwyn i'w garu yn fwy, am eu bod yn cael golwg arno yn nrych y pethau oedd yn hen gynefin iddynt. Darfelydd yr areithydd, yr ydym yn tybied, oedd darfelydd Mr. Morgan, yn hytrach na darfelydd y bardd; a'r cyntaf, ond odid, ydyw y gwerthfawrocaf i bregethwr. Yr oedd yn debycach, yn nheithi ei feddwl, i'r hanesydd Macaulay, nag i neb o awdwyr poblogaidd yr oes; a gŵyr pawb mai prif nodwedd Macaulay fel ysgrifenwr ydoedd yr hyn a elwir *brilliancy*. Felly hefyd yr oedd Mr. Morgan fel pregethwr. Mae dwy ffordd o ddefnyddio cymhariaethau: un ydyw dal y gwirionedd a'r gymhariaeth gyferbyn â'u gilydd; y llall ydyw corffori y gwirionedd yn y gymhariaeth. Mantais y dull olaf ydyw nad oes perygl colli y gwirionedd yn y gymhariaeth, gan na roddir iddi hi ond lle israddol, trwy nad yw yn cael dim mwy na'i hawgrymu. Pan ddywedai Iesu Grist, "Myfi yw y wir winwydden," nid oedd dim perygl i'r dysgyblion fyned i feddwl mwy am y ffugyr nag am y cymhwysiad o hono. Mantais y dull blaenaf ydyw, yr ennillir mwy o fywiogrwydd gydag ef mewn araeth, ac y rhoddir mwy o foddhâd i'r gwrandäwyr, trwy ddangos iddynt y cyffelybrwydd rhwng y gymhariaeth â'r peth y bwriedir ei ddangos trwyddi. Yr anfantais o'r dull yma ydyw, y gall cymhariaeth ddysglaer ddwyn meddyliau y bobl arni ei hun yn fwy nag ar y gwirionedd y mae yn cael ei llefaru er ei fwyn. Ac anfantais fawr fyddai hyny. Ond y mae yn digwydd bod yn aml. Y dull cyffredin o ddefnyddio cymhariaethau yn mhulpudau Cymru ydyw hwn; ac ni bu neb yn fwy galluog arno na Mr. Morgan. Efe ydoedd Jeremy Taylor y Methodistiaid yn yr oes hon; pe buasai Macaulay yn bregethwr, dywedasem mai Mr. Morgan ac yntau fuasai y ddau debycaf i'w gilydd. Mae y dyfyniadau canlynol yn esiamplau o brïodoldeb, cyfoeth, a dysgleirdeb ei gymhariaethau:—

"Yr oedd yr aur a'r arian yn lled brinion yn Jerusalem cyn dyddiau Solomon, ac nid dyeithr hyny, oblegid yr oedd Ophir a Tarsis, eu gwlad hwynt, yn bell oddiyno, a'r cymundeb â'r lleoedd hyny yn beth anaml ac anghyffredin. Ond fe ffurfiodd Solomon, trwy ei longau, gysylltiad rhwng Jerusalem â gwledydd yr aur, a'r canlyniad a fu i'r arian ddyfod mor aml yn Jerusalem a'r cèryg. Yr oedd bendithion iachawdwriaeth unwaith yn bell iawn o'r ddaear, oblegid gwlad y felldith oedd hon; ond, erbyn heddyw, nid felly y maent; a'r rheswm am hyny ydyw, i ryw un a'i enw yn Rhyfeddol, gychwyn i fordaith gryn lawer mwy peryglus na'r un o Esion-Gaber i Tarsis. Hynod oedd y Gŵr hefyd, iddo fentro i'r fath anturiaeth; ond er y peryglon a'r ystormydd, fe ddaeth yma yn ddïogel, yn llwythog o fendithion. Yn awr y maent yn eich ymyl. Y mae maddeuant yn eich ymyl. Sut y gwyddoch chwi? Onid ydych yn nhŷ y Maddeuwr? Y mae bywyd tragywyddol, nid yn y nefoedd, ond yn un o fendithion y tŷ ar y ddaear. Os äi di i'r byd arall hebddynt, bydd pawb yn barod i ofyn, Pa fodd y daethost *ti* yma hebddynt?"

Eto:—

"Y mae pob lle *nad* oes dïogelwch ynddo, fel y lle y *mae*, wedi ei nodi yn eglur gan yr Ysbryd. Yr un fath a *chart* y morwr: fe geir yn hwnw y graig wedi ei nodi allan, y porthladd wedi ei farcio, y lleoedd dïogel a'r lleoedd peryglus wedi eu dangos; ond lled anmherffaith yw y perffeithiaf o honynt; oblegid fe geir llai o ddwfr yn y porthladd, weithiau, nag yr oedd y *chart* yn ei addaw, fel y mae y llong yn methu myned i mewn; fe darewir wrth graig, bryd arall, nad oedd hi ddim i lawr ar y *chart;* ac y mae y llong yn myned yn ddrylliau; neu fe ddeuir o hyd, ambell dro, i borthladd nad oedd y *chart* yn sôn dim am dano. Ond y mae *chart* yr Ysbryd yn un perffaith: y mae y creigiau, y peryglon, y cilfachau, a'r oll, wedi eu rhoddi i lawr ynddo, fel mai ofer ydyw ceisio cael allan yr un *passage* os na bydd i lawr ar y *chart.* Y mae rhai o'r daearyddwyr yn tybio fod *North-west passage* i'r Dwyrain yn bod, sef drwy ororau y pegwn Gogleddol; a phe gellid dyfod o hyd i hwnw y byrhëid llawer ar y ffordd i'r gwledydd dwyreiniol, gwledydd y cyfoeth a'r moethau; ond y mae Syr John Franklin, a llawer un arall a fu yn chwilio am dano, wedi colli eu bywydau yn y cais: yn lle cyrhaedd y Dwyrain gynhes, gyfoethog,, cawsant eu rhewi i farwolaeth yn ngororau y pegwn. Nid oedd yr hen *charts* ddim yn dyweyd fod yno un *passage*, ac fe gostiodd yn ddrud i Syr John ac eraill beidio eu credu hwynt. Y mae ein Hathronwyr ninnau,—Mill, Carlyle, ac eraill,—yn ceisio darganfod *passage* newydd i ddedwyddwch, ffordd fèrach i gyfandir hapusrwydd ac anfarwoldeb, na myned heibio i Bethlehem, a *roundio Cape* Calfaria; ond y mae *chart* yr Ysbryd yn dywedyd nad oes yr un; 'Nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi ymhlith dynion, drwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig.' Y mae yr Ysbryd yn dywedyd 'Tyred,' trwy gau i fyny bob ffordd ond ffordd yr efengyl."

Ac y mae y dyfyniad olaf a roddwn yn siampl nodedig o'i areithyddiaeth fywiog a dysglaer:—

II. Cyffredinolrwydd ac ehangder yr alwad: "Yr hwn sydd a syched arno, deued," &c. Paham yr ammheua neb ddigonolrwydd ac ehangder y ddarpariaeth yn wyneb gwirionedd fel hwn? Y mae bod gan bawb awdurdod i wahodd ati yn penderfynu y pwnc gyda golwg ar ei ehangder. Pe un fechan fuasai, buasid yn gofalu peidio anfon llawer allan i wahodd, a rhoddi cyfarwyddiadau lled fanwl i'r rhai a anfonid. Ond yn lle hyny, y mae 'Tyred' yn dyfod o bob cyfeiriad, ac oddiwrth bawb. Rhywbeth yn gyffelyb i olygfa a welodd Ioan yn y nefoedd,—tyrfa fawr yn dywedyd â llef uchel, 'Alelwia: iachawdwriaeth, a gogoniant, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni;' 'ac eilwaith y dywedasant, Alelwia:' gyda hyny, y mae y pedwar henuriad ar hugain yn cymeryd i fyny yr anthem, ac yn dywedyd, 'Amen; Alelwia.' Yna y mae tyrfa fawr arall, fel yn clywed yr adsain, ac yn cymeryd i fyny yr anthem, ac yn dywedyd, 'Alelwia.' Yr oedd pawb a glywai yr anthem yn uno ynddi, nes oedd Alelwia yn dilyn Alelwia—Alelwia yn adsain Alelwia o bob cyfeiriad trwy y nefoedd fawr i gyd. Lled debyg ydyw y testun. Y mae yma 'Tyred' yn dilyn 'Tyred.' Yr Ysbryd yn dywedyd, 'Tyred;' y brïodasferch yn cipio i fyny y gair, ac yn dywedyd, 'Tyred;' rhywun arall yn clywed, ac y mae hwnw yn dywedyd, 'Tyred;' rhywun yn clywed hwnw, a hwnw eilwaith yn dywedyd, 'Tyred,' nes y mae 'Tyred,' fel anthem Alelwia y nefoedd, yn seinio ac yn adseinio o bob cyfeiriad. O fiwsig bendigedig uwchben byd truenus! Y mae yn bryd i ni ofyn, Pa ddylanwad y mae yn ei gael arnoch? Onid ydych yn ateb yn ol, 'Wele ni yn dyfod?'—'Nac ydym,' medd rhai o honoch, 'oblegid nid ydym yn sicr mai ni sydd yn cael ein galw.' Os hynyna sydd yn eich cadw draw, nid yw yn anhawdd penderfynu y pwnc yna. Ai nid oes arnoch ychydig syched am fendithion yr efengyl?' 'O, oes; mi garwn gael ei maddeuant hi; y mae arnaf hiraeth am ei thangnefedd hi.' Yr wyt ti wedi dy nodi yn y testun: 'Yr hwn sydd a syched arno, deued.'—'Ni fedraf fi ddim dyweyd,' medd un arall, 'fod arnaf lawer o syched am danynt, ond mi ewyllysiwn innau, lawer diwrnod, fod yn eu meddu.' Yr wyt tithau i lawr: 'Yr hwn sydd yn ewyllysio, cymered o ddwfr y bywyd yn rhad.'"

# MR. GLADSTONE A'R BABAETH.

AMSER blinder ydyw hwn yn ddiddadl i'r Babaeth. Dydd ei hadfyd o'r diwedd a wawriodd arni, ac y mae yn dechreu yfed chwerwder ei gormes a'i thrahâ yn yr oesoedd blaenorol. Esgynodd i binacl uchaf hawddfyd daearol. Brashäwyd ei chalon gan ei llwyddiant tybiedig, a meddwodd ar wîn ei hofergoeledd, nes, erbyn hyn, y bygythia ei chwymp a'i dinystr fod yn llawer mwy cyflym a gwirioneddol na'i dyrchafiad a'i hanrhydedd. Er na buom erioed yn hòni meddu un gradd o ysbryd prophwydoliaeth, na'i ddehongliad, nis gallwn, rywfodd, ymddadrys o'r syniad fod phïolau y Dadguddiad yn cael eu tywallt ar ein daear y dyddiau hyn. Ymddengys fod Duw trwy y naill foddion a'r llall yn prysur barotöi y byd i dderbyn yr Arglwydd Iesu yn y ffydd a'r symlrwydd o hono, gan ddyosg pob cyfundrefn o bob rhwysg a rhodres sydd yn tueddu i guddio a chymylu gogoniant y Person anfeidrol a anfonodd Efe i adferu byd colledig.

Rhyfedd fel y mae cydgyfarfyddiad amgylchiadau gartref ac oddicartref y blynyddoedd diweddaf yn gweithio i'r cyfeiriad yma. Y mae yn amlwg gerfiedig ar y cwbl mai yr amcan ydyw cadw yn fyw bobl lawer, a dwyn y byd yn gryno i fod yn eiddo y Duw a'i prynodd. Fel rhwystr anaele i gyrhaeddiad yr amcan bendigedig yma, nis gellir meddwl am un ffurf o grefydd a wnaeth fwy yn ei erbyn na'r grefydd Babaidd. Y mae ar hyd yr oesau yn ei phroffes o Grist wedi hud-ddenu mil myrddiwn o blant dynion i ymddiried yn ei chyfundrefn bwdr a llygredig, ac eto trwy wisgo y Crist oedd ganddi mewn defodau diddiwedd, a rhodresau anesgusodol yn nghanol cyfryngau dirifedi, llwyddodd i ddallu ei phleidwyr, a'u dwyn i foddloni ar *ffurf* o wirionedd, a *llun* Ceidwad, yn lle y gwirioneddol a'r bywiol, yn wrthddrych eu ffydd a'u hymddiried. Yn yr ystyr hwn, fel un yn meddu rhan o wirionedd, ac yn defnyddio y rhan hono i ŵyrdroi dynion a'u cadw o afael y gwirionedd sydd yn achub, nis gallwn lai nag edrych ar y Babaeth fel y ffurf atgasaf, wrthunaf, a mwyaf dieflig o eiddo Satan i wrthweithio dylanwad angeu y groes.

Ond er ei holl ymffrost a'i gorfoledd, y mae ei dydd yn prysur dŷnu tua'r terfyn, a'i haul yn cyflym ddisgyn i orwel ei fachludiad. Nid oes un wlad ar y ddaear y gellir dyweyd ei bod yn cynnyddu ynddi mewn gwirionedd y blynyddoedd diweddaf. Hònir ganddynt hwy eu hunain eu bod yn cynnyddu yn aruthrol yn ein gwlad ni ein hunain, ond y mae pob ystadegaeth ond yr eiddynt hwy eu hunain yn profi nad ydyw eu cynnydd yn Mhrydain agos yn gyfatebol i gynnydd poblogaeth ein teyrnas yn y deng mlynedd diweddaf. Wrth edrych i gyfandir Ewrop,

yr ydym ar unwaith yn cael ein harwain i gredu fod mwy cyfnewidiad wedi ei wneyd yr ugain mlynedd diweddaf ar allu a gorthrwm y Babaeth, na phe gwelid hi wedi ei chwbl ddyfetha, ac wedi hollol farw fel gallu gwladol yn nghorff y deng mlynedd nesaf. Nid oes braidd wlad nad ydyw dan ei chlwyfau ynddi. Nid oes odid lywodraeth nad ydyw wedi bod mewn ysgarmes â hi, ac ymhob ymrysonfa y Babaeth bob tro gafodd y gwaethaf. Ni raid ond enwi Naples, Sicily, Corsica, Sardinia, nad ydyw y meddwl yn llawn o adgofion am greulonderau y Babaeth, ac echryslonderau ei Chwil-lysoedd dychrynllyd yn ddigon i fferu gwaed dyn wrth feddwl am danynt. Heddyw hefyd y mae Italy, a fu gaeth gan ei gefynau heiyrn, yn wlad rydd, a Rhufain brydferth, a fu yn gaerfa ac amddiffyniad y Vatican am gynifer o oesau, y ddinas dragywyddol, na oddefid, pe medrid rhwystro, hyd yn nôd i aderyn o wlad Brotestanaidd ehedeg uwchben ei heolydd, y mae Rhufain heddyw yn gartref y Bibl, a'r ystorfa Fiblaidd fel cyflegrfa barod, bob amser yn agored, a'i thânbelenau yn boethion i'w gwaith, yn union gyferbyn â'r fynedfa i'r *Vatican* ei hunan. Gofod a ballai i ni helaethu ar y gwaith enfawr, yn ymylu ar fod yn chwyldröad crefyddol, a gymer le y dyddiau hyn yn Germany, crŷd y Diwygiad Protestanaidd ar y cyntaf; ac oddiyno eto yr ymddengys fod y gair i fyned allan sydd i fod yn angeu i draha a gormes y Pab am oesau i ddyfod. Fel hyn ni a welwn nad oes un wlad o ddim nerth a phwysigrwydd y gall yr hen lanc o Rufain ddysgwyl llawer o gymhorth oddiwrthi y blynyddoedd diweddaf hyn. Y mae dyddiau ei awdurdod dymmorol wedi eu rhifo a'u terfynu, ac mor wired a bod ei awdurdod ysbrydol yn seiliedig ar, ac yn cael ei gynnal a'i gyfnerthu trwy rym gormes a thrais y llywodraeth dymmorol, rhaid iddi hithau syrthio cyn bo hir, a dymchwelyd fel maen melin i'r môr. Y dydd hwnw gall plant Sïon gânu mai "Dinas gadarn sydd i ni; Duw a esyd iachawdwriaeth yn gaerau ac yn rhagfur."

Ond o'r holl ymosodiadau a wnaed ar y Babaeth yn y ganrif bresennol, heb eithrio hyd yn nôd ddyrnodiau trymion y Tywysog haiarnaidd Bismarck o Germany, mae yn ddiammheuol mai yr ysgytiad mwyaf dinystriol a gafodd ydyw yr un a wnaed arni gan draethodyn diweddaf Mr. Gladstone, yr hwn a gyhoeddwyd ar y 9fed o Dachwedd, 1874. Y mae y traethodyn hwn erbyn hyn yn enwog yn llênyddiaeth ein teyrnas, ac wedi bod yn ddigyffelyb yn ei werthiant, a'i ddylanwad ar bob dosbarth o ddynion. Nid ydyw ond llyfryn o ddeuddeg tudalen a thriugain wythplyg, wedi ei argraffu â llythyren frâs iawn. Deuddydd y dywedir y bu Mr. Gladstone yn ei ysgrifenu, ac eto fe ddywedir ei fod, cyn pen y mis wedi ennill saith mil o bunnau oddiwrtho. Gwerthwyd y mis cyntaf o hono tua chant ac ugain o filoedd o gopïau. Gwelsom sylw mewn newyddiadur fod y Meistri W. H. Smith a'i Fab, y gwerthwyr newyddiaduron enwog yn y *Railway Stations*, yn gwerthu o hono tua mil o gopïau bob dydd, ac nid ydynt hwy ond un cwmni ymhlith lliaws. Y mae ei ledaeniad wedi bod yn anhygoel, a'i ddylanwad ymron yn annherfynol. Cyfieithir ef gyda brys i'r Gymraeg, Ffrancaeg, Italaeg, Germanaeg, ac ieithoedd eraill.

Cynnwys y llyfryn hwn a'r effeithiau ddilynodd ei gyhoeddiad a fydd baich ein hysgrif ar y testun sydd yn benawd genym; ac y mae yn

ddiammheu, yn yr agosrwydd hwn i'w gyhoeddiad, ac i'r amlygiadau o'i ddylanwad a'i effeithiau, nas gallwn yn well na chyfleu ger bron ein darllenwyr, i ddechreu, grynodeb o'r traethawd, ac yna sylwi ar yr atebion llïosog a gyhoeddwyd iddo, a pha mor bell y cyferfydd y cyfryw â hanfod llyfr Mr. Gladstone. Gwneir hyn oll yn y drefn amseryddol yr ymddangosasant drwy y wasg.

Teitl y traethodyn crybwylledig ydyw, *The Vatican Decrees in their bearing on Civil Allegiance:—A Political Expostulation. By the Right Hon. W. E. Gladstone, M.P.* "Dedfrydau y Llŷs Pabaidd yn eu dylanwad ar Deyrngarwch i'r Llywodraeth Wladol: Ymresymiad Gwleidyddol." Ymresymiad ydyw, cyfeiriedig "at y cyfryw ymhlith fy nghyd-ddeiliaid gwladol o'r Grefydd Babaidd a roddant wrandawiad i mi." Y mae yn gofus gan lawer o ddarllenwyr y TRAETHODYDD, y ceir yn erthygl alluog ein hawdwr ar "Ddefodaeth" yn y *Contemporary Review* am Hydref diweddaf, eiriau i'r perwyl canlynol. Wedi traethu ar y cwestiwn, pa un a ydyw neu nad ydyw y dyrnaid offeiriaid sydd yn amcanu Rhufaineiddio Eglwys Loegr wedi ymgymeryd â gormod gorchwyl, y mae yn dyweyd:—

"Byth ar ol teyrnasiad gwaedlyd Mari, nid ydyw y cyfryw gynllun yn bosibl. Ond pe buasai wedi bod yn bosibl yn yr ail ganrif ar bymtheg, neu y ddeunawfed ganrif, daethai drachefn yn anmhosibl yn y bedwaredd ar bymtheg, pan y mae Rhufain, yn lle ei hymffrost ffroenuchel o'i bod fyth yr un, wedi mabwysiadu cyfundrefn o drais a chyfnewidiad ffydd; pryd y mae wedi ail-loewi a chwyfio yn rhodresgar o newydd bob offeryn rhydlyd, y gobeithiasid ei bod wedi eu taflu o'r neilldu; pryd nas gall neb ddychwelyd i'w mynwes heb ymwrthod â'i ryddid moesol a meddylliol, a gosod ei deyrngarwch gwladol a'i ddyledswydd wrth drugaredd un arall; a phryd y mae wedi ymysgar oddiwrth syniadau diweddar, ynghyda hanes henafol y byd."

Sicrhâ Mr. Gladstone nad oedd y geiriau hyn yn cael eu bwriadu fel cyfarchiad i Babyddion, neu y buasai yn ceisio gochelyd pob gerwinder ymddangosiadol ynddynt. Y mae mwy nag un o'r rhai a arweiniwyd i ymuno âg Eglwys Rhufain wedi gwneyd y geiriau yn destun ymddadleuaeth. Y mae Mr. Gladstone, yntau hefyd, yn ei dro, yn ymddadleu ac yn ymresymu. Nid ymosodol, ond amddiffynol, y golygir yr haeriadau hyn, fel y deuant oddiwrth lëygwr a dreuliodd y rhan oreu o'i fywyd ynglŷn â gwleidyddiaeth, ac nid mewn un modd gan gynnorthwywyr y Babaeth, na chan neb yn ysgrifenu o'r safle Babaidd o ymdrin â gwirionedd y mae yr hawl i ymliw â'r byd yn y mater; "ond y byd ei hunan yn gyffredinol sydd ganddo yr hawl lawnaf i wrthddadleu, yn gyntaf gyda'i Sancteiddrwydd ei hunan; yn ail, gyda y rhai a gyfranogant o'i weithrediadau; ac yn drydydd, hyd yn nôd gyda y rhai a'u caniatânt, ac a ymostyngant yn oddefol i'w derbyn."

Y mae yn ymgymeryd â dangos fod gan bobl y wlad hon bellach, ar ol y mesurau eithafol a fabwysiadwyd gan awdurdodau yr eglwys y blynyddoedd diweddaf hyn, hawl, ar seiliau gwladol yn unig, i ddysgwyl oddiwrth ein deiliaid o'r grefydd Babaidd, ryw hysbysiad neu ddadganiad o'u syniad, mewn atebiad i'r blaid eglwysig hono yn eu heglwys ag ydynt wedi gosod i lawr yn eu henw egwyddorion gwrth wynebol i burdeb a chyfanrwydd rhwymedigaethau gwladol.

"Yn ddiddadl," meddai Mr. Gladstone, "y mae fy hòniadau yn

llydain iawn. Rhaid i'r cyfryw hòniadau ëang feddu sylfaen dda a dofn. Y cwestiynau a gyfodir ganddynt i sylw ydynt—A ydynt yn wirionedd? Ond ni fyddai eu gwirionedd yn ddigon i brofi fod eu cyhoeddiad yn amserol. Yr ail gwestiwn felly a godir ydyw, A ydynt i ryw amcan ymarferol, yn bwysig? Ac y mae eto drydydd cwestiwn, er yn ailraddol, a gyfyd allan o'r gosodiadau ynglŷn â'u hawduriaeth, A oeddynt yn gyfaddas i'w gosod allan gan yr ysgrifenydd presennol?"

Dyma y tri chwestiwn mawr y mae yn ymgymeryd â'u hateb yn y traethodyn hwn; ac y mae yn hyderu y bydd i gynnwys ei atebiad gyfansoddi a chyflwyno appeliad at ei gydwladwyr Pabaidd na ystyrir o gwbl yn annheilwng o ystyriaeth. "Ond cyn dechreu myned i mewn iddynt, dymunaf," meddai, "roddi ar ddeall fy mod yn dewis gadael allan, nid yn unig ragfarn grefyddol, ond dadleuaeth dduwinyddol yr un modd. Yn wir, nid oes a fynof â duwinyddiaeth o gwbl, ond yn ei ddylanwad gwladol. Ond y mae yn nodwedd o eiddo duwinyddiaeth Rhufain, ei bod, trwy wthio ei hunan i'r diriogaeth dymmorol, yn naturiol, ac o anghenrheidrwydd, yn dyfod yn destun mynych o ddadleuaeth wleidyddol. Rhaid fod hyn yn fater o boen diddiwedd i Babyddion tawel-feddwl, fod eu crefydd, ar y tir hwn, yn fwy nag un arall, yn dyfod yn destun beirniadaeth; yn fwy nag un arall, yn achlysur o anghydwelediad â'r wladwriaeth, ac o derfysgoedd gwladol." Addefa fod hyn yn galed, ond wed'yn mai caledi ydyw a ddygir arnynt yn gwbl gan awdurdodau eu heglwys eu hunain. Ar y pen hwn, y mae Mr. Gladstone yn gofyn, "Paham y daeth duwinyddiaeth i mewn am ran mor helaeth o ddadleuon seneddol ar ryddfreiniad y Pabyddion? Yn sicr nid am fod gan ein gwleidyddwyr, hanner can' mlynedd yn ol, gariad at y cyfryw ddadleuon, ond am y credid yn gyffredinol fod y Pab o Rufain wedi ac yn bod yn ymyrwr ar dir a berthynai i'r awdurdod wladol, a'i fod yn cymeryd arno benderfynu materion gwladol trwy awdurdod ysbrydol. Y ffaith hon, ac nid gwirionedd neu eudeb, rhesymoldeb neu afresymoldeb, unrhyw erthygl o grediniaeth grefyddol, ydyw holl ac unig achos y drwg i gyd."

Y mae pob corff crefyddol arall yn foddlawn ar ryddid yn unig o fewn eu cylch crefyddol eu hunain. "Y mae," meddai, "y Dwyreinwyr, Lutheriaid, Calfinistiaid, Henaduriaethwyr, Esgobaethwyr, Anghydffurfwyr, un ac oll, yn derbyn yn foddlawn a diolchgar holl fuddiant trefniant gwladol; nid ydynt byth yn ymliw nad ydyw y wladwriaeth yn feistr arni ei hunan; nid ydynt byth yn gwneyd dim hawliau crefyddol i feddiannau neu fanteision tymmorol; ac o ganlyniad, nid ydynt un amser mewn gwrthdarawiad peryglus â'r Wladwriaeth. Ac ychwaneg, credaf mai felly y mae hyd yn nôd gyda chorff y Pabyddion fel personau unigol. Ond y mae ymhell iawn o fod felly gydag arweinwyr eu heglwys, neu gyda y rhai a ymfalchïant mewn dilyn eu harweinwyr. Yn wir, y mae Archesgob Manning ei hunan yn barod i ymffrostio yn hyn yma, pan y dywed, 'Nid oes un Eglwys arall (ond y Babaidd), nac un cymundeb a broffesa ei hun yn Eglwys, ar nad ydyw yn ymostwng, yn ufuddhâu, neu yn tewi a sôn pan y mae llywodraethwyr gwladol y byd yn gorchymyn.' Ni a gawn Rufain y Canol-oesoedd yn hawlio llywodraeth gyffredinol. Ac nid ydyw Eglwys bresennol Rhufain wedi rhoddi i fyny ddim, na galw un hòniad o gwbl yn ol. Ai dyma y cwbl?

Na, dim o'r fath beth; ond tra yn condemnio rhai fel Esgob Doyle yn 1826, am gyhuddo y Pabau hyny o ymosodiad, y mae yn dal i fyny yn gyfangwbl yr hyn a ddelid ganddi yn y Canol-oesoedd. Y mae yn waeth yn ein dyddiau ni hefyd. Yn yr eglwysi a'r cymundebau cenhedlaethol yn y Canol-oesoedd yr oedd gwrthwynebiad cryf, bywiog, a gwastadol i'r hawliau eithafol yma; ond yn awr, yn y bedwaredd ganrif a'r bymtheg, y mae y gwrthwynebiad hwn wedi ei daflu allan o'r llŷs, ac wedi ei ddiffoddi yn llwyr o fewn yr Eglwys trwy ddedfrydau diweddar y Llŷs Pabaidd."

Wedi gwneyd y sylwadau cyffredinol hyn, y mae Mr. Gladstone yn sylwi ar bob un o'r pedwar gosodiad y cyfeiriwyd atynt yn y frawddeg ar y dechreu, yr hyn a wna yn y drefn ganlynol:—I. Fod Rhufain wedi mabwysiadu cyfundrefn o drais a chyfnewidiad ffydd yn lle ei hymffrost ffroenuchel o fod byth yr un. II. Ei bod wedi ail-loëwi a chwyfio yn rhodresgar o newydd bob offeryn rhydlyd y gobeithiasid ei bod wedi eu taflu o'r neilldu. III. Nas gall neb ddyfod yn ddychweledig iddi yn awr heb ymwrthod â'i ryddid moesol a meddyliol, a gosod ei deyrngarwch gwladol a'i ddyledswydd wrth drugaredd un arall. IV. Ei bod hi (Rhufain) wedi ymysgar oddiwrth syniadau diweddar ynghyda hanes henafol y byd.

Wedi y rhagarweiniad hwn, y mae Mr. Gladstone yn myned ymlaen i sylwi ar y gosodiadau hyn. Ymdrinia â'r cyntaf a'r pedwerydd gyda'u gilydd, yn fỳr a chryno iawn, am y tybia eu bod yn perthyn i wêdd dduwinyddol yn fwy na gwleidyddol y cwestiwn. Cyfeirio wnânt at ffeithiau, a chofnodi barn neu syniad a berthyn iddynt. Un ffaith y cyfeiririant ati ydyw y ganlynol:—"Mai dadl gyson, hoff, a mawreddog, mewn dyddiau o fewn côf yr awdwr, ydyw hunaniaeth didòr a hollol crediniaeth Eglwys Rhufain o ddyddiau ein Hiachawdwr hyd y dyddiau hyn." "Nis gall neb," ychwanega Mr. Gladstone, "a ddilynodd gwrs y llênyddiaeth yma, yn ystod y deugain mlynedd diweddaf, beidio ymdeimlo â'r cyfnewidiad yn ei gogwydd presennol. Mwyfwy o hyd y mae yr haeriadau hyn o unffurfiaeth parhäol athrawiaeth wedi cilio yn ol i'r cysgod egwan." Heb fyned i mewn i'r ymresymiad yn fanwl, fe nodir yn y traethodyn ddau o'r gwahaniaethau ymarferol pwysig sydd rhyngddynt. Yn y cyntaf, y swydd a hawlir gan yr eglwys yn benaf ydyw bod yn dyst i ffeithiau; tra yn yr ail daw yn benaf i fod yn feirniad os nad yn ddadguddydd athrawiaeth. Yn y blaenaf, y mae yr hyn yr ymgymer yr eglwys âg ef yn ddarostyngedig i ammheuaeth dibaid, ac i appeliad at hanesiaeth; yn yr ail, nis gall un swm o dystiolaeth hanesiol lwyddo yn erbyn gallu annherfynol damcaniaeth dadblygiad.

Dangosir yn y llyfr fod yr ystyriaethau hyn o'r pwys mwyaf i ddau ddosbarth o bersonau; sef i'r rhai hyny a feddyliant fod athrawiaethau eithafol gallu eglwysig ymhlith peryglon gwirioneddol a difrifol yr oes; ac i'r rhai hyny hefyd a gredant mai un dïogelwch rhag pob ffurfiau o ofergoeledd ac anghredaeth ydyw cadw i fyny y gwirionedd, ac awdurdod hanesiaeth, a gwerth anmhrisiadwy ysbryd hanesiol.

Bydd hynyma yn ddigon am y ffaith. Beth eto am y syniad fod y dedfrydau Pabaidd diweddar yn anghyttuno â meddyliaeth bresennol? Hòna Mr. Gladstone fod hwn, fel y mae yn gwestiwn duwinyddol, y tu

allan i gylch ei ddadleuaeth; ond, er hyny, yn fater cwbl gyfaddas i'w grybwyll yn yr erthygl yn y *Contemporary*, gan mai yr hyn a roddir yno ydyw syniad y rhai yr ymresymai â hwy, fel mwyafrif mawr y cyhoedd Prydeinig. Y mae yn gwrthod rhoddi i fyny yr un gair, gan y dywed nas gall dynu yn ol hyd yn nôd y gair "creulonderau," gan bwy bynag yr ystyrir ef yn rhy gryf. Ar y pen hwn gwneir y sylwadau dilynol:—"Yr oedd cyfiawnhâd hen ddarnodiadau yr Eglwys, a ddaliasant ystormydd pymtheg cant o flynyddoedd, i'w gael yn hyn,—nad oeddynt yn awdurdodol, ond eu bod yn codi yn gyfangwbl o, ac yn perthyn i, ddamcaniaethau yn meddu y llaw uchaf ar y pryd, ac yn cael eu hystyried yn fygythiol i grediniaeth Gristionogol. Y mae gan Ganonau Cynghor Trent, ar wahân oddiwrth eu cynnwys, gymaint â hyn o awdurdod drahäus. Ond y mae dedfrydau peryglus presennol y Babaeth wedi eu dwyn i ffafr, ac yn gyru yn bendramwnwgl y farn gyffredin a ffyna yn myd eglwysig Rhufain. Bu tyfiant yr hyn a adnabyddir yn gyffredin ymhlith Protestaniaid fel Mair-addoliaeth, a chrediniaeth yn Anffaeledigrwydd y Pab, yn hynod o gyflym; ond ymddengys nad oedd yn ddigon cyflym i foddhâu y blaid lywodraethol. Yn wir, nis gellir cael enw tynerach na gweithred o greulondeb ar eu gwaith yn anelu dyrnodiau marwol 1854 a 1870 at yr hen ysgol hanesiol, wyddonol, a chymedrol, a chyda'r cerydd hwn y mae gweithrediad 1870 yn barod wedi ei gyfarfod gan y duwinydd byw blaenaf yn awr o fewn cylch yr eglwys, yr enwog Ddr. John Henry Newman, yr hwn ymhlith rhai eraill, a ddefnyddiodd y geiriau canlynol:—'Paham y dylid caniatâu i adran ymosodol a haerllug i wneyd calon y cyfiawn yn ofidus, y rhai na wnaeth yr Arglwydd hwynt yn adfydus?'"

Ynglŷn â'r ail osodiad cymera Mr. Gladstone yn ganiatäol ei fod yn cael ei wadu, ac felly y mae yn hawlio ychydig eiriau o brawf drosto. Eto, rhag gwneyd dim yn y ddadl a duedda i ddwyn i mewn unrhyw nwyd i'r hyn sydd yn gwbl yn fater o ymresymiad pur, ni wna ond enwi nifer o engreifftiau o gondemniad gan Rufain yn ei ddyddiau ef, heb fanylu ar y geiriau caledion a arferir ganddi yn y condemniadau hyny. Dyma yr engreifftiau:—

1. Y rhai a safant dros ryddid y wasg. Cylchlythyr y Pab Gregory yn 1831, a Pius IX. yn 1864.
2. Neu ryddid cydwybod ac addoliad. Cylchlythyr Pab Pius IX., Rhagfyr 8, 1864.
3. Neu ryddid ymadrodd. "Syllabus" y 18 o Fawrth, 1861, Gosodiad lxxix. Cylchlythyr Pab Pius IX, Rhagfyr 8, 1864.
4. Neu y rhai a ddaliant y gellir anufuddhâu neu wahaniaethu oddiwrth ddyfarnau a dedfrydau Pabaidd, heb bechu, oddieithr eu bod yn ymdrin â deddfau ffydd a moesau. Gwel yr unrhyw.
5. Neu y rhai a brïodolant i'r Wladwriaeth y gallu o ddarnodi hawliau gwladol a thiriogaeth yr Eglwys. Syllabus Pab Pius IX., 8 Mawrth, 1861.
6. Neu a ddaliant fod y Pabau Rhufeinig a'r Cynghorau Cyffredinol wedi troseddu terfynau eu gallu, ac wedi trawsfeddiannu hawliau tywysogion. Gwel yr unrhyw, Gosod. xxiii.
7. Neu nas gall yr Eglwys arfer gallu neu rym. Syllabus, Gosod. xxiv.
8. Neu y gellir tynu yn ol awdurdod sydd heb fod yn hanfodi yn swydd yr esgobaeth, ond wedi ei ganiatâu iddi gan yr awdurdod wladol, yn ol barn y neb a'i rhoddodd. Gwel yr unrhyw, Gosod. xxv.
9. Neu fod rhyddid gwladol yr Eglwys a'i gweinidogion yn dibynu ar hawl wladol. Gwel yr unrhyw, Gosod. xxx.

10. Neu yn ymrysonfa deddfau gwladol ac eglwysig â'u gilydd, y dylai y deddfau gwladol drechu. Yr un, Gosod. xlii.

11. Neu y gellir cymeradwyo unrhyw drefn o addysgiad ieuenctyd, bydol yn unig. Yr un, Gosod. xlviii.

12. Neu y gall ac y dylai gwybodaeth o bethau athronyddol a gwladol wrthod cymeryd eu harwain gan awdurdod Ddwyfol ac *Eglwysig*. Yr un, Gosod. lvii.

13. Neu nad ydyw prïodas yn ei hanfod yn sacrament. Yr un, Gosod. lxvi.

14. Neu fod i brïodas, heb ei gwneyd yn sacramentaidd, rym rhwymiadol. Yr un, Gosod. lxxiii.

15. Neu y byddai trefniad gallu tymmorol y Pab yn fanteisiol iawn i'r Eglwys. Yr un, Gosod. lxxvi., hefyd lxx.

16. Neu y gellir sefydlu unrhyw grefydd heblaw y Babaidd gan y Wladwriaeth. Yr un, Gosod. lxxvii.

17. Neu y gellir caniatâu yn ganmoladwy, yn y gwledydd a elwir yn Babyddol, rydd-ymarferiad o grefyddau eraill. Syllabus, Gosod. lxxviii.

18. Neu y dylai y Pab ddyfod i delerau â chynnydd rhyddfrydiaeth, a gwareiddiad presennol. Yr unrhyw, Gosod. lxxx.

Ar ol mynegu gobaith yr ystyrir yr engreifftiau blaenorol yn ddigonol o brofion, cynnygia dri o sylwadau ar eu cynnwys. Yn 1af. Nid ydyw yn rhoi yr holl osodiadau yn yr un a'r unrhyw ddosbarthiad. Yn 2il. Gall ymddangos, ar ddefnyddiad prysur, nad ydym wedi ailwirio yma weinyddiad cosb mewn bywyd, aelod, rhyddid, neu nwyddau, ar aelodau anufudd yr Eglwys, na'r hawl o ddiorseddu penaduriaid, a rhyddhâu deiliaid o'u rhwymedigaeth, gyda ei holl ganlyniadau alaethus. Mewn geiriau eglur, nid ydynt i lawr; ond yn sylwedd y gosodiadau, y mae yn ofidus genyf ddyweyd, y maent i mewn y tu hwnt i bob ammheuaeth. Yn olaf, gallaf sylwi mai nid syniadau y Pab ei hun yn unig ydynt, neu hyd yn nôd syniadau y gallai efe eu cymeradwyo yn dadol i ystyriaeth dduwiol y ffyddloniaid. Nid cynghor ydynt ganddo, ond gorchymyn diwrthdro i sefyll wrth bob un o honynt yn ddiwahaniaeth. Pwy bynag a ballo mewn un gydag ef, fel gyda'r Arglwydd Iesu, "efe a fydd euog o'r cwbl."

Wedi gwneyd i ffordd â'r tri gosodiad yma mewn naw tudalen o sylwadau, y mae yn symud ymlaen at y trydydd a'r pwysicaf, gan dreulio rhyw bedwar tudalen ar hugain mewn ymdriniaeth arno. Y gosodiad hwn ydyw, fel yn ddïau y cofia ein darllenwyr, "Nas gall neb ddyfod yn ddychweledig iddi yn awr heb ymwrthod â'i ryddid moesol a meddyliol, a gosod ei deyrngarwch gwladol a'i ddyledswydd wrth drugaredd un arall."

Dechreuir yr ymdriniaeth gyda theyrnged o barch i alluoedd, ac edmygedd o ymddygiad, Dr. Döllinger a'i ganlynwyr yn Germany, fel un engraifft agos atom o'r anmhosiblrwydd o fod yn aelod cymeradwy o'r Babaeth, ac ar yr un pryd feithrin yr un gronyn o ysbryd annibynol. Ac ychwanega, "Heb brïodoli i neb y llofruddiaeth foesol, oblegid dyna ydyw, o fygu cydwybod ac argyhoeddiad, nis gallaf fi fel un synu nad ydyw yr ymweithiad sydd yn cymeryd lle trwy feddwl yr Eglwys Ladinaidd wedi dyfod eto, ond mewn ychydig iawn o engreifftiau, i'r wyneb. Gan gorff y boblogaeth y mae anmhosiblrwydd moesol i'r fath gwestiynau a hyn gael eu chwilio yn ddigonol; felly y mae wedi bod bob amser, ac felly y pery i fod, ar y cyfan, hyd nes y cymhwysir egwyddorion peiriannwaith law-weithfäol at weithrediadau meddyliol a moesol, a hyny gyda chanlyniadau cyffelyb. Dilynwyr ydynt ac raid iddynt fod, ac,

mewn rhyw ystyr, a ddylent fod. Ond beth am arweinwyr cymdeithas, gwŷr o ddysg a hamdden? Ceisiaf awgrymu atebiad mewn ychydig eiriau. Y mae newidiad proffes grefyddol, o dan bob amgylchiad, yn beth mawr a phwysig. Llawer mwy felly ydyw y cwestiwn, pa fodd bynag, rhwng dyledswyddau gwir bwysig a gwrthwynebus, neu ymddangosiadol wrthwynebus, i'w gilydd, pan y mae crefydd dyn wedi ei newid iddo, dros ei ben megys, heb fod ganddo ef ei hunan ran na chyfran yn y cyfnewidiad o gwbl. Pell oddiwrthyf ydyw gwneyd unrhyw Babydd, oddieithr y gallu arglwyddiaethol, a'r rhai a'u gosodasant, yn gyfrifol am y gweithrediadau drwgargoelus a welsom yn yr hanes blaenorol. Fy argyhoeddiad ydyw fod ymhlith y rhai na wnant ysgwyd ymaith yr iau, laweroedd a amddiffynant eu teyrngarwch ar gôst cysondeb, yr hwn nad oes ond ychydig o honom yn ei gadw yn berffaith, fe allai, mewn pynciau anhawdd o grefydd. Ond perthyna hyn, pa fodd bynag, i'r dyfodol; am y presennol, nid oes dim yn fy marn i yn fwy anghyfiawn na dal aelodau yr Eglwys Babaidd yn gyffredinol yn gyfrifol ar hyn o bryd am y newydd-bethau diweddar. Dyledswydd sylwedyddion, y rhai a dybiant yr hawliau cynnwysedig yn y dedfrydau hyn yn ormesol, a ffugiol, ac yn gyfryw na ddylai hyd yn nôd anallu gwirioneddol neu dybiedig eu cadw rhag beirniadaeth, ydyw egluro yr achos yn rhydd, ac mewn ffordd o hèr gyfeillgar, erfyn ar eu cydwladwyr Pabaidd adosod eu hunain yn y safle yr hon, bum' mlynedd a deugain yn ol, y dadganodd y genedl hon ei chrediniaeth eu bod yn eu dal, trwy ei llais a'i gweithrediad yn ei Senedd."

A Mr. Gladstone rhagddo ar ol cywiro gronyn ar ystyr neillduol y gair "dychweledig" yn y cysylltiad yr arferir ef ganddo, i gymharu a chyferbynu y dadganiadau a wnaed gan yr Esgobion Gwyddelig o flaen pwyllgorau Tŷ yr Arglwyddi a Thŷ y Cyffredin yn 1824—5, yn gystal a dedfrydau cynghorau, a dadganiadau awdurdodau eglwysig o bwys, mewn amserau boreuach a diweddarach, gyda'r hawliau newyddion a osodwyd i fyny yn 1870. Dangosa yn gwbl glir pa fodd yr oedd yr awdurdodau yn gwrthwynebu, y dyddiau hyny, yr athrawiaethau o ufudd-dod a theyrngarwch y dadleuant mor gryf drostynt y dyddiau hyn. Ar hyn dywed Mr. Gladstone ein bod gan hyny, yn absennoldeb sicrwydd pendant i'r gwrthwyneb, yn ymddangos yn cael ein harwain, ïe, ein gyru, gan ymresymiad têg ar y tystiolaethau crybwylledig, i'r casgliadau canlynol:—

1. Fod y Pab, yn cael ei awdurdodi gan ei Gynghor, yn hawlio iddo ei hunan arglwyddiaeth (a) ffydd, (b) moesau, (c) pobpeth a berthyn i lywodraeth a dysgyblaeth yr Eglwys.

2. Ei fod yn hawlio yr un modd y gallu o benderfynu terfynau y cyfryw arglwyddiaethau.

3. Nad ydyw yn eu gwahanu trwy unrhyw linell eglur neu gydnabyddedig oddiwrth arglwyddiaethau dyledswydd ac ufudd-dod gwladol.

4. Ei fod, gan hyny, yn hawlio, ac yn hawlio o fis Gorphenaf, 1870, ymlaen, gydag awdurdod berffaith, oddiwrth bob dychweledig ac aelod o'i Eglwys, ar fod iddo "osod ei deyrngarwch a'i ddyledswydd wladol wrth drugaredd un arall," a'r arall hwnw yn neb amgen nag efe ei hunan.

Yn y bennod ddilynol y cwestiwn yr ymgymera â'i ateb ydyw, Pa un,

wedi eu cael yn wirionedd, a ydyw y pethau hyn yn bwysig? Y mae yr hawliau wedi cael eu gwneyd; rhoddir hwy mewn grym y dyddiau hyn gyda chyndynrwydd anghyffredin a rhyfeddol. Fel hyn y llefara ein hawdwr yn y bennod hon:—

"Rhaid mai i ryw amcan gwleidyddol, o fath diammheuol, y mae y fath anturiaethau mewn ymgyrchoedd mor feiddgar ar y cylch gwladol yn cael eu rhedeg mor bwyllus. Rhaib feiddgar ydyw. Oblegid y mae yn dra eglur fod hyd yn nôd dadganiad noeth o egwyddorion a sefydlant eithriad oddiwrth ufudd-dod, neu a dorant ar ei gyfanrwydd, yn arwain llawer o wledydd eraill Ewrop, yn llawer mwy uniongyrchol na chyda ni, i greu anghydfod gwladol, ac i beryglon o'r natur fwyaf pwysig a theimladwy. Mae yr ymdrech sydd yn cael ei chario ymlaen yn awr yn Germany yn engraifft o'r fath egluraf o hyn. Nid wyf alluog i roddi unrhyw farn ar fanylion yr ymdrech hono. Y mae sefydliadau Germany, a phris perthynasol awdurdod gwladol, a rhyddid personol, yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth yr eiddom ni. Ond rhaid i mi ddyweyd cymaint â hyn. Yn gyntaf, nid Prwssia yn unig a gyffyrddir; y mae yr asgwrn yn gorwedd yn barod mewn lle arall, er y gall y gynhen gael ei hoedi. Mewn gwledydd eraill, yn Awstria mewn modd neillduol, y mae cyfreithiau diweddar mewn grym, yn codi i sylw bron yn gwbl yr un cwestiynau ag y mae y cyfreithiau Ffalckaidd wedi eu codi. Ond y mae y Llŷs Rhufeinig yn meddu mewn perffeithrwydd un gelfyddyd, y gelfyddyd o aros a dysgwyl; ac y mae yn arwyddair doeth o'i heiddo i beidio ymladd ond âg un gelyn ar unwaith. Yn ail, os ydwyf wedi gosod yn dêg a gwirioneddol yr hawliau a ddadleuir gan Rhufain, y mae yn anhawdd gwadu nad ydyw yr hawliau hyny, a'r gallu a'u gwnaeth, yn gyfrifol am boen a'r peryglon, beth bynag allant fod, yr ymdrech bresennol rhwng deddfau Germany a chyfreithiau Rhufain. A'r hyn a ddywedid unwaith am Ffrainc, a ellir ei ddywedyd yn awr yn ddigon gwir am Germany, pan y mae Germany wedi ei haflonyddu, nis gall Ewrop fod yn gorphwys."

Ceir y chweched bennod eto yn cael ei chymeryd i fyny i ateb y cwestiwn a oedd y gosodiadau yn brïodol i'w hegluro gan yr ysgrifenydd presennol. Dywed mai dyma y rhan fèraf a mwyaf dibwys o'r ymchwiliad, ond yr un pryd, yr un y bydd i'r cyhoedd fe allai edrych arni gyda mwyaf o ddyddordeb. Dywed,—

"Am ddeng mlynedd ar hugain, ac mewn amrywiaeth mawr o amgylchiadau, mewn swydd, ac fel Aelod Seneddol annibynol, mewn mwyafrif, ac mewn lleiafrif bychain, a thrwy y rhan fwyaf o'r tymmor hwnw yn cynnrychioli cynnrychiolaeth fawr a phwysig, gan mwyaf yn glerigol, yr wyf wedi llafurio gydag eraill i gadw i fyny a helaethu hawlfreintiau gwladol fy nghydwladwyr Pabaidd. Y mae y blaid Ryddfrydig gyda'r hon y cysylltir fi yn gyffredin wedi dyoddef, ac ar adegau dyoddef yn ddwys yn ffafr a dylanwad cyhoeddus, oddiwrth y grediniaeth eu bod yn rhy hyderus yn eu gwladlywiaeth; tra yr un pryd y mae wedi bod bob amser yn y math gwaethaf gyda'r llŷs Pabaidd o herwydd ei hymlyniad digyfnewid (mi a obeithiaf) wrth ryddid ac annibyniaeth Itali. Yr wyf wedi bod yn llefarydd y blaid yma fwy nag unwaith mewn annogaethau a dueddent i feithrin y sèn grybwylledig, er nad yn haeddu fel pwnc o reswm, ond y mae wedi bod yn hanfodi mewn ffaith. Felly tra y mae cyfiawnder cyffredinol yn galw am i'r pethau hyn a osodais allan gael eu hysgrifenu, y mae cyfiawnder neillduol tuag at y blaid yr wyf mor deyrngarol ymlynedig wrthi, a'r hon y gall fod genyf gyfran yn ei gosod ar safle anfanteisiol ger bron fy nghydwladwyr, yn ei gwneyd, a dyweyd y lleiaf, yn beth eithaf gweddus na byddai i mi gilio yn ol o'u hysgrifenu."

Dilynir hyn gan ymgais i gyfiawnhâu y cwrs a gymerodd yn yr ymdrech i roddi i'r Iwerddon yr oll a feddyliai fod ganddi hawl i'w ddysgwyl mewn pynciau o gydwybod a chydraddoldeb gwladol. Ni adawodd Cyfraith y Tir a Chyfraith yr Eglwys ond un pwynt i ymdrin âg ef, sef addysg uwchraddol. Cawn ei eglur-

hâd ar y rhan a gymerodd yn y mater hwn, fel un o arddangosiadau cyntaf o wendid ei Weinyddiaeth, yn y geiriau canlynol:—

"Yr wyf yn ystyried y darfu i fwyafrif Rhyddfrydig Tŷ y Cyffredin, a'r Llywodraeth yr oedd genyf yr anrhydedd a'r boddlonrwydd o berthyn iddi, gynnyg taliad ffurfiol yn llawn o'r rhan hon o'n dyled yn mesur y Brifathrofa Wyddelig yn Chwefror 1873. Meddylia rhai, yn wir, ei fod yn orbris, cwestiwn i'r hwn y mae yn eglur nad dyma y lle i fyned i mewn iddo. Ond gwelodd awdurdodau y Babaeth yn yr Iwerddon yn dda fynu sicrhâu gwrthodiad y mesur hwnw, trwy y dylanwad uniongyrchol a arferasant ar nifer neillduol o Aelodau Seneddol Gwyddelig, a thrwy y demtasiwn a gynnygiasant—neu y cais a wnaethant, a siarad yn gartrefol, i dŷnu mewn gefnogaeth y Gwrthwynebiad ceidwadol. Coronwyd eu hymdrech â llwyddiant cyflawn. O'r adeg hono allan, teimlais fod y sefyllfa wedi newid, ac fod yn rhaid clirio i ffordd bynciau pwysig trwy egluriadau cyfaddas. Yr oedd y ddyled i'r Iwerddon wedi ei thalu; yr oedd dyled i'r wlad yn gyffredinol yn aros eto i'w thalu, a dyma sydd wedi dyfod yn gwestiwn mawr y dydd. Cyhyd yn wir ag y parhëais yn Brifweinidog, nid oeddwn yn ystyried ei fod yn brïodol i ddadleuaeth wleidyddol ëang ddyfod oddiwrthyf fi, tra na byddwn i na'm cydswyddogion yn dueddol i redeg yr antur o gynhyrfu nwydau poblogaidd trwy appeliad heb ei egluro at y wlad. Ond y mae pob anhawsder fel y maent yn cyfodi o gyfyngiadau angenrheidiol sefyllfa swyddogol yn awr wedi eu symud."

Yn rhan ddiweddaf y traethodyn ni a gawn Mr. Gladstone yn dadleu Gwladlywiaeth Gartrefol y dyfodol. Meddylia efe, er ei fod i ofidio o'i herwydd, fod cynifer o ddychweledigion wedi eu gwneyd o sefyllfa gymdeithasol uchel, ac "os nad ydyw y Pab yn llywodraethu mwy o eneidiau yn ein plith, ei fod yn llywodraethu mwy o aceri," eto gellir dwyn y golled o ysgariad nifer penodol o arglwyddi y tir oddiwrth y rhai a'u diwylliant. Nis gall, yn wir, ddim yn hwy ddyweyd nad oes dim yn nghredo y Pabydd i beryglu ac i ddyfetha ei hawliau gwladol llawn—y mae y tîr hwn wedi ei dòri oddi tano. Ond mor belled ag y mae a fyno efe â'r cwestiwn, llywodraethir ef yn y dyfodol fel yn y gorphenol gan y rheol o gadw hawliau gwladol cyfartal, heb sylwi ar wahaniaethau crefyddol o gwbl; a gwrthwyneba bob ymgais i gau allan aelodau yr Eglwys Babaidd oddiwrth feddiant y rheol hon. Yn wir gall ddyweyd ei fod wedi rhoi amlygiadau clir yn barod o'r syniad hwn, trwy gefnogi yn y Senedd fel gweinidog, er 1870, ddiddymiad Mesur y Teitlau Eglwysig, am yr hyn a ystyriaf fi yn rhesymau digonol. Nid yn unig am na ddaethai yr amser pan y gallai gymeryd yn ganiatäol fod canlyniadau mesurau chwyldröadol 1870 wedi eu pwyso a'u teimlo yn drwyadl gan bob dyn galluog yn y Cyfundeb Pabaidd. Nid yn unig, am fod nifer mor fawr fel y sylwyd yn barod, o angenrheidrwydd yn analluog i feistroli, a ffurfio eu barn bersonol ar yr achos. Yn gwbl ar wahan oddiwrth yr ystyriaethau hyn, y mae yn dal na ddylai ein llwybr union ni ymlaen ddim cael ei newid gan ffolineb, canlyniadau yr hwn, ac i'r gwaethaf ddyfod i'r gwaethaf, y bydd gan y wlad hon y gallu, ac os bydd achos yr ewyllys i'w lywodraethu. Bydd i'r wladwriaeth, fe obeithir fod bob amser yn ofalus i adael llywodraeth cydwybod grefyddol yn rhydd, ac eto ei chadw yn ei thiriogaeth ei hunan; ac i beidio caniatâu i fympwy dirgelaidd, nac uwchlaw pobpeth, traha tramor i'n hawdurdodi yn nghyflawniad ein gwaith prïodol; 'Dysgwylia Lloegr i bob dyn wneyd ei ddyledswydd;' ac nis gall neb fod mor barotöedig dda o dan bob amgylchiad i hawlio ei chyflawniad â'r blaid

Ryddfrydig hono, a wnaeth y fath gyfiawnder â'r Anghydffurfwyr a'r Pabyddion, ac aelodau yr hon mor fynych er mwyn y gwaith hwnw, a anturiasant eu cymeriad gyda chynnrychiolaethau mwyaf Protestanaidd y deyrnas. Y mae gwladwriaeth y Deyrnas Gyfunol bob amser wedi bod yn grêf mewn nerth pwysig; ac y mae ei llwyrarfogaeth foesol yn awr, ni hyderwn, yn lled gyflawn.

"Nid ydyw gan hyny yn weddus i anrhydedd y Goron a phobl y Deyrnas Gyfunol i gymeryd eu troi o'r llwybr y maent wedi ei ddewis yn bwyllog, a'r hwn nid ydyw yn gorphwys gyda holl ddyhirod yr ystafell apostolaidd i'w hattal yn agored nac i'w thangloddio yn ddirgelaidd. Y mae genym hawl i ddysgwyl, y mae yn fawr i'w ddymuno i Babyddion y wlad hon wneyd yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg yr hyn a wnaeth eu cyndadau yn Lloegr, gyda'r eithriad o ddyrnaid o yspïwyr, yn yr unfed ar bymtheg, pan y galwyd hwy allan yn erbyn yr arfog-lynges Yspaenaidd, ac yn yr ail ar bymtheg, pan, er gwaethaf y gadair Babaidd, yr eisteddasant yn Nhŷ yr Arglwyddi o dan y llywodlw. A'r hyn y mae genym hawl i'w ddymuno, y mae genym hawl i'w ddysgwyl; yn wir, byddai i ni ddyweyd nad ydym yn ei ddysgwyl gyfleu dirmyg ar ein cydwladwyr. Yn y dysgwyliad hwn, gall y cawn ein siomi mewn rhan. Pe deuai y rhan yr wyf yn appelio atynt, yn ddigon annedwydd i ddyfod i ddwyn tystiolaeth yn eu personau eu hunain i ddarfodedigaeth bywyd cadarn, dynol, a gwirioneddol yn eu Heglwys, eu colled hwy eu hunain a fydd yn fwy na nyni. Y mae trigolion yr Ynysoedd hyn gyda'u gilydd yn sefydlog, er weithiau yn ofergoelus a lled hawdd eu cynhyrfu; yn benderfynol, er weithiau yn ymffrostgar; ac ni bydd i hiliogaeth ben-gryf a chadarn-galon gymeryd eu hattal, gan nac ymneillduaethau addefedig na chuddiedig, yn codi oddiar ddylanwad tramor dosbarth neu *caste*, oddiwrth gyflawniad ei chenadaeth yn y byd."

Wedi y crynodeb hwn o'r traethodyn, ni a obeithiwn y bydd ein darllenwyr yn alluog i'n dilyn yn ein sylwadau arno, ac ar y llênyddiaeth a gynnyrchodd. Gellir sylwi i ddechreu fod y traethodyn yn dwyn i'r golwg mewn modd tarawiadol iawn rai o nodweddau hynotaf meddwl yr awdwr. Yr ydym yn darllen ynddo brofion o'r symlrwydd meddwl hwnw ynglŷn âg amcanion a gyfuna mor ardderchog â'r treiddiolrwydd manylaf a mwyaf cynnyrchiol, o ran dullwedd a rhesymiad, egwyddorion uchel, yn enwedig ynglŷn â phynciau yn meddu pwysigrwydd eglwysig. Y mae yn ddiangenrhaid dyweyd pe buasai ef y Jesuitiad twyllodrus y myn rhai ei fod, nas gallasai fod yn awdwr y fath draethawd. Ceir ynddo ormod o lawer o ddifrifwch i fod yn waith un felly. Hefyd, y mae yr un mor amlwg nad cynllunydd gwleidyddol yn troi pob dwfr i'w felin ei hun ydyw yr awdwr, yn annibynol ar egwyddor. Pe felly, ni fuasai yn wir ofalus am beidio dyeithrio yr adran hono o'r cynnrychiolwyr Gwyddelig y mae ei ymadroddion yn sicr o'u harwain i wrthryfel ofnadwy. Nis gellir dyfod i'r un casgliad amgen, nad syniadau dyn gonest a chywir-galon ydyw drwyddo, ar agwedd bresennol y Babaeth. Ymddengys i ni yn rhydd iawn oddiwrth yr is amcanion y mae yn ddiammheu a briodolir iddo. Ei amcan y mae yn amlwg ydyw amddiffyn ei hunan ar bwnc y darfu i sylw damweiniol o'i eiddo gael ei gamddeall yn fawr, i ddadlwytho ei feddwl llawn ar y pwnc neillduol hwnw, ac i ddefnyddio y cyfleusdra i wneyd appeliad at y Rhyddfrydwyr Pabaidd, sydd yn debyg o fod yn aneffeithiol gyda'r rhan fwyaf, er ei fod mewn ystyr ymresymiadol a moesol yn anatebadwy.

Wrth edrych ar y gwaith fel ymarferiad meddyliol, y mae y ddadleuaeth yn cael ei nodweddu â gradd o awchlymdra a chraffder a raid

hawlio edmygedd. Edrycher arno drachefn fel gwrthdystiad yn erbyn hòniadau trahäus, uchelfrydig, a thra arglwyddaidd yn Eglwys Rhufain, y mae yn cyflwyno ei hun fel cerydd colynog, a diammheu y profa ei hun yn attalfa ar yrfa llawer yn y cyfeiriad hwn. Ynddo y mae Mr. Gladstone yn ymdrin â gwleidyddiaeth ar raddeg ëang; nid ydyw ei lygad yn aros o gwbl ar fân ystyriaethau a allont fod yn oreu i'r presennol; eto y mae ei holl gynnwys yn llawn o ysbrydiaeth ryddfrydol bur, a nodweddir ef drwyddo gan y fath dôn aruchel a doeth fel y gall pob rhyddfrydwr meddylgar deimlo yn ymwybyddol ei fod wedi ennill ymddiried newydd.

Nis gellir meddwl am gwestiwn pwysicach a theilyngach o feddwl gwreiddiol a dwfndreiddiol Mr. Gladstone na'r cwestiwn sydd ganddo yn y llyfr hwn. Dyna ydyw mewn geiriau eglur, Pa beth fwriada ei gydwladwyr Pabaidd ei wneyd er ysgytio ymaith yr hyn y mae eu llywodraethwyr eglwysig wedi ei ddwyn ar eu gallu o dalu ufudd-dod sylweddol a thrwyadl, ac mewn trefn i gyflawni yr ymrwymiad a gymerodd eu hesgobion fel eu tadau bedydd gwleidyddol, drostynt yn 1825? Y mae y cwestiwn yn wir bwysig, yn enwedig fel y mae yn cael ei roddi gan un a wnaeth gymaint tuag at sicrhâu i'r Pabyddion fesur llawn cydraddoldeb a chyfiawnder; ond nid ydym frwdfrydig iawn y rhoddir un atebiad boddhâol iddo ar unwaith. Y mae gwrthwynebwyr traarglwyddiaeth yn yr Eglwys fel wedi eu safnrwymo neu eu darostwng. Nid ydyw yn un dirgelwch fod hyd yn nôd yn rhengau yr awdurdodau Prydeinig uchaf, amryw ddynion yn casâu yn hollol yr athrawiaeth o anffaeledigrwydd a'r ufudd-dod llawn a diammodol i bob gorchymyn. Siaradodd Archesgob McHale ac Esgob Moriarty o'r Iwerddon, Esgob Vaughan o Plymouth, ac Esgob Clifford o Clifton, o blith y Saeson, yn grŷf yn eu herbyn; ond y mae yr oll erbyn hyn wedi cydsynio yn dawel a goddefol. Prin yr ydym yn meddwl y cyfarfyddir ar hyn o bryd ymhlith y llëygwyr a dynion o feddwl mwy penderfynol. Ceir yn eu plith rai a siaradant yn erbyn yr athrawiaeth, ond pan roddir y bygythion y clywyd cynifer o honynt y mis diweddaf mewn grym, ofnwn mai ildio a wnant, a llyncu y cwbl yn hytrach na dyfod yn esgymunedig. Digon tebyg y cymer rhai ydynt elyniaethus i'r athrawiaeth gysgod mewn difaterwch. Byddant ddïogel yno am enyd; ond fel y bydd yr ymrysonfa yn dyfod yn galetach, bydd raid iddynt gymeryd eu hochr. Y mae yn eglur iawn nas gellir gweithio allan ymostyngiad i awdurdod ysbrydol a hawlia feddiant o reswm a barn ei deiliaid, ac a ystyria bob awdurdod dymmorol fel yn israddol a chynnorthwyol iddi, heb wadu holl hawliau cydwybod a rhyddid gwladol. Fod hyn yn dyfod i gael ei gymhell arnom yn seiliedig ar ryw hen weithred hanner bydredig wedi ei chael yn un o goffrau rhydlyd y Quirinal, ac nid fel drwg sylweddol, newydd, bywiol, sydd un o'r engreifftiau goreu a geir o'r modd y mae hanesiaeth yn ei hailadrodd ei hunan. Oblegid beth, mewn gwirionedd, y bygythir ni âg ef yn hyn oll ond adnewyddiad ar yr hen ymdrech a fu am chwe' chanrif yn felldith Ewrop—yr ymdrechfa rhwng y Babaeth a'r Ymherodraeth? Y mae ffurfiau a thelerau yr ymdrechfa wedi newid, oblegid yn y dyddiau hyn, y mae Eglwys yr Anffaeledigaeth wedi ei dwyn i lawr i gyfartaledd sect, ac y mae yr Ymherodraeth ag sydd i wynebu y Babaeth erbyn hyn yn

cynnwys holl gylch gwareiddiad drwy y byd yn gyffredinol. Ond y mae gwir nodwedd yr elyniaeth a'r gwrthwynebiad yr un, ac ymddengys ein bod yn agosâu at arddangosiad a brofa fod yr ymdrech yn tarddu yn uniongyrchol o'r gyfundrefn Babaidd—o'i chrefydd, ac nid yn unig o'i llywodraeth. Fel yr â yr ymdrech ymlaen, gallwn, fe allai, gyfrif ar drafferthion, dyryswch, a chamddealltwriaeth, a fyddant, ar y goreu, yn boenus, ac yn brawf ar ein hamynedd a'n ffydd. Ond os cymerir bûdd cynghor a chyfarwyddyd gwleidyddwyr mor glir-welediad ac uchel feddwl a Mr. Gladstone; un mor fedrus mewn gwahaniaethu tiriogaethau prïodol yr awdurdod wladol ac eglwysig, ac mor ddifrifol yn ei ymdrech i gadw i fyny ddïogelwch y wladwriaeth a hawliau cydwybod, nis gall y canlyniad fod yn ammheus o gwbl. Nis gall ei ddadganiad lai na hawlio sylw dyfalaf holl Ewrop, a rhaid i'w effeithiau fod ymhob man o'r fath fwyaf iachusol. Rhaid ymladd y frwydr, bellach, law yn llaw; a gallwn deimlo yn sicr bob awr o honi, mai ein heiddo ni fydd yr oruchafiaeth yn y diwedd. Y mae yn barod wedi dysgu i ni un gwirionedd pwysig,—*nad yw y Babaeth ei hunan hanner mor unol ag y mynai ddangos ei hun ar hyd y blynyddoedd.*

Dywed un Mr. Capes, mewn llyfr a gyhoeddodd ar hanes ei daith i Rufain ac yn ol, fod eiddigedd a theimladau drwg Pabyddion tuag at eu gilydd yn wir echrydus i feddwl am danynt. Yn lle eu bod y "teulu dedwydd," yn un â'u gilydd ar bobpeth, y mae yn eu cael yn bleidiau llïosog, ac mor anghydnaws a phe ceisid gan y blaidd a'r oen drigo ynghyd. Beth bynag, y mae traethodyn Mr. Gladstone wedi llwyddo i ddangos nad oes unfrydedd barn ymhlith Pabyddion y wlad hon, ac mai nid cariad Crist sydd yn llywodraethu yn nghalonau yr holl ddeiliaid y naill tuag at y llall. Y mae y ffaith fod Archesgob Manning wedi peri tynu ymaith enw Arglwydd Acton o restr yr "Academia," a bod Monsignor Capel yn rhybuddio Arglwydd Camoys, os na wna dderbyn Anffaeledigrwydd y Pab, ei fod wedi gwneyd llongddrylliad am ei ffydd, ac mewn gwirionedd wedi esgymuno ei hunan, yn profi mor ledrithiol ac arwynebol ydyw yr undeb a dybid a fodolai yn eu heglwys.

Y mae yr atebion a gyhoeddwyd i'r llyfr dan sylw yn gwneyd yn eglur fod cynifer o wahanol syniadau yn eu plith hwy eu hunain ag sydd mewn gwirionedd ymysg yr holl "hereticiaid" o'r tu allan iddynt. Gellir dosbarthu yr atebion i ddau ddosbarth yn ol eu hawduron—y llëygol a'r eglwysig. Ymhlith y blaenaf, daw eiddo Arglwydd Acton, Arglwyddi Camoys, a Herries, ac eraill. Atebion galluog, a chan mwyaf yn cydsynio â syniadau y traethodyn yn y cyfanswm o honynt, gyda yr eithriad o Arglwydd Herries.

Una Arglwyddi Camoys ac Acton â'u gilydd yn eu dadganiad o gydsyniad â golygiadau Mr. Gladstone. "Drosof fy hun," meddai y blaenaf o'r ddau, "dywedaf fod hanesiaeth, synwyr cyffredin, a fy addysg foreuol, yn fy ngwahardd i dderbyn yr athrawiaeth ryfedd a newydd o anffaeledigrwydd personol y Pab, er yn gyfyngedig, fel yr haerir ei bod, i diriogaeth ffydd a moesau." Nid ydyw yn gwrthwynebu nac yn gwrthod dim o'r llyfr ond y gair "gwaedlyd" a brïodolir i Mari. "Y mae," meddai, "yn ddiangenrhaid ymresymu am gywirdeb yr ymadrodd. Y mae y gair wedi ac yn parhâu i fod yn boenus i Babyddion, ac nid oedd ei eisieu i sicrhâu eich gosodiad. Credaf ei fod yn hollol wir,

nad ydyw yn bosibl byth, ar ol y teyrnasiad crybwylledig......i wneyd y wlad hon yn gwbl Babyddol." Y mae yn ofni y posiblrwydd o gael galw arno i ddewis rhwng ymwrthod â'i deyrngarwch gwladol, ar y naill law, neu beryglu ei iachawdwriaeth, ar y llaw arall;" a gofyna, "Ai nid ydyw hyn yn rhwymedigaeth newydd?"

Yn ychwanegol at y ddau yma, y mae Mr. Petre, er ei fod o deulu cwbl Babyddol, yn ochri yn gryf gydag Arglwydd Camoys, a dadleua, er ei fod wedi derbyn ei addysg gan y Jesuitiaid, nad oedd wedi ei ddysgu fod y Pab yn bersonol anffaeledig, ac nad oedd yn ystyried ei hun, hyd yn nôd fel Pabydd, yn rhwym mewn cydwybod i gredu felly. I'r un cyfeiriad y daw Mr. Langdale hefyd, er y cerydda Arglwydd Camoys am chwareu i law y Tywysog Bismarck. Yr ydym yn cael, o'r ochr arall, Mr. Stourton, un a berthyn i un o hen deuluoedd parchusaf y Babaeth, yn amddiffyn y dedfrydau, ac yn proffesu ei hunan yn Sais cywir a theyrngarol drwy y cwbl. Cwyna Arglwydd Herries nad ydyw y ddau arglwydd eraill yn cynnrychioli y Pabyddion, ac y mae yn llyncu yr holl ddedfrydau yn eu cyfanrwydd, ac eto haera fod ei deyrngarwch yn aros yn gyfan ac effeithiol.

Ond er cymaint a ysgrifenwyd gan lëygwyr mewn atebiad iddo, y mae gwir ddyddordeb y ddadl yn gorwedd yn y wêdd a gymer y gwŷr eglwysig uchaf, fel rhai yn nghyfrinach eu Pen mawr ei hun, ar y mater. Siaradant hwy yn oraclaidd, wrth gwrs. Teimlai y rhan fwyaf nad oedd ond un yn y dosbarth yma y gellid ymddiried yn ei ddiduedd-rwydd ar y pen hwn, ac y ceid mesur o degwch yn ei ymdriniaeth arno, a hwnw ydyw Dr. J. H. Newman. Dywedid un diwrnod ei fod ef yn cyfansoddi, a gwedid hyny y diwrnod nesaf; ond sicrhëir eto yn fwy awdurdodedig gan newyddiaduron pell yn y gyfrinach, pan yr ydym yn ysgrifenu, y gellir dysgwyl rhywbeth ganddo ar y mater cyn bo hir iawn.

Y cyntaf, pa fodd bynag, a ymddangosodd ar y maes ydoedd yr Arch-esgob Manning, mewn llythyr i'r newyddiaduron, dyddiedig y 7fed o Dachwedd, yr hwn oedd i'r perwyl canlynol:—

"Y mae pwysigrwydd y mater y galwaf eich sylw ato yn gyfryw fel y mae yn effeithio ar holl Babyddion ein teyrnas, fel yr wyf yn gobeithio yr ystyrir y llythyr hwn yn deilwng o gyhoeddusrwydd. Boreu heddyw, derbyniais gopi o draethodyn Mr. Gladstone. Yr ydwyf yn cael ynddo appeliad uniongyrchol ataf fi ynglŷn â'r swydd yr wyf ynddi, a'r ysgrifeniadau a gyhoeddais. Cydnabyddaf yn llawen y ddyledswydd a orphwys arnaf yn herwydd y ddau beth yma. Yr wyf yn rhwym gan fy swydd i beidio goddef i un diwrnod fyned heibio heb daflu yn ol oddiwrth Bab-yddion y wlad hon y gwarthrudd eithafol hwn ar eu teyrngarwch; ac am fy nysg-eidiaeth, yr wyf yn barod i ddangos fod yr egwyddorion a ddysgais erioed yn gyfryw nas gellir beïo arnynt yn y cyfeiriad hwn. Y mae yn wir fod Mr. Gladstone, yn nhudalen 57 o'r traethodyn, yn dadgan ei grediniaeth fod llawer o'i gyfeillion Pabaidd, a dyweyd y lleiaf, yn gystal dinasyddion ag yntau; ond gan fod yr holl lyfryn yn ymresymiad manwl i brofi fod dysgeidiaeth y Vatican yn gwneyd yn anmhosibl iddynt fod felly, nis gallaf dderbyn y gydnabyddiaeth raslawn, yr hon a gynnwys eu bod yn ddinasyddion da am eu bod yn groes i'r Eglwys y perthynant iddi. Byddwn yn ddiffygiol yn fy nyledswydd i Babyddion y wlad hon ac i mi fy hunan, pe na roddwn wadiad uniongyrchol i'r gosodiad, a phe na byddai i mi gyda yr un prydlon-deb sicrhâu nad ydyw ein teyrngarwch gwladol ddim yn bod ar waethaf, ond oblegid dysgeidiaeth ein Heglwys. Swm ymresymiad y traethodyn ydyw hyn—fod y fath gyfnewidiad wedi ei wneyd yn mherthynas y Pabyddion a'r galluoedd gwladol trwy ddedfrydau y Llŷs Pabaidd, fel nad yw yn bosibl iddynt mwyach roddi yr un ufudd-

dod gwladol cyfan ag yr oedd yn bosibl ei roddi cyn cyhoeddiad y dedfrydau hyn. Mewn atebiad, digon am y presennol ydyw sicrhâu—1. Nad ydyw y dedfrydau Pabaidd wedi newid yr un iod na dim ar rwymedigaethau neu ammodau teyrngarwch gwladol. 2. Fod ufudd-dod neu deyrngarwch gwladol y Pabyddion mor ddiranedig ag eiddo yr holl Gristionogion a'r holl ddynion a gydnabyddant ddeddf Ddwyfol neu natur foesol. 3. Nad ydyw teyrngarwch gwladol yr un dyn yn annherfynol, ac felly fod teyrngarwch gwladol pawb a gredant yn Nuw neu a lywodraethir gan gydwybod, yn yr ystyr yma yn rhanedig, Yn yr ystyr yma, ac nid mewn un arall, y gellir dyweyd mewn gwirionedd fod teyrngarwch gwladol y Pabyddion yn rhanedig. Y mae felly ar yr un tir ag eiddo pob Cristion yn Lloegr."

Wedi cyfeiriad at agwedd heddychol ein teyrnas o'i chymharu â Germany mewn ystyr grefyddol, terfyna ei lythyr yn y ffurf arferol. Ar y 14eg o Dachwedd, drachefn, ni a'i cawn yn ysgrifenu ail lythyr, yn yr hwn y dywed wrth olygydd y *New York Herald:*—

"Mewn atebiad i'ch gofyniad ynghylch fy nadganiad ar Gynghorau y *Vatican*, yr wyf yn ateb—sicrhëais nad ydyw y dedfrydau Pabaidd wedi newid dim ar rwymedigaethau ac ammodau ufudd-dod gwladol y Pabyddion. Y mae yr oll o bamphledyn Mr. Gladstone yn crogi ar yr haeriad gwrthwynebol, ac yn syrthio gydag ef. I brofi fy ngosodiad, yr wyf yn ychwanegu yn 1af, Fod anffaeledigrwydd y Pab yn athrawiaeth o ffydd Ddwyfol cyn i Gyngbor y Vatican gael ei gynnal. 2. Na wnaeth y y Cynghor ond dadgan hen wirionedd, ac na sefydlodd un egwyddor newydd. 3. Fod sefyllfa y Pabyddion, gan hyny, ynglŷn âg ufudd-dod gwladol, yr un yn union er y Cynghor ag ydoedd cyn hyny. 4. Fod galluoedd gwladol y byd Cristionogol hyd yma wedi sefyll mewn perthynasau tangnefeddus âg Eglwys Anffaeledig, ac fod y berthynas hono wedi cael ei chydnabod yn aml gan yr Eglwys yn ei Chynghorau. Nid oedd gan y Cynghor diweddaf felly ddim mater newydd i'w drin yn y cysylltiad hwn. 5. Nid ydyw y Cynghor Pabaidd wedi gwneyd unrhyw ddedfryd ar bwnc y galluoedd gwladol, nac ufudd-dod gwladol. Ni wnaed cymaint a chynnyg y mater i sylw o gwbl. Gorphwys ufudd-dod gwladol Pabyddion ar ddeddf natur a deddf ddadguddiedig Duw. Y mae cymdeithas yn seiliedig ar natur, ac y mae y deiliaid yn rhwym ymhob peth cyfreithlawn i ufuddhâu i'w llywodraethwyr. Y mae gan gymdeithas, pan yn Gristionogol, gymeradwyaeth uwch; ac y mae y deiliaid yn rhwym i ufuddhâu i'w llywodraethwyr er mwyn cydwybod, ac o herwydd fod y galluoedd hyny wedi eu hordeinio gan Dduw. Nis gallai y dedfrydau Pabaidd newid dim ar y pethau hyn, oblegid nad ydynt wedi cyffwrdd â dim o honynt."

Yna â ymlaen i led-awgrymu fod Mr. Gladstone wedi ei gamarwain gan Dr. Döllinger ac eraill, a dadgana ei ofid wrth feddwl y rhaid i'r cyhoeddiad hwn dòri i fyny gyfeillgarwch pum' mlwydd a deugain oed.

Yr ydym yn derbyn holl egnïon yr Archesgob i'n sicrhâu am ei deyrngarwch gwladol am yr hyn ydynt o werth. Yr ydym yn llawen o'i weled yn nodi ei hun yn Sais yn gyntaf, ac yn Babydd yn ail; a chredwn fod y ffaith hon yn gosod allan i ni drefn ei argyhoeddiadau, er, hwyrach, na wnai ei addef ar unwaith. Ond tra y derbyniwn ei osodiad, nid ydym dan rwymau i dderbyn ei resymeg. Ymddengys i ni, pa fodd bynag, fod gosodiadau Mr. Gladstone yn aros yn ddiatebiad o ran dim a siglodd Dr. Manning arnynt. Am na fedr eu hateb, dywedir mewn ffordd o esgusodiad drostynt fod terfynau y teyrngarwch gwladol yn cael ei gydnabod gan bawb i fod mewn achosion eithafol yn bwnc i'r gydwybod unigol i'w benderfynu. Y mae gwladgarwch a dyngarwch, yn gystal a chrefydd, wedi dyoddef cosb anufudd-dod i awdurdodau cyfansoddiadol, anufudd-dod i ddeddf uwch nag eiddo y wladwriaeth; ac nid ydyw gweithred cydwybod unigol ond yr un yn union, pa un bynag ai plygu y mae i ddyfarniadau y Pab, ai yn dilyn ei

hysbrydoliaeth ei hunan. Yn achos eraill, ydynt heb fod yn Babyddion, y mae pob person yn cadw ei ryddid gweithrediad o fewn cylch ei reolaeth ei hun, ac efe sydd yn feirniad iddo ei hunan am y terfynau y dylai ei deyrngarwch a'i ddyledswydd wladol ildio i'r hyn a dybia efe yn alwad gallu uwch. Ond yn achos y Pabyddion, trwy weithred o eiddo cydwybod unigol, gwneir ymwrthodiad am y dyfodol o ryddid moesol a meddyliol, ac y mae teyrngarwch a dyledswydd wladol ar unwaith yn cael eu gosod wrth drugaredd un arall. Gan mai felly y mae, gyda'r un arall hwnw, a chyda'r gyfundrefn a weinydda, a'r hon y gall yn anmhenodol ei dadblygu a'i gwella, y mae a fyno y Wladwriaeth. Y mae gweithgarwch gallu sydd yn hawlio y fraint o benderfynu dros chwe' miliwn o ddeiliaid Prydain derfynau eu hufudd-dod gwladol, ac o dori allan iddynt, nid yn unig rwymedigaethau ffydd, ond pob *code* o ddyledswyddau yn gofyn rhagocheliadau tra gwahanol i'r rhai ydynt anghenrheidiol wrth ymdrin â gweithrediadau personau unigol heb fod yn cynnrychioli cyfundrefnau parhäus, neu ddibynol ar allu estronol. Gall ddyfod i fod yn ddyledswydd y chwe' miliwn Pabyddion hyn yn ein teyrnas i ddilyn eu cydwybodau, er i'w cydwybodau eu harwain i ufuddhâu i'r Pab yn hytrach nag i lywodraeth ein Grasusaf Fuddug. Ond nid ydyw yn llai dyledswydd ar lywodraeth ei Mawrhydi i wylio rhag gwrthryfel poeth y chwe' miliwn hyn o'i deiliaid. Cwestiwn o amser a lle ydyw a fydd eisieu deddfwriaeth neillduol yn ein gwlad ni i gyfarfod yr agwedd hon ar bethau. Gobeithiwn na bydd. Pe buasai yr awdurdodau Pabaidd yn y wlad hon, yn nechreu y ganrif bresennol, yn ddynion o gyffelyb feddwl a syniadau i Dr. Manning, buasai llawer ychwaneg o anhawsderau yn cael eu teimlo yn ffordd rhyddfreiniad y Pabyddion. Y mae yn argoel er daioni weled traethawd Mr. Gladstone yn ail gadarnhâu doethineb ac uniondeb deddfwriaeth y gorphenol; ac y mae yr un mor werthfawr ei fod yn gwrthod cymeryd ei ddychrynu gan hòniadau y Pab a'i offerynau, ynghyda'i oruchwylwyr yn Rhufain a Lloegr, i gwrs gwahanol yn y dyfodol. Rhaid i'r Archesgob astudio cryn lawer eto cyn y gall ymaflyd codwm âg awdwr y traethodyn dan sylw.

Dyddorol iawn ydyw y gorchwyl o edrych ar y gwahaniaethau a ganfyddir yn atebion yr awdurdodau hyn i'r llyfryn. Haera Dr. Manning na ddarfu i athrawiaeth Anffaeledigrwydd newid nac effeithio dim ar hawliau teyrngarwch gwladol. O'r ochr arall, dadleua Arglwydd Acton, gan fod Pabyddion wedi dangos yn fynych nad oeddynt yn ystyried eu hunian yn rhwym o sefyll at ddedfrydau y Pabau pan fyddent yn myned ar draws eu rhwymedigaethau gwladol, y gallent wneyd felly eto pe deuai yr amgylchiad a alwai am hyny o gwmpas. Dywed Dr. Manning nas gall y dedfrydau diweddar effeithio dim ar deyrngarwch Pabyddion yn y wlad hon. Ateba Arglwydd Acton, a chaniatâu eu bod, na fynai Pabyddion y wlad hon mo'u rhwymo wrthynt. Dyma y ddau syniad cyferbyniol a ddaethant i'r golwg yn y ddadl. Ond ni a gawn drydydd eto yn syniad Arglwydd Camoys, y cyfeiriwyd ato yn barod, yr hwn nid yw o gwbl yn un math o gytundeb rhwng y ddau eithafnod blaenorol. Nid ydyw efe yn cytuno o gwbl â'r Archesgob Manning fod pethau wedi aros yn ddigyfnewid trwy y dedfrydau hyn. Y mae cyhoeddiad Anffaeledigrwydd y Pab wedi gwneyd ufudd-dod yn grediniaeth orfodol, ac nid yn bwnc o ryddid i'w benderfynu gan y dyn ei hunan. Os nad ydyw

dedfrydau 1870 wedi crëu rhwymedigaeth newydd, yna y mae dedfrydau Cynghor y Vatican yn gwbl ddiystyr, ac y mae y byd wedi bod yn ymddyrysu ac yn fawr ei dwrf a'i drŵst am ddim y pum' mlynedd diweddaf hyn.

Ymddengys fod Arglwydd Camoys wedi myned lawer yn fwy uniongyrchol i galon y cwestiwn nag Arglwydd Acton. Credwn, gydag Arglwydd Acton, pe cyfodai achos o ymrysoniad awdurdod rhwng y Penadur a'r Pab am deyrngarwch y Pabyddion Saesonig, mai y Penadur fyddai uchaf fel o'r blaen. Ond nid dyma y cwestiwn sydd gan Mr. Gladstone yn benodol dan ei sylw. Ei gwestiwn ef ydyw, pa un a ydyw dedfrydau diweddaf y Vatican wedi newid yr ammodau o dan ba rai y rhanai y Pabyddion eu teyrngarwch rhwng y Penadur a'r Pab. Ymddengys yn anmhosibl gwrthod casgliadau Arglwydd Camoys ar y pen hwn. Beth oedd amcan cyhoeddiad y dedfrydau o gwbl, os nad i roddi cymeradwyaeth awdurdodol a phendant, ac felly rym newydd i'r athrawiaeth a gyhoeddent? Y mae yn bosibl i'r Pab eu galw fel Pabyddion, ar unrhyw foment, i ddewis rhwng colli eu teyrngarwch fel deiliaid Prydeinig, a gwrthryfela yn agored yn erbyn gorchymyn o eiddo awdurdod y mae ei Eglwys wedi ei gyhoeddi yn anffaeledig. Y mae yn ddiammheuol fod anghyfleusdra y sefyllfa hon ar bethau wedi cyflwyno ei hunan i feddwl llawer o Babyddion yn gystal ag Arglwydd Camoys. Credwn fod y dedfrydau diweddar hyn yn hawlio caethiwed y gydwybod a'r rheswm sydd gwbl anghydweddol â'r oes a'i gweithrediadau, hyd yn nôd yn ol golygiadau Pabyddion arnynt.

Ond daeth gwrthwynebydd i ateb Mr. Gladstone a yrodd hyd yn nôl Dr. Manning i'r cysgodion. Ymgymerodd y Pab ei hun â thrîn y gwladweinydd Saesonig. Er dyweyd fel hyn, nid ydym heb wybod y gwedir yr hanes gan rai; ond ar ol darllen yr oll a welsom ar y ddwy ochr, y mae yn llawn mor naturiol genym gredu iddo ddyweyd gair o'i feddwl ar y mater yn yr amser adfydus hwn ar ei Anffaeledigrwydd. Yr achlysur y dywedir iddo ei ddefnyddio ydoedd pan yn cyfarch nifer o Babyddion Saesonig foreu dydd Mawrth, y 10fed o Dachwedd, pryd y cyfeiriodd at "Weinidog blaenorol eich gwlad, yr hwn yr arferwn ei ystyried yn gymedrol," ond yr hwn, "yn awr yn ddisymwth a ddaethai ymlaen fel gwiber"—a chan newid y gymhariaeth yn bur ddiachos, dywed, "gan ymosod ar lestr St. Pedr." Chwareu têg iddo hefyd; addefa na ddarllenodd y traethodyn o gwbl, yr hyn nid ydyw mor ryfedd wrth ystyried dyddiad ei gyhoeddiad yn Llundain; ac ychwanegodd, nad oedd, fel rheol gyffredin, yn hoff o astudio cabldraethau. Wedi parotöi ei hun fel hyn mor rhagorol o ran gwybodaeth ac anmhleidgarwch, y mae yn myned ymlaen i ymdrin âg ef. Os ydym i farnu oddiwrth yr adroddiad a'n cyrhaeddodd o'r sylwadau a wnaed, ni fuasai raid i'w Sancteiddrwydd fyned i drafferth i ddyweyd na ddarllenodd y traethawd, oblegid ni a'i cawn yn y dechreu yn ymgymeryd âg ateb y cyhuddiad y tybiai a wneid gan Mr. Gladstone, ei fod ef, Pius IX., yn dymuno i ddeiliaid Pabaidd Lloegr ddyfod yn annheyrngarol i'w Penadur a'r cyfreithiau. Rhaid fod Pab, fel rhywun arall, o dan anfantais pan y mae heb ddarllen gwaith ei wrthwynebydd, a phan y mae wedi ei gamarwain am ei ddyben. Felly nid ydym yn cael rhyw lawer mewn ffordd ddadleuol o atebiad y Pab. Yn wir, hyd y gallwn weled,

ni ddywedodd ei Sancteiddrwydd ddim un gair a gyfarfyddai âg un safle o eiddo Mr. Gladstone. Pa fodd bynag, dywedodd gryn lawer am Mr. Gladstone ei hunan. Desgrifiodd ef fel yn dynwared, i ddechreu, y wiber, yna y Tywysog Bismarck, fel un yn ymddyrysu yn y cynnydd a wna yr Eglwys Babaidd yn Lloegr, ac yn ceisio yn ofer attal ei goruchafiaeth ogoneddus. Pan y siaradai ei Sancteiddrwydd am Mr. Gladstone fel wedi meddwi ar esiampl Bismarck, ac yn ceisio dynwared gwiber, ac felly ymlaen, gallesid, ebai ymwelwr Saesonig, ateb oni bae am y moesgarwch i hen lencyn o Bab, mewn geiriau cyffelyb i'r rhai ddefnyddiodd Fox, pan dòrodd ar draws geiriau Napoleon, wrth gael ei gyhuddo ganddo o amcanion isel. "Cliriwch y *nonsense* yma o'ch pen, *First Consul*," oedd y cerydd agored a chyfeillgar. "Gwared fi rhag fy nghyfeillion," ellir yn bur brïodol ei roddi fel cynghor i'r Hen Lanc o Rufain y dyddiau hyn.

Ond o'r holl atebion a gyhoeddwyd i'r traethodyn hyd yma, y mae yn ddiammheu mai eiddo Monsignor Capel y mae y Pabyddion eu hunain yn edrych i fyny ato fel y galluocaf a'r goreu. Ymddangosodd cyn pen yr wythnos yn y *Weekly Register*, un o newyddiaduron y Pabyddion, a chymer ddeuddeg o golofnau, mewn llythyren weddol fân, o'r papyr, gan wneyd felly draethodyn go lew o ran maint arno ei hunan. Gwelwn na chaniatâ ein gofod i ni roddi i mewn hyd yn nôd y crynodeb oedd genym o hono wedi ei barotöi. Y mae hyny ar unwaith i'w ddarllen ynddo—nad ydyw M. Capel a Dr. Manning yn deall eu gilydd ar y cwestiwn hwn, os ydynt hefyd yn eu deall eu hunain. Rhoddwn un engraifft i egluro hyn yma. Dywed Dr. Manning yn ei lythyr i'r *New York Herald*, "Dadgan neu gyhoeddi hen wirionedd a ddarfu y Vatican, ac nid cyhoeddi egwyddor neu athrawiaeth newydd." Ond dyma fel y dywed Monsignor Capel ar y pen hwn, "Cyn y ddedfryd o Lŷs y Pab, yr oedd y Pabyddion dan rwymau i ddal fod y ddawn o anffaeledigrwydd yn cael ei hymarfer *gan gorff addysgol yr Eglwys wedi ei huno â'r Pab*; ond ar ol y ddedfryd y mae y ddawn yn cael ei hymarferyd gan Ben yr Eglwys, yn golygu wrth hyny y Pab Pius IX. yn unig." Ai nid oes yma gyfnewidiad? Eglurhâd Dr. Chadwick ar hyn ydyw, fod ei Sancteiddrwydd yn gweithredu mewn gallu deublyg. Fel person unigol arno ei hun, y mae yn agored i bechod, ond pan yn siarad yn ei gymeriad swyddogol, nis gellir ei arwain i gyfeiliornad. "Y mae yr Eglwys," meddai M. Capel, "bob amser wedi dal fod y gallu eglwysig yn uwchraddol i'r gwladol, a'i fod yn darnodi terfynau y naill a'r llall." Ystyr Gymreig hyn oll ydyw, fod y Pab o'r farn bob amser fod ei awdurdod ef yn uwchraddol i eiddo y Gweinidog Prydeinig. Pa le y mae cysondeb y ddau ddoethawr hyn, tybed? Nid ydynt eu dau, 'does bosibl, yn deall Pabyddiaeth yn gwbl gywir; ac felly pa un o'r ddau yr ydym yn ddïogel i'w ddilyn?

Pa fodd bynag, ystyriwn fod atebiad M. Capel yn teilyngu rhai sylwadau adolygiadol arno, am mai efe ydyw y mwyaf addawol o'r Pabyddion yn ein teyrnas ni ar hyn o bryd. Efe ydyw cynnorthwywr mwyaf effeithiol Archesgob Manning yn ei ymdrech ddi-ildio i ledaenu ei egwyddorion. Y mae wedi ennill drosodd lawer o blith y bendefigaeth; a phe na buasai ei uchelgais ei hun yn ei gymhell i'r gwaith, diammheu y buasai erfyniadau taerion ei gyfeillion a'i edmygwyr yn ei

orfodi i ymgymeryd â'r caledwaith o ateb Mr. Gladstone. Gwnaeth hyny yn bur brydlawn, ac ystyried hŷd ei druth, ac ni a dybeim mai dyfarniad y cyhoedd arno fydd, "llawer o frŷs ac ychydig o fyn'd." Er ei holl awydd, arddangosiad truenus o'i allu a geir yn yr atebiad hwn. Nid ydyw o gwbl ynddo yn agoshâu at brif safle ei wrthwynebydd, a gwir enaid y traethodyn. Rhyw udganiad gorchestol ac ymffrostgar ydyw, ar byneiau israddol iawn. Ceir ynddo gyfeiriadau personol, a allant frathu yn chwerw; y mae yn llawn o darawiadau ochrog cywrain, a allant ddisgyn yn ddifyr ar lawer clust; ond fel atebiad neu fel ymresymiad, yn ymhòni ehangder, treiddiolder, neu drefn-ganlyniad, y mae yn wan hyd yn nôd lle nad ydyw yn dyfod yn gwbl ddifudd.

Y mae yn dal cryn lawer ar ddadganiad Mr. Gladstone gyda golwg ar nerth a chynnydd yr Eglwys Rufeinig yn ein hynysoedd ni. Y mae y fath dderbyniad cyffredinol wedi cael ei roddi i'r adroddiad fod Pabyddiaeth yn gwneyd cynnydd anarferol yn ein plith, fel nad ydym yn rhyfeddu ei fod yn petruso ac yn ammheu y dystiolaeth ddiwrthdro a geir gan Mr. Gladstone nad ydyw ei nerth o ran nifer yn cadw i fyny â chynnydd y boblogaeth. Rheswm pur wan sydd ganddo ar y pen hwn i wrthddadleu. Y mae Mr. Gladstone yn seilio ei ddadganiad ar Ystadegau Prïodasau. Fel y gŵyr Monsignor Capel yn dda iawn, y mae hwn yn brawf ffafrio liawn iddo ef. Y mae y deddfau Pabaidd ynglŷn â phrïodasau cymysg, yr eiddigedd Pabaidd o ranu unrhyw swydd â gweinidog Protestanaidd, yn peri nad oes perygl cyfeiliorni yn y cysylltiad hwn trwy osod y gwirionedd yn îs nag y mae. Wrth gwrs, pan y dywed M. Capel wrthym fod deugain o offeiriaid Pabaidd yn llafurio yn awr yn Llundain a fuont unwaith yn Brotestaniaid, gallwn ar unwaith ei gredu, a gweled nas gall bodolaeth y gwŷr *dibrïod* hyn o gwbl fyned ar draws y casgliad y cyfeirir ato gan ffigyrau Mr. Gladstone. Hefyd, pan yr ymffrostia yn ei drefniadau ehangol, uwchlysol a phlwyfol, pan y crybwylla am yr adeiladau eglwysig ardderchog a gyfyd, am yr ysgolion afrifed a blàna drwy y tir, ac am ei pharotöadau gwellhäol ymhob ffordd, nid ydym yn cael dim yn ei brofion yn anghydweddol â mynegiad craffus Mr. Gladstone, ei bod wedi bod lawer mwy llwyddiannus mewn ennill rheolaeth "aceri" nac "eneidiau." Credwn i Mr. Gladstone wneyd gwasanaeth gwir werthfawr wrth ddwyn ynghyd y profion a gasglodd ar y pen hwn. Y mae gyda y diweddaf i wneyd ei hunan yn gyfrifol am gamgymeriad ystadegol. Gellid dwyn ymlaen dystiolaeth gadarnhäol pe byddai raid. Canlyniad yr ymchwiliad fyddai rhyddhâu y meddwl oddiwrth hen syniad y mae Rhufain wedi masnachu llawer arno am flynyddau aethant heibio.

Nid oes dim perygl i lawer o gariad golli rhwng M. Capel a'r Defodwyr Saesonig; ac eto nis gall beidio siarad am y gwaith a wnant gyda rhyw garedigrwydd llechwraidd. Y mae yn ddigon hawdd deall agwedd fel hon ar y meddwl. Gall yn hawdd deimlo yn llawen yn yr olwg ar nodwedd a thuedd anocheladwy eu pregethau a'u harferion. Gall fod yn ffiaidd ganddo am y ffordd gloffus ac anghyson y daliant ati ac y gweithiant allan eu hegwyddorion addefedig. Rhoddwch i'r egwyddorion hyn rywbeth tebyg i ddadblygiad rhydd a lle agored, a gŷrir chwi i gasgliad yr enwocaf oll o ddychweledigion Prydain i Babyddiaeth. "Twyllwyd fi â geiriau; yr oeddwn mor belled ag erioed oddiwrth y peth

y siaredid am dano, a'r peth oedd arnaf eisieu. Yr oedd defodaeth Saesonig wedi gwneyd y cwbl a allai i mi; gwnaeth ei gwaith arnaf; dygodd fi gan belled ar fy ffordd, ac yna gadawodd fi yn ngolwg yr Eglwys Lân Gatholig, a chyfeiriodd ati fel yr unig un a lanwai ei damcaniaethau ei hunan, ac a foddlonai fy eisieu innau." Gellir nid yn unig dderbyn y tyst hwn am ei achos unigol ef ei hun, ond ymddengys fel mai dyma ydyw gweithiad allan athrawiaeth ddefodol. Pa fodd y mae dynion fel Dr. Littledale neu Mr. Orby Shipley yn gallu gorphwys lle y maent sydd yn rhyfedd. Y maent yn gwadu digonolrwydd y pen fel arweinydd mewn athrawiaeth ac ymarferiad. Taflant bob dirmyg ar egwyddor barn bersonol. Rhwymant eu hunain wrth ddrychfeddwl o gorff bywydol gweledig, yr hwn sydd arweinydd anffaeledig i wirionedd, a gweinyddwr awdurdodedig gras. Pa beth sydd yn aros, mewn cysondeb rhesymegol, ar ol ein dwyn fel hyn wyneb yn wyneb â Rhufain, ond ymostyngiad mewn amser? Nid ydyw yr hen safle Babaidd yn dal yma. Naill ai rhaid i'r rhai sydd yn glŷnu wrth y safle hwnw fyned ymhellach, neu, i gael ei sail i wahanu oddiwrth Rufain wedi dirymu. Fod Mr. Gladstone yn hysbys o hyn, nis gallwn ammheu o gwbl; ac yr ydym yn gwneyd i ffordd â'r cyhuddiad a ddygir yn ei erbyn, ei fod yn ceisio dwyn oddiamgylch gyngrhair rhwng y Defodwyr a'r Hen Gatholiciaid, fel peth hollol annhebyg a disail.

Ond nid ydyw hyn oll yn dyfod yn agos i gynnwys ymresymiad Mr. Gladstone ar nodweddiad anghenedlaethol ac annheyrngarol Pabyddiaeth, fel y mae y cymeriad hwnw wedi ei gadarnhâu a'i hyrwyddo gan ddedfrydau diweddar y Vatican. Yn sicr nid oedd dim ond ydoedd barchus ac ymresymiadol dêg yn yr hyn a ddywedodd ar y pen hwn yn ei draethawd rhagorol. Y mae gwaith M. Capel yn ceisio troi yn ol ei resymiad yn dyfod i hyn—fod yr Eglwys yn dal ac yn dysgu fod pob gallu yn dyfod oddiwrth Dduw, ac o ganlyniad, ei bod yn dysgu ymostyngiad i'r awdurdod wladol. Y mae hyn yn gyfeiliornus ar bob ochr, fel pob egwyddor dwyllodrus, o gymaint ag y mae, os derbynir hi yn farnol, yn cynnwys ymostyngiad caethiwus, tra, os deallir hi yn rhesymegol, y mae yn dwyn i mewn y gallu gweinyddol ac uchaf, yr hwn ydyw yr unig beth y gwrthwynebir iddo. Derbyniwch yr egwyddor, ac nid oes yn y canlyniad ond cydsyniad gwasaidd neu ryddhâd yn dyfod oddiwrth allu tebyg i'r un yr hòna y Pab yn awr ei ddal, a gallu fel yr hwn y mae pob Pabydd teyrngarol yn rhwymo ei hun i'w gydnabod.

Llawer mwy arwyddocäol, pa fodd bynag, na iaith M. Capel ar y pwynt hwn, ydyw eiddo y cyfnodolion uwch-Babaidd yn Llundain ac Iwerddon. Os oes rhyw ystyr i eiriau, os oes rhyw hawliau gan gysondeb, dylent deimlo yn rhy hunanffieiddiol i roi un hawl i mewn byth eto am wladgarwch neu deyrngarwch. Y mae yr hawl yma wedi ei wadu yn hŷf a dirmygus; a dywedir wrthym mewn geiriau o hèrfeiddiad balch, fod Pabyddiaeth yn benderfynol o wneyd unrhyw lywodraeth yn anmhosibl a geisia ddiffrwytho neu gloffi gweithrediad eu Heglwys hwy. Hyd y cedwir y gweithrediad hwn o fewn cylch credo, neu ymddygiad anwrthwynebol, rhaid i ni barchu ac amddiffyn y rhyddid a hawlir yn y ffordd yma. Ond y foment y ceisia fyned ymhellach dylid ei gyfarfod yn benderfynol. Dylai ein llywodraethwyr ddysgu un peth yn sicr oddiwrth y ddadl hon—anallu

Erastiaeth fel elfen o wladlywiaeth. Ddeng mlynedd ar hugain yn ol dysgwyd ni am ei anallu i reoleiddio eglwys wirioneddol. Gallant yn awr ganfod ei bod yr un mor analluog i reoleiddio eglwys gau, yn enwedig pan y mae yr eglwys hono yn rhoddi ei hufudd-dod uchaf i allu estronol, yr hwn sydd yn hawlio uchafiaeth hollol mewn pethau gwladol a chysegredig; sydd yn gosod cyfraith a llywodraeth dan hèr, sydd yn dirmygu anrhydedd cenedlaethol, sydd yn diffodd (mor bell ag y medr) bob gwir wladgarwch, ac nad ydyw foddlawn drosto ei hunan ar ddim llai nag awdurdod ormesol gyffredinol dros yr holl fyd.

Dyma y gyfundrefn felldigedig y mae M. Capel a'i bleidwyr yn ceisio ei dal i fyny yn ein gwlad yr wythnosau yma, a'r hyn hefyd y mae Mr. Gladstone wedi gwneyd gwasanaeth mor werthfawr i'n teyrnas trwy ei ymdriniaeth oleu eglur arno ymhob cysylltiad. Pa faint bynag o laid a llwch a deflir arni gan Dr. Manning, a M. Capel, a'u cyffelyb, er ceisio dallu llygaid y trigolion, y mae cnewyllyn y cwestiwn mewn dadl yn y ffurf hon arno. Pe gorchymynai y Pab presennol i Babyddion Prydain godi mewn gwrthryfel yn erbyn ein Brenhines y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1875, a allent weithredu yn unol â dedfrydau diweddar y Vatican, a bod yr un pryd yn bur a theyrngarol i'w llywodraeth wladol gartrefol? Na allant, yn ddiammheuol, ydyw adsain holl hanes gormesol y Babaeth ar hyd yr oesau, ac yn awr yn fwy o lawer, dan y mae ei Phen yn anffaeledig, ac i'w gydnabod felly gan ei holl ddeiliaid. Y mae yn rhy gynnar eto i ddyweyd beth fydd dylanwad y traethodyn ar safle berthynasol y pleidiau gwleidyddol yn ein teyrnas; yr hen esboniwr Amser a eglura hyn oreu o bawb i ni. Yr un pryd, ai nid ydyw craffder, treiddiolrwydd, a gallu anghyffredin Mr. Gladstone yn dyweyd yn bur groew wrthym mai efe, er ei holl ffaeleddau, ydyw yr arweinydd dïogel a llwyddiannus i lestr ein llywodraeth i'w hwylio yn dêg i'r hafan dymunol o berffaith gydraddoldeb crefyddol?

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Delivery and Development of Christian Doctrine.* The Fifth Series of the Cunningham Lectures. By ROBERT RAINY, D.D., Professor of Divinity and Church History, New College, Edinburgh. Edinburgh: T. & T. Clark.

Y MAE Dr. Rainy, bellach, ar ol ymadawiad y cedyrn sydd yn ddiweddar wedi eu galw i'r orphwysfa, yn un o arweinwyr enwocaf yr Eglwys Rydd, ac, o bosibl, y meddyliwr mwyaf annibynol a dyfnaf ei ddylanwad sydd yn perthyn iddi. Ac y mae y parch a'r edmygedd y mae wedi ennill yn hynod o dêg. Nid ydyw wedi lladrata calon ei frodyr a'i gydwladwyr trwy unrhyw gyfaredd byrhoedlog, a bâr iddynt ar ol hyn sŷnu pa fodd y daethant i feddwl mor fawr am dano; ond y mae wedi ymddyrchafu o flaen eu llygaid yn Gristion gloëw, yn ysgolhaig addfed, ac yn feddyliwr tawel, amyneddgar, annibynol; ac y mae wedi gosod ger eu bron y syniadau sydd wedi ymffurfio yn ei feddwl ar y cwestiynau mawrion, nid yn gymaint fel yn awyddus am iddynt hwy gymeryd eu perswadio i'w ddilyn, ag o barch i'r gwirionedd; ond y canlyniad ydyw ei fod, tra i bob ymddangosiad yn gwbl ddiofal am yr argraff a wnelai ei ymdrechion, wedi dyfod i gael ei deimlo yn Scotland yn ddirfawr allu, ac fel un sydd wedi gwneyd lle iddo ei hun ymhlith ei chedyrn anrhydeddusaf. Yr oedd meddwl ei frodyr yn disgyn yn naturiol arno fel y gŵr mwyaf cymhwys i fod yn Llywydd Athrofa yr Eglwys Rydd yn Edinburgh, ar ol marw Dr. Candlish. Ac nid oedd dim yn fwy gweddus na galw arno yn 1873 i draddodi y *Cunningham Lecture.* Ymddengys mai yn lled sydyn y daeth hyny arno, ac na chafodd hamdden i wneyd y chware têg a fynasai â'r mater yr ymdriniai âg ef; ac er oedi hyd yn ddiweddar gyhoeddiad ei Ddarlithiau, na theimlai ar ei galon wynebu ar y llafur o'u hail ffurfio, a rhoddi iddynt y perffeithiad a ddymunasai. Mae yn ddiammheu y buasai hyny yn dda. Yr ydys yn teimlo rywfodd fod eu cynlluniad heb ei weithio allan i'r clirder fuasai yn ddymunol; nid ydyw taflen y cynnwysiad a geir yn y dechreu ond fel rhyw frâs-amcan gan ddarllenydd y profleni i ddangos cynnwys y gwahanol dudalenau; nid rhyw orphenedig iawn bob amser yr ymddengys y cyfansoddiad ychwaith; ac y mae bychander y cylch—o chwe' darlith—yr ydoedd wedi ei gyfyngu iddo, yn peri ei fod yn fynych yn gorfod dirwasgu i awgrymiadau bethau a alwent am ymdriniaeth lawn, neu daflu i nodiadau yn niwedd y gyfrol fater a ddylasai gael ei gorffori yn y darlithiau. Ond y mae y syniadau a geir yn y gyfrol hon yn ffrwyth blynyddoedd o fyfyrdod dwys, ac yn llafur meddwl gwir alluog. Nid ydyw y gyfrol mewn un modd yn un i'w darllen yn frysiog, ond yn araf a myfyrgar. Y mae yn ymwneyd â materion o ddirfawr bwys, ac yn crynhoi i'r ymdriniaeth arnynt swm o feddwl [illegible] gyfrolau. Ond y mae y llyfr yn un a dâl yn dda am [illegible] dywedai Dr. Chalmers am Gyfatebiaeth Butler, yn dra [illegible] "hadau pethau." Y mae Dr. Rainy, tra yn berffaith ymwybodol o'r duedd sydd y mae cynifer yn y blynyddoedd yma yn deimlo at y syniad o fod y Bibl yn cynnwys yr hyn ag y mae myfyrdod yr eglwys i'w ennill oddiwrtho fel *athraw-*

*iaeth*, yn cael, oddiwrth reswm y peth, yn gystal ag oddiwrth hanes ymwneyd y meddwl dynol trwy yr oesoedd â'r Ysgrythyrau, fod hyny yn anocheladwy. Y mae dynion, pan ddeuant i dalu ychydig o sylw i gynnwys y Llyfr mawr, yn cael ei fod yn gosod ger eu bron *gorff o wirionedd* ar y materion pwysig yr ymdrina â hwynt; ac y maent yn naturiol yn dyfod i deimlo, faint bynag a ddarllenont arno, nad ydynt yn ei amgyffred ond i'r graddau y maent yn gallu cymeryd i'w meddwl y corff o wirionedd y mae wedi ei ysgrifenu i'r dyben o'i osod ger bron y byd. A dyma *athrawiaeth* y Bibl. Er y myrddiwn camgymeriadau y mae dynion wedi syrthio iddynt wrth geisio cael syniad cywir yn ei chylch, eto y mae ymdrechu cael gafael arni yn angenrheidrwydd nad ellir ei osgoi. Y mae felly o herwydd y duedd gynhenid sydd yn y meddwl dynol i olrhain pethau i'w hegwyddorion, i "chwilio am yr un ymhlith y lliaws." Ac y mae yn amlwg fod y Dadguddiad Dwyfol wedi ei *fwriadu* i ddysgu athrawiaethau i ni. Mae yr ail a'r drydedd ddarlith yn trin y traddodiad o athrawiaeth—*delivery of doctrine*—yn yr Hen Destament a'r Newydd. Yn y naill a'r llall y mae yn dyfod i'r golwg i ddechreu mewn ffeithiau hanesyddol,—ymwneyd Duw â'r byd ac â'r bobl etholedig yn yr Hen, a'r hanes Efengylaidd am Grist, a sefydliad teyrnas Dduw mewn ffurf berffeithiach, yn y Newydd; ond fel y mae yr addysgiaeth yn myned rhagddi,—meddwl yr eglwys yn cryfhâu ac yn cyfoethogi, ac yn enwedig ei grasau ysbrydol yn dyfod yn fwy addfed,—y mae y dadguddiad yn dyfod yn fwyfwy cyflawn, y goleuni yn "llewyrchu fwyfwy hyd ganol dydd." Ond nid ydyw dirnadaeth yr eglwys ar unrhyw adeg ond anmherffaith iawn mewn cymhariaeth i gyflawnder y gwirionedd, fel y mae yn gorwedd yn gorff o ogoniant yn meddwl yr Ysbryd. Eglurir hyn trwy gymhariaeth brydferth o wyddonwr yn ceisio cyfaddasu ei addysg ar faterion mawrion ei wyddiant i feddwl cyffredin ac anwyddonol; llwydda, trwy ddirfawr fedr, a gallu i ymgyfaddasu at y sefyllfa y mae ei wrandawydd ynddi, i roddi iddo syniad sydd iddo *ef* yn ymddangos yn ardderchog iawn am yr hyn y siarada yn ei gylch; ond ni wna blynyddoedd o gynnydd ond ei ddwyn i ymdeimlo fwyfwy â gwerth y ddirnadaeth gyflawn oedd yn meddwl ei addysgydd, tra yn ymdrechu yn garedig i'w gosod ger ei fron ef yn yr unig ddull y gallai wneyd rhywbeth o honi. Yn y bedwaredd ddarlith, dangosir lle a gwaith y meddwl cristionogol gyda golwg ar athrawiaeth; ac y mae hyn yn parotöi y ffordd at y drafodaeth feistrolgar ar ddadblygiad—*development of doctrine*—yn y bummed ddarlith. Y mae dadblygiad *yn* yr Ysgrythyrau eu hunain, fel y maent yn myned rhagddynt oddiwrth elfenau pethau at berffeithrwydd. Ond peth arall ydyw dadblygiad yr athrawiaeth yn yr eglwys. Y mae hwn hefyd yn gwbl wahanol i ddadblygiad y Rhesymolwyr, ar y naill law, sydd yn gwneyd yr Ysgrythyrau hefyd yn rhan o ddadblygiad yr ymwybodolrwydd dynol; a hefyd i ddadblygiad Eglwys Rhufain, ar y llaw arall, sydd yn gwneyd traddodiad yn gystal â'r Ysgrythyr yn ddefnydd athrawiaeth, a phob dyfarniad newydd gan y Pab, druan, yn ddadblygiad ychwanegol arni. Yr hyn sydd i'w ddadblygu, yn ol Dr. Rainy, ydyw *syniad yr eglwys am yr athrawiaeth*, ac y mae hyny i gymeryd lle *yn nghyfeiriad* y dadguddiad cyflawn o honi sydd wedi ei roddi gan Dduw yn ei air. Fel y mae athrawiaethau yn ymddadblygu yn ymwybodolrwydd yr eglwys, y mae yn gwbl naturiol eu bod yn cael eu corffori mewn credöau,—y mater yr ymdrinir âg ef mor bwyllog, mor drwyadl, ac i ni mor gwbl foddäol yn y chweched ddarlith.

*Critical and Exegetical Handbook to the Epistle to the Romans. By* HEINRICH AUGUST WILHELM MEYER, TH.D. Vol. II.

*Critical and Exegetical Handbook to the Gospel of John.* By HEINRICH AUGUST WILHELM MEYER, TH.D. Vol. I. Edinburgh: T. & T. Clark.

Cyfeiriasom o'r blaen at gyhoeddiad esboniadau anmhrisiadwy Meyer yn Saesonig gan y Meistri Clark. Mae y cyfrolau hyn yn dangos yr un ysgolheig-

dod addfed yn y cyfieithiad a'r olygiaeth ag a welid mor amlwg yn y rhai y galwasom sylw atynt tua blwyddyn yn ol. Ac am y gwaith ei hun y mae yn anhawdd rhoddi unrhyw ddyfarniad arno a fydd yn cyfateb i'w werth. Y mae yn rhagdybied cryn gydnabyddiaeth ar ran y darllenydd â'r Groeg a'r Lladin, ac weithiau yr Hebraeg ; ac yn enwedig y mae yn rhagdybied cryn lawer o'r amynedd cariadlawn hwnw a fedr aros uwchben y gwirionedd, gan deimlo fod ei waith yn ymagor iddo, ar ol astudiaeth ddyfal, yn ddigon o wobr am unrhyw lafur. Ond y mae teithi uchel y gwaith, y "treiddgarwch a'r ysgolheigdod," chwedl Esgob Ellicott, sydd yn rhedeg trwyddo, a'r gonestrwydd dilyffethair sydd yn peri fod barn yr awdwr ymhob amgylchiad yn dilyn y goleuni sydd yn disgyn arno, yn gystal â'r arglwyddiaeth sydd gan y gwirionedd ar ei ysbryd, yn peri ei fod yn gymhorth tra gwerthfawr yn astudiaeth yr Ysgrythyrau. Gelwir y gwaith yn *Llawlyfr*, ac yn eithaf priodol ; nid am ei fod yn hawdd a phoblogaidd, ond am ei fod, y naill ffordd neu y llall, yn cyfeirio at ymron bobpeth o werth sydd wedi ei ysgrifenu ar y materion yr ymdrin â hwynt. Ac y mae y cwbl wedi eu gosod dan y fath ddirwasgiad fel nad oes air wedi ei adael i fewn y gellid ei hebgor. Yn hyn y mae, fel Bengel, yn ymfoddloni ar estyn y mynegfys, y *gnomon*, yn nghyfeiriad y gwirionedd, yn hytrach na meddwl am draethu arno ; ond gyda hyn o wahaniaeth, fod defnyddiau beirniadaeth dan ddwylaw Meyer wedi dirfawr gyfoethogi, tra nad ydyw ei nerth a'i annibyniaeth ef fel esboniwr, hyd y gallwn ni weled, ronyn yn llai. Fel yn arddangos y dirfawr ofal a gymerai i wneyd ei waith mor orphenol ag oedd yn bosibl, gallwn nodi fod y cyfieithiad hwn o'i *Lawlyfr i Efengyl Ioan* wedi ei wneyd o'r pummed perffeithiad a wnelsai ar ei lafur yn y rhan hono o'r gair, a'r naill ar ol y llall yn cael ei gyfaddasu i gyfoeth y defnyddiau neu ymosodiad y gwrthwynebwyr ar y pryd. Aeth i orphwys ryw flwyddyn a hanner yn ol, wedi treulio oes faith, yn was da a ffyddlawn, ac wedi llwyr ymgysegru i'r wyddoniaeth sanctaidd o geisio cael allan, yn feirniadol-ddeonglyddol, beth ydyw ystyr yr Ysgrythyrau. Bydd llawer o'n darllenwyr, a ddeuant i ymgydnabyddu â'i lafur gwerthfawr, yn falch o weled nad ydyw y wyddoniaeth feirniadol uchaf y gall ein canrif ymffrostio ynddi, yn gweled y gellir cyfnewid dim ar y golygiadau hyny am y pethau mwyaf eu pwys y cawsom ein dysgu ynddynt gan Galfiniaeth iachus ac efengylaidd y Diwygiadau Protestanaidd a Methodistaidd.

*The Works of* AURELIUS AUGUSTINE, *Bishop of Hippo. Lectures or Tractates on the Gospel according to St. John.* Vol. II.

*The Anti-Pelagian Works of St. Augustine.* Vol. II. Edinburgh : T. & T. Clark.

Cyfrolau XI. a XII. o Weithiau Awstin. Ymddengys y bydd y gyfres yma yn cael ei chwblhâu yn ystod 1875, trwy gyhoeddiad y Cyffesion, cyfrol eto o'r Ysgrifeniadau Gwrth-Belagaidd, ail gyfrol o'r Llythyrau, ynghyda chyfrol ar Fywyd Awstin gan *Principal* Rainy, gwaith y dysgwylir llawer wrtho. Y mae y *Tractates* hyn ar Efengyl Ioan yn wahanol iawn i'r Llawlyfr y cyfeiriasom at y gyfrol gyntaf o hono yn ein nodiad blaenorol. Yr oedd beirniadaeth yn nyddiau Awstin yn ei mabandod ; ar yr un pryd y mae efe, fel Calvin, yn ngrym darwelediad cryf ei ysbryd sanctaidd i feddwl y gwirionedd, yn gallu gosod y meddwl hwnw ger bron nid yn anfynych mewn dull a bâr fod y beirniaid mwyaf galluog a dysgedig yn teimlo yn falch o gael cyfoethogi eu tudalenau trwy ei ddyfynu. Mae y sylwadau hyn ar Efengyl Ioan yn cynnwys sylwedd yr hyn a ddywedai y pregethwr enwog yn ei weinidogaeth reolaidd. Yr ydym yn cyfarfod âg amryw bethau ynddynt sydd yn ymddangos yn dra elfenol, a llawer o bethau sydd yn dangos fod ffansi y pregethwr weithiau yn ei redeg i raddau gormodol ; ond beth er hyny ? Y mae y gwaith yn ddifyr ac yn adeiladol iawn i'w ddarllen, ac yn gyfoethog o'r meddyl-

iau mwyaf prydferth a gwerthfawr. Fel Mair, gorchymyna i ninnau, os am fod yn ffyddlawn i Grist "i eneinio ei draed ef â'r enaint gwerthfawr." Mae y dyrfa fawr oedd yn dilyn Crist ar y mynediad i Jerusalem yn peri iddo feddwl, "Cymaint oedd y ddeadell o ddefaid cyfrgolledig tŷ Israel oedd wedi clywed llais y Bugail." Y mae Iesu Grist yn cael ei alw, heblaw y wir winwydden, yn ddafad, yn oen, yn llew, yn graig, a chonglfaen, ac enwau eraill cyffelyb, "Y rhai ydynt eu hunain yn hytrach y *gwir* enwau oddiwrth ba rai y mae y pethau hyny wedi eu cymeryd fel cyffelybiaethau, nid fel sylweddau." Mae y Dyddanydd yn argyhoeddi y byd o bechod am nad ydyw yn credu yn Nghrist, gan osod y pechod yma o flaen pob pechod arall, "oblegid gyda pharhâd hwn, y mae y lleill oll yn cael eu dal, a phan y mae hwn yn cael ei symud ymaith, y mae y lleill oll yn cael eu maddeu." Mae rhai yn amddiffyn gwadiad Pedr, neu o leiaf yn ceisio lleddfu ei ddrygedd; "ond y mae edifeirwch Pedr yn eu hargyhoeddi, a'i ddagrau yn dystion yn eu herbyn." Pan drosglwydda Crist i Pedr awdurdod yr agoriadau, y mae i'w ystyried yn cynnrychioli yr eglwys, yr hon ni syrth pa ruthr bynag a wneir arni, "am ei bod wedi ei hadeiladu ar y graig (*petra*), oddiwrth pa un y mae Pedr wedi cael ei enw. Canys nid yw *petra* (craig) yn dyfod o Pedr, ond Pedr o *petra;* fel nad yw Crist yn cael ei alw felly oddiwrth y Cristion, ond y Cristion oddiwrth Grist. Canys am y rheswm yma y dywedodd ein Harglwydd, 'Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys,' oblegid i Pedr ddyweyd, 'Tydi yw y Crist, Mab y Duw byw.'" &c., &c. Mae yr ail gyfrol yn cynnwys tri o'i draethodau ar y ddadl Belagaidd neu Forganaidd: *Am Ras Crist a'r Pechod Gwreiddiol*; *Am Brïodas a Thrachwant; Am yr Enaid a'i Darddiad.* Y mae Rhesymoliaeth ein dyddiau ni, ynghyda dylanwadau eraill sydd yn brysur ar waith, fel pe byddent am daflu y byd yn ol i sefyllfa y dadleuwyr y teimlai Awstin eu bod yn ei ddyddiau ef yn gwneyd y fath ddirfawr gam â gwirionedd yr efengyl; a diammheu y caiff llawer un wrth astudio y traethodau hyn a rhai eraill cyffelyb iddynt o waith Esgob enwog Hippo, ei gryfhâu yn yr egwyddorion mawrion y mae meddylwyr cryfaf yr oesoedd wedi bod yn gorphwys yn dawel arnynt. Mae yn dda genym feddwl fod yr argraffiad prydferth a rhadlawn hwn o weithiau yr "enwocaf o'r tadau" wedi dwyn ei gynnyrchion gwerthfawr o fewn cyrhaedd cynifer o'n cydwladwyr, na fuasai nemawr obaith iddynt yr un ffordd arall allu ymgydnabyddu â'i feddwl mawr a ffrwythlawn.

*Biblical Commentary on the Proverbs of Solomon.* By FRANZ DELITZSCH, D.D. Professor of Theology. Vol. I.

*Theology of the Old Testament.* By DR. GUST. FR. OEHLER, Late Professor Ordinarius of Theology in Tübingen. Vol. I. Clark's Foreign Theological Library. 1874.

Ymddengys fod y gyfrol hon ar y *Dïarhebion* y gyntaf o dair ar ysgrifeniadau Solomon o eiddo Delitzsch sydd yn awr yn cael eu cyhoeddi yn Germany, ac y bydd y tair hyn yn cwblhâu y gyfres werthfawr o *Esboniadau Biblaidd Keil a Delitzsch ar yr Hen Destament.* Y mae y cyfrolau hyn, fel y rhwydd addefa pawb sydd wedi bod yn ymgynghori â hwynt, "yn gof-arwyddion o ymchwiliad dwfn a gofalus i ystyr yr Ysgrythyrau sanctaidd;" a phrin y teimla neb sydd wedi cael mynediad i fewn iddynt y gall, mewn unrhyw ymofyniad pwysig, eu gadael o'r neilldu. Os nad ydym yn gallu cydweled bob amser â'r awdwyr galluog a dysgedig, y maent hwy eu hunain yn gosod o fewn ein cyrhaedd y *defnyddiau goreu* i ffurfio barn dêg ac annibynol o'r eiddom ein hunain. Nid oes dim y gall ein hoes ymffrostio ynddo sydd wedi gwneyd gwasanaeth mwy gwirioneddol werthfawr i esboniadaeth yr Hen Destament na chyfrolau y gyfres ardderchog hon o eiddo Keil a Delitzsch. Ac y mae y gwaith hwn ar y *Dïarhebion* yn dwyn delw ei ragflaenoriaid yn yr holl deithi rhagorol sydd wedi eu dyrchafu mor uchel yn llênyddiaeth gysegredig y byd.

Iawn y sylwai Bacon (*De Augmentis*) fod y dïarhebion hyn yn anghymarol, "y dywed yr Ysgrythyr am Solomon fod Duw wedi rhoddi iddo 'helaethdra calon, fel y tywod sydd ar fin y môr;' oblegid fel y mae tywod y môr yn amgylchu holl làuau y byd, felly y mae ei ddoethineb yntau yn cymeryd i fewn pobpeth dynol yn gystal a dwyfol." Ac nid oes haiach yn bod well cynnorthwy i'r efrydydd amyneddgar i ddirnad hanes, a iaith, ac addysgiadau y Dïarhebion digymhar hyn nag Esboniad Biblaidd Delitzsch. Am waith mawr Oeler ar *Dduwinyddiaeth yr Hen Destament*, nid oes genym le i ddyweyd ond ychydig. Cynnwysa sylwedd y darlithiau a draddodai efe o hâf y flwyddyn 1839, hyd auaf 1870—1, ychydig cyn ei farw, ac yr oeddynt yn barhäus yn cael eu cywiro a'u perffeithio ganddo. Ei safle yn ei ymwneyd â'r llafur pwysig yma, yn ol iaith ei fab, dan olygiad yr hwn y cyhoeddid y gwaith yn ddiweddar yn Germany, ydoedd yr un canlynol: "Yr oedd fy nhad yn dymuno uwchlaw pobpeth fod i effaith ei ddarlithiau gynnyrchu yn ei wrandäwyr argraff o fawredd sanctaidd yr Hen Destament, yr hwn, fel y sicrhëid hwy ganddo, ydoedd unwaith wedi effeithio mewn ffordd anorchfygol arno ef ei hunan; ac argraff o gysylltiad gogoneddus y ddau Destament, yr hyn a ymddangosai iddo ef fel eu hamddiffyniad goreu yn erbyn gwrthddadleuon yn codi oddiar bethau sydd yn ddiammheuol yn feini tramgwydd, oddiwrth ffurf y dadguddiad."

*On Self-culture—Intellectual, Physical, and Moral. A Vade Mecum for Young Men and Students.* By JOHN STUART BLACKIE, Professor of Greek in the University of Edinburgh. Fourth Edition. Edinburgh: Edmonston & Douglas.

NID llawer o wŷr enwog y deyrnas sydd wedi gadael dylanwad mwy iachus ar feddwl y lliaws dynion ieuainc y daethant i gyffyrddiad â hwynt na *Professor* Blackie. Fel athraw Groegaidd y mae laweroedd o weithiau wedi profi amynedd ei efrydwyr yn fawr, canys yn lle ymgadw at faterion ei gadair, y mae wedi bod yn fynych yn athrawiaethu cymaint *de omnibus rebus et quibusdam aliis*—ynghylch pob peth a rhai pethau eraill!—fel na cheid lawer pryd ond pur ychydig o Roeg ar gyfer awr o siarad zelog a hyawdl am beth bynag a welai yn dda ymgynnyg i feddwl y *Professor* dysgedig. Fe fyddent hwythau weithiau yn barod i waeddi gyda y Tywysog Harri yn Shakspeare, "O monstrous! but one half pennyworth of bread to this intolerable deal of sack!" Ond mae yn ddiddadl fod ei ddull o ddysgu Groeg, i'r efrydwyr a ymgymerant yn egnïol â'u gwaith, lawer yn fwy naturiol, ac am hyny yn fwy effeithiol, na'r eiddo y Doctoriaid Dryasdust, a ymfoddlonant ar weithio eu hysgolorion gyda'u hefrydiau, fel y gosodid Samson i falu yn y carchardŷ, heb weled dim o ogoniant y grëadigaeth ddysglaer o lênyddiaeth a lewyrchai o'u hamgylch. Amcana Blackie yn arbenig i ddwyn ei efrydwyr i deimlo fod y Groeg yn iaith i'w meistroli fel ag i allu ei siarad, a thrwy hyny ddyfod i'w mwynhâu fel cyfrwng cymundeb rhwng meddwl a meddwl, ac felly i ddyfod i deimlo yn gartrefol ynddi; ystyria efe hyny yn annhraethol fwy o werth na'r gallu i ymwthio i fewn i rai o gywreinion dyfnion ei deddfau, tra y bo ei bywyd cyffredin yn ddyeithr i'r efrydydd. Ac y mae ei feddwl a'i galon bob amser mor agored i ragoriaethau gwŷch yr hen ysgrifenwyr fel y mae yr efrydydd, os na fydd ei ysbryd yn nghŵsg, yn sicr o gyfranogi o'r brwdfrydedd, ac felly ennill oddiwrth y wers rywbeth fydd yn fwy ei werth o lawer nag ysgolheigdod. "Wedi y cwbl," meddai yn y gwaith hwn, "ymarferiad ydyw y prif beth; rhaid i iaith, yn y lle cyntaf, fod yn gynefin; ac nid ellir cyrhaedd y cynefindra hwn ond trwy ddarllen parhäus a siarad parhäus. Lle nad oes gan ddyn neb i siarad gydag ef, gall lefaru wrtho ei hun; ond rhaid ymarfer y glust a'r tafod, ac nid yn unig y llygad a'r deall. Wrth ddarllen, rhaid i ddyn beidio cyfyngu ei hun i weithiau safonol. Rhaid iddo ysu yn awyddus beth

bynag y gall osod ei law arno. Rhaid iddo nid yn unig feistroli llyfr gyda manylrwydd cywir; mae hyny yn burion fel tasg neillduol; ond rhaid iddo ddysgu byw yn helaeth yn elfen gyffredinol yr iaith; ac nid ydyw manylrwydd cywir mewn pethau neillduol i'w geisio cyn y bo meistrolaeth ymarferolrwydd ar draigl cyffredin yr iaith wedi ei gyrhaeddyd. Dylid darllen Shakspeare, er engraifft, ugain o weithiau cyn dechreu ymdrafferthu gyda y gwahanol ddarlleniadau o'r testun Shakspearaidd, neu ddyfaliadau cywrain ei feirniaid." Ac heblaw yr ysgolheigdod Groegaidd, a'r gwerthfawrogiad dwfn o ddoethineb ac ysbrydiaeth y prif ysgrifenwyr a ennillodd lliaws o'r efrydwyr goreu dan addysg Blackie, y maent hefyd yn canfod fod llawer o'r siarad cyffredinol y teimlent ei fod yn rhy fynych yn ymollwng iddo, wedi gadael ar ei ol gryn lawer o hadau doethineb, ac wedi cael llawer mwy o effaith nag y dysgwylient ar y pryd yn ffurfiad eu cymeriad. Y mae gŵreidd-dra iachus ei ysbryd yn peri ei fod yn sefyll ymhlith ei gyd-ddynion yn gwbl ar ei wadnau ei hunan; a thra yn talu y parch dyfnaf i wirionedd, a gwarogaeth gysegredig i bethau sanctaidd, eto y mae yn ddiarbed yn ei ddynoethiad o bob ffûg; ac yn angerdd ei ddygasedd at bethau afresymol, y mae yn rhuthro weithiau, wrth ymosod arnynt, yn bur bell i afresymoldeb ei hunan! Ar ol gweled i ba le y bydd wedi myned, trŷ ar ei sawdl, a myntumia fod gan bob dyn hawl i siarad *nonsense* yn achlysurol, ac fod pob dyn wedi gwneyd hyny! Fe fu aml i efrydydd cydwybodol lawer tro yn ymddygnu am oriau er ceisio gwneyd allan ystyr brawddeg ddyrys, ond gyda chymaint o aflwyddiant ag eiddo philosophyddion Laputa pan geisient dynu pelydrau goleuni allan o'r *cucumber*, ac eto yn credu fel hwythau fod y peth yr ymofynai am dano i'w gael, pe yn unig y gallasai ddyfod o hyd iddo; ond fe deimlai y cyfryw foddhâd nid bychan yn y dosbarth pan wnelai Blackie allan naill ai fod y testun yn anobeithiol ddrwg, neu fod yr hen glasur enwog, fel y gweddill o ddynolryw, yn baldordd. Mae yn ddifrifol awyddus i anfon ei efrydwyr allan yn ddynion pur, llafurus, meddylgar, pob un yn benderfynol i wneyd ei ran yn erbyn ffûg a thywyllwch, ac i ymdrechu tuag at ddyrchafu a phrydferthu y natur ddynol yn ol safon gogoneddus ei phurdeb cynhenid. Côf genym unwaith ei glywed yn cloi i fyny anerchiad prydyddol i'w efrydwyr ar ddiwedd tymmor athrofäol, yn yr hwn y rhoisai lawer o gynghorion da iddynt, gyda'r cwplad nodweddiadol yma—

> And finally, be no great man's lackey;
> These are the last words of John Stuart Blackie.

Mae y gyfrol fechan yma yn cynnwys hufen y cynghorion y mae efe drwy y blynyddoedd yn arfer roddi i'r dynion ieuainc yn y Brifysgol. Y mae lawer gwaith hefyd wedi bod yn rhoddi cynghorion cyffelyb mewn cylchoedd eraill. Y maent yn dda dros ben,—yn ddoeth, yn iachus, ac yn ymarferol; ac nid allai ein cyfeillion ieuainc lliosog sydd yn gosod eu bryd ar hunan-ddiwylliad, wneyd yn well na'u "darllain, eu chwilio, a'u dysgu, ac i'w mewn eu mwynhâu." Mae yn dra sicr y byddent o wneyd hyny—o feddwl, a chorff, a moesau,—yn llawer amgenach crëaduriaid.

*The Life and Speeches of the Very Rev.* J. H. COTTON, B.C.L., *Dean of Bangor and Rector of Llanllechyd. With a brief sketch of the period in which he lived, to which is added an Appendix, containing a Chronological List with Biographical Sketches of the Deans of Bangor from* 1162 *to the present time.* Edited by the Rev. WILLIAM HUGHES, Curate of Glasynfryn, Bangor. Bangor: Nixon & Jarvis.

A oes rhywun o glerigwyr y dyddiau diweddaf yma a wnaeth le mor fawr iddo ei hunan yn mharch a chariad y Cymry â'r Deon Cotton? Mae yn sicr na ennillodd un eglwyswr o Sais erioed y lle a ennillodd efe yn mynwes ein cenedl, ac yr ydym yn ammheus a fu yr un Cymro yn y Sefydliad, er y dydd y

tröwyd Mr. Charles o'r Bala allan o hòno, a berchid mor fawr, neu a ymroddodd yn debyg fel y gwnaeth efe i wasanaethu y Cymry. Fe ddaeth i Fangor yn ŵr ieuanc, deg ar hugain oed, ac fe fu yno am 28 mlynedd yn gwasanaethu fel Ficer y plwyf, ac am 24 mlynedd wedi hyny fel Deon yr Eglwys Gadeiriol. Dros y tymmor maith yna o 52 mlynedd, ni chlybuwyd dim am ei gymeriad oedd yn annheilwng o'r swydd bwysig yr ymgymerasai â hi. Yr ydoedd yn foneddwr llednais a thra charuaidd, ac fe ddysgodd y bobl yn dra chyffredinol i edrych arno fel eu cyfaill. Ac yr ydoedd yn ddigon ëang ei galon i allu edrych ar Ymneillduwyr, a hyd yn nôd gweinidogion Ymneillduol, heb osod i fyny attalfûr rhyngddo â hwynt, heb eu gwarthnodi yn dragywyddol fel sismaticiaid, ac heb waeddi yn barhus, "Sefwch hwnt, canys sancteiddiach ydwyf fi na chwi" Nid ydym wrth hyn yn golygu ei fod yn nemawr drychineb i'r Cymry mai yn dra gwahanol y mae ei frodyr yn gyffredin wedi barnu yn addas gwneyd; ond y mae yn sicr fod hyny wedi bod yn drychineb mawr iddynt *hwy*, gan ei fod wedi gwneyd llawer tuag at orphen y rhwyg ag oedd yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan amgylchiadau eraill rhwng y genedl ac Eglwys y Llywodraeth. Nid ymddengys fod gan Cotton, druan, nemawr allu i gydymgais mewn pregethu â'r gallu ag oedd, er ei cfid, yn cadw y bobl o'r llàn; ond mewn pobpeth arall yr oedd ei allu yn fawr iawn; ac fe fu yn ddigon grasol i'w ymarfer am oes faith, er holl ddigalondid aflwyddiant, a hyny yn fynych yn ffafr pobl yr ydoedd yn amlwg yn anobeithiol eu "cael yn ol i gorlan yr Eglwys." Er cymaint eglwyswr ydoedd, yr ydoedd er hyny gymaint yn fwy o Gristion ac o foneddwr fel ag i allu mawrhâu gyda chalon uniawn lafur y rhai y gwahaniaethai mewn llawer o bethau gymaint oddiwrthynt, ac i deimlo tuag atynt fel brodyr yn yr Arglwydd. Ond mae yn ddiammheu mai yn achos Addysg y gwnaeth efe ei wasanaeth mawr i genedl y Cymry. Ac yn hyn fe wnaeth wasanaeth tra phwysig. Fe'i gwnaeth, mae yn wir, fel Eglwyswr, ac mae yn amlwg fod ei synwyr craff yn gweled, tra yr oedd cael y Cymry i'r Eglwys yn anobeithiol bob ffordd arall, y gellid gwneyd llawer mewn cadw y plant a ddysgid yn ei hysgolion, y rhai a orfodid i ddyfod i'r Eglwys ar y Sabbothau. "*Prif amcan ysgolion Eglwysig*," meddai mewn pamphled a gyhoeddodd, o'r hwn y dyfynir yn y llyfr hwn, "ydyw egwyddori y plant yn dda mewn gwybodaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, ac i'w trwytho yn egwyddorion yr Eglwys." Drachefn, "Mae yn ddrwg genyf ychwanegu nad ydyw yr ysgolfeistriaid yn gyffredin yn dueddol i drwytho meddyliau eu hysgolheigion mewn egwyddorion crefyddol, ac uwchlaw y cwbl Eglwysig." Drachefn, "Mae yr Ymneillduwyr yn awyddus i gael gan y Clerigwyr ganiatâu i'r meistr ildio eu hegwyddorion trwy esgeuluso trwytho meddyliau eu plant mewn egwyddorion Eglwysig, a pheidio gofyn ar iddynt fod yn bresennol yn ngwasanaeth yr Eglwys bob Sul. Ond yn sicr ni fydd i'r Clerigwyr ymroddi i'r dynion hyn, na fydd 'dros awr;' ac felly fradychu buddion yr Eglwys i ba un y tyngasant ffyddlondeb, a dwyn plant y tlodion i fyny mewn sism, gan wneyd yr Eglwys yn gymdeithas er lledaenu penboethni crefyddol a pholiticaidd." Mae yn debyg mai prin y gallesid dysgwyl i ŵr hyd yn nôd fel Mr. Cotton anghofio yr Eglwys, pan y gwelai fod ganddo y fath gyfleusdra i'w hattegu trwy beirianwaith effeithiol yr ysgolion dyddiol. Ond yr oedd gofyn am arian yr Ymneillduwyr at adeiladu a chynnal yr ysgolion hyny, a'u cymhell i anfon eu plant iddynt, pan nad oedd nemawr blentyn arall yn yr ardaloedd a allesid gael, a'r cwbl gyda'r amcan mawr—os nad yn y pen draw yr *unig* amcan—o wneyd Eglwyswyr o honynt, yn rhywbeth mor ammheus mewn gonestrwydd fel nad oes dim ond "amseroedd yr anwybodaeth" a ellid ddwyn ymlaen fel esgusawd dros waith gŵr o gymeriad uchel Mr. Cotton yn ymostwng at beth mor annheilwng. Yr ydoedd efe, fel llawer o'i frodyr, yn teimlo anhawsder neillduol i synied fod y gagendor oedd wedi ymagor rhwng y Cymry a'r Sefydliad yn rhy fawr i'w gyfanu; ac am hyny fe olygai, mae yn debyg, fod y dyben yn cyfiawnhâu y moddion yn y fath fodd fel y gellid gwneyd unrhyw beth er dwyn oddiamgylch yr hyn a olygai fel daioni

mor fawr. Mae yn dda fod ein cyfundrefn o addysg genedlaethol erbyn hyn wedi ei sefydlu ar dir mwy cyfiawn, ac nad ydyw cyfundeb sydd yn cael ei gynnal i ddysgu crefydd i'r deyrnas, ond nad oes ond cyfran o honi yn derbyn ei addysg, i gael hawl mwy i wneyd yr ysgolion dyddiol, a hyny ar draul y cyhoedd, yn attegion i Sefydliad sydd yn honcian i'w gwymp. Prin iawn, dybygem, y bu llwyddiant Mr. Cotton a'i gyfeillion mewn gwneyd Eglwyswyr o blant yr Ymneillduwyr yn yr ysgolion yn gyfatebol i'w dysgwyliadau. Ond am yr amcan arall, o roddi addysg i'r plant—er fod yn amlwg oddiwrth y dyfyniadau a wnaethym, mai *israddol* yr edrychai efe ar hyny mewn cymhariaeth i wneyd Eglwyswyr o honynt—fe gyrhaeddwyd hwnw i fesur mawr, ac y mae llawer iawn o'r Cymry dan ddirfawr rwymau i amryfusedd Deon Cotton yn estyn iddynt y fendith o addysg, er i hyny fod yn annigonol i gyrhaedd yr amcan neillduol oedd ganddo ef mewn golwg wrth wneyd y fath beth. Ond y mae dynion da yn well na'u credöau, ac y mae yn amlwg fod y gŵr da yma yn ymdaflu i'w lafur gydag addysg gyda gwir zêl *educationist*, ac yn cael llawer iawn o'i wobr yn ei waith. Y mae ei lythyr ar *Addysg yn Nghymru*, a gyhoeddwyd, dybygid, yn fuan wedi ymddangosiad adroddiad gwŷr y "llyfrau gleision" yn 1847, er nad yw yn wiw gan awdwr y Cofiant wneyd un cyfeiriad at yr amgylchiad, y peth goreu yn y llyfr o ddigon, ac y mae yn dda iawn. Y mae ei ddynoethiad o anwybodaeth a thraha ffôl y dynionach hyny yn alluog a thêg, ac y mae ei sylwadau ar anhawsderau neillduol y Cymry gyda golwg ar addysg yn athronyddol a charedig, yn gystal ag yn gyforiog o *humour*. Dyfynwn y yr engraifft ganlynol:—

"I have given a reason and have made an excuse for the Welsh child in using the letter *k*, when preceding the letter *n*; I wish I could make as good an excuse for certain orders of the English, in the perpetual misapplication of the letter *h*. From this fault (the English shibboleth) the Welsh are entirely free. The Welsh child never perverts the meaning of words, nor alters the sense of passages, by omitting or supplying this letter. In the description of the awards made by Pharaoh to his servants, we are satisfied that the following version is correct, as applying to the chief baker, 'and him he hanged.' I have however heard the following reading in England, 'Han im e anged.' No Welsh child was ever guilty of such a perversion of the account of the baker's fate as would make him worthy of the same. 'Ere is the hare come, let us kill him.' Accustomed as I am to hear the reading of the Welsh children, I confess that I have a prejudice in favour of the *received version*. The Welsh children do not crush *heaven* into *eaven*; nor exalt *earth* into *harth*. They do not mistake the letter *l* for *hell*; nor make an *n* lay *heggs*. They permit the owl to be an owl, since a hoot, not a howl, is its natural cry. Every *horseman* is not a *Norseman* in the esteem of the Welsh child. The substantive *ear* is not the verb *hear* in his parts of speech; nor again, the substantive *eye*, the adjective *high*. Nor is a *high hill* necesarily a *nigh hill*, especially in Wales. * * The Welsh child never yet mistook the letter *a* for dried grass, commonly called *hay*; though I have been told that such a mistake has been made in the neighbourhood of St. James's Park.* The meekest maiden of our Welsh infant schools could not be taught to sympathize with the London hair-dresser, who lamented that the prevailing epidemic was in the *hair*; correcting, however, the mistake to which he had led his companion, by saying, Not the *air* of the *ead*, but the *hair* of the *hatmosphere*. It must be allowed, however, that there is a close connection between the *hair* and the *hat*. In short, the Welsh children dare to say, and do, what the English children can neither say nor do. They can repeat the following well known line:—

How high his highness holds his haughty head.

The boys can leave their houses, and mount their horses, and hunt the hare over the

* An allusion is here made to a work put out by an officer of the Council on Education, in which it was proposed to express the *sound* of the letters by *signs*. In following up the principle, the letter *a* was represented by a cart-load of *hay*.

high hedges, holding their reins in their hands, as they hurry over hill and hollow, hallowing and hooping as they haste the harriers to their home. Nor when they arrive there, are they so hungry as of necessity to *eat* their own pokers, ovens, and tea-kettles. Nor is their larder so lean or so ill stocked with fish, flesh, and fowl, as to constrain them to *eat* their *heels* at the fire, or to *heat* their *eels* upon the table. Their language is not, as it is in *England*, at one time a baseless fabric of a vision which leaves no *h* behind, and at another a baseless fabric which leaves each *h* behind. * *

"In further reference to the misapplication of the letter *h*. I subjoin the following anecdotes :—A gentleman thus addressed his lady at dinner, 'My dear, your soup is *hacid* and your *heels* are greasy.' A churchwarden put the following item in his accounts : 'For *eating* the church.' A lady touring in Wales, took a car to convey her from Llanrwst to Bettwsycoed. One side of the road is bounded by a hedge; on the other is a steep precipice overhanging the Conway. The lady being alarmed when she found herself so close to the edge of the precipice, directed the driver to keep close to the *edge*, meaning the *hedge*. The Welsh driver, conceiving that the English lady must understand her own language, took her direction literally, and persisted in drawing close to the edge, at the same time declaring that he kept as close to the edge as he could, for he was then within a foot of the precipice. The lady, by signs, at length, made him understand that by *edge*, she meant *hedge*. At one of the Oratorios performed at Worcester, one of the gentleman of the Committee, who was notorious for misusing the letter *h*, was present, fulfilling the duties of his office. Madame Caradori Allen, one of the performers, was taken ill, and retired to another room for the benefit of cooler air. The gentleman attended her, and directed that one of the doors should be opened, at the time affirming that Madame C. Allen had no *hair*. The lady, having a little recovered, and finding herself somewhat chilled, the gentleman called out, saying, 'Shut the door there, Madame C. Allen has too much *hair*.' A lady from Lancashire was asked by the gentleman of the house where she dined, what she would eat ? She answered, 'I will take a little *air*," meaning *hare*. The gentleman, taking her at her word, ordered the servant to open the window, and give the lady a little *air*. A gentleman in Berkshire asked his friend why a certain match had gone off ? He answered 'It's owing to the *itch*,' meaning *hitch*. The gentleman mistaking him, asked on which side ? The answer was, 'The lady's ! !' A man of Walsall wrote to his friend at Wolverhampton; and in so doing he omitted the *h* in that word. The man of Wolverhampton asked his friend why he omitted the *h?* He answered that 'he meant to make a present of it, to enable the people of Wolverhampton to spell *hiron!!*'"

Y mae y Cofiant hwn wedi dïogelu cryn lawer o bethau da Deon Cotton, a dyna yn ddiammheu ydyw y peth goreu a ellir ddyweyd am dano. Am yr holl ymdriniaethau a geir ynddo ar sism yr ordeiniad Methodistaidd yn 1811, ar eglwysyddiaeth John Elias, ac ar yr "hwyl" Gymreig, ac amryw bethau eraill nad allwn ni ddyfalu beth allasai fod a fynont â Deon Cotton, y maent,—wel, yn bur ddiniwed.

*Welsh Exercises, adapted to the Third Edition of Rowland's Grammar, with Copious Explanatory Notes.* By the Rev. THOMAS ROWLAND. Bala : Saunderson.

Y mae Mr. Rowland wedi llafurio yn ddyfal i wneyd Gramadeg yr iaith Gymraeg yn ddealladwy i'n cymydogion y Saeson ; ac yn awr dyma iddynt Gyfrol o Ymarferiadau mewn cyfansoddi Cymraeg. Ys dywed yntau, dyma y prawf cyntaf ar wneyd *Welsh Exercises*, a diammheu fod y gorchwyl yn un digon anhawdd. Ond mae yn sicr y byddai gwneyd yn fanwl a ffyddlawn y gwersi a geir yn y gyfrol hon, yn foddion i gynnefino yr efrydydd i raddau helaeth â phriod-ddulliau y Gymraeg. Ymddengys fod yr awdwr wedi ymgymeryd â'r gorchwyl o barotöi yr Ymarferiadau hyn ar gais cyfeillion Saesonig oeddynt

yn awyddus am ddysgu Cymraeg. Mae yn arwydd dda fod y boneddigion hyny yn ymdeimlo â'u diffygion yn hyn o beth. Tra y mae plant Cymru wrth y miloedd yn meistroli y Saesonig, y mae ein cymydogion Saesonig, a hyny pan y mae eu hamgylchiadau yn gwneyd gwybodaeth o'r Gymraeg wrth bob rheswm yn anhebgorol iddynt, yn edrych ar yr orchest o'i meistroli fel peth cwbl anobeithiol. Ac y mae llawer o foneddigion sydd wedi eu magu ynghanol Cymru, ac y mae eu sefyllfäoedd yn galw am iddynt allu siarad iaith y bobl yn dda a chroew, yn ymfoddloni ar hyd eu hoes ar Gymraeg yr ystablau, heb wneyd unrhyw ymdrech i astudio yr hen iaith. Byddai arnynt gywilydd cynanu yn anmhrïodol y geiryn mwyaf dibwys yn yr iaith Saesonig, neu fod yn euog o ddefnyddio geiriau anmhrïodol, neu gyflëu yn anmhrïodol y geiriau a ddefnyddiant. Ond am y Gymraeg ni waeth yn y byd pa fodd y ceisir ei seinio, ac nid ydyw o ddim gwahaniaeth pa fodd y llurgynir ei geiriau ardderchog yn eu brawddegau ysgaprwth. Hyderwn fod adeg yr anwybodaeth gwarthus hwn, mewn personau y gellid dysgwyl pethau gwell oddiar eu llaw, yn prysur fyned heibio. Ac i'r cyfryw nid all dim fod yn fwy gwasanaethgar, yn gyflenwadol i'w hastudiaeth o Ramadeg yr awdwr, ac yn enwedig i ymddyddanion cartrefol â phobl Cymru, na'r Ymarferiadau hyn. Gallai efrydydd Cymreig hefyd eu hastudio gyda llawer o fuddioldeb. Byddai hyny yn feddyginiaeth effeithiol rhag y gwaseidd-dra o lanw ysgrifeniadau Cymreig â phriod-ddulliau Seisonig,—drwg sydd yn ymdaenu arnom y dyddiau hyn i raddau mawr; ac agorai lygaid llawer un, sydd eto mewn tywyllwch, i'r ffaith fod y Gymraeg yn gyfoethog mewn prïod-ddulliau cynhenid o rym a phrydferthwch neillduol.

*Cerddor y Deml: sef casgliad o Emynau Temlwyr Da, wedi eu trefnu at hen Alawon Cymreig.* Gan y Parch. J. Eiddon Jones. Wrexham: Hughes.

Llyfryn tlws a phwrpasol iawn; *y* peth ag yr oedd cyfrinfäoedd y Temlwyr Da yn gyffredinol yn teimlo mawr angen am dano. Hyderwn y byddant oll yn flaenllaw i'w fynu, ac y bydd defnydd mawr yn cael ei wneyd o hono yn yr holl gyfarfodydd. Camgymeriad dybryd ydyw cânu pennillion trymion, a hyny ar dônau llusgedig a marwaidd, mewn cynnulliadau cymdeithasol dyddan fel eiddo y Temlwyr Da. Ac ni wyddom am un defnydd gwell a ellid wneyd o hen alawon ardderchog ein gwlad na'u defnyddio i wasanaethu yr ymgyrch egnïol sydd yn awr yn cael ei gario ymlaen yn erbyn anghymedroldeb. Y mae hefyd yn dra ffodus fod genym gymaint o farddoniaeth dda at ein gwasanaeth gyda'r amcan yma. Y mae Mr. Jones wedi gwneyd gwasanaeth tra gwerthfawr wrth barotöi y llyfr hwn, ac y mae Mr. Hughes wedi ei ddwyn allan yn ddestlus iawn. Dysgwyliwn y bydd galw am dano mewn rhwymiadau prydferth, ac y gwna le iddo ei hun yn ffafr miloedd lawer.

TREFFYNNON: P. M. EVANS, ARGRAFFYDD.

# Y TRAETHODYDD.

## YR ATHRAWIAETH O DRAGYWYDDOL GOSP.

*Everlasting Punishment and Modern Speculation.* By the Rev. WILLIAM REID, Lothian Road Presbyterian Church, Edinburgh. Edinburgh: Oliphant & Oo.

*The Doctrine of Eternal Punishment vindicated against Recent Attacks. A Tractate.* By the Rev. PROFESSOR WATTS, D.D., Assembly College, Belfast. Belfast: Mullan.

*Life in Christ only.* By EDWARD WHITE. London: Clarke & Co.

*Life and Death: a Reply to Certain Statements of Mr. Spurgeon, Mr. Rogers, and Dr. Angus.* By EDWARD WHITE, Author of "Life in Christ only." London: Elliot Stock.

*The Perishing Soul: or the Scriptural Doctrine of the Destruction of Sinners, with a View of Ancient Jewish Opinion and Christian Belief during the First and Second Centuries.* By J. M. DENNISTON, M.A.

*The Second Death and the Restitution of all Things, with some Preliminary Remarks on the Nature and Inspiration of Holy Scripture.* A Letter to a Friend. By ANDREW JUKES.

YR ydym yn ofni fod rhyw feddalwch yn ysbryd ein hamseroedd sydd, i fesur mawr, yn andwyol i ŷni ein hargyhoeddiadau gyda golwg ar y cwestiynau mwyaf pwysig; ac sydd hefyd yn peri fod llawer, er, fe allai, yn ddiarwybod iddynt eu hunain, yn llithro i fath o anffyddiaeth ymarferol, tra yn parhâu o fewn cylch o arferion a ffurfiwyd, o bosibl, gan grediniaeth fyw. Rywfforddd, yr ydys mewn llawer cylch wedi dyfod i gymeryd yn ganiatäol, fel y cwynai Esgob Butler am ei ddyddiau ef, nad ydyw y pethau sydd, os yn rhywbeth, o annhraethol ddyddordeb, yn meddu unrhyw hawl arbenig ar sylw y byd. A nid yn unig hyny, ond y mae gwneyd yn ddibris o honynt, ac yn e wedig meiddio eu gwadu, wedi dyfod yn ffordd esmwyth i ddynion nad ydynt hynod ond am eu heiddilwch, i hòni iddynt eu hunain y cymeriad o annibyniaeth a glewder fel meddylwyr cryfion a gwreiddiol. Mae yn ddïau mai yr achos mawr o hyn oll ydyw anghrefydd ein hamseroedd.

Y mae y byd hwn, gyda'i deganau a'i freuddwydion, wedi llyncu meddwl dynion i'r fath raddau, fel na fynant gymeryd hamdden gymaint ag i ystyried pa un a allai fod rhywbeth ai peidio yn ystori aruthr y fuchedd dragywyddol. Fel achosion eilraddol, y mae amryw bethau eraill y gellid eu cymeryd i'r cyfrif sydd wedi gwneyd eu rhan tuag at ddwyn dynion i'r ystâd y maent ynddi yn bresennol gyda golwg ar y pethau mwyaf eu pwys. Mae yn debyg fod y dadleuon duwinyddol a ffynent mewn amser a aeth heibio, er eu holl wasanaeth yn mlaenllymiad meddyliau dynion, ac yn nadblygiad eu dirnadaeth o'r efengyl, wedi peri gwrthweithiad sydd yn dra annymunol. O ofalu yn orfanwl am bobpeth, ac edrych ar bob pwncyn fel caer dïogelwch holl ddinas Duw, ac yn enwedig o ymollwng yn ngwrês zêl, nad oedd yn cael ei thymheru gan ddoethineb a chariad, i gondemnio mor ddiarbed bawb na chymerent yr un golygiadau, yr ydys wedi dyfod i feddwl nad oes nemawr bwys yn yr un o'r pynciau; ac er mwyn bod yn berffaith sicr o ochel anwedd-eidd-dra yr *odium theologicum*, dygasedd y dadleuon, yr ydys wedi darganfod mai yr athroniaeth uchaf ydyw bod fel Galio, heb "ofalu am ddim o'r pethau hyny." Mae y cwbl yr un mor wir neu yr un mor anwir,—yr un a fynoch! O uchder y tawelwch philosophaidd hwn yr ydys yn edrych gyda chryn radd o ddirmyg ymffrostus ar ffwdan a phenbleth y tadau, pan, gyda'r fath ddifrifwch ymroddgar, yr oeddynt yn ceisio ymgyrhaedd at ddirnadaeth o'r gwirionedd. Mae yn ddiam-mheu hefyd, fod y lle mawr y mae efrydiau gwyddonol wedi gael yn ddiweddar yn meddwl y deyrnas hon wedi cael effaith yn yr un cyfeir-iad. Nid ymroddwyd yn holl hanes ein gwlad fel y gwnaed yn y blynyddoedd diweddaf i gael allan gyfrinion y byd gweledig; ac y mae y llwyddiant a fu ar ymdrechion dynion yn hyn wedi bod yn deilwng o'u llafur. Y mae darganfyddiadau o ddirfawr werth a dyddordeb wedi eu gwneyd; ac y mae y rhai hyny, heblaw ehangu terfynau ein gwybod-aeth, a gwneyd dyn, i raddau mwy o lawer nag erioed, yn "fesur y grëadigaeth," hefyd wedi dwyn gyda hwynt gyfoeth o fanteision ag sydd wedi peri cymaint chwyldröad yn ein bywyd cymdeithasol â rhoddi yn llaw y werin foethau a chysuron nad oeddynt, ychydig amser yn ol, yn gyrhaeddadwy ond i dywysogion. Ac y mae hyn wedi cael effaith annymunol mewn dau gyfeiriad gyda golwg ar efrydiaeth y Dadguddiad Dwyfol. Y mae balchder doethineb, wrth deimlo fod Natur yn ildio ei dirgelion i ymchwiliad dyn, a'i fod yntau yn gallu mapio y cyfryw, a'u gosod yn drefnus a hylaw o flaen ei lygad, yn dyfod i deimlo yn dra anniddig wrth wynebu efrydiau sydd i gyd yn terfynu mewn anfeidrol ddirgelwch; ac am hyny nid ydyw yn anhawdd eu gadael oll o'r neilldu, a myned ymlaen gyda'r llafur sydd yn addaw mwy o ffrwyth ar y pryd: ac o ymgaredigo fwyfwy â hwnw, nid ydyw yn rhyfedd fod y gwyddon yn cael ei lyncu ganddo, ac yn dyfod o'r diwedd i ddiystyru fel chwedlau a breuddwydion yr oll a ymgynnygio i feddwl dyn nad ellir ei olygu, chwedl Bacon, yn "ddëongliadaeth natur." Ac o'r ochr arall, y mae dynion, wrth weled fod prophwydi gwyddoniaeth yn gallu cynnyg iddynt y fath wybodaeth gryno, sicr, a dealladwy, ac ynglŷn â hyny, y fath fanteision gyda golwg ar y fuchedd hon, yn gwrando yn ewyllysgar arnynt, ac yn dyfod fel hwythau i deimlo mai y ffordd yna y mae "pobpeth dyn." Yn ychwanegol at y pethau a grybwyllwyd, y mae y

llwyddiant digyffelyb sydd wedi bod ar y deyrnas hon, yn y blynyddoedd diweddaf, wedi cael ei effaith naturiol ar ei phreswylwyr, trwy beri iddynt "anghofio Duw," a theimlo fod pobpeth yn bwysig ond gwirioneddau yr efengyl. Y mae eu moethau a'u pleserau yn ddiammheuol werthfawr; a pha fodd y gellir cael eu sylw at bethau sydd nid yn unig mor gwbl wahanol i'r rhai hyny, ond sydd hefyd yn eu condemnio fel rhysedd, ac yn bygwth dyfodol mor druenus iddynt hwythau pan yn byw i'w mwynhâu? Y mae lliaws yn Mhrydain heddyw, dan ddylanwad ystyriaethau o'r fath a grybwyllwyd, wedi cefnu yn gwbl ar Dduw. Ystyrient y byddai yn ddarostyngiad arnynt feddwl am fyned i'w dŷ, a chymeryd rhan yn ei wasanaeth; ac ni fynent gael eu hystyried fel yn darllen y Bibl o gwbl, oddieithr i amcanion beirniadol, neu er mwyn ei lênyddiaeth. Ac y mae lliaws eraill, heb fyned mor bell, ond ar y llithrigfa, ac yn myned yn yr un cyfeiriad, ag y mae yn rhaid *lleddfu* yn ddirfawr yr hen athrawiaethau cyn y galiant roddi iddynt unrhyw ystyriaeth. Pa beth yw yr athrawiaethau ond mympwyon yr ysgolwyr a breuddwydion y duwinyddion? *Bywyd* ydyw eu pwnc mawr hwy. Y maent yn sicr fod hwnw yn *gariad* difesur ac yn *ddaioni* didrai i bawb a thuag at bobpeth. A thrwy dân i'r Moloch yma o ddychymyg am gariad a daioni y maent wedi osod i eistedd yn nheml Dduw, ac yn eu perswadio eu hunain mai Duw ydyw, nid ydyw yn ormod ganddynt aberthu y byd hwn a'r byd a ddaw. Sôn wrthynt *hwy* am uffern, a chospedigaeth dragywyddol? Mae y fath syniadau barbaraidd wedi hen fyned o'r ffasiwn, ac nid ydynt, o angenrheidrwydd, gymaint ag i'w crybwyll mwyach! Y mae eraill hefyd, tra yn gyfeillion i'r gwirionedd, eto wedi eu gwanychu yn gymaint gan yr awyrgylch y maent yn byw ynddi, fel y maent yn rhyw synio mai pethau i'w crybwyll yn gynnil ac i'w trîn yn hynod o lednais ydyw y pethau y mae doethineb y byd hwn yn teimlo mor dramgwyddus gyda golwg arnynt. Ac nid ydym heb ofni fod llawer o'r gwrthwynebiad a deimlir gan rai dynion da i'r hyn sydd yn ymddangos i'r byd Cristionogol yn gyffredin fel athrawiaeth y Bibl ar gospedigaeth gelynion Duw yn y byd arall, yn codi oddiar beth tebyg.

Yr ydym oll yn teimlo fod meddwl am y gospedigaeth hono yn orchwyl rhyfeddol o boenus. Pa fodd bynag y gellir eu hesbonio, y mae yn amlwg fod y Gair sanctaidd yn pentyru y desgrifiadau mwyaf arswydus wrth ddangos tynged pechaduriaid anedifeiriol yn y byd a ddaw. Y maent yn cael eu "bwrw i'r tywyllwch eithaf, yno y bydd wylofain a rhincian dannedd;" "nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'u tân yn diffodd;" y maent yn "dyoddef yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol, oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef;" y mae "mŵg eu poenedigaeth hwy yn myned i fyny yn oes oesoedd, ac nid ydynt hwy yn cael gorphwysdra ddydd na nos;" fe roddir iddynt "gwpan gwîn digofaint ei lîd Ef;" y maent yn "myned i gospedigaeth dragywyddol;" ni ddeuant allan o'n carchar ofnadwy "hyd oni thalant, ïe, yr hatling eithaf;" fe'u "poenir ddydd a nos, yn oes oesoedd." Pe gallem deimlo yn hyderus ein bod ni ein hunain yn ddïogel rhag y trychineb o syrthio i'r golledigaeth ofnadwy yma—ac y mae cyrhaedd hyny yn fater o ddirfawr anhawsder!—eto y mae y syniad o'n bod yn byw mewn byd lle y mae miloedd lawer, miliynau,

yn wir, mwyafrif anferth ei boblogaeth am lawer o oesoedd—beth bynag am y cyfanrif yn y diwedd—yn arwain bywyd sydd, yn ol tystiolaeth y Gair ei hunan, yn rhwym o'u dwyn i dragywyddol ddistryw,—y mae y syniad am y fath beth *yn pwyso ar ein hysbryd fel caddug.* Yn nyfnder y tywyllwch mawr ni ellwch weled pelydr o oleuni yn dragywydd. Ac fel i ragflaenu yr ysfa a deimlai dynion i geisio eu perswadio eu hunain nad ydyw trychineb yr anobaith mor fawr ag y gellid meddwl, fe ymddengys fod y gofal mwyaf wedi ei gymeryd i ddangos ei fod, nid yn unig mor ofnadwy, ond yn annhraethol fwy felly nag y gall calon dyn byth amgyffred. Pa ffugyrau bynag sydd gryfaf i ddangos anobaith a thrueni, y mae y rhai hyny yn cael eu byddino ger ein bron, a'u gosod ynghyd mewn anorchfygol nerth i ddangos mor erchyll raid fod y llid a fydd. Fe olygir fod y Testament Newydd, o'i gymharu â'r Hen Destament, wedi dwyn oddiamgylch oruchwyliaeth "gras," a'i fod drwyddo yn llwythog o Ddwyfol gariad; ac eto y mae yr *uffern* sydd yn dyfod i'r golwg ynddo yn annhraethol fwy ofnadwy na dim y cyfeirir ato yn yr Hen Destament. Ac o bawb yn y Testament Newydd, ni lefarodd neb y fath ymadroddion cariadlawn â'r Un mawr y "tywalltwyd gras ar ei wefusau;" ac eto o'i enau *Ef* y ceir y desgrifiadau mwyaf ofnadwy, y tu hwnt i bob cymhariaeth, o'r digofaint sydd ar ddyfod; ac y mae y desgrifiadau hyny yn cael eu mynychu yn aml, aml, ac yn cael eu gosod ger bron mewn pob dull o ymadroddi a allai ddangos y dyfnder mwyaf o ddifrifwch, a hyny gan Un a fyddai yn pwyso ei eiriau gyda gochelgarwch na ddangoswyd ei gyffelyb gan neb a fu yn siarad iaith ddynol erioed. Y mae Efe ei hun fel pe byddai wedi gwneyd yr oll oedd o fewn ei allu i ddangos nad oes obaith am ddyn yn nystryw. Fel yn ngweledigaeth Dante, y mae porth y carchar yn dadgan,—

A ddelo yma na obeithied mwy.

Ac nid ymddengys fod yr un o'r dynion sanctaidd a ddefnyddiwyd gan Grist fel cyfryngau i ddadguddio ei feddwl yn fwy cyflawn i'r byd, wedi meiddio rhoddi un awgrym y gellid, gydag unrhyw degwch, gasglu ei fod yn lleddfu dim ar ei ddadganiadau mawrion Ef gyda golwg ar ddyfodol ei elynion. Fe ymddengys fod yr holl Ddadguddiad Dwyfol wedi crynhöi o amgylch y mater ofnadwy yma bob düwch o anobaith ag y gellid meddwl am dano, a thrwy hyny yn gosod dynion yn ddifrifol ar eu gocheliad rhag breuddwydio am oleuni lle na osododd yr Anfeidrol ei hun ond "niwl tywyllwch yn oes oesoedd."

Ond er y cwbl y mae y cwestiwn, Ai tybed fod pethau mor ddrwg a hyny, yn meddu rhyw gyfaredd neillduol ar feddyliau dynion. Mae y gospedigaeth mor aruthrol fawr, ac heb fod byth, byth, i ddarfod; y mae y pryfyn sydd yn pechu mor ddiddym o'i gymharu â'r Un mawr sydd yn deffro ei lidiawgrwydd yn ei erbyn, ac yn tywallt arno angerdd ei lîd; ac y mae mynyd fèr ei hanfodiad yn y byd hwn mor gwbl ddiflanedig o'i chymharu â thragywyddoldeb ei boenydiad; ac yn enwedig, y mae yr holl athrawiaeth yn ymddangos mor anghydweddol â chymeriad yr Hwn sydd gyfoethog—ac mor gyfoethog!—o drugaredd. Nid ydyw yn rhyfedd fod dynion yn dychwelyd drachefn a thrachefn at y tystiolaethau, ac yn ymofyn yn bryderus a ydynt yn cael eu dehongli yn

brïodol? Ai fel y mae yr eglwys yn gyffredinol, trwy yr oesoedd, wedi cymeryd yn ganiatäol wrth ddarllen y geiriau mawrion, y maent, mewn gwirionedd, i'w cymeryd? Y mae yr holl athrawiaeth, o angenrheidrwydd, yn fater dadguddiad; ac fe gytuna pawb fod dealltwriaeth brïodol o honi, can belled ag y mae hyny yn gyrhaeddadwy o gwbl, yn ymddibynu ar ein dëongliadaeth o'r adnodau hyny yn yr Ysgrythyrau sydd yn cyfeirio ati. Os gwedir Dwyfoldeb yr Ysgrythyrau, y mae yr holl ymgyrch yn cael ei newid i bwynt arall; ond tra y byddom yn cydnabod awdurdod anffaeledig y dadganiadau ar y mater a geir yn y Gair sanctaidd, mae yr holl ymofyniad yn cael ei gyfyngu i'r ymgais o gael allan ystyr y dadganiadau hyny. Mae yn wir fod ein *teimladau* yn hynod o fywiog mewn achos o'r fath yma, ac yn flaenllaw mewn hòni llais yn nyfarniad y cwestiwn dyrys; ond nes y profer mai ein teimladau ni ydyw safon tragywyddol reswm, a rheol dyfarniadau yr Hwn a "farna y byd mewn cyfiawnder, trwy y Gwr a ordeiniodd efe," y maent hwy, yn sicr, i'w gadael o'r neilldu, ac yr ydym ninnau, yn arbenig yn y fath achos a hwn, i ystyried yn unig "beth a ddywed yr Arglwydd Dduw."

Y ddau brif olygiad y mae dynion, wrth geisio gochel yr hyn a ymddengys fel athrawiaeth amlwg y Bibl ar y mater yma, wedi cael eu meddyliau yn gogwyddo iddynt, ydynt, yn gyntaf, Y bydd *adferiad* cyffredinol ar y colledigion, mewn rhyw adeg neu gilydd, i ffafr Duw, ac felly i fythol wynfyd; neu, yn ail, Y bydd eu dinystr yn *ddifodiad* arnynt. Y mae llawer o amrywiaeth yn y golygiadau a gymerir dan y naill a'r llall o'r casgliadau uchod, yr hyn ynddo ei hun sydd yn gydnabyddiaeth groew o ansicrwydd hollol yr amcandybiau yr ymollyngir iddynt; ond y mae y gwahanol olygiadau yn gyffredin yn cymeryd eu lle dan y naill neu y llall o'r tybiau a grybwyllwyd.

Y mae y meddwl yn dygymmod yn hyfryd â'r syniad o ADFERIAD CYFFREDINOL. Mae y teimlad o gyfiawnder yn cael ei foddhâu yn y syniad fod cospedigaeth am bechod yn cael ei gweinyddu; ac o'r ochr arall, y mae y teimlad sydd yn ymgodi yn y fath wrthwynebrwydd i i doster dialedd diddarfod, yn cael ei leddfu yn yr olwg ar derfyn i'r dialedd hwnw, a therfyn sydd yn dyrchafu y truan a boenydir i wynfyd didranc. Ymddengys mai y cyntaf o ddim nôd i ddysgu yr athrawiaeth yma ydoedd Origen, yn y drydedd ganrif. Yr oedd ganddo ef y fath syniadau am Dduw, am gospedigaeth fel nerth adferol, am ryddid yr ewyllys fel yn abl i alluogi dynion, hyd yn nôd yn uffern, i benderfynu dychwelyd at yr Arglwydd, ac yn enwedig am allu Crist i ddarostwng pobpeth dan ei draed, a hyny i amcanion uchaf trugaredd, &c., fel y golygai adferiad cyffredinol fel nôd eithaf goruchwyliaethau Duw at ei elynion hyd yn nôd yn nystryw. Nid oedd Origen yn enwog am ei resymeg; yn hytrach fe'i cymerid ymaith gan ei ffansi, a gallai, nid yn anfynych, pe gofynasid iddo i ba le yr oedd yn myned, ateb, gan gyfeirio at y gallu a'i cipiai, fel y bachgen yr oedd y ceffyl yn ei redeg, ac mewn atebiad i ymofyniad cyffelyb gan rai o'i ffryndiau a ddywedai, "Gofynwch iddo fe." Mae ei feirniadaeth ysgrythyrol, pan yn ceisio cadarnhâu ei ddychymyg âg adnodau o'r Bibl, o'r fath fwyaf plentynaidd. Yn wir, yn ol y dull y mae yn dyfynu ei brofion ysgrythyrol, gellid penderfynu nad oes dim y gall dyn feddwl am dano nad allai ei gadarnhâu âg

unrhyw adnodau a ddygwyddont fod nesaf i law. Y mae yn deilwng o sylw hefyd, fod Origen yn ymdeimlo yn ddwys â'r perygl oedd yn ei olygiad, ac yn caniatâu fod credu y "twyll" oedd yn athrawiaeth y Bibl ar y mater—canys nid oedd yn bosibl ammheu fod yr adnodau yn llawn o gospedigaeth dragywyddol—yn llawer mwy dïogel, nag ymddyrysu gyda chywreinrwydd ei amcandyb ef. Ymddengys mai tipyn o ddyfais ddiniwed gan yr Anfeidrol oedd cyhoeddi cosp ddiddarfod am bechod, ac yn cael ei chymeryd i fyny er mwyn buddioldeb yr effeithiau a gynnyrchai! A chwyna Origen fod llawer o ddynion doeth, neu a dybient eu hunain felly, ar ol dirnad y gwirionedd am y cospedigaethau Dwyfol, a bwrw ymaith y twyll, wedi ymollwng i fywyd pechadurus, ac y buasai yn llawer gwell iddynt gredu yn nhragywyddoldeb poenau uffern. Y mae Bushnell, yn ei draethawd *On Vicarious Suffering*, ar ol gwrthbrofi athrawiaeth yr Iawn, yn cydnabod nad oes dim arall wedi y cwbl a dâl ei bregethu i'r byd. Mor ddyeithr na thâl y gwirionedd, beth bynag a fyddo, i'w bregethu; fod yr Anfeidrol ddoeth wedi bod mor anghelfydd wrth ddadguddio ei feddyliau, fel y mae i'w ddeall, nid yn ol yr hyn y mae drachefn a thrachefn a chyda'r difrifwch mwyaf yn ei ddywedyd, ond yn gwbl i'r gwrthwyneb; ac fod sefyllfa y byd mor andwyol druenus fel nad yw yn bosibl i Dduw y gwirionedd ei hunan gael dim trefn arno ond trwy bregethu celwydd! Ymddengys fod y golygiad y cyfeiriwn ato gyda golwg ar dragywyddol gosp, yn cael ei goledd hefyd gan Clement o Alexandria, gŵr o'r un cyfnod a pherthynol i'r un ysgol o feddylwyr âg Origen. Fe geir fod ychydig eraill, megys Didymus o Alexandria, a Gregory o Nyssa, yn barnu yn debyg. Ond yr oedd corff yr eglwys y pryd hyny, a thrwy yr oesoedd, fel yn awr, yn cymeryd dadganiadau y Gair yn eu hystyr naturiol amlwg, ac yn golygu fod y gosp yn dragywyddol. Yn ddiweddar iawn—yn mron yn gwbl yn ein dyddiau ni—y mae y syniad o adferiad cyffredinol wedi ennill dim lle yn meddyliau dynion. Bid sicr, nid yw hyny, ynddo ei hun, yn ddadl yn erbyn y golygiad, canys y mae llawer o'r prif athrawiaethau ar ryw adeg neu gilydd wedi cymeryd eu lle yn meddwl yr eglwys fel darganfyddiadau, er eu bod yn gorwedd yn y Gair o'r dechreuad, fel y mae y naill seren ar ol y llall yn eu hamlygu eu hunain i wyddoniaeth, er eu bod yn yr ehangder er crëadigaeth y byd. Ond pan hònir i gynifer o fympwyon diflanedig y pwysigrwydd o ddarganfyddiadau, y mae yn rhesymol iawn i ni brofi y "darganfyddiadau," a mŷnu boddlonrwydd am eu dilysrwydd; ac yn enwedig pan ddygir ger ein bron olygiad a allai brofi o bwysigrwydd ymarferol dirfawr, ïe, alaethus, ar dynged y byd. Yr ydym yn gwybod yn dda am y "pethau mawrion" y mae amddiffynwyr y golygiadau y cyfeiriwn atynt yn arfer "ymffrostio;" ond y mae pob rhodres ynfyd yn myned yn annhraethol ddibwys yn ein golwg pan yr ydym yn ceisio chwilio am le i roi ein troed i lawr y gallem fod yn weddol dawel am ei ddïogelwch, ac yn neillduol felly pan deimlwn ein bod yn sefyll yn ymyl difancoll.

Y mae llawer o bethau yn cael eu dwyn ymlaen fel *rhesymau* o blaid y golygiad o adferiad cyffredinol. Yn un peth, fe ddadleuir fod y fath ddirfawr anghyfartaledd rhwng cosp dragywyddol a throsedd dyn. Fe olygir fod yr anghyfartaledd hwnw yn ddyblyg, *tragywyddol* gosp am weithred a gyflawnwyd mewn adeg mor fèr, a chosp mor *fawr* am

weithred mor fechan. Y mae rhywbeth yn ymddangosiadus yn yr wrthddadl hon; ond wedi y cyfan nid ydym yn teimlo fod yn bosibl iddi ddal y pwysau a osodir arni. Mae yn amlwg fod yr holl fater yn un y mae yr anhawsder mwyaf ar ein ffordd ni i allu ymresymu yn ei gylch o gwbl, gan mor brin ein defnyddiau, ac mor fychain, os nad dirywiedig, ein galluoedd. Ond er hyny nid ydym heb allu gweled fod mawredd neillduol wedi ei osod ar ddyn, yr hyn o angenrheidrwydd a esyd fawredd cyfatebol ar ei dynged. Y mae wedi ei grëu ar ddelw Duw; wedi ei fwriadu i'w ogoneddu trwy fywyd o ymgysegriad i'w wasanaeth; yr oedd ffynnonau ei wynfyd ynddo Ef yn y fath fodd fel yr oedd cwbl y Duwdod mawr yn eiddo iddo; ac yr oedd yr holl ddaioni yma ganddo fel etifeddiaeth dragywyddol. Ac er iddo trwy bechod golli y cyfan, a syrthio i ddwylaw marwolaeth, eto fe feddyliwyd am gynllun i'w adferu, sydd, a dyweyd y lleiaf, yn dangos mor ddwfn y teimlid drosto gan yr Hwn y pechodd yn ei erbyn. Fe aeth Jehofah ei hunan *i anfeidrol draul* mewn trefn i allu cynnyg iddo fywyd; ac y mae y waredigaeth, nad allesid ei chynnyrchu ond gan anfeidrol gariad, yn cael ei chynnyg iddo trwy ei ddydd o ras gyda difrifwch, a thaerineb, a dwyfol haelfrydedd, sydd yn peri i ni ymgolli mewn syndod uwch ben y cwestiwn, Paham yr ymdrafferthai y Mawredd yn gymaint gyda helynt dyn? "Pa beth yw dyn i ti i'w gofio? a mab dyn i ti ymweled âg ef?" Ac os yw dyn yn wrthddrych ag y mae cariad Duw wedi myned i'r fath draul a gwneyd y fath ymdrech er mwyn ei gadw, ac er y cwbl yn defnyddio y gallu o rydd ewyllys a roddwyd iddo gan ei Grëawdwr i benderfynu sarhâu ei holl raslonrwydd, ac ymdaflu i wasanaeth pechod ac i freichiau y diafol, ai peth i fyned heibio iddo yn ddisylw yn llywodraeth Duw ydyw drygioni felly? Os ydyw y Tragywyddol i gadw yn ei law ei hun awenau ei lywodraeth, a chadw ei grëadigaeth fawr rhag myned yn chwalfa a thryblith, mae yn rhaid iddo, dybygem, osod rhyw derfynau ar rwysg pechod; ac yn sicr nid ydyw yn ormod iddo ddangos ei anfoddlonrwydd o hono trwy ei ddilyn â chosp fawr. "Pa faint mwy cospedigaeth, dybygwch chwi, y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y grâs?" "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Ac am fod cosp o'r fath faith barhâd yn dilyn troseddu einioes fèr, mae yn amlwg, yn un peth, nad ydyw drygioni gweithred yn ymddibynu ar yr amser a gymerir i'w chyflawni; canys fe all gweithred amrantiad grynhöi iddi ei hun gymaint o ddrygioni ag y mae yn bosibl i weithredydd moesol ei arddangos yn ei holl fodolaeth: ac nid ydyw fod gweithred mynyd yn dwyn gyda hi yn anocheladwy drueni a dyoddefaint sydd yn ymestyn dros yr holl einioes, ond peth a welwn yn cymeryd lle yn y byd yma yn barhäus. Y mae dynion o hyd wrth ymguro yn erbyn yr anhawsderau mawrion hyn yn anghofio fod y fath beth a phechod yn bod. "Caniatâu fod ffyrdd y byd yn ddrwg," meddai Carlyle, "ac nid yn ffyrdd Duw y Gwneuthurwr, ond Satan y Dinystrydd, lawer o honynt, ac y rhaid eu gwella neu y byddwn oll farw; ac os oes anferth drueni yn ffynu, fod anferth lyfrdra, twyll, anffyddlondeb, anghyfiawnder cyffredinol uchel ac isel, wedi ffynu lawer yn hwy: dyna beth na feddyliodd yr un diwygiwr gweledig am ei

wneyd eto." Llefarai efe fel yna mewn cyfeiriad at y "dyngarwch" sydd yn gallu edrych yn ddigon didaro ar dlodion rhinweddol yn ymladd yn erbyn y diafol, ond yn mynu arllwys ei diriondeb yn ddiderfyn ar ddrwgweithredwyr. Bid sicr, y mae drwgweithredwyr eu hunain yn teimlo fod eu cospedigaeth yn hynod o galed, ac y mae pobl i'w cael a edrychant ar y carcharorion "dyddorol," neu "druain," neu "anffodus," gyda thosturi a chydymdeimlad sydd, os ydyw hyny yn rhywbeth, yn ogoniant i'w meddalwch, ond yn wadiad o'u dynoliaeth. Y mae y byd wedi ei ddysgu gan hir brofiad nad oes dim i'w wneyd â dynion sydd yn gosod eu holl ymadferthoedd ar waith i ddinystrio cymdeithas, ond eu cospi; a gwae ni os awn byth i deimlo fod unrhyw esgusawd yn ddyledus oddiarnom pan yn gwneyd hyny. Yr unig atebiad a ellid wneyd i unrhyw appêl oddiwrth neb o'r fath ydyw dywedyd yn ngeiriau Carlyle:—"Ddyhiryn, yr ydym yn dy gashâu; ac yn cael am ryw chwe' mil o flynyddoedd bellach, y gelwir arnom gan yr holl Fydysawd i wneyd hyny. Nid â chasineb diaflaidd ond dwyfol. Y mae Duw ei hun, yr ydym bob amser wedi deall, yn 'cashâu pechod,' gyda'r casineb mwyaf didwyll, nefol, a thragywyddol. Casineb a gelyniaeth ddyeiriach, anghymodlawn, a ŷr y diffeithddyn, a'r holl ddiffeithddynion yn y pen draw i ddiddymiant du a diflaniant. Mae llwybr ei elyniaeth fel llwybr cleddyf tanllyd: gall yr hwn y mae llygaid iddo ei gweled, yn rhodio yn ddyeiriach, yn ddwyfol brydferth a dwyfol ofnadwy, trwy dryblith Hanesiaeth Ddynol, a phob amser yn llosgi, fel â thân anniffoddadwy, y gau a'r teilwng o farwolaeth, oddiwrth y gwir a'r teilwng o fywyd; gan wneyd holl Hanesiaeth Ddynol, a Bywgraffiad pob dyn, yn Fyd Duw, ac nid yn Dryblith y Diafol. Felly y mae, yn y pen draw; felly i bob dyn sydd yn ddyn, ac nid yn fwystfil terfysglyd, a chanddo lygaid i weled. I ti, ddyhiryn, yr oedd ac y mae y pethau hyn yn gwbl anghredadwy; i ni y maent yn rhy ofnadwy o sicr,—Deddf Dragywyddol y Bydysawd hwn, pa un bynag a fydd i ti ac eraill gredu neu anghredu. Rhag bod yn gyfranogion â thi yn dy anturiaeth ddinystriol o *feiddio* Duw a'r holl Fydysawd, ni ryfygwn ni ganiatâu i ti aros yn hwy yn ein plith. Fel enciliwr amlwg o'r rhengau lle y mae pob dyn, dan boen ei dragywyddol berygl, yn rhwym o fod: enciliwr amlwg, wedi dy gymeryd gyda'th law yn goch yn ymladd fel hyn yn erbyn yr holl Fydysawd a'i Ddeddfau, yr ydym ni—yn dy ddanfon yn ol at yr holl Fydysawd, yn dy ddiarddel yn ddifrifol o'n cymundeb; ac yn enw Duw, nid gyda llawenydd ac ymffrost, ond gyda thristwch tost fel yr eiddot tithau, ni a'th grogwn fore dydd Mercher nesaf, ac felly derfynu." Os ydyw llais tragywyddol gyfiawnder mor amlwg yn y byd hwn, ac fel y mae yn llefaru yn rheswm a chydwybod dyn pechadurus, onid ydyw yn rhesymol iawn i ni ddysgwyl y bydd yn annhraethol fwy felly yn ngoleuni pur y byd a ddaw, ac fel y bydd yn dyfod i'r golwg yn nyfarniadau y "Barnydd cyfiawn" ei hunan? Y mae pechod yn beth ag yr ydym ni yn naturiol yn teimlo tuag ato dynerwch mawr. Cyn y gallwn ddirnad ei fawr ddrwg, mae yn rhaid i ni, fel y dywed Richard Baxter yn ei *Alwad i'r Annychweledig*, "amgyffed, (1.) ardderchawgrwydd yr enaid, y mae yn anffurfio; (2.) ardderchawgrwydd sancteiddrwydd, y mae yn ddileu; (3.) rheswm ac ardderchawgrwydd y gyfraith, y mae yn droseddu; (4.) ardderchawgrwydd y

gogoniant, y mae yn ddiystyru; (5.) ardderchawgrwydd a lle y rheswm, a sathra dan draed; (6.) ïe, amgyffred anfeidrol ardderchawgrwydd, gallu, a sancteiddrwydd y Duw yn erbyn yr Hwn y mae yn cael ei gyflawni." Y mae dynion weithiau yn y byd yma yn cael rhyw olwg wan ar fawr ddrwg pechod; a phob amser pan y mae hyny yn cymeryd lle, y peth olaf y meddylient am dano fyddai, beio uniondeb y llywodraeth Ddwyfol sydd wedi penderfynu ei gospi. "Yn dy erbyn di, dydi dy hunan, y pechais, ac y gwneuthum y drwg hwn yn dy olwg; fel y'th gyfiawnhäer pan leferych ac y byddit bur pan farnech." Soniai Dr. Cuyler o America, ychydig ddyddiau yn ol, am ryw wraig oedd mewn pryder mawr am fater ei henaid, ac yn teimlo yn ddwys iawn o herwydd ei phechodau; ac mewn ymddyddan â gweinidog yr efengyl, dywedai, "Nid oes genyf ddim i'w wneyd ond gwasanaethu Duw â fy holl egni, ac yna myned i uffern am dragywyddoldeb." Gwênai y gweinidog, a dywedai mai ffordd bur annhebyg oedd hono i fyned i uffern; a chafodd yr enaid blinderus orphwysdra. Ond y mae mynydau ar brofiad dynion, ac yn ddiammheu y maent ymhell o fod y rhai isaf mewn goleuni, pan deimlant, fel y wraig y cyfeiriwyd ati, mai y fraint fwyaf a allant gael ydyw gwasanaethu Duw, er heb allu edrych ymlaen at ddim gwell yn y dyfodol na bod byth o dan ei lid. Ac y mae yn ffaith nodedig, mai y rhai amlycaf mewn gras a sancteiddrwydd sydd yn teimlo yn fwyaf dwfn oddiwrth eu pechod, ac yn barotaf i gyfiawnhâu barn Duw yn ei dragywyddol gospedigaeth. "Onid ydyw yn arwyddocäol," meddai Dr. Angus, "fel y mae dynion yn cynnyddu mewn sancteiddrwydd, fod eu teimlad o bechadurusrwydd personol yn dyfnhâu? 'Nis gallaf feddwl y bydd i Dduw gospi fy nghyd-ddynion yn dragywyddol,' ebai un o amddiffynwyr mwyaf deallus a sancteiddiaf difodiad, 'er fy mod yn teimlo mai tragywyddol gospedigaeth ydyw yr hyn a haeddodd *fy mhechodau i*.' Yn wir y mae y goreu o honom yn methu teimlo beth ydyw pechod. Y mae pobpeth ynom, ac o'n hamgylch, yn lleihâu ein teimlad o'i ddrwg. Yr ydym yn llunio esgusodion dros ddynion, ac yn fynych yn siarad am bechod mewn ffordd ddibris. Ymddengys mor naturiol. Ond nid ydyw yr Ysgrythyr byth yn cefnogi y duedd yma o'r eiddom. Dengs yn wir y tynerwch mwyaf at wendidau y dyn sydd ar y cyfan yn ymestyn at sancteiddrwydd; ond am y rhai sydd yn pechu 'o'u gwirfodd,' y rhai a 'ymhyfrydant mewn anwiredd,' y rhai a ymollyngant i ofnau gwasaidd, i anghrediniaeth a phechu rhyfygus, fe leferir am danynt hwy gan ein Harglwydd a chan ei apostolion mewn iaith a ddylai ddarstain yn nghlustiau pawb o honom." Nid ydym ni yn gallu gweled ymhell mewn achos o fath hwn; ond wedi y cwbl nid ydyw yn anhawdd i ni allu amgyffred fod Duw yn edrych ar bechod gydag anfeidrol anfoddlonrwydd; ac nid allwn ammheu ei hawl mewn cyfiawnder i'w gospi byth, yn enwedig pan y mae eithaf ei gariad, yn nhrefn y waredigaeth rhagddo, wedi ei ddiystyru a'i sarhâu.

2. Fe wrthddadleuir fod yn anhygoel meddwl fod gwahaniaeth mor fawr yn cael ei wneyd yn nhynged dynion mewn byd arall, pan y mae y gwahaniaeth sydd rhynddynt yn y byd hwn mor fychan. Y mae llawer o deithi rhagorol i'w cael yn fynych yn nghymeriadau dynion drwg; ac y mae diffygion lawer, ysywaeth, i'w canfod yn mywydau dynion da. Mewn llawer golygiad, nid ellir dadleu fod gwahaniaeth mor amlwg i'w weled

rhwng y naill ddyn a'r dyn arall yn y byd hwn. Ac eto, erbyn croesi drosodd i'r byd arall, y mae y naill yn glànio mewn bythol wynfyd, a'r llall yn suddo i dragywyddol wae. Pa fodd y gall hyny fod yn llywodraeth Duw? Ac addef fod gwahaniaeth, a gwahaniaeth pwysig, rhwng y da a'r drwg, oni atebai bob dyben mewn nodi y drwg â'r Dwyfol anfoddlonrwydd, fod cospedigaeth derfynol yn cael ei gosod arno, a'r pechadur rywbryd yn cael ei adferu? Y mae yr anhawsder yma eto, ar yr olwg gyntaf, yn enwedig, yn ymddangos yn ddyrys. Ac nid ydym yn dychymygu am amrantiad fod yn hawdd neu yn bosibl esbonio ymaith yr anhawsderau sydd wedi ymgrynhöi o amgylch tynged dyn. Yr ydym ar unwaith yn dyfod i edrych yn ammheus ar bwy bynag a broffeso wneyd y fath beth. Y mae Mr. Jukes, awdwr y gwaith olaf a nodasom uwch ben yr erthygl hon, yn cael fod ei olygiad am adferiad cyffredinol, "yn taflu ffrŵd o oleuni ar yr Ysgrythyr, ac yn ein galluogi ar unwaith i weled trefn a chysondeb, lle, heb y goleuni hwn, yr ymddengys anghysondeb sydd yn ein dyrysu." Y mae y gŵr da yn camgymeryd. Y mae, yn lle esbonio yr ymadroddion dyrys, yn "tywyllu cynghor âg ymadroddion heb wybodaeth," ac yn gadael y pwnc yn fwy dyrys nag erioed. Mae yn ddiammheu fod y gwahaniaeth rhwng y duwiol a'r annuwiol yn fynych yn amddangos yn lled fychan. Mewn llïaws o amgylchiadau, y mae yn ddigon amlwg; mae y naill yn myddin y diafol, ei nôd ar eu talcenau, a'u holl fywyd yn ddadblygiad ffyddlawn a chywir o'r egwyddorion uffernol sydd yn llywodraethu ysbryd archelyn Duw a dyn; ac y mae y lleill yn myddin yr Oen, yn ei "ddilyn pa le bynag yr elo," fel ei filwyr "yn alwedig, etholedig, a ffyddlawn," a delw ei sancteiddrwydd a'i ogoniant Ef yn llewyrchu yn ddysgleiriach arnynt o ddydd i ddydd. Ond yn y cyffin-diroedd, megys, lle y mae y naill frenhiniaeth yn terfynu ar y llall, y mae yr anhawsder i wahaniaethu rhwng y naill bobl a'r bobl eraill yn fynych yn dyfod yn fawr iawn. Ac y mae yn dra sicr, fel y mae gwaethaf y modd, fod llawer sydd yn proffesu bod yn eiddo Duw, ac weithiau yn hòni iddynt eu hunain le uchel yn ei ffafr, ydynt ar yr un pryd, a hyny yn yr iaith amlycaf mewn bod—iaith ag y mae ei geiriau yn weithredoedd—yn gwadu fod dim a fynont âg Ef; ac nid hyny yn unig, ond yn dadgan eu hymlyniad hyd farw wrth ei elyn mawr. Ac y mae mor sicr a hyny, fod llawer o "drueiniaid ei bobl Ef," tra yn ffyddlawn o galon i Grist a'i deyrnas, eto wrth ganfod y pellder sydd rhyngddynt â'r cynllun perffaith y maent yn barhäus yn dyheu am ei gyrhaeddyd, yn barod i anobeithio, a phenderfynu nad allant fod o nifer y rhai a arddelir gan Dywysog bywyd fel ei eiddo. Ond er y cwbl, y mae y ffîn sydd rhwng y rhai ydynt eiddo Duw a'r rhai nad ydynt eiddo Ef, yn dragywyddol sefydlog, ac yn ddiammheuol glir. Nid ydym i ymddyrysu gyda'r cwestiynau, pa mor bell y gall dyn fyned mewn cyflawni gweithredoedd da, ac ar yr un pryd fod yn ddyn annuwiol; neu pa mor bell y gall dyn fyned mewn cyflawni gweithredoedd pechadurus, ac eto fod yn ffafr Duw. Mae yn gwbl amlwg, yn ol yr Ysgrythyrau, y gall dynion fyned yn dra phell yn y naill gyfeiriad a'r llall, ac eto fod eu cyflwr yn sefydlog yn yr ochr wrthgyferbyniol. Gall dynion "brophwydo," "bwrw allan gythreuliaid," a "gwneyd gwyrthiau lawer" yn enw Crist, ac er y cwbl fod heb eu hadnabod ganddo. Nid ydym yn sicr a allai fod yn

anmhosibl i bobl "wybod y dirgelion oll, a phob gwybodaeth;" meddu "ffydd," a allai "symudo mynyddoedd;" "porthi y tlodion â'u holl dda;" ïe, a "rhoddi eu corff i'w losgi" fel merthyron Crist; ac eto heb gariad, ac am hyny y cwbl yn ofer. A "seithwaith," ïe, ysywaeth, yn amlach na hyny, y "syrth y cyfiawn." Nid ydych i ryfeddu os gwelwch ef â'i ddillad yn fudron gan laid wedi glŷnu wrthynt yn ffosydd y cnawd, ac yn rhwygedig gan ei grwydriadau cyfrgoll ymysg y drain a'r dyrysni; nid ydych i sŷnu os gwelwch arno greithiau archollion a brofasant iddo yn chwerwach nag angeu. Ac nid ydyw mewn un modd yn beth dyeithr os bydd ei gwymp yn grechwen yn ngwersyll y Philistiaid, ac y pentyrir arno ddirmyg fel y gwaethaf o ddynion.

Pe llithrwn ddim, gan faint y llid,
Fe dd'wedid fy ngorchfygu.

Ac ni fynem mewn un modd yngan gair a dueddo i ddarostwng yn meddwl neb y pwysigrwydd sydd mewn buchedd sanctaidd. Y mae i bob un sydd "yn enwi enw Crist" yn gwestiwn o annhraethol bwys a ydyw yn "ymadael oddiwrth anghyfiawnder." Oblegid heb hyny, fe brofir yn amlwg "nad yw hwnw yn eiddo Ef." Ond er hyn oll, y mae y ffaith yn aros fod gwahaniaeth dirfawr, wedi y cyfan, rhwng y dyn duwiol gwanaf a'r pechadur mwyaf golygus. Pa mor agos bynag y gallant fod at eu gilydd, a pha mor debyg bynag i olwg y byd, eto y mae pellder rhyngddynt sydd yn fwy na lled y ddaear, ac y mae mwy o wahaniaeth rhyngddynt nag sydd rhwng goleuni a thywyllwch. Cymerwch y mater y mae yr Efengyl yn osod o'n blaen fod nôd angen enaid dïogel. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol: a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." Nid ydyw y ffaith pa un a ydyw dyn yn credu yn y Mab ai peidio, o angenrheidrwydd, yn gosod unrhyw arbenigrwydd amlwg arno yn ngolwg y llïaws y mae yn byw yn eu plith. Ac eto wrth symud ei droed oddiar y tir y cafodd ei hun ynddo yn y byd, a chymeryd y cam i Grist, y mae wedi teithio pellder anfesurol fwy nag o'r ddaear i'r nefoedd; y mae wedi "myned trwodd o farwolaeth i fywyd." O fod "digofaint Duw yn aros arno ef," fe ellir dyweyd bellach am dano, "y mae ganddo fywyd tragywyddol." Y gwahaniaeth yna sydd yn fawr! Ac nid ydym i sŷnu os gwelwn na fydd goleuni tragywyddoldeb ddim ond yn profi i ni wirionedd geiriau Crist, pan yn dangos fod y bywyd a dderbyniwyd trwy gredu ynddo yn fywyd tragywyddol, a'r farwolaeth a sicrhâwyd trwy ei wrthod yn un nad all fod terfyn iddi byth. Dylem gredu y fath dystiolaeth *yma;* y mae y profion sydd o fewn ein cyrhaedd yn ei chadarnhâu, yn gryfach na thân uffern; a byddwn o'u diystyru yn ddiesgus byth. "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."

3. Drachefn, fe ddywedir fod pechod yn dwyn ei gosp yn y byd hwn, a'i fod yn ymddangos yn galed ac yn anghyfiawn ei gospi eto, a hyny yn dragywyddol, yn y byd a ddaw. Crybwylla Miss Nightingale, mewn papyr o'i heiddo yn *Fraser's Magazine*, am ryw ŵr tlawd yn marw mewn *Workhouse*, ac yn dywedyd wrth yr un oedd yn gweini arno, "Y mae yn ymddangos yn galed fod wedi dyoddef cymaint yma, i ddim ond i

fyned i boenau tragywyddol ar ol hyn!" A rhuthra Miss Nightingale ymlaen, fel un y dadguddiesid iddi ddirgelwch y grëadigaeth, i ddangos y fath ddirfawr ynfydrwydd ydyw meddwl y fath beth! Y mae genym barch mawr i'r foneddiges hon; y mae yn gwybod llawer am ysbyttai a gweini ar glwyfedigion rhyfel; ac fe fydd ei henw mewn cysylltiad â'i gwasanaeth gwerthfawr yn hyn yn glodus gan yr oesoedd. Ond nid ydym yn sicr fod y grëadigaeth wedi dadguddio ei chyfrinach iddi ychwaith. Y mae ei golygiad ar y mater dan sylw yn arddangos dygn anwybodaeth, neu rywbeth sydd fyth yn fwy anghymeradwy. Nid ydyw y dyoddef yn y fuchedd hon yn sefyll ond mewn cyfartaledd tra isel i'r mwynhâd a geir ynddi; ac nid ydyw mewn un modd o angenrheidrwydd yn arwain i boenau tragywyddol yr ochr draw. Yn wir, y mae y dyoddef yma yn fynych yn annhraethol werthfawr fel rhan o'r ddysgyblaeth rasol sydd yn cael ei gosod ar waith i'n cymhwyso i'r wlad lle na ddaw dyoddef o fewn ei therfynau byth. Ac am y dyoddef y mae pechod yn uniongyrchol yn achosi, yr ydym yn meddwl y dylem edrych arno fel prawf diammheuol o ddaioni y llywodraeth yr ydym fel crëaduriaid moesol yn byw dani. Y mae o natur gospawl, bid sicr; ond a oes un awgrym yn cael ei rhoddi yn unlle fod y dyoddef sydd yn dilyn pechod yma yn hysbyddu y gospedigaeth? Yn wir, i'r gwrthwyneb; fe gyhoedda gwirionedd Duw yn barhäus, ac yn y dulliau mwyaf pwysig y mae yn bosibl meddwl am danynt, fod pechod yn farwolaeth, ac yn farwolaeth dragywyddol. Ac yn wyneb fod pechaduriaid yn gyndyn iawn i gredu hyny, y mae poen a dyoddefaint yn dilyn pechod yn y byd hwn, a hyny fel o bwrpas i beri iddynt gredu y bygythion sydd yn cael eu taranu yn eu clyw am y gospedigaeth ddiddarfod sydd yn sicr o'i ddilyn yn y byd a ddaw. A olygir fod y dyn sydd, yn ddibris a gwallgof, yn rhuthro i bechod y mae wedi cael ei rybuddio ymhob modd trwy gynghorion pobl eraill yn gystal a thrwy ei brofiad chwerw ei hunan o'r perygl ynddo, yn ddirfawr i dosturio wrtho pan y mae ei saeth yn ei afu, a'i wenwyn yn yfed ei ysbryd? "Gŵr a gerydder yn fynych, ac a galedo ei wàr, a ddryllir yn ddisymwth, fel na byddo meddyginiaeth." Ac nid ydym yn deall fod neb, hyd yn nôd o'r dyngarwyr meddalaf, yn barod o herwydd hyny i grochlefain yn erbyn deddfau y grëadigaeth y mae y truan gwallgof wedi meiddio rhedeg yn eu herbyn. A chan nad ydyw llywodraeth y byd arall ond parhâd o'r un sydd yn ffynu yma, oddieithr yn unig ei bod dan amgylchiadau mwy manteisiol i dragywyddol gyfiawnder gael ei fawrhâu ynddi, paham y bydd yn ddyeithr genym weled y pechadur fydd wedi bod yn gwbl ddiystyr o holl ymdrech y Llywodraethwr mawr i'w adferu, wedi syrthio i fythol ddinystr? Pe buasai llywodraeth y byd yn rhoddi rhyw awgrym fod y cospau sydd yn dilyn pechod yma yn cymeryd i'r cyfrif ei holl ddrwg-haeddiant, fe fuasai gan y pechadur achos i gwyno wrth ei gael ei hun dan gosp o'u herwydd yn nhragywyddoldeb. Ond gan nad yw y cospau trymaf sydd yn cymeryd lle yma ond rhyw awgrymiadau am gospau annhraethol drymach sydd i ddyfod yn y byd mawr,—dyferion ymlaen y gawod, sydd yn peri fod y gydwybod euog yn clywed o dragywyddoldeb "drwst llawer o wlaw!"—y mae y pechadur yn ddiesgus. A ydych yn sôn am galedi? Yr ydym yn ofni mai y caledi mwyaf yn yr holl helynt ydyw fod dyn, er pobpeth, yn mynu ei ddi-

nystrio ei hunan, ac "yn ol ei galedrwydd, a'i galon ddiedifeiriol, yn trysori iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw."

4. Y mae rhai yn teimlo eu bod yn cael gwrthddadl ddigonol yn erbyn yr athrawiaeth o dragywyddol gosp wrth weled fod y golygiad hwnw yn cario gydag ef y syniad o dragywyddol bechu, ac yn ymddangos fel yn diogelu tragywyddol goncwest y diafol. Y mae pechod, yn sicr, yn cryfhâu ar ddyn yn barhäus wrth ymarfer âg ef. "Drwg ddynion a thwyllwyr a ânt rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo a chael eu twyllo." Y fath ydyw gallu arferion drwg ar ddynion, fel nad ydyw dysgwyl iddynt eu meistroli ac ymryddhâu oddiwrthynt ond yr un peth, yn iaith gref y Bibl, a dysgwyl i'r "Ethiop newid ei groen, neu y llewpard ei frychni." Ac nid oes genym un rheswm i feddwl y bydd yr amgylchiad o farw yn gwneyd unrhyw wahaniaeth pwysig gyda golwg ar hyn. "Lle y syrthio y pren, yno y bydd efe." Fe garia pob dyn gydag ef i fyd arall yr oll ag sydd yn gwneyd hanfod ei gymeriad yn y fuchedd hon. A phan y mae pechu yn erbyn yr Arglwydd â'i wraidd yn egwyddorion dyfnaf natur dyn, ac wedi ennill cymaint meistrolaeth arno fel mai "halogedig yw hyd yn nôd ei feddwl a'i gydwybod," pa fodd y dysgwylir iddo beidio â phechod yr ochr draw? Nid ydyw dyoddef yn iachawdwriaeth rhagddo. Mae yn amlwg, yn wir, nad ydyw dyoddef am bechod, ynddo ei hun, ond yn caledu y galon yn fwyfwy. Yr oedd Pharaoh, dan farnau Duw, yn lle ymostwng, yn ymhyfhâu yn fwyfwy i'w ddinystr. Yn yr unfed bennod ar bymtheg o lyfr y Dadguddiad cawn hanes tywalltiad y phïolau, sef barnedigaethau Duw, ar y ddaear, y rhai a barent ddyoddefiadau arteithiol; ond mor bell oeddynt oddiwrth ddwyn dynion i edifeirwch fel yr oeddynt danynt yn ddigon rhyfygus i gablu y Goruchaf. "A phoethwyd y dynion â gwrês mawr; a hwy a gablasant enw Duw, yr hwn sydd âg awdurdod ganddo ar y pläau hyn; ac nid edifarhasant, i roi gogoniant iddo ef." "A hwy a gnoisant eu tafodau gan ofid, ac a gablasant Dduw y nef, o herwydd eu poenau, ac o herwydd eu cornwydydd; ac nid edifarhasant oddiwrth eu gweithredoedd." Drachefn, "A chenllysg mawr, fel talentau, a syrthiasant o'r nef ar ddynion; a dynion a gablasant Dduw am bla y cenllysg; oblegid mawr iawn oedd eu pla hwynt." Nid oes un rheswm i ddysgwyl y bydd nemawr o wahaniaeth yn nhymher pechadur anedifeiriol yn y byd arall; ac am ddim a allwn ni weled, nid oes obaith am iddo beidio a phechu byth. "Deddf parhausrwydd moesol rhwng gwahanol gyfnodau bywyd dynol," ebe Dr. Chalmers *(Astronomical Discourses)*, "ydyw deddf parhausrwydd rhwng dau fyd—nad yw hyd yn nôd yr angeu sydd rhyngddynt yn cyffwrdd â hi. Boed sant boed bechadur, fe lenwir pob un â ffrwyth ei ffyrdd ei hun—fel erbyn eu symud i fangre eu tynged sefydlog a thragywyddol, fe fydd y naill yn llawenhâu dros dragywyddoldeb yn yr elfen bur hono o ddaioni a garai ac yr ymestynai ati yma; y llall—yn aberth diymadferth a gwaradwyddus i'r nwydau hyny a arglwyddiaethent arno trwy ei einioes—a ddedfrydir yn ddi-alw-yn-ol i'r poenedigaeth a'r gorthrwm gwaethaf oll—poenedigaeth ei natur felldigedig ei hun, gorthrwm dieiriach drygioni." Y mae rhai dynion da yn gweled yn mhechu tragywyddol yr annuwiol ddigon o reswm, os nad *y* rheswm, am ei gospedigaeth

dragywyddol. Mae yn ddiammheu y bydd pechu uffern yn gwneyd y gospedigaeth yn fwy angerddol; ond mae yr un mor sicr fod y Bibl yn dangos mai yn y fuchedd hon y mae pob dyn yn penderfynu ei dynged am byth. "Na thwyller chwi. Ni watworir Duw; canys beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fêd efe. Oblegid yr hwn sydd yn hau i'w gnawd ei hun, o'r cnawd a fêd lygredigaeth: eithr yr hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fêd fywyd tragywyddol." Fe fydd rheswm mawr damnedigaeth pob dyn yn y byd a ddaw i'w gael yn ei ddrygioni a'i wrthodiad o'r efengyl yn y byd hwn. Ac er y bydd pechu byth yn rhan hanfodol o'i drueni, a ydym i ystyried fod goddef hyny mor annheilwng o gymeriad Duw fel ag i wneyd y peth yn anmhosibl? Y mae pechod yn y byd yn awr, ac fe ddaeth i fôd yn nghrëadigaeth brydferth y Goruchaf pan nad ydoedd, gan ei hanurddo a'i llygru pan orphwysai yn ogoneddus yn ngwên ei gariad. Beth sydd yn fwy dyrys mewn fod pechod yn cael ei oddef i barhâu, na'i fod yn cael ei oddef i ddyfod i fôd? A beth sydd yn anorchfygol ddyrys mewn fod pechod yn cael ei oddef i barhâu yn dragywyddol, pan y mae wedi meddiannu crëadur sydd i fod yn dragywyddol, a phan mae yr unig ddarpariaeth a allasai Dwyfol ddoethineb feddwl am dani fel gwaredigaeth rhagddo, a darpariaeth a gostiodd eithaf anfeidrol gariad,—wedi ei gwrthod a'i diystyru? Yr ydym yn mhresennoldeb dirfawr ddirgelwch, mae yn wir, pan feddyliwn am bechod yn bodoli yn dragywyddol; ond nid ennillem ddim, yn y mater o ochel dirgelwch, pe gallem benderfynu nad ydyw i fôd byth, canys y mae *yn bôd yn awr;* ac y mae ei fodolaeth, pa olwg bynag a gymerer arno, yn ddirgelwch annhraethadwy. Am fod cosp dragywyddol yr annuwiol yn goncwest i'r diafol, y mae yn sŷn genym pa fodd y gallai y fath syniad ymgynnyg i feddwl neb. Mae yn wir mai efe fydd wedi eu temtio, ac y byddant hwy gydag ef byth yn nystryw. Ond ar bwy y bydd y goncwest wedi ei hennill? Nid ar Grist, yn sicr. Fe fydd Efe yn teyrnasu byth ar fynydd Sïon, a chenhedloedd y rhai cadwedig, yn dyrfa fawr nad all neb eu rhifo, fel sêr y nef ac fel tywod y môr, yn ymorfoleddu byth yn llewyrch ei wyneb,—yn wynfydedig gan y "digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd." Ië, fe fydd tyrfa y gwaredigion, yr hon y mae genym bob lle i feddwl fydd yn cymeryd i fewn yn y diwedd y fath ddirfawr fwyafrif o ddynolryw fel ag i wneyd y Gwaredwr, mewn ystyr ehangach nag y meddylid, yn Geidwad dyn, yn ddïogel yn ei iachawdwriaeth, *wedi eu gwaredu o feddiant y diafol.* Ac ni fydd gan yr archelyn iddo ei hunan byth ond ei gadwen a'i wae. Fe'i bwrir yntau yn y diwedd "i'r llŷn o dân a brwmstan," ac fe'i "poenir ddydd a nos yn oes oesoedd." Nid oes ganddo ond aros "barn y dydd mawr," ac fe osodir terfyn bythol ar ei allu i demtio a niweidio; fe fydd yn ddigon iddo byth mwyach ymdeimlo â'i drueni ofnadwy ei hunan. Fe fydd dynion colledig yn cael eu cosp yn yr un carchar, yn dyoddef yn y "tân tragywyddol, yr hwn a barotöwyd i ddiafol ac i'w angelion." Ond ni ymddengys y bydd ganddo ef ddim i'w wneyd hyd yn nôd yn eu poenydiad. Byddant yn yr un fan, ac yn yr un cyflwr; ond fe fydd damnedigaeth y naill a'r llall yn dyfod oddiwrth ddigofaint Duw, ac fe fydd mor fawr fel nad allant gymeryd hamdden i feddwl ond am eu hing andwyol eu hunain. Ni fydd gan y

gelyn rith o goncwest i ymffrostio ynddi. Fe fydd ei wrthwynebydd mawr yn fendigedig yn oes oesoedd, ac yn ymlawenychu byth yn ei weithredoedd; ac yntau, wedi methu yn dragywyddol yn ei holl amcanion, yn gorfod suddo i ddyfnderoedd colledigaeth, ac yn cael ei boeni yn oes oesoedd. A pha foddhâd bynag i'w falais uffernol yn awr, yn ystod ei ryddid i demtio, ydyw gallu llwyddo i ddênu eraill, fel efe ei hunan, i bechu yn erbyn Duw, gallwn benderfynu y bydd cwmni y rhai hyny yn nystryw mor bell o allu estyn iddo un boddhâd, fel y bydd yr olwg arnynt, a'r adgof o'r rhan a fu iddo ef yn eu colledigaeth, yn dyfnhâu yn dragywyddol ei loesion ef ei hunan. Fe fydd yr Oen yn goncwerwr byth, a'r holl saint, wedi eu "prynu i Dduw trwy ei waed, a'u gwneuthur yn frenhinoedd ac yn offeiriaid;" yr holl "angelion, a'r anifeiliaid, a'r henuriaid, a'u rhifedi yn fyrddiynau o fyrddiynau, a miloedd o filoedd;" a "phob crëadur a'r sydd yn y nef ac ar y ddaear, a than y ddaear, a'r pethau sydd yn y môr, a'r oll sydd ynddynt,"—fe fydd y cyfan yn ymuno yn anthem ogoneddus ei dragywyddol foliant, ac yn dadgan, "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith: i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu yn oes oesoedd." A rhag dysgleirdeb ei ogoniant fe fydd ei elyn mawr wedi ymsuddo i'r difancoll, ac yn ymollwng byth mwy i'w dynged ofnadwy. Chwedl Goronwy Owen,

Cydfydd y fall a'i gallawr,
Câr lechu yn y fagddu fawr!

5. Mae yn debyg mai y ddadl a deimlir gryfaf yn erbyn tragywyddol barhâd cosp yr annuwiol, ac ar bwys pa un y teimlir yn fwyaf hyderus am adferiad rywbryd, ydyw yr un oddiwrth gymeriad Duw. Y mae Duw yn rhy gyfiawn, ac yn enwedig yn rhy dda, i boeni crëadur diddym fel dyn â chospedigaeth dragywyddol! Dyma yr unig fan y teimlai Foster y gallai obeithio am belydr o oleuni ar y gaddug oedd yn gorthrymu ei ysbryd. Cydnebydd yn ei lythyr enwog at y Parch. Edward White *(Life and Corespondence,* Vol. ii., p. 232), fod barn gyffredin, os nad gyffredinol, y duwinyddion yn ei erbyn; a'i fod yn gwestiwn pwysig, A ydyw yn debyg y byddai cynifer o filoedd o ddynion galluog, dysgedig, hynaws, a duwiol, oll mewn camgymeriad? Cydnabyddai hefyd fod iaith yr Ysgrythyr yn ofnadwy o gref; mor gref fel y rhaid wrth ddadl o'r nerth mwyaf fel awdurdod dros ei chymeryd mewn ystyr derfynol. A thra yn ildio pob dadl ar dir beirniadaeth, nid oes ganddo ond syrthio yn ol ar y ddadl foesol, fel y geilw hi, sydd yn codi oddiar y syniad aruthrol am barhâd diddiwedd, a bod y fath un a Duw yn llanw y parhâd diddiwedd hwnw â phoenau i'w grëaduriaid. "Yn awr," meddai, "y mae y crëadur yma," sef dyn, "wedi ei wneyd yn y fath fodd, a than y fath amgylchiadau, yn treulio ychydig flynyddoedd diflanedig ar y ddaear, einioes fèr a phechadurus, ymha un y gwna yn fynych yr hyn, er gwaethaf ei anwybodaeth, a'i farn, a'i gydwybod ddiddysgyblaeth, y gŵyr ei fod yn ddrwg, ac yr esgeulusa yr hyn y gŵyr sydd ddyledswydd arno; ac, o ganlyniad, am fesur mwy neu lai o euogrwydd, tra gwahanol mewn gwahanol droseddwyr, y mae yn haeddu

cosp. Ond cosp ddiddarfod! trueni anobeithiol, trwy barhâd mewn cymhariaeth i ba un na fydd y cyfnodau meithion a ddychymygwyd uchod ond dim oll! Yr wyf yn cydnabod fy anallu (mi a'i dywedwn gyda pharch) i dderbyn y grediniaeth hon, ynghyda chrediniaeth yn y Dwyfol Ddaioni—y grediniaeth mai 'Duw, cariad yw,' fod ei drugaredd ar ei holl weithredoedd. Nis gall daioni, hynawsedd, cariad, fel a brïodolir yn y perffeithrwydd uchaf iddo Ef, ddynodi ansawdd gwahanol i bob syniadau dynol am ddaioni; rhaid ei fod yn rhywbeth cyfatebol mewn egwyddor i'r hyn a ddesgrifia ac a ofyna Efe fel daioni yn ei grëaduriaid moesol, fel wrth addoli y Daioni Dwyfol, na byddom yn addoli 'Duw nid adwaenir.' Ond os felly, i'r fath gymysgfa y teflid ein holl feddyliau, wrth edrych arno Ef yn dwyn, o'i ewyllys benarglwyddiaethol ei hun, hiliogaeth o grëaduriaid i fodolaeth, yn y fath ystâd fel yn sicr y bydd ac y rhaid iddynt,—*rhaid*, yn ol eu natur a'u hamgylchiadau, fyned o'u lle a bod yn druenus, oddieithr eu hattal gan ras neillduol,—yr hyn nad yw ond rhagorfraint cyfran fechan o honynt,—ac, ar yr un pryd, arosod ar eu troseddiad dynged y mae yn anfeidrol tu hwnt i allu yr archangel uchaf i amgyffred y filfed ran o'i herchylldod." Yr ydym yn cael llawer, er yn dra amddifad o'r gallu a'r parchedigaeth a ddangosai efe wrth wynebu y fath ddirgelwch, yn defnyddio yn sylweddol yr un wrthddadl, ond mewn dull ac ysbryd na fuasai neb yn anghymeradwyo mor *stern* a Foster ei hunan.

Y mae yr hyn â addefa y meddyliwr difrifol uchod am dano ei hun, gyda golwg ar ei ymollyngiad i'r golygiadau uchod, yn rhy wir, dybygem, am lawer o'r rhai sydd yn eu trafod gyda hyfdra rhyfedd. "I have perhaps been too content to let an opinion (or impression) admitted in early life dispense with protracted inquiry and various reading." Ac eto os oes rhywbeth y gall marwol ddyn feddwl am dano sydd yn galw am ymchwiliad hirfaith, ac ymgynghoriad pwyllog â'r hyn a ddywedwyd arno gan ddoethion yr oesoedd, y cwestiwn beth fydd tynged dragywyddol yr annuwiol ydyw; ac yn enwedig, cyn meddwl am ei benderfynu mewn dull ag yr addefa pawb ei fod mor lawn o berygl i'r byd. Y mae Mr. White ei hun, yr hwn yr ysgrifenai Foster y llythyr mawr hwn ato yn 1841, ac y cydnabyddai ei fod yn ymddangos fel wedi gwneyd llawer mwy o ymchwiliad i'r mater nag efe,—er nad ydyw yntau yn derbyn yr athrawiaeth o dragywyddol gosp ond yn yr ystyr o ddinystr neu ddifodiad,—eto yn edrych ar y golygiad o adferiad cyffredinol gyda gofid a dychryn. Y mae yn gweled *(Life in Christ)* fod "Cyffredinoliaeth yn ymledu ar bob llaw, ac yn bwyta fel cancr i fynwes yr eglwys y dyddiau hyn." Y mae yn cael fod yn y Gair "fygythiad pendant o 'gospedigaeth dragywyddol,' o 'farwolaeth,' o 'ddinystr tragywyddol,' i bawb a wrandawant yr Efengyl gan ei hesgeuluso neu ei gwrthod; ac yr ydym yn ystyried fod unrhyw ymyryd â'r fath fygythion yn niweidiol i'r eithaf i ddylanwad crefydd ymhlith dynion. Ni wna ond cefnogi gobeithion gau yn y diofal, a'u harwain i anghofio HEDDYW iachawdwriaeth; ond tery wrth wraidd ffydd yn ngeirwiredd yr Hollalluog." Cyn derbyn a myntumio golygiad ag yr addefa pawb ei fod mor beryglus, y mae yn ddyledswydd ar bob dyn fynu craig o dan ei draed y gall deimlo yn dawel am ei dïogelwch yn yr ystormydd y mae ei wyneb arnynt; a phan y mae "calon

ddrwg anghrediniaeth" mor barod ac mor awyddus i leddfu bygythion y gwirionedd, a hyny i'w bythol ddinystr, fe ddylai dyn fod yn bur sicr o'i bwnc cyn ei osod ei hun dan gyfrifoldeb, fel arweinydd i eraill, a allo beri y bydd eu *gwaed*, yn y farn fawr, yn cael ei ofyn oddiar ei law! Addefa Foster, fod iaith y Bibl ar y mater mor ofnadwy o gref fel y rhaid wrth ddadl o'r nerth mwyaf—*of extreme cogency*—fel awdurdod dros ei chymeryd mewn ystyr derfynol. Ac a ydyw y ddadl foesol, y cyfeiria efe ati yn y dyfyniad uchod, yn meddu y nerth, y *cogency*, eithafol hwnw? Yr ydym yn meddwl nad ydyw, ac fe fuasai y meddyliwr ei hunan, oni buasai yr "opiniwn" neu yr "argraff" a dderbyniodd, yn sicr yn rhy ddiymchwiliad, pan yn ŵr ieuanc, y mwyaf diarbed o bawb i ddangos ei gwendid. Y mae amryw dwyllresymau yn gorwedd wrth ei gwraidd sydd yn andwyol i'w nerth, pa mor ymddangosiadus bynag y gallo fod, a pha mor hyderus bynag y teimla y rhai sydd yn ei dal wrth ymffrostio ynddi a dirmygu yn ddiderfyn y bobl sydd yn teimlo nad allant wneyd dim yn well mewn achos mor bwysig na "gwrandaw beth a ddywed yr Arglwydd Dduw."

1. Yn un peth, y mae yn cymeryd yn ganiatäol mai Duw sydd yn gyfrifol am sefyllfa bresennol dynolryw. Mae yn wir fod cyflwr a sefyllfa dyn, fel y mae, yn gwneyd fod pechu iddo yn anocheladwy, ac y mae hyny yr un mor anocheladwy yn dwyn y gospedigaeth. Ond nid ar Dduw y mae y bai am hyny! "Wele hyn yn unig a gefais," meddai y Pregethwr doeth, "wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn; ond hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymygion.' "Ar ddelw Duw y crëodd Efe ef." Ac y mae y "dyn newydd, yn ol Duw," neu "yn ol delw yr hwn a'i crëodd ef," wedi ei "grëu mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd," ac yn cael ei "adnewyddu mewn gwybodaeth;" neu y mae delw Duw, fel y dywed yr *Hyfforddwr*, yn golygu "gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd." Fel crëadur pur, prydferth, a gwynfydedig, yn ogoneddus ar ei ddelw, ac yn gyfaddas i'w wasanaethu a'i fwynhâu mewn bythol ogoniant, y mae Duw yn unig yn gyfrifol am grëadigaeth dyn. Efe ei hunan sydd yn gyfrifol am y "dychymygion" ofer y mae wedi ymroddi iddynt, ac am holl ddrwg ei bechod, a'r trueni mawr sydd o angenrheidrwydd yn ei ddilyn. Os cwynir fod dynion yn dyfod i'r byd dan drueni o herwydd pechod nad oedd a fyno eu pechu hwy eu hunain â'i ddwyn oddiamgylch, y mae hyny yn ein dwyn i wyneb dirgelwch mawr arall sydd yr un mor ddiammheuol. Y mae undod cyfangorff, *solidarity*, y ddynoliaeth, yn ffaith y teimla athroniaeth, bellach, yn gwbl sicr yn ei chylch; ac ar wahân oddiwrth y Gair, ni fuasai yn anhawdd credu fod amgylchiad mor bwysig a chwymp y cyntaf o'r hiliogaeth i bechod, yn effeithio yn ddwfn ar dynged yr hiliogaeth i gyd. Ond y mae yr Ysgrythyr yn gosod y mater yma y tu hwnt i bob ammheuaeth. Fe ddangosir nad ydyw ein hundeb â Christ, a'n cyfranogiad o'r bendithion sydd yn deilliaw o hyny, ond peth cwbl gyfatebol i'n hundeb âg Adda, a'n cyfranogiad o'r trueni sydd yn dyfod i'n rhan trwy yr undeb hwnw. Ond yr ydym yn gweled yn amlwg fod ei bobl yn Nghrist fel eu pen-cyfammodwr, eu cynnrychiolydd yn y cytundeb mawr am fywyd, yr hwn y darfu iddo Ef, fel eu machnïydd, ei anrhydeddu trwy ei anfeidrol ufudd-dod. Ac am hyny rhaid ein bod wrth natur yn Adda

fel ein pen-cyfammodwr, wedi cwympo yn ei gwymp, a dyfod yn etifeddion o'i drueni. Ac nid ydym ni yn gweled fod genym achos i rwgnach am hyny. Mae yn rhaid i lywodraeth Duw sanctaidd fod yn llywodraeth uniawn, ac am hyny rhaid i'w grëaduriaid rhesymol ufuddhâu iddo Ef. Ac y mae yn berffaith dêg i rai sydd, fel Efe ei hunan, yn meddu ewyllys a barn, gael cyfle i sicrhâu eu tynged trwy rydd ddewisiad o ffyddlondeb calonog i'w ewyllys Ef. A than ba delerau y gallasem ni ddymuno fod ein prawf yn cael ei wneyd a fuasent yn debyg o fod yn fwy manteisiol na'r rhai a gydgyfarfyddent yn ein tad, Adda? Yr oedd efe, pan grëwyd ef, yn nghyflawnder ei faintioli, â'i holl alluoedd yn anterth eu haddfedrwydd; yr ydoedd hefyd yn grëadur sanctaidd; yr oedd y prawf a osodwyd ar ei ufudd-dod yn rhesymol a hawdd; ac yr oedd ei holl amgylchiadau yn ffafriol i i ddïogeliad ei ddedwyddwch. Os syrthio a wnaethom yn yr amgylchiad yna, ni fuasai ond gobaith gwan i ni sefyll mewn unrhyw amgylchiad. Ac eto y mae yn gabledd meddwl fod y bai wrth ddrŵs Duw. Fel y gofyna Milton, megys yn ei enw,—

> Whose fault?
> Whose but his own? Ingrate, he had of me
> All he could have; I made him just and right,
> Sufficient to have stood, yet free to fall.
> Such I created all th' ethereal powers
> And spirits, both them who stood and them who fail'd;
> Freely they stood who stood, and fell who fell.
> Not free, what proof could they have giv'n sincere
> Of true allegiance, constant faith or love,
> Where only what they needs must do, appeared,
> Not what they would? what praise could they receive?
> What pleasure I from such obedience paid?
> When will and reason (reason also is choice)
> Useless and vain, of freedom both despoil'd,
> Made passive both, had serv'd necessity,
> Not me. They therefore as to right belong'd,
> So were created; nor can justly accuse
> Their Maker, or their making, or their fate,
> As if predestination over-rul'd
> Their will, dispos'd by absolute decree
> Or high fore-knowledge; they themselves decreed
> Their own revolt, not I; if I foreknew,
> Foreknowledge had no influence on their fault,
> Which had no less prov'd certain unforeknown.—*Par. Lost,* iii. 95, &c.

Ac fel pwnc o ffaith yr ydym yn gweled fod llywodraeth Duw yn y byd hwn yn barhäus yn "ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant," ac yn peri teimlo trueni pechod gan rai nad oedd a fynont â'i gyflawni. Paham nad all fod felly hefyd fel y mae ei lywodraeth yn cymeryd i fewn ein holl dynged, a'n tragywyddol barhâd? Ac yn arbenig os ceisiwn wadu neu esbonio ymaith fygythion Duw yn herwydd pechod, am nad ydym yn foddlawn ar y dull y cawsom ein hunain yn bechaduriaid, pa fodd y dysgwyliwn gyfranogi o fendithion mawrion yr iachawdwriaeth yn Nghrist, y rhai sydd i ddyfod i ni, os o gwbl, yn hollol yn yr un dull? Y mae Duw yn lân oddiwrth bob cyfrifoldeb am ein trueni. "Pob da oddiwrth y Crëawdwr; pob drwg oddiwrth y crëadur."

2. Camgymeriad pwysig arall, sydd yn dirymu y ddadl oddiwrth

gymeriad Duw am adferiad cyffredinol, ydyw, mai yr hyn y cwynir yn benodol o'i herwydd ydyw trueni, ac nid pechod. Y mae y gwŷr da nad ydym ni yn teimlo y gallwn gydolygu â hwynt ar y mater yma, yn edrych cymaint ar y gosp nes anghofio y trosedd. Mae yn wir mai peth dibwys iawn yn ein golwg ni yn gyffredin ydyw pechod. Nid allwn ni ei weled ond pan yn ei ganol ein hunain; ïe, y mae o'n mewn, yn dallu ein rheswm ac yn twyllo ein calon. Ar yr un pryd yr ydym yn cael dynion weithiau, er dan amgylchiadau hynod o anfanteisiol, yn cael rhai tremiadau hynod o glir i'r mater mawr yma; ac yn wir y mae drwg haeddiant pechod yn fater sydd, er pobpeth, wedi suddo yn bur ddwfn i gydwybod dynolryw. Y mae y golygfëydd sydd wedi eu harlunio ar hen feddrodau yr Aipht, yn dangos fod y bobl hyny, bedair mil o flynyddoedd yn ol, yn dysgwyl y dilynid pechod â chosp yn y byd arall. Mae yr enaid i'w weled o flaen y barnwr; mae y rhai sydd yn eistedd gydag ef ar y fainc wedi eu cyfleu ar bob llaw i wylio y prawf; mae clorianau cysegredig cyfiawnder wedi eu crogi i bwyso gweithredoedd neu galon y marw yn y naill ben, wrth arwyddlun gwirionedd yn y pen arall; ar y naill ochr mae y genad yn dysgwyl i gymeryd yr un a gymeradwyir i drigfa y duwiau; ar y llall mae y dienyddwr yn dysgwyl i arwain ymaith y condemniedig. Fe wasanaethid *Osiris* trwy yr holl wlad, ac o'r amseroedd boreuaf, ac fe'i harddangosid fel *amlygydd daioni a gwirionedd;* ac yn y cymeriad yna yr ydoedd i bob Aiphtiad yn *farnydd mawr y meirw.* Y mae llygad Osiris yn arwyddlun cyffredin ar y beddrodau, ac fe geir arwyddluniau yn fynych yn dwyn yr ystyr, *a bwyswyd yn y clorianau, a bwyswyd neu a brofwyd gan Osiris.* Ar feddrodau Ghizeh fe geir yn fynych y dadganiad, *a bwyswyd (*neu *a gyfiawnhäwyd) gan y duwiau oll.* Y oedd *Atum,* neu *Atmu,* hefyd gan yr Aiphtiaid yn farnydd yn y byd anweledig. Mae cosp pechod yn llanw lle mawr yn chwedloniaeth y Groegiaid. Mae y gwroniaid Homeraidd yn ddiwahaniaeth yn appelio at Iau neu Zeus fel un oedd yn barnu yn gyfiawn, fel un nad allai gymeradwyo twyll neu anudoniaeth, fel un na oddefai i gyfammodau a llŵon gael eu tòri yn ddigosp, ac y mae hynt y rhyfel yn dangos fod y dysgwyliadau hyn oll yn cael eu anrhydeddu. Fe elwir yn barhäus ar Pluto, Proserpina, a'r Erinyes, neu Ellyllesau dialedd, fel y galluoedd sydd yn cospi anudoniaeth yn y byd arall. Ac y mae Odysseus yn ei ymweliad â Hades yn gweled pechaduriaid mawrion yn cael eu gosod dan gospedigaethau ofnadwy. Gwelai Tityes yn gorwedd ar lawr, a dwy fwltur yn eistedd bob ochr iddo ac yn rhwygo ei afu, o herwydd ei drais ar Latona, prïod Iau; a Tantalus, dan ddirfawr ofidiau, yn sefyll mewn llŷn dwfr, yr hwn a ddeuai at ei ên, ond bob tro yr amcanai yr henwr yfed, a giliai oddiwrtho, ac amgylchid ef gan yr aeron pereiddiaf a syrthient oddiar goed mawrion, ond bob tro yr estynai ei law i'w cymeryd, y gwynt a'u lluchiai i'r cymylau duon; a gwelai Sisyphus, dan ofidiau mawrion, yn dwyn maen anferth gyda'i ddwy law, ac â'i holl egni yn ceisio ei wthio i fyny y bryn, ond pan fyddai ar fyned dros ei grîb, yna nerth mawr a ddechreuai ei yru yn ol, a'r maen digywilydd a dreiglai i'r gwastadedd, ond efe, gan ymdrechu, a barhäi i'w wthio yn ol, a'r chwŷs a syrthiai oddiwrth ei aelodau, a llŵch a ddyrchai o'i ben. Gallai llawer wênu am ben hyn oll fel plentynrwydd; ond, chwedl Carlyle, *What a deal of truth in these old fables!*

Y maent, o leiaf, yn dysgu yr athrawiaeth o gosp am bechod yn y byd arall yn amlwg iawn. Mae y pruddchwareuon Groegaidd yn llawn o'r un athrawiaeth. Ac felly yr athronwyr. "Dylem bob amser," meddai Plato, "gredu yr hen eiriau cysegredig sydd yn dadgan i ni fod yr enaid yn anfarwol, fod barnwyr wedi eu penodi, a'u bod yn cyhoeddi dedfryd uchaf cospedigaeth pan wahenir yr ysbryd oddiwrth y corff." Drachefn, "Pan dybia dyn ei fod yn ymyl marw, daw ofn a phryder i'w enaid am bethau na feddyliai am danynt o'r blaen. Canys mae yr hen draddodiadau ynghylch Hades, fel y bydd raid i'r rhai a fuont yn euog o ddrygioni yn y fuchedd hon, ddyoddef cosp eu hanwiredd, yn poeni ei enaid. Edrycha yn ol ar ei fywyd a aeth heibio, ac os gwel lawer o bechodau, fel un yn deffro o freuddwyd erchyll, fe'i dychrynir ac fe'i llenwir âg ofnau bygythiol." Yr oedd llawer o gymysgedd yn ngolygiadau Plato ar y mater hwn; ond nid oedd un ddadl yn ei feddwl fod pechod yn galw am gosp, a golygai fod yr enaid trwy arferion drwg yn cael ei anurddo y tu hwnt i obaith gwellhâd; ac felly, gan fod yr enaid yn anfarwol, y mae yn dangos mewn amryw fanau mai cospedigaeth dragywyddol, fel rhybudd i eraill, raid fod y canlyniad. Mae yn debyg mai y syniad Groegaidd am *Nemesis*—a ddesgrifia Aristotle fel eiddigedd sanctaidd, a brïodolid i'r duwiau, fel y cospid anwiredd yn ol ei haeddiant—oedd y corfforiad cryfaf o'r gwirionedd am gyfiawnder dialeddol. Yr ydoedd yn ferch y Nos, yn ddystaw, a chyflymdroed, yn dilyn llwybrau drwgweithredwyr, gan eu herlyn â dialedd sicr. Ystyr gyffelyb sydd i'r dïarhebion Groegaidd,—"Mae melinau y duwiau yn malu yn araf, ond yn malu yn fân;" "Mae cyfiawnder dwyfol yn llithro yn lladradaidd â thraed gwlânog, ond tery yn y diwedd gyda dwrn haiarnaidd," &c. Y mae Rhufain yn ei chwedloniaeth, ei barddoniaeth, a'i hathroniaeth, yn un llais â Groeg yn y mater hwn. Dyma syniad Cicero am fawrhydi deddf:—"Gwir ddeddf ydyw iawn reswm yn ol natur, cyffredinol, digyfnewid, tragywyddol; gorchymynion pa un a'n gŷr at ddyledswydd, a gwaharddiadau pa un a'n hattalia oddiwrth ddrwg. Pa un bynag a orchymyna neu a waharddra, mae y da yn parchu ei harchiadau, a'r drwg yn eu diystyru. Nis gall y ddeddf hon gael ei gwrthddywedyd gan un ddeddf arall, ac nid ydyw yn agored i gael ei gwanhâu na'i diddymu. Nis gall y senedd na'r bobl roddi i ni ollyngdod am beidio ufuddhâu i'r ddeddf gyffredinol hon o gyfiawnder. Ni raid iddi wrth un esboniedydd neu ddëonglydd amgen na'n *cydwybod ni ein hunain*. Nid ydyw un peth yn Rhufain, a pheth arall yn Athen, un peth heddyw a pheth arall yfory; ond bob amser ac ymhlith pob cenedl, rhaid i'r ddeddf gyffredinol yma deyrnasu byth, yn dragywyddol a diddarfod. Dyma ben arglwyddes ac ymherodres pob peth. Duw ei hun yw ei hawdwr, ei chyhoeddydd, a'i gweinyddwr. A'r hwn na ufuddhâ iddi, y mae yn dïanc oddiwrtho ei hunan, ac yn gwneyd trais â natur dyn. Ac wrth wneyd hyny, fe ddyoddefa y poenydiau llymaf, er iddo ochelyd y drygau eraill a ystyrir yn gyffredin fel cospedigaethau." Y mae Tartarus gan Virgil yn lle cospedigaeth y dryg-ionus ar ol marw, cospedigaeth sydd i barhâu yn dragywyddol. Ni ddysgwyliasid llawer ar hyn oddiwrth Lucretius; ac eto y mae yntau yn ceisio ffrwyno rhywfaint ar anghrefydd ei amseroedd trwy ddwyn ger bron y gwirionedd am gosp pechod yn y byd arall. "Pe gallai dynion

weled terfyn ar eu gofidiau," meddai, "gallent gyda rhyw reswm—wrthsefyll addysgiadau a bygythion crefydd. Yn awr, nid oes na rheswm na gallu i wrthsefyll, gan fod poenau tragywyddol genym i'w hofni yn angeu." Y mae tystiolaethau o'r un gwirioneddd mawr, tystiolaethau yn codi o ddyfnder cydwybod dyn,—y gydwybod, yr hon gyda y nefoedd serenog, a lanwai feddwl Kant â'r fath ddirfawr synedigaeth, yr hon, er holl anmhariaeth pechod, sydd eto yn dwyn arni, yn rhy amlwg i'w gwadu, olion y ddelw Ddwyfol ar ba un y crëwyd dyn ar y dechreu,—y mae tystiolaethau yn codi o'i hargyhoeddiadau dyfnion hi i'r athrawiaeth o gosp ddiddarfod am bechod, yn ein gwynebu o bob cyfeiriad y bu meddyliau dynion, trwy yr oesoedd, yn ceisio sefyll yn mhresennoldeb y cwestiynau mawrion. Ac yr ydym yn gorfod teimlo fod llawer mwy o lais y ddynoliaeth i'w glywed yn syniadau y cedyrn meddylgar y cyfeiriwn atynt, er yn ymbalfalu am wirionedd dan ddirfawr anfanteision, nag a geir yn lleferydd bloesg dyngarwyr meddalion y dyddiau hyn, y rhai, yn hytrach nag i bechadur fod yn druenus wrth ddyoddef cyfiawn gospedigaeth ei anwiredd, a fynant i dragywyddol gyfiawnder roddi i fyny ei gorseddfainc. Ac os ydoedd drwg-haeddiant pechod yn ymddangos yn beth mor ofnadwy i ddynion, pan nad oedd ganddynt nemawr neu ddim goleuni arno ond a gyfodai o'u meddwl a'u teimlad hwy eu hunain, pa faint mwy ofnadwy yr ymddengys yn y Gair sanctaidd, pan yn dyfod i'r golwg yn llewyrch sancteiddrwydd Duw? Mae y geiriau a ddefnyddir i ddangos hyn yn llafurio dan aruthrol lwyth o ystyr. Mae "y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau *yn haeddu marwolaeth.*" "*Cyflog* pechod yw marwolaeth." "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, *a marwolaeth trwy bechod;* ac felly yr *aeth marwolaeth ar bob dyn*, yn gymaint a phechu o bawb." Mae yr hwn sydd "yn diystyru golud ei ddaioni ef, a'i ddyoddefgarwch, a'i ymaros, heb wybod fod daioni Duw yn ei dywys i edifeirwch, yn ol ei galedrwydd, a'i galon ddiedifeiriol, *yn trysori iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw, yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd.* Y mae yn "rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corff, *yn ol yr hyn a wnaeth*, pa un bynag a fyddo ai da ai drwg." Y mae pob trosedd a phob anufudd-dod i "derbyn *cyfiawn daledigaeth.*" Fe fydd "ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef, â thân fflamllyd, *gan roddi dïal* i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; *y rhai a ddyoddefant yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef.*" Nid ydym ni yn gallu amgyffred drwg pechod, ac am hyny yr ydym yn barod i ymgymeryd âg unrhyw syniad a dueddo at fychanu ei gospedigaeth; y mae Duw *yn* amgyffred ei ddrwg, ac o oleuni yr amgyffred hwnw, ynghydag adgasrwydd anfeidrol ei natur sanctaidd tuag ato, y mae yn llefaru am ei gospedigaeth fel peth nad oes terfyn i fod arno yn dragywydd.

3. Y mae un camgymeriad tra phwysig arall yn y "ddadl foesol" y cyfeiriwn ati dros derfynolrwydd cospedigaeth yr annuwiol, pan y mae dynion, wrth sôn am gariad a daioni Duw, fel yn cymeryd yn ganiatäol nad oes dim ond cariad a daioni yn y natur Ddwyfol. Mae y Bibl yn llawn o'r ymadroddion cyfoethocaf yn dangos mor gyflawn o

ddaioni ydyw yr Anfeidrol; yn wir y mae yn symio i fyny holl ogoniant ei hanfod, trwy ddywedyd mai "cariad yw." Ac y mae hyn yn profi yn ddiammheuol i feddyliau y cyfeillion y cyfeiriwn atynt, fod y gospedigaeth dragywyddol y mae y byd yn darllen am dani yn yr Ysgrythyr, fel yn aros pechaduriaid anedifeiriol, yn anmhosibl yn llywodraeth y fath un. Gosodant y mater yma ger bron yn y dulliau mwyaf tebygol o wneyd argraff ddofn o'i afresymoldeb ar feddyliau dynion, ac yna ymorfoleddant yn eu goruchafiaeth ar y "penboethiaid" a feddyliant yn wahanol, gan brïodoli iddynt, er mwyn gwneyd eu concwest yn ddigon ddiammheuol, syniadau am y Bôd mawr y buasai yn well ganddynt farw na meddwl am eu coledd. Pan y proffesir gwneyd ymchwiliad pwyllog i fater yr addefa pawb ei fod o annhraethol bwys, y mae pobpeth o'r natur yna, bid sicr, yn dra annheilwng. Ond o dan y gwrthddadleu mawreddog sydd yn ewynu ei anfoddlonrwydd gyda'r fath rwysg ac ymffrost, a oes rhyw *reswm* yn cael ei ddwyn ymlaen sydd yn deilwng o ystyriaeth dyn sydd yn ymchwilio yn ddidwyll am y gwirionedd? Dyma yn unig sydd yn bwysig i ni. Nid ydyw y pendantrwydd meistrolgar a ddangosir gan ddynion wrth haeru eu syniadau ar fater o'r fath yn profi dim. Y mae argyhoeddiadau dyfnion yn dwyn gyda hwynt dawelwch a chuddiad cryfder sydd yn dangos eu bod yn rhy sicr i wneyd llawer o ffwdan gyda hwynt; ac o'r ochr arall, nid yn anfynych y ceir dynion, pan mewn gwirionedd ymhell o fod yn sicr eu hunain, ïe, ac weithiau *oblegid* hyny, yn gwneuthur llawer o ystŵr wrth ddadgan golygiadau y dygwyddont fod wedi eu cymeryd i fyny. Y mae yn ffaith nad all lai na tharo y sylwedydd mwyaf arwynebol fod iaith y Bibl ar y mater yma, chwedl Foster, yn "ofnadwy o grêf." A oes rhyw le i feddwl y buasai "Duw gwirionedd" yn ymostwng ar y fath fater a hwn i bregethu celwydd i'w grëaduriaid? Ac os ydym yn analluog i amgyffred cysondeb y toster hwnw yn Nuw a bâr ei fod yn damnio ei elynion, gyda'r cariad mawr sydd yn gwneyd gogoniant ei hanfod, ni ddylai fod yn ormod genym, pan y mae pobpeth sydd o'n hamgylch yn terfynu mewn dirgelwch—*omnia exeunt in mysterium!*—gydnabod am hyn hefyd, "Dyma wybodaeth rŷ ryfedd i ni; uchel yw, ac ni fedrwn oddiwrthi." Ond yr ydym yn gweled fod yn y Gair lïaws o adnodau sydd yn dangos fod pechod—pechod y mae dyn wedi ddewis o fodd ei galon, ac y mae yn byw ynddo megys yn ei elfen—yn ngolwg Duw yn anfeidrol adgas, ac nad all Efe lai na'i gospi hyd yr eithaf. Y mae Efe "yn gyfiawn yn ei holl ffyrdd, ac yn sanctaidd yn ei holl weithredoedd." "Ydwyt lanach dy lygaid nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd." "Wele fi wedi fy llethu tanoch, fel y llethir y fèn lawn o ysgubau." "Wele corwynt yr Arglwydd a aeth allan mewn llidiawgrwydd, sef corwynt angerddol a syrth ar ben y drygionus." "Ein Duw ni sydd dân ysol." "Canys cyfiawn yw ger bron Duw, dalu cystudd i'r rhai sydd yn eich cystuddio chwi; ac i chwithau, y rhai a gystuddir, esmwythdra gyda ni, yn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef, gyda'i angelion nerthol, â thân fflamllyd, gan roddi dïal i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; y rhai a ddyoddefant yn gospedigaeth, ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef; pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn

rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu yn y dydd hwnw." "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw."—Y mae dyn, a ddefnyddia eiriau sydd yn saethu ymhell tu hwnt i'w feddyliau, yn ei wneuthur ei hun yn dra dirmygedig; ac a ydym am darawiad amrant i feddwl fod Duw yn gwneyd hyny? Ac os ydyw y geiriau uchod, ac ugeiniau o ymadroddion cyffelyb sydd yn y Bibl, yn meddwl y peth y maent yn ddyweyd, onid ydynt yn ein dysgu yn amlwg fod yr un perffeithrwydd yn y Bod Mawr ag sydd yn peri iddo "lonyddu yn ei gariad, ac ymddigrifo dan gânu" yn iachawdwriaeth y pechadur edifeiriol, yn peri hefyd fod "y gŵr a gerydder yn fynych ac a galeda ei wâr, yn cael ei ddryllio yn ddisymwth, fel na byddo meddyginiaeth." Ac fel pwnc o hanesyddiaeth, yr ydym yn gweled mai dyna ydyw trefn ei oruchwyliaethau tuag at y byd o'r dechreuad. Mae y Bibl yn dangos hyny yn amlwg. Yr ydym yn cael y Jehofah mawr ynddo yn fynych fel barnwr tyner-galon, yn dwfn ymofidio o herwydd trueni dyn, ond ar yr un pryd, o ffyddlondeb iddo ei Hunan a deddfau ei lywodraeth, yn ei gondemnio ac yn ei gospi. "Pa fodd," meddai yr anfeidrol dosturi, "y'th roddaf ymaith, Ephraim? y'th roddaf i fyny, Israel? pa fodd y'th wnaf fel Admah, ac y'th osodaf megys Seboim? trôdd fy nghalon ynof, a'm hedifeirwch a gydgynneuwyd. Ni chyflawnaf angerdd fy llid; ni ddychwelaf i ddinystrio Ephraim, canys Duw ydwyf fi, ac nid dyn; y Sanct yn dy ganol di; ac nid âf i mewn i'r ddinas." Ac eto yr ydym yn cael yr un Tad trugarog a graslawn yn dywedyd,—"Oni ymwelaf am y pethau hyn? medd yr Arglwydd; oni ddïal fy enaid ar gyfryw genedl a hon? A mi a wnaf Jerusalem yn garneddau, ac yn drigfan dreigiau; a dinasoedd Judah a wnaf yn ddiffaethwch heb breswylydd. Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Wele, mi a'u bwydaf hwynt, y bobl hyn, â wermod, ac a'u dïodaf hwynt â dwfr bustl. Gwasgaraf hwynt hefyd ymysg cenhedloedd nid adnabuant hwy na'u tadau; a mi a ddanfonaf ar eu hol hwynt gleddyf, hyd oni ddifethwyf hwynt." Ac felly trwy y Bibl. Y mae ymysgaroedd tosturiaethau yn ymgynhyrfu o'i fewn; ond er hyny y mae yn ceryddu ei bobl ac yn cospi ei elynion fel y mynai tragywyddol gyfiawnder. Ie, pan ddisgynodd yr Uniganedig Fab i ddeddfle damniol ddyn, fe'i gwnaed *Ef* yn "bechod" drosom,—fe'i gwnaed yn "felldith" drosom! "Yr hwn nid arbedodd ei brïod Fab; ond a'i traddododd Ef drosom ni oll." Ac os oes rhyw ymadrodd cryfach na'i gilydd yn y Llyfr sanctaidd sydd yn dangos ofnadwyaeth cosp yr annuwiol, fel yn gwbl ar wahân oddiwrth bobpeth tebyg i nwyd neu gynddaredd, ac yn weithrediad tawel ac anocheladwy anfeidrol gyfiawnder, yr ymadrodd hwnw yn llyfr y Datguddiad ydyw, *Llid yr Oen!* Ac nid ydyw Natur ychwaith heb ddyrchafu ei llais yn groew a difloesgni,

> Gan gyfiawnhâu i ddynion lwybrau Duw,

a dangos, er mor fawr yw ei ddaioni, fod ynddo Ef ddigofaint hefyd yn herwydd pechod dyn, a "lŷsg hyd uffern isod." Mae y "crëadur wedi ei ddarostwng i oferedd, nid o'i fodd, eithr oblegid yr hwn a'i darostyngodd;" y mae yn "nghaethiwed llygredigaeth;" y mae "pob crëadur"—yr holl grëadigaeth—"yn cydocheneidio, ac yn cydofidio hyd

y pryd hwn." Yr ydym yn gweled fod yn rhaid i ni adael y mater yn y fan yma yn bresennol, ond fe'n tueddir, wrth derfynu yr erthygl hon, i osod ger bron ein darllenwyr ddyfyniad o waith un o apostolion llênyddiaeth y dyddiau hyn, nad ydyw yn debyg y bydd neb yn barod i'w gyhuddo o "gulni," &c. Fel yma yr ysgrifena Mr. Ruskin, yn ei *Stones of Venice*, ar yr Ofnadwy mewn Natur:—

"Nid oes dim yn ymddangos i mi yn fwy hynod na'r cylch o olygfëydd mawreddog â pha rai y mae y dychymyg yn cael ei frawychu, mewn myrdd o amgylchiadau, pan y mae y gwir berygl yn gymhariaethol fychan; fel y mae yr argraff fwyaf sydd yn bosibl o ddychryn yn cael ei chynnyrchu ar feddyliau pawb, er nad oes dyoddefaint uniongyrchol yn disgyn ond ar ychydig..........Ac felly y mae yr un modd gyda golwg ar bethau dinystriol eraill y grëadigaeth. O'r mwyaf aruthr o honynt hyd y tyneraf—o'r daeargryn i'r hâf-gafod, fe geir fod gyda hwynt agweddion bygythiol, sydd yn taro braw i galonau llïaws llïosocach fil o weithiau na'r rhai sydd yn dyoddef mewn gwirionedd oddiwrth weinyddiadau barn; a heblaw ofnadwyaeth y pethau hyn sydd yn uniongyrchol beryglus, y mae dychryn dirgelaidd ac annesgrifiadwy yn perthyn i lawer o agweddion y grëadigaeth o'n hamgylch, sydd yn tueddu yn fynych i'n llanw âg ystyriaeth ddifrifol, hyd yn nôd yn ein hamserau mwyaf tawel a heddychol. Nid ydwyf yn deall y ffurf fwyaf peryglus, oblegid y fwyaf deniadol ar anffyddiaeth ddiweddar, yr hon, tra yn cymeryd arni ddyrchafu daioni y Duwdod, sydd yn ei ddarostwng i anfeidroldeb dibris o drugaredd ac anghofiad dall o waith pechod, ac sydd yn gwneyd hyn gan mwyaf trwy aros ar yr amlygiadau llïosog o garedigrwydd Duw ar wyneb y grëadigaeth. Mae y fath garedigrwydd yn wir yn weledig ymhob man a phob amser, ond nid ar ei ben ei hun. Y mae llid a bygwth bob amser yn gymysg â'r cariad; ac yn unigeddau eithaf natur, y mae bodolaeth uffern i mi yn cael ei ddadgan mor eglur, trwy fil o fynegiadau ysbrydol, ag eiddo y nefoedd. Mae yn dda i ni aros gyda diolchgarwch ar ymagoriad y blodeuyn, a disgyniad y gwlith, a chŵsg y maesydd gwyrddleison yn nhywyniad haul; ond y boncyff wedi ei ysu gan fellten, y graig ddiffrwyth, oergwynfan y gwyntoedd llymion, rhüad sugnbyllau duon, peryglus, dieiriach, ffrydiau y mynyddoedd, unigeddau sobrddwys y corsydd a'r moroedd, ymwywiad parhäus pob prydferthwch i dywyllwch, a phob nerth i'r llwch—ai nid oes gan y pethau hyn iaith i ni? Gallwn geisio gochel eu haddysg trwy ymresymiadau mewn perthynas i'r da a ddygir allan o ddrygioni; ond twyllresymu ofer ydyw! Mae y da yn canlyn y drwg fel y dydd yn canlyn y nos, ond felly hefyd mae y drwg yn canlyn y da. Mae Gerizim ac Ebal, genedigaeth a marwolaeth, goleuni a thywyllwch, nefoedd ac uffern, yn gwahanu bodolaeth a dyfodol dyn.............Y mae cariad Duw, fodd bynag, yn cael ei ddangos bob amser yn nhra-rhagoriaeth neu swm ychwanegol daioni yn y diwedd, ond byth trwy ddifodiad drwg. Nid ydyw yr ammheuon diweddar am gospedigaeth dragywyddol gymaint yn ganlyniad caredigrwydd ag eiddo galluoedd gweiniaid mewn ymresymu. Addefa pawb fod Duw yn dwyn da meidrol allan o ddrwg meidrol. A phaham nad da anfeidrol allan o ddrwg anfeidrol?"

Mr Daniel Rowlands Bangor.

# YR IESU YN TEWI.

Ein Hiesu a safai o flaen ei gyhuddwyr—
  A gwancus elynion o'i amgylch yn llu,
Pob dysgybl anwyl, pob ffyddlawn ganlynwr,
  Oddiwrtho Ef heno ei wyneb a drŷ;
Cwestiynau maleisus a fwrir i'w erbyn,
  Gau-dystion yn lluoedd a elwir mewn gwŷn,—
I'w wyneb sancteiddiaf y poerir mewn dirmyg,
  A'r Iesu a dawodd! Ah, Wele y Dyn.

"Yr Iesu a dawodd," er hawdd y gallasai
  Ag anadl ei enau ŷru 'r crëad i ffoi,
A hyrddio y cynghor i ddyfnder trueni,
  I fflam na ddiffodda am byth i ymdroi;
Er hyny goddefodd eu gwawdiaith ddirmygus,
  Ni chododd yn erbyn un driniaeth na loes;
Ei gariad digymysg at fyd oedd golledig
  Roes fodd i'w elynion i'w arwain i'r groes.

"Yr Iesu a dawodd." Yr Hwn gynt lefarai
  Nes ydoedd y gwyntoedd yn tewi o'i flaen,
A phob tòn wallgofus ar fôr Galilea
  Ymbwyllai, a gwên dros ei gwyneb ymdaen;
A phwy ydoedd Caiaphas falch a'i gynghorwyr
  I siarad â Hollalluogrwydd ei hun?
Er hyny nid etyb eu haerllug gwestiynau;
  Yr Iesu a dawodd! rhyfedded pob dyn.

"Yr Iesu a dawodd" ger bron ei elynion,
  Mewn trefn i gyhoeddi maddeuant a gaed
I dyrfa lïosog nas gellir ei rhifo
  O hen bechaduriaid, trwy rinwedd y gwaed:
"Yr Iesu a dawodd,"—Cyfiawnder gaiff waeddi
  Am ollwng yr euog, fod Iawn wedi ei gael,
Fod deddf dan ei choron, a'r nefoedd yn foddlawn,
  A Duw, a fu 'n ddigllawn, heb ŵg ar ei ael.

# Y NOS.

*GAN ISLWYN.*

CYNNWYSIAD.

Rhagfeddyliau—Dydd a'i Gulder, Nos a'i Ehangder—Dymuniad am gorff anfarwol i olrhain y grëadigaeth—Gwibdaith trwy y Gyfundrefn Heulog—Newton a'r Nos—Cydgerdd y Rhodau—Y Nos a'r "rhai a hunasant"—Tŷ ger y môr ganol nos—Yr unoliaeth rhwng "Awen, Seren, a Sant"—Y nef yn paentio ei gwyneb yn yr afonydd; ail grëadigaeth yn y llŷnoedd—Yr Eos—Y Nos a'r Gwlithyn—Y Nos a Gorphwysdra—Y Breuddwyd—Nos Ystorm—Y Lloer—Eden yn ngoleu y Lloer—Y Lloer a Phrudd-der—Y Nos fel adeg Myfyr a Gweddi—Hoffder Crist o'r Nos, a'r Nos yn ei ad-dalu trwy orchuddio ei groesbren—"Nos Einioes fel Nos Anian"—"Ni bydd Nos yno!"

Mi gânaf am ogonedd
Y Nos gain hynaws ei gwedd:
Euraidd adeg bardd ydyw,
Ac awr bêr y cerub yw.
Engyl ar ei hymyl hi
Miloedd a geir yn moli.
Rhyw adgof ynof ennyn
O dêg etifeddiaeth dyn,
O'i enwawg darddiad hynod,
A'i hawl i anfarwawl fod.
Mi glywaf lwysaf leisiau
A'u holl nwyf i'm llawenhâu;
Lleisiau nef, rhai cartrefawl,
Er ymhell 'rwy'n cofio 'r mawl.
Ysbrydol leisiau brodyr
Yw 'r angel-dôn drwy 'nghlyw dŷr:
Mae perthynas urddasawl
Rhyngof fi â'r ëang fawl:
Afradlon wyf, a'r odlau
Mŷg a phell wna im' goffâu
Am annedd fy nymuniad,
Iaith fy Nuw, a Thŷ fy Nhad;
Ac am y dydd ca' i'm dwyn—yn ol
Eto i'r rhyfeddol Gartref addwyn.

Dêg Nos! Wyf yn d' aros di
O fyd i'm hadgyfodi
Ar allu pur i well pau,
I fydoedd uwch gofidiau.
Efo 'r Duwdod, drŵod, draw
E ga 'm henaid gymunaw,
Seren ar ol seren sy
Ar fîn y llwybr i fyny,
I fyny, i fyny fyth,
Trwy gu ofod tragyfyth,
I'r làn, i'r làn, trwy 'r loëwnef,
Trosodd at ei orsedd Ef!

Fŷred yw golygfa 'r Dydd—er esgyn
I rwysgedd ysplenydd!
Y Crëad dan suddiad sydd,—sêr gollir,
Eu myrdd gleddir yn moroedd goleuddydd.

Ar ei löew-rod ni wêl yr haul eirian
Ond dysgleirdeb ei wyneb ei hunan;
Am encyd hollol mae 'n cauad allan
Gyfandir serenog enwog Anian:
Nid yw 'r Oll ddengys ond Rhan—trwy 'r hynod
Enwog ofod, o'r gysondrefn gyfan:
Dim ond rhan o'r cyfanwaith,
Rhychwant cyn diderfyn daith:
Un dòn o ddwfn eigion Nêr:
Syn dòn—yr adsain dyner
Gyntaf a meinaf er mawl
I'w Fydded gor-ryfeddawl.

Y Nos wna ddangos i ddyn—le union
Ei Blaned, fel mymryn,
Rhyw anenwog ronynyn;—yn ddim â
Ger ffawd y dyrfa o gyrff diderfyn.

Er lleted ydyw 'n daear alltudiedig,
Nid yw yn Anian ond t'wodyn unig;
Ar eigion Nos rhyw egwan ynysig,
O oleudai 'r sêr yn anweledig;
Deilen awr oed mewn trag'wyddol goedwig;
Brau ddolen yn nghadwen yr hongiedig
Orwych fydoedd mil mwy dyrchafedig.

Fy ysbryd gyfyd uwch holl ogofäu
Y ddaearen hon, i feddu 'r nenau!
A chymeraf fy nhaith iach am oriau
Yn ngloëwaf fydoedd, plith engyl-fodau—
Odidog oludog ymweliadau,
A bröydd ysblenydd sy fel blaenau
Y nefol annherfynol drigfanau!

Nos swynhudol ehanga 'n syniadau
Am Grëawdwr y pell edmyg rodau,
Yr Hwn a alwodd yr eirian heuliau,
A grëai Anian â gair o'i enau:
Ei law Ef luniodd eu haml filiynau,
A'i law a'u harwain trwy 'r uchelderau
Mawreddus ail ûs ar awel oesau:
Dygir, bugeilir y bydoedd golau
Fel ŵyn gwylaidd addfwyn gan ei ddeddfau;
Er o rif rhagor na gwlith y borau,
Mae Iôr yn nabod eu mîr wynebau,
A geilw y sêr trwy yr holl bellderau
Ar ryw iaith hynod, oll "wrth eu henwau!"

O! ddidòr ryfeddodau!—hwy faeddant
Y rhifyddiaeth orau,
Palla i gyd—pwy all gau
Am y sêr â mesurau!

Os eir amgylchedd seren
E wna archangel yn hen:
Daw bore hynod Adgyfodi—cyn
Terfyn *un* flwyddyn nefol iddi!
Fawreddig flwyddyn ddigoll,
Fwy nag angder Amser oll.

Mawredd uthr ryfedd, a Threfn!—Cerub â
Acw i syndra uwch eu cysondrefn.

Dyrysaf uwch y dyfnder isod—rhy fawr
Fyth i wel'd ei waelod,
Le i fydoedd filoedd fod
Yn dawel fel mân dywod.

Eto, rhaid im' ymattal,
Gormod o Dduwdod im' ddal!

O! am gorff yn rym i gyd,
Un a f'ai oll yn fywyd;
Un fedrai daith anfeidrol
Drwy y nef heb droi yn ol;
Un, fel enaid, na flinai,
Hwylus gorff, fyth na lesgâi:
Heb fethiant, er byw fythol,—heb angau,
A heb reidiau ond rhai ysbrydol:—

Yna o dywyll fyd ymadäwn,
A'm tragywydd adenydd a daenwn
Uwch y cymylau; yn iach acw molwn;
Ar y Lloer danbaid gànaid disgynwn,

A'i llôsgfryniau am—olau ymwelwn,
A'i heirdd newidiawl arweddau nodwn,
Am ei hattynol rîn yr ymholwn,
A'i rhaff dŷnol wych reol chwareuwn,
Ar hedfa seraph ei rhôd fesurwn;
Ogylch y blaned ddaearol hedwn
A hithau fel lloer fwy olau welwn,
O, fyw newydd! Mis cerub fwynhâwn!

Awn ar gyrch i Mercher gàn,
Dewis hoff blaned Huan;
Gwasga hon at ei fonwes,
Beunydd rhydd ei orau wrês
A'i orau olau o hyd
Yn helaeth i'w anwylyd.
Afreidiol crëu un lleuad
Yn chwaer fwyn i Mercher fad,
Nawdd agos Haul sy' n ddigon,
E ga 'r Dydd holl gariad hon.

Ar y daith cawn Gwener dêg
Mor brid ei gwrîd goreudeg!
Ei thyner fireinder hi
A geir yn tra rhagori
Ar geinder gwychder a gwawl
Holl nifer y llu nefawl.
Duwies tegwch harddwch oedd
Yn asur y cynoesoedd.
Ah! mwynhâwn brif êm y Nos
Benigamp, pe bawn agos,
Os synais wrth ei swynion
O'r ddaear bell hybell hon,
Ynfyd awn o'i chanfod hi—ar ryfedd
Fyg sêdd gyfagos iddi,
A chael hir drem uchelwych
O'i hwyneb draw heb y drych.

Awn eilwaith ar daith nes d'od—i Iau fawr,
Prif fyd ein harianrod,
Na wêl o'i aruchel rod
Drwy oesau 'n daear isod.

Oddiyno 'n arddunol—i Sadwrn
Bell sidell ramantol,
Draw yn dêg dry yn ei dwy
Eirian fodrwy anfeidrol:—

Y Nos anwyl gâr yma breswylio,
Ddedwydd blaned, heb braidd dydd i'w blino,

A bythawl loerwawl yn tawel euro
Pob drych rhamantawl mil-lènawl yno ;
Hi a ga lawer lloer i'w goleuo,
Amrywiaeth o'u gwasanaeth i'w swyno,
O'u hamwych löewder gwel rai 'n machludo
O hyd, ac ereill yn hardd-dêg wawrio :
Un yn entrych gwych y gwawl;
Un ar y terfyn hwyrawl;
Arall a'i gwawl yn pallu
I gyd oll, mewn Diffyg du;
Lloer arall yn d'od allan
O'i bedd mewn ail Ddiffyg bàn,
A'i heglurdeg ddysgleirder
Wrth ddyrchu 'n sỳnu y sêr;
Un ar gîl o leufer gwan,
Un arall oll yn eirian;
Ac weithiau 'r Lleuadau oll
Mewn têg ymuniad digoll,
Y swynol gysegrol saith—yn t'wynu
Draw 'n eirianu ne' Sadwrn *ar unwaith !*

O, farddol ryfeddol fyd !
A'th nwyfre fyth yn hyfryd !
Yn hir y mynwn aros
Yn nghysegrfyd nawddfyd Nos,
Byw ar dêr leufer dy lòn
Fireiniaf lawforwynion.

Ar fy nhaith eilwaith elwn—heb lesgâu,
Ag ymylau 'r Drefn Heulog ymwelwn.

Uranus fawr, y nos fyd,
Yn hon aroswn enyd,
I fwynhâu ei golau gwan
Hwyr aur ei chwe' lloer eirian;
Yna i bwnc fy nhaith bell
Yn oerbarth Neptune hirbell,
Terfyn fyd ein Heuldrefn fawr,
Y ffinfyd pell gorphenfawr.

Ac yna yn iach cânwn,—am barthau
Sydd fyw o heuliau, daith oesoedd filiwn !

Enwog Nos ! mae'th gynnwysiad—yn rhy fawr
Fyth i'm hamgyffrediad,
Rhy faith yw 'r gyfundraeth fâd
Oddiarnaf, im' ddirnad.

Newton—Columbus Natur—a chwiliodd
Trwy uchelwych lafur
Dêg Nos, dy wiwgain asur,
Dy hêdd pell, dy fydoedd pur.

Dilynai dy olwynion
Drwy y nef, oleunef lòn.
Gwelai d' ardderchog olud
A deddfau dy rodau drud.
Ah ! rhoddaist iddo Ryddid
A braint y Gre'digaeth brid.
O fyd i fyd hedai fel
Un rhwng y dyn a'r angel.

Er hyn addefai 'r olrheinyddd hyfawl
Nad oedd ond maban egwan unigawl,
Heb ddarganfod ond un perl arddunawl
Yno ar fîn y pell annherfynawl:
Diadwaen foroedd didawl—eto oedd
O faith oludoedd y Nos fythledawl.

Sŷn wrandaw wna yr Awen
Y Nos, ar beroriaeth nèn:

O! braidd hi glyw beraidd glod—y Rhodau
Cariadus, mewn undod;
Mae rhyw fain adsain—rhyw nôd
O'u dwyfawl gân yn dyfod.

Hyd y llydan ofod, y Lleuadau
A sidellant yn eres eu dulliau
Mewn drych hynodwych gylch y Planedau,
A'r rhai hyn eilwaith gylch mawrion Heuliau,
Gyda swynol gydseiniau—anthemol,
Yn gôr anfeidrol o gywrain fydrau.

Er fod eu mawr rifedi
Uchod yn ormod i ni
Ei gynnwys,—eu cydganedd—rhyfeddol
Acw sy' unol yn ei llawn gysonedd;
Nis ceir un nôd croes o'u cân,
Nac anghord yn eu cynghan.

Daw y Nôs fel cenad Nêr
I fyny dan ei faner,
Ag angelion llòn bob llaw,
Orwych rês, er ei chroesaw,
Yn enw yr Iôn ei Hunan
I ddi gloi y bydoedd glân.
Clyw eu haur byrth dysclaer bàn
Uwch angau, gyda chynghan,
Gyda sain rhyw gywrain gôr,
Ogylch yn cydymagor.
O, gwêl eu haruchel rôd!
Rai dedwydd gerllaw 'r Duwdod!

Ah! nis dring dinystr angau
I'r làn byth i'w gorlon bau.
Er ehanged eu gwledydd,
Gofod i feddrod ni fydd.
Nid ä angladd o'u haddef
Tra miloedd blynyddoedd nef:
Ni thröir maen yn feddfaen fyth,
Oer gofur yn dragyfyth.

Dyner Sêr! cryf hiraeth sy',—yn ddibaid
Yn fy enaid am ddringo i fyny!
Palasau y seintiau sydd
Uwch braw, o fewn eich bröydd.
Ynoch rywle mae ne' nhad,
Aur wynfa mam dirionfâd.
Oes rhyw gôf o'r amser gynt
Eto yn eiddo iddynt?
Rhyw ddolen o'r gadwen gaid
Yn ein huno 'n un enaid?

Anne, fy chwaer, sy 'n eich nef chwi,
Rhoddwyd nef fore iddi,
Pur anfarwoldeb bore,
Coron cyn loes y groes gre'.
Diolchaf i Nâf a'i Nos
A'i dda engyl am ddangos
Y man lle gorphwyswch mwy,—ac mae 'r wèn
Hardd Eden i minnau 'n gyrhaeddadwy.
I fewn pan ddeuaf finnau
O'r flin hynt, Oh! 'r ailfwynhâu
Rhyngom a fydd, a'r angau
Tu ol byth i'n tawel bau.

Ah! mae ynof ddymuniad
Trwy 'm hoes, am wneyd cartre' mâd
Yn fy henoed i f' hunan
Mewn rhyw le tra mwyn ar làn
Y gwyrdd fôr, a gardd firain
O'i gylch fel paradwys gain,
Gerllaw hwn adeiliwn dŷ,
Nef ei hunan f'ai hyny.

Dedwydd yno trwy hyd y Dydd hunwn,
Gyda'r Nos hoff a'r Eos deffröwn,
Oh! gyda'r sêr mi godwn,—mewn purach
Dydd dwyfolach amgenach mi gânwn
Foliant gogoniant Gwiw-Nêr
Màl sant yn ymyl y sêr.

Efo'r Awen awn yn llawen
Is llawn lleuad,
Tua'r glànau, â'm meddyliau
Am addoliad.

Eurai gogoneddai 'r Nos
Unigawl, y dòn agos.
Tònau a sêr—cawn tàn eu swyn
Newyddfyd i'r Awen addfwyn.
Meddyliau uwch geiriau gaf
O'r sêr, ddwyfolwers oraf:

Tybiaf meddyliaf im' dd'od—o fonwes
Addfwynaf y Duwdod
Mal Efe—a theimlaf fod
Fy âch o'r Wynfa uchod.

Tybiaf fod eto obaith
Am Eden wèn yr ail waith,
Eden well dan Ewyllys
Fy Mhrynwr, Llywiwr y Llŷs;
Addaw maent mewn hêdd i mi
Caf eilwaith acw ei foli,
A'i wel'd wedi 'r holl hirwae
Yn ei Lŷs "megys y mae!"

Yn mwynder eu cymundeb
Clau, ni theimlwn eisieu neb.
Gwell weithion y dòn dyner,
A'r carüaidd sanctaidd sêr,
Na gweigion gymdeithion dydd
I weini ar Awenydd.

Awen, a Seren, a Sant,
Enwir mewn perffaith uniant:
Yn eu nodwedd un ydynt,
O'r un llwyth a thylwyth ŷnt.

Y Sêr oeddynt fy mhrif gysuryddion,
Eang fydoedd, gynt yn fy ngofidion,
I fyw rhinweddol fy arweinyddion;
Nos oedd angeles pan suddai 'nghalon
I 'nhywys i Ddinas Iôn,—i fröydd
Y gwîn newydd a'r bythol ganeuon.

Hi a'm haddysgai fod modd i esgyn
I ryw eilfydoedd ar loewaf edyn,
Draw o dwrf daear a dyn,—i wel'd gwawr
A dydd dirfawr ein tynged ddiderfyn.

Gwna y Nos ddangos i ddyn
Y dwyfol aur edefyn

Sy eto, er rhwysg Satan,
Yn uno 'r byd â'n Hiôr bàn.

Weithion mae 'r hyfrydlon fro
Hoff isod yn gorphwyso.

E baentia 'r nèn ei gwyneb ysblenydd
Obry ar fynwes bur yr afonydd,
A lluniau 'r cymylau dros y moelydd
Acw redant fel cysgodau 'u Crëawdydd;
Beth yw 'r gwawl gorsynawl sydd—ar y ddôl?
Ai lliwiau dwyfol o waith llaw Dofydd?

Nos ddywed, "Bydded!" a bydd
Nènau 'n y llỳnau llonydd.
Seren ar ol seren sy
Ar wybren glâsfôr obry,
I'w huchelfaith daith yn d'od
Drwy asur y dŵr isod.
O flaen Duw fel hyn y daeth
Gwawr dêg y grëadigaeth;
Fel hyn yn sydyn doe 'r sêr
O ddu amdo diddymder.

Mewn têr lif mae Natur lân
Heno yn dyblu 'i hunan.

Sain y nant swyna y Nos,—fry wyla
Pan fo 'r haul yn agos,
Mỳnai 'n awr i'r guwawr gain
Yn Nwyrain gwỳn i aros.

Y mae y nant fel am i ni—weithion
Ddeall iaith y nosli,
Mewn hêdd cymuno â hi,
A boddus ateb iddi.

Clyw, draw, yr Eos lawen,—fel duwies
Ar flodeuog gangen;
Llanw â'i mawl y nefawl Nos
Wna 'r Eos bêr ei hawen.

I'r gwigoedd heirdd cydgrynöa beirddion
Aml, yn ngoleu y sêr, mal angelion,
I fwynhâu dwyfol seiniau a swynion,
A melusderau mawl Eos dirion:
Gynghanedd ryfedd! Dystawa 'r afon,
I'm meddyliaeth, a'r balmaidd awelon,
Bob llaw, i wrandaw ar hon,—oll yn gaeth
A pheroriaeth ei cherdd hoff yr awrhon.

Ah! onid ydyw Anian odidog,
Mewn pur syndod, rhyfeddod gorfoddog,

Yn rhoi 'i gwiwfys ar ei gwefus eurog?
Yn dal ei hanadl uwch yr odl enwog?
  I lwyr fwynhâu seiniau syn,—cerddoriaeth
  Dihafal hudoliaeth dwyfol delyn!

O law Nos y cain Rosyn—goronir
    Ag arianaidd wlithyn,
  A'i arogl ef drwy y glŷn
  Syw iawn dâl, sy yn dilyn.

  O, Wlithyn gorwŷn! mor gu
  Yw dy wên wrth dywynu.
  Hylif em! dy loewaf wawl
  Gura sêr â'u gwawr siriawl.
  Ni fedd un teyrnedd, i'm tyb,
  Na phalas, dy gyffelyb.
  Pa hyfryd leowder sy'n pefru!
  Beth wyd? Ai llygad Cariad cu?
  Ogonawl Wlithyn gwiwnef,
  Ai dafn wyd o afon Nef!

Mi welais èmau heulog—yn Llundain,
    A'u llon'd o'r godidog;
  Glânach, a mil mwy gleiniog,
  Dy ddafn têr mewn creider crôg.

  A dŵr nef dïoda 'r Nos
  Fil o dyner flodionos,
Yna 'n ŵyl oll dan lèn—ânt i huno,
Mwy, i freuddwydio am fröydd Eden.

Llefara Nos i'r llafurwr—heddwch,
    A rhyddid i'r gweithiwr;
  Dŵg hûn i flinedig ŵr
  Rhag aflwydd ei chwerw gyflwr.

  Mal nef yn ymyl y nant
  Yw man ei hoff ddymuniant.
  Taen blodau 'n fwäau hêdd
  Rhosynawg dros ei annedd.
  Mae 'n gartref i dangnefedd
  A gwir hoen, mae 'n gysegr hêdd.
  Boddlonrwydd a dedwyddyd
  A gawn o'i fewn, a gwŷn fyd.
  Y gwyrdd sy fel gardd Sïon,
  Fel glâs ne', gylch y lle llòn.
  Daw 'r gwlith â dwbl fendith fâd
  Ddwyfol, ar ei ardd wiwfad.

Is seirian wawl sêr y nef—fawreddus,
Rhy ogoneddus yw 'r wiwgain haddef,

O! rhy lân yw 'r drigfan draw,
Rhy lonydd i'w darluniaw.

Y gŵr blin a gâr ei blant,—a hwythau
Weithion a gyfodant,
Ail am engyl ymhongiant—wrtho,
A'u croeso goreu iddo a roddant.

Arweinia y rhai hynaf—yn ei law
Anwyl ŵr tirionaf,
Idd y lleia' rhodda wrês
Ei gynhes fonwes fewnaf.

Eu sŵn a'u melawg gusanau—sy dâl
Dros y dydd a'i feichiau;
Mwy ennill yw, mae 'n well llôg
Na'r gyflog eurog orau.

Hidlo balm nefol wna 'r hwyrol oriau
Ar y gŵr a lethir â gorlwythau:
Clöa boddloniant pur ei amrantau
Ag hûn melusach nag yn mhalasau
Ymerawdwyr a gwŷr gau,—mor llonydd
Yw ei obenydd clyd, mor ddiboenau!

Hyd y Nos breuddwydio wna—am orphwys
Yn mherffaith hêdd Gwŷnfa,
'R awr bêr caiff llafurwyr byd
O'u holl ingfyd ollyngfa.

Gwêl ei hun wedi glàniaw
O'i fordaith a'i drymwaith draw;
A'r llaw fu 'n gweithio mor llesg,
Yn dal mewn gallu dilesg
Balmwydd o wych lwydd uwchlaw
Gelyn i'w lidiog wyliaw.
Banllefau meibion llafur
Yn y loew bell Iubil bur
Glyw efe—buddugol fawl
Ar fanau annherfynawl,

Lle mae y werin oll mwyach—tu hwnt
I hawl gormes afiach,
Hwnt i heiyrn eu hen deyrn du,
Heb allu gan drais bellach.

Süa 'r afon ei physg, weithion
I hûn dirion trwy 'r dyfnderoedd,
A breuddwydiant am ogoniant
A llifeiriant y pell foroedd.

Y cerddgar adar ydynt
Yn dychwel o'u huchel hynt:

Llaesa eu corau llïosog—ysgeifn
Eu hesgyll godidog;
Ant mewn llòn hyfrydlon frys
Mwy i'w sigl-lys mwsoglog.

Y wiw wenynen ddiwyd—adawa
Y blodeuyn ceinbryd,
Ac mewn heddwch i'w chŵch â,
Le faedda bob celfyddyd.

Yn hêdd hwyr y paen a ddaw,
A'i esgyll yn ymrwysgaw,
Yn eres oll, fel rhyw sŷn
Aderyn o fyd arall.
A'r hardd blüog geiliog cain
Hyderus, sydd yn darwain
Yn ei ran ei deulu 'n rhwydd
I'r ieirglwyd fel rhyw arglwydd.

Minnau hunaf, âf i fyd—òd, uthrog,
Dyeithrawl yr ysbryd;
Acw enaid uwch cylch cnawd â,
Hardd 'hedfa trwy freuddwydfyd!

Er ei rwysg, carcharor yw,
Clöedig mewn clai ydyw:
Aml râff gylch y seraph sydd,
Dyfnaf Babylon defnydd.
Clöa hwyr y synwyrau,
Y llaes gorff sydd yn llesgâu.
Mater baid, a'r enaid rhydd
Nid ofna mwy rhag defnydd;
Uwchlaw byd dychwela bàn
I'w freiniol fro ei hunan.

Cymer ei daith faith i fyd—yr engyl,
Uwch cyfryngau cleilyd;
Ymgais ydyw i fyw fel
Angel wedi diengyd.

Ebrwydd 'hêd yn y cerbyd breuddwydiol
(Yn nef yrir gan engyl anfarwol),
Trwy bur hewyd, i'w gartre' boreuol,
Bro ei ddwyfol hàniad, darddiad urddol;
Sêlir ger allawr sêrwawr Nos siriol
Ei addas brïodas â'r Ysbrydol.

Breuddwyd fedd allweddau—ysbrydolfyd,
Hawl i agoryd y bythol gaerau.

Eirian awr o fewn yr annherfynawl,
Llawen ofwy i blith y llu nefawl,
Rydd ini, ac arddunawl—gysgodau
O agweddau bodolaeth dragwyddawl.

Hoff ydwyf dan bruddglwyf bron
O wrandaw ar rü 'r wèndòn
Yn hèrio 'n hy' 'n oriau Nos
Y gwgawl greigiau agos.

Aed daearol fydolion—i rifo
Eu haur ofer weithion,
Mil mwy bri, gwell mael i'm bron—os mwynhâf
Is trwm anaf, y Nos-'Storom ëon!

Yn fy nhrigfa yn Rhagfyr
Dedwydd bod, wedi dydd bỳr,
A syllu yn serchus allan
Ar y glwys bur eira glân.
Eira rydd ei oer, oer wawl
Llwyrwỳn, fel cysgod lloerwawl.
Mor gu yw 'r 'storom rüawl
'N awr i mi, mor bur ei mawl!

Rhuadau 'r llew mawredig—ysgydwa
Y gysgodawg goedwig;
Ei daran lais cryglais cry'
Ddeffry ddyfnderoedd Affrig.

Weithiau y 'storom drom draw
A, hanner nos, i hunaw;
Derfydd y tyrfau dirfawr,
Daw tangnef drwy 'r nef yn awr,
Dros yr oll daw 'r sêr allan
Enwog lu, filiynau glân:
O ddu gwmwl, yn ddigymhar—ei harddwch,
Yn ei holl degwch daw 'r Lleuad hygar:

Dethol Lusern ymdeithydd
Wedi i'r dòn ordoi 'r dydd;
Mewn hiraeth mae yn aros
Am hon yn eigion y Nos.
O'i bron dêg mae bryn a dôl—i'w gweled
Oll yn yfed ei harianlli' nefol.
Môr arian dros Anian sydd,
Rhwysc Eden dros y coedydd.

Mae arian ar y bànau,—mae arian
Ar y môr a'i dònau,
Mae arian ar y muriau,—rhyw ddylif
O fyw arian hylif yw 'r ne' olau.

Yn y nef, Loer henafol,
Asi ni âg oesau 'n ol!

Ti glywaist gu alawon—y bore
Gan bur archangelion,
Doniol lu—uwch Eden lòn,
Gwlawiaist dy belydr gloewon.

Adda a'i Efa dan dy wên ddwyfol
Elynt am hynt trwy 'r rhodfëydd rhamantol
Gwisgai Eden yn y Nos gysgodol
Geinderau gwychderau uchdaearol,
Tröai yn lwys baradwys ysbrydol
Dan gain addurn dy wên ogoneddol—
Nos Eden! O, Nos hudol!—tecach na
Nos gu Arabia, O, Nos gerubiol!

Cymylau golau i gyd,—llawn ceinder,
A geid yn nwyfre 'r dêg Eden hyfryd.
Nifwl, ïe, cwmwl càn
Yno oleuai 'i hunan!

Y cwmwl, cyn y camwedd,—arwisgai
Bob rhwysg a gogonedd,
Pob ceinder gwychder a gwawl,
Afrifawl ffurfiau rhyfedd:

Oedd weithiau ar agwedd llong fawreddog,
Dan hwyliau ar dònau 'r nef sidanog,
A'i llwyth o drysor pell fôr llifeiriog,
A'r Engyl draw y "dwylaw" dihalog
Newidiai wed'yn fry yn odidog
Ar ne' lâs swynawl, i deyrnlys enwog,
Ac, mewn urddas cwmpasog,
Gu wyrdd crai, a gerddi crôg.

Deuai 'r sêr gan leuferu
Yn nês i lawr, hynaws lu;
Ah! nês i'r ddaearen oedd
Rhifedi ei chwaer-fydoedd.

Mor gain, O, mor ogonawl—yw 'Mherllan,
A'i lliwiau eirian o dan y lloerwawl!

Blodau y pren afalau nefolwych,
Wna i chwannog angelion ei chwennych,
O, fawrhydri! Fry edrych!—A fu pren
O fewn i Eden, yn fwy hynodwych!

Er hyn, e geir yn ei gwêdd—arwyddion
Pruddaidd o dristlonedd;
Mae rhyw drem o ardrymedd,—lliw galar
I'w wel'd ar hygar loewder ei hagwedd.

Ah, Leuad fâd! Wyt hoff i'r adfydus,
Rhyw Belen dirion iawn i'r blinderus,
Lleferi dirioni i druenus,
Acw anfoni dy wên i'r cwynfanus,
Gu Loer, chwaer y galarus!—dy brudd wawl
Sy wir swynawl i fonwes resynus.

Ai dy asiad a'th gaethiwed oesol
Wrth fyd mor bellenig, mor unigol,
Sydd yn achosi 'th gŷni bythgŵynol,
Fel caethforwyn dan gadwen dyngydiol?
Ai awydd esgyn hyd ryfedd ysgol
Crëad Iehofah, i'r cŷrau dwyfol?
Ai awydd crwydraw, draw, uwch dir reol
Efo nifer y sêr anfesurol?

Ai gwel'd o'r pur uchelder—holl hagrwch
A llygredd y dyfnder,
A dyn îs gwawl mor dyner
A ban arf yn erbyn Nêr?

Y sanctaidd Nos a'n tuedda ni—fwyfwy
At fyfyr a gweddi,
Ei nefol-dêg adeg hi
Sydd hwylus i addoli.

Y Nos anfonai 'n Hiesu—ei dirion
Weddi daer i fynu,
Am gariad ei Dad o'i du
A'i rad i'w gwbl waredu.

I'w hoff fynydd, pan orphenai—y dydd,
Mab Duw a esgynai;
Natur oll, yn ddystaw 'r âi,
Oblegid Duwdod blygai.

Tybiaf fod syndod trwy 'r sêr—o'i weled
Mor ŵyl yn y dyfnder!
Prïod Fab, Anwylfab Nêr,
A'i bryd yn llawn o bryder!

Un ogyfuwch âg Iehofa—a'i lîn
Ar lâs Palestina!
Brenin Ne' 'n gynefin â
Phob dolur a chûr chwerwa'.

Y ddofn Nos mewn hêdd a fwynhâi,
O'i gyfoeth hi a'i hadgofiai.
Clywai 'r tyner sêr yn sôn
O gariad am ei goron,
A'i lïosog balasau
Oll o berl, yn y bell bau,

Am ei orsedd ryfeddawl,
Ac am forau gorau 'r gwawl.
Meddyliai am addoliad
Engyl fry drwy Dŷ ei Dad;
O! tybiai y clywai eu clod
O'i heddychawl Fynydd uchod.

Hoffai 'r Nos, a'r Nos a wnai—am hyny
Gymwynas pan drengai!
Ei duwch dyfnaf döai—ei groesbren,
A'r oleunèn uwch Calfari lènai.

Uchod cyn darfod o'r dydd—Haul enwog
Ddiflanai gan g'wilydd;
Tòrai ymaith mewn terydd
Lid dirfawr, deirawr o'r dydd.

Nos mor ddu ni fu—ni fydd
Oesau fil nos hefelydd.
Fel bydoedd trymion oeddynt
Ei gorblygion geirwon gynt.

Gwnai y sêr, gan y soriant,—alw adref
Belydrau 'u gogoniant,
Ei loes ni oleuasant,—eu gwawl cu
Rhag gwêdd Iesu yn llwyr a guddiasant,

Ni allai 'r Iuddewon hyllig—weled
Yr hoelion llymedig,
Na 'r archollion dyfnion dig,
Na gwaed y Bendigedig.
Ein Hiesu anwyl yn y Nos hono
Rodd Iawn i Iôn dros fyrddiynau yno,
Ac i'r Nef lwys ca'i 'r Lleidr ei gymhwyso
Dan ei offeiriadawl waed yn ffrydio,
Rhyfeddawl flaenbrawf iddo—o ffyniant
Ei Haeddiant, a llwyddiant ei holl eiddo.

"Gorphenwyd!" O'r gair ffynol—fe wawriodd
Rhyw fore tragwyddol,
Yfory têg anfarwol—heb un loes
Ar ol einioes o hirnos orlènol.

Adeg gymylog ydyw
Yr Einioes hon, oer Nos yw.
Som ar ol som fel niwloedd sydd
Yn ei gordôi mewn garw dywydd.

Amledfawr gymylau Adfyd—er hyn
Sy o rinwedd hyfryd
Er yn brudd, i droi ein bryd
Ar geinfawr Fro y Gwỳnfyd.

Ni welem sêr anwylion—y ne' bell
Oni bai 'r Nos dirion,
Na mawr gariad rhad yr Iôn,
Heb alaeth a helbulon.

Ei odiaeth addewidion—yn dŵr sêr
Dros orwel trallodion
Gyfodant—Nos gofidion
Yn ei hêdd sy lawn o Iôn!

Acw i fro Nef cyfeiria ni,—a Ffydd
Goffëir yn ei chyni
O'i thêg etifeddiaeth hi
A'r sêdd sy 'n aros iddi.

Nos Einioes, fel Nos Anian,
Sy löew gan wawl dwyfawl dân,
Gan gu sêr, gan gysuron,
Gan ddysgleirdeb wyneb Iôn.

Yn nhrymder, yn nyfnder y nos,—mewn hêdd
A mud unigedd, O, mae Duw 'n agos!
Düo wna 'r byd, a Nêr bàn
A leinw ei le ei Hunan.
Daw i lawr yn awr yn nês
A'i dirion wyddfod eres;
Yn hêdd du nos ni ddywed neb
Anwylder ei bresennoldeb.

Anwyl fraint, mae 'n oleu fry!—mae cànaid
Wawl ar fy enaid, mae 'n glir i fyny!

Os yw 'r byd i gyd am gau
Ei ddaearol îs-ddorau,
Salem Iôr sy 'n agored,
A'r heol aur oll ar lêd.

A chlywaf wych alawon—miliynau
Sydd o 'mlaen yn Sïon;
Wedi 'r llid, fy mrodyr llòn—fyth ganant
Mewn gwỳn ogoniant, mewn gỳnau gwỳnion!

Minnau af, mae hoen hefyd—i finnau
Ar Fynydd y Gwŷnfyd;
Yn ngŵyl fawr yr angel fyd
Câf hoewaf ddidranc fywyd.

Ydd Ysgol wisg ddyosgaf,—a llaeswych
Wn y Llŷs a wisgaf;
Yn lli' angeu gollyngaf
Y groes hon, aur goron gaf.

Hawddamor, Oror araul!
A "Duw a'r Oen" dy dêr Haul!
Gwyneb Duw-ddyn yn gwênu
Yw 'th haul càn a'th oleu cu.

Ni fedrwn ddal yr anfeidrol—leufer
A lifa 'n dragwyddol
Yn y nef, nes cael yn ol—ar wawr glau
Y gorphen-forau, ryw gyrff anfarwol!

Ni welir y nef yn niwlio,—na dydd
Trwy Oes Duw 'n machludo,
Na *chysgod* hudd yn cuddio—yr eurog
Nef-Ddinas enwog—"Ni fydd Nos yno!"

# Y DDAU EFELL:

*RHAMANT.*

## PENNOD I.

### DAU ADERYN Y CORFF.

Hen eglwys, yn ymyl hen glochdŷ, ac yn y gwagle yn mhenglog hwnw yr oedd hen gloch, a hen forthwyl rhydlyd yn dyrnu ystlys hono bob awr o'r pedair-ar-hugain, er anghysur mawr i'r corfrain, yr adar tô, a'r dyllhuanod a lettŷent yn ddiardreth yn y cyffiniau. Ar noson o fis Rhagfyr, yn y flwyddyn 18—, yr oedd y morthwyl dywededig wedi taro yr hen gloch unarddeg o weithiau, a hithau wedi gruddfan unarddeg o weithiau o tan y driniaeth; tywynu yr oedd y lloer yn glaer trwy yr awyr rewllyd ar yr hen glochdŷ gwŷngalch, nes peri i'r ywen ganmlwydd ar ei gyfer edrych yn dduach a phruddach nag arferol; a dawnsio yr oedd pelydrau y goleuni awyrol ar ddysgleirdeb y rhew a orchuddiai dô yr eglwys a chèryg y beddau. Y rhai hyn oeddynt eglwys, a chlochdŷ, a chlôch Llànllonydd, yn Ngwynedd; fel y gallesid profi yn hawdd trwy dystion o blith y byw, pe buasent yn effro, ac o blith y meirwon yn y fynwent hon, pe buasent yn fyw.

Heb fod llawn ugain llath oddiwrth yr ywen ganmlwydd, y mae merch iddi, càn ddued ei phryd a hithau, ond tua deugain mlwydd yn ieuengach; a cherllaw i hono wele ddyn yn agor bedd ac yn mwmian cânu tra yn dilyn ei alwedigaeth brudd ar yr awr anamserol hono o'r nos. Ar làn y bedd y mae llusern bŵl, yn cynnorthwyo y lleuad i roddi goleuni iddo ar ei waith; ac yn ymyl hono gorgi gwŷn yn ei ddwbl yn cael cyntun cî—ei lygaid weithiau yn agored, a phryd arall yn nghauad, ac yn siarad yn y dafodiaith gŵnol yn awr ac eilwaith trwy ei hûn, yr hyn a barai i'r Tòrwr Beddau ofyn iddo,—"Beth sydd yn bod, Spot?" ac i Spot siglo ei gynffon mewn atebiad, cystal a dyweyd fod pobpeth yn dda, nad oedd y cwbl ond tipyn o freuddwyd, a syrthio i'w gyntun drachefn. Y dyn yna ydyw Nicodemus Dansi, *sexton* y plwyf er ys llawer o flynyddoedd, gŵr sydd wedi llunio y tŷ rhagderfynedig i genhedlaeth gyfan o'r plwyfolion, a chofiadur crâff pob marwolaeth a gymerodd le yn yr ardal, a phob claddedigaeth a ddaeth trwy borth y fynwent hono, er pan oedd penauteuluoedd y plwyf yn eu peisiau.

Ac am ba hyd y parhausai Spot i freuddwydio, a Nicodemus i balu, y mae yn anhawdd gwybod, pe na buasai i ddyn edrych dros y fagwyr gèryg isel oedd yn ysgaru rhwng y fynwent a'r ffordd fawr a dyweyd,— "Heb orphen eto, 'Rhen 'Dderyn?"

"Bron ag ennill pedwar swllt—tri i'r *sexton* ac un i'r clochydd," ebai'r Tòrwr Beddau, y frawddeg olaf mewn llais isel. "Dowch ymlaen, Peter," ebai efe; "taw â dy glep, Spot," a chyrhaeddodd ddyrnod neu ddau i'r corgi, ar lun cerydd athrawol; a gofynodd iddo, mewn syndod at ei anwybodaeth, os nad oedd efe yn adwaen Peter Prys. Yr oedd yn amlwg ddigon fod Spot yn adwaen Peter Prys yn dda, gan iddo redeg tuag ato cyn i'w feistr orphen gweinyddu ei ddysgyblaeth, ac ysgwyd ei gynffon o gylch ei goesau yn y modd mwyaf cyfeillgar.

"'Rwy'n meddwl mai gorphen yn y bore fyddai ore'," ebai'r Tòrwr Beddau, "'does ond rhyw ddyfnder rhaw na byddai yn arch Huw Jones; dwy flynedd i drenydd er pan mae o yna, un o'r diwrnodau oeraf a gawsom ni er ys hanner can' mlynedd."

"A phobl yn dyweyd," ebai Peter Prys, "fod yn dda mai yn ei arch yr oedd Huw ar y fath ddiwrnod, onidê y buasai wedi tòri ei galon wrth feddwl fod y gwynt traed y meirw hwnw yn rhewi ei faip felly. Dyn bydol iawn oedd Huw; mi fuasai'n marw yn werth llawer iawn o arian pe tase fo heb fustachu a gwario cymaint o'i brês efo'r 'Arian Mawr' hyny."

"Buase, buase," ebai 'Rhen 'Dderyn, "ac mi fuasen' ninnau yn werth tipyn mwy o arian, tase ni heb wario cymaint am ddïod i Huw yn ein hoes."

"Wel, wel," ebai'r llall, "waeth tewi, yr oeddym ni yn cael ein llonaid am ein prês, ac yntau yn cael dim ond siomedigaeth. Dyna'r gwahaniaeth."

Yr oedd Mr. Prys yn athronydd i'w ryfeddu ar bynciau dyrys, a'i ddealltwriaeth ëang, fel y mae gwybodaeth ddofn yn gyffredin, yn peri trymder ysbryd iddo, fel y profai'r ochenaid ddwys a anadlodd efe yn nghesail y frawddeg, "Dyna'r gwahaniaeth." "Ond tyr'd odd'yma, da ti," ebai ef, "mae hi yn ddigon oer heno i rewi eirth y *tropics*, ys dywedai'r Gŵr Garw, yr hwn a fu yn ymladd tan y *Duke of York* yn ngwlad yr Aipht."

Y mae yn ammheus iawn a fu'r Gŵr Garw yn ngwlad yr Aipht erioed; ac y mae hanesiaeth yn lled eglur na bu'r *Duke of York* yno o gwbl; ond un o neillduolion Mr. Prys ydoedd fod ganddo hanes o'i greadigaeth ac ar ei elw ei hun, yn gwahaniaethu cryn dipyn oddiwrth yr eiddo Hume, Smollet, a meidrolion felly; ond gan nad oedd yr Hen 'Dderyn wedi gwybeta erioed yn y maes hwnw, aeth at bwnc yr hîn, a than sychu'r chwys oddiar ei dalcen a'i wyneb, dywedai ei fod yn sŷnu pa sut yr oedd y prydyddion yn dyweyd fod y bedd yn oer; gan iddo ef chwysu mwy ar hyd ei oes mewn bedd nag a ddarfu iddo yn unlle arall.

Gyda hyn, aeth y ddau tros y fagwyr i'r ffordd, ac ar hyd un o heolydd Llanllonydd oedd mor dawel a'r fynwent a adawsant, ac mor llonydd ag y mynai enw y Llan yr oedd hi yn brif heol ynddo ddynodi ei bod. Ac o'r brif heol troisant i heol draws, ac annogwyd Peter Prys

i droi i mewn er mwyn cael dyferyn o rywbeth cynhes o gwpbwrdd yr Hen 'Dderyn; â'r hyn, yn y diwedd, y cydsyniodd. Agorodd Nicodemus ddrŵs ei balas trwy roddi ei fŷs trwy dwll i godi y glicied, a llithrodd Spot i mewn yn nghyntaf, gan neidio ar y pentan, a gyru'r gâth drilliw oddiyno tan ddangos ei dannedd, a chwythu fel sarph yn ei wyneb; a gwneyd cryn arddangosiad o'i foddlonrwydd wrth deimlo ei bedion drachefn o fewn cyrhaedd cynhesrwydd. Yr oedd yn amlwg nad oedd i Nansi, gwraig yr Hen 'Dderyn—hithau fel y rhelyw o'r Llanllonyddion, a'i phen ar obenydd er ys oriau—ran na chyfran yn y gwlybwr y soniasai'r ddau gydymaith am dano ar y groesffordd; canys tŷnodd gŵr y tŷ allweddau o'i logell i ddadgloi drŵs cwpbwrdd bychan oedd wedi gosod ei hunan yn drefnus mewn twll o'r un maintioli âg ef ei hun yn y mûr gerllaw y tân; yn y cwpbwrdd hwnw yr oedd costrel dyddanwch y ddau—hithau, fel pawb a phobpeth yn Llanllonydd, yn gorwedd ar ei hŷd gyd. Gafaelodd Nicodemus yn bur ddiseremoni yn nghorn ei gwddf, a gosododd hi i sefyll ar ei gwadn ar fwrdd crwn trithroed oedd yn nghanol y gegin; ac er fod gwrês a goleu da yn aros yn y tân, meddyliwyd mai dedwyddach a fuasai cael canwyll, yr hon a oleuodd y gŵr a biai'r nènbren tan adrodd dwy linell o hen "englyn," chwedl yntau, a glywsai pan yn blentyn:—

Pan ewch i oleu canwyll frwyn,
Trewch ei thrwyn hi'n lludw.

Ac wedi caniatâu iddynt oleu'r ganwyll, a dodi ychydig ddyferynau o'u dyddanwch yn y ddwy gwpan dè oedd yn gwasanaethu ar y tro yn lle gwydrau, dylem yn awr roddi bŷr ddesgrifiad o'r ddeuddyn, gan y gelwir am eu gwasanaeth eto, mae yn ddiammheu, ymhellach ymlaen. Dyn o faintioli cyffredin oedd Peter Prys, tua chanol oed, a llecyn crwn o foelni ar ei goryn, fel pe buasai amser wedi ei goroni efo plât a'i wyneb yn isaf, ac oddeutu ymylon y plât, oddigerth mewn adwy gul yn union ar gyfer y talcen, yr oedd gwallt crych, tebyg i wrych o eithin yn tyfu. Dysgleiriai ei wyneb gan frasder, ac yr oedd ei ganol hefyd yn profi fod ei fywoliaeth yn dygymmod yn dda â'i gyfansoddiad. Neillduolrwydd mawr gwyneb Mr. P. Prys ydoedd ei gêg anferth—ymgollai ei therfyn dwyreiniol mewn locsyn ar ochr ddehau y wyneb, a'i therfyn gorllewinol mewn locsyn ar yr ochr chwith, fel nas gallasai undyn ddyweyd yn gywir beth oedd llêd y fynedfa ëang. Pan y chwarddai ei pherchenog, ceid rhyw ychydig o oleuni ar y pwnc; ond anfynych iawn y chwarddai yntau ond am ben ei 'stori ei hun, ac yr oedd storeuon Peter ymhlith y pethau mwyaf hirwyntog a diflas; er hyny, gwrandewid yn amyneddgar arnynt, gyda'r unig wobr mewn golwg o weled "pŷst llidiart ei fuarth," ac arfer un o gyffelybiaethau cyrhaeddgar yr Hen 'Dderyn, yn dyfod i'r golwg. Saer oedd Mr. Prys wrth ei alwedigaeth, a chlochydd Llanllonydd wrth ei broffes. Fel saer, wedi ei ethol yn arch arch-wneuthurwr mawr Undeb Plwyfol Llanllonydd gan y doethion ymgynnulledig fel cynnrychiolwyr y gwahanol blwyfi; ac fel clochydd wedi ei ddewis gan offeiriad y plwyf ar y pryd, a'r dewisiad wedi ei gadarnhâu gan y ddau *warden*. Nid am nad oedd dynion callach a chymhwysach, ymhob ystyr, yn y plwyf na Prys;

ond yr oedd clochyddiaeth yn y gwaed; yr oedd ei daid, a thad ei daid cyn hyny, wedi llanw y swydd oruchel, a'i dad oedd rhagflaenydd yr Hen 'Dderyn yn y *Sexton*iaeth. Cymerodd y ddau benodiad hyn le yn agos i'w gilydd; a chan mai dyn marwol a meidrol iawn oedd Mr. Prys, ymddyrchafodd i'r goruchelder, nes y bu agos i'w benglog gael tro, yr hyn a fuasai yn aflwydd o'r fath bwysicaf, yn enwedig cyn i'w galon fyned dan yr oruchwyliaeth hono. Dywedai holl seiri yr ardal na fu Peter byth yr un dyn ar ol ei ddyrchafiad ag ydoedd cynt; newidiodd ei gap o bapyr llwyd am het bêfar wèn, bluog; rhoes chwech gwŷn a thwll ynddo, yn lle ewyn Fair, wrth gadwen ei *watch;* neidiodd o'i ffustian i'w frethyn; cludai ffòn drwsiadus tan ei law neu tan ei fraich; a dechreuodd gario gŵn, yr hyn a barai i blant bach, wrth ei weled ar yr heol, redeg am eu hoedl at eu mamau, ac i bobl mewn oed, gofalus am danynt eu hunain, pan y gwelent ef yn dyfod i'w cyfarfod, groesi'r ffordd i'r ochr arall. Ac fe allai fod rhywbeth yn ei ddull chwithig yn dwyn ei ddryll a roddai esboniad ar y dychryn greddfol hwn. Pa fodd bynag, nid oes hanes iddo wneyd niwed efo'i ŵn i un creadur erioed, ond y mul hwnw a saethodd ar y mynydd, gan feddwl, yn y pellder oddiwrtho, mai carw ydoedd. Bu y dygwyddiad anffodus hwnw yn ddraen flin iddo am lawer blwyddyn. Am hirfaith amser ar ol hyny nis gallai gerdded ar hyd un o heolydd ei Lan genedigol na byddai llais rhywun anweledig yn gwaeddi ar ei ol, "Pwy saethodd y mul?" Liw dydd goleu, pan fyddai Mr. Prys, càn sobred a sanct, a pherfeddion y nos, pan fyddai Mr. Prys yn ymwingo tuag adref tan ei lwyth anhwylus, disgynai'r un gofyniad ar ei glustiau, nes cynhyrfu ei holl ymysgaroedd o'i fewn, a pheri iddo droi ar ei sawdl ac ysgwyd ei ffòn yn fygythiol yn nghyfeiriad y llais, a gwaeddi, "Cawn i ddim ond gwybod pwy wyt ti, y cenaw celwyddog, mi dalwn i dy groen di, neu mi dy gospwn di hyd eithaf cyfraith." Rhoddai tymher ddrwg eu clochydd lawer byd o ddifyrwch i'r Llanllonyddion; a'r traddodiad yn y Llan hyd y dydd heddyw ydyw, mai yno, ac mewn cysylltiad â'r amgylchiad a nodwyd, y tarddodd yr arferiad sydd bellach yn gyffredinol, nid yn unig yn Nghymru, ond yn Lloegr hefyd, i ofyn i ddyn yn gwisgo het wèn, ai efe a saethodd y mul. Pa fodd bynag, rhoes y camgymeriad anffodus ysgariad bythol rhwng Mr. Prys a'r gŵn, ac o hyny allan, cyflwynodd ei sylw fel heliwr i bysgota; er na bu ei lwyddiant yn y gangen hono o helwriaeth nemawr mwy; canys dywedai Nicodemus wrtho ambell dro, rhwng difrif a chwareu, ei fod yn rhoddi llawer mwy o dlodion yn eu heirch nag o bysgod yn ei fasged.

Yr oedd Nicodemus Dansi yn dipyn llai o gorff na'i uwchswyddog yn wir, argraffiad mân iawn o ddynoliaeth ydoedd, wedi ei fwriadu felly, mae yn ddiau, gan Ragluniaeth ddoeth at yr alwedigaeth y galwyd ef iddi; canys os darparodd Rhagluniaeth adeiladwyr cywrain i gynllunio pinaclau uchel a phalasau têg, paham na ddarparodd hefyd geiliogod rhedyn o ddynion i drefnu y "tŷ rhagderfynedig?" Yr oedd gwynebpryd Nico yn ymgnawdoliad o hynodrwydd,—cêg yn crychu fel twll botwm; trwyn nefoedd-gyfeiriol; pâr o lygaid croesion, nid ar draws, ond ar hŷd; pan fyddai un yn edrych ar eich het, byddai y llall yn syllu ar eich hesgid; un llygad ychydig yn fwy na'r llall, ac os

gofynech iddo pa fodd na buasai ei ddwy ffenestr o'r un maint, efe a'ch hatebai trwy ddywedyd, " Mai dyna fel y dylai llygaid pawb fod—un i wel'd yr hyn a gaiff o, a'r llall i wel'd yr hyn a hoffai gael." Ac uwchben ei dalcen, safai yn ei unionsyth gydyn o wallt, fel pe buasai yn ceisio chwanegu cufydd at y faintiolaeth odditano ; a thrwy afael yn mlaen y cydyn hwnw a'i blygu at y talcen yr arddangosai Mr. Dansi ei barch a'i foesgarwch at ei uwchradd, sef oeddynt y rhai hyny, y Person bob amser, Sgweiar y Plâs (yr hwn a ymwelai unwaith yn y flwyddyn â'r lle, ac a arosai am ychydig ddyddiau), y Wardeniaid, tra y dalient y swydd, a phawb o bob grâdd, oed, a daliadau crefyddol, os byddent ar fedr talu arian iddo, naill ai am dòri neu am drwsio bedd. Wedi i'r cydyn ostwng ei ben felly, neidiai yn ol i'w sefyllfa gynhenid fel brigyn o bren. Beth pe gwelsech chwi Nicodemus wrth ei waith—yr oedd yn bleser edrych arno. Dosbarth o ddynion chwithig, cywilyddgar, ac ofnus ydyw Tòrwyr Beddau, fel rheol ; ond yr oedd y gwaith yn ail natur iddo ef—yn wir, yn natur ei hun. Tòri beddau a chladdu oedd ei chwareu pan yn blentyn. Dïangai yn lledradaidd i rhyw fan anghysbell, gan ddwyn gydag ef y badell ffrïo, a rhyw lyfr, megys cyfrol o hen almanaciau; dodai ysgerbwd llyffant, chwilen, neu gacynen, mewn blŵch bychan, crogai y badell ffrïo gerfydd ei choes wrth gangen isel o bren, a churai hi â chàreg nes peri iddi ddynwared clôch y llàn mor debyg fyth ag y medrai; yna agorai y llyfr a mwngialai rywbeth tebyg i'r wers gladdu, dodai y blŵch a'i gynnwys yn barchus i lawr yn y twll a ddarparasai yn fedd, rhoddai dinc neu ddwy ar y badell ffrïo drachefn, er mwyn hysbysu y sawl y perthynai iddynt fod y gwasanaeth drosodd ; gosodai y llyfr tan ei gesail, a'r badell ffrïo ar ei ben, a dychwelai adref yn mrîg yr hwyr tan chwibanu, wedi mwynhâu diwrnod o bleser ar ei hŷd. Nid hir y bu y wlad cyn ei lysenwi yn 'Dderyn y Corff, yr hwn a dalfyrwyd er mwyn hwylusdod yn " Hen 'Dderyn."

Eisteddai'r ddeuddyn hyn un o bobtu'r tân, a'r bwrdd crwn rhyngddynt, gan ymgomio am y naill beth a'r llall ; ysmygu a llygadu ar, a phoeri i'r, tân. Gafaelodd yr Hen 'Dderyn yn nglust ei gwpan dê, gan ei chodi yn dra diesgeulus at ei enau, a dywedyd,—

"Peter !"

" Wel," ebai Mr. Prys, gan afael yn nglust ei gwpan dê yntau, fel pe buasai'r ddau yn benderfynol na chawsai yr un o'r ddwy glust glywed eu hymddyddan.

"Beth ddaw o'r Efeilliaid, tybed ?" ebai Nicodemus, " a ddarfu i Huw a Mrs. Jones adael tipyn o brês ar eu cyfer, os gwn ni? 'Roedd Huw yn yfwr trwm iawn ;" a chymerodd y llefarwr lwnc cryf iawn fel math o esboniad ar yr hyn a feddyliai wrth y gair " yfwr trwm."

" Dwys anmhosib'," ebai Mr. Prys ; yntau hefyd yn efelychu ei gyfaill trwy gymeryd llwnc.

Gair mawr gan Peter Prys oedd " anmhosib',"—un o'r ansoddeiriau cryfaf oedd ganddo ar ei elw. " Y Person, 'ddyliwn, ydyw'r ysgutor," ebai ef.

" Dim posib' cael ei well," ebai Nicodemus.

" Dyn da anmhosib," ebai Mr. Prys, " y dyn goreu yn y dyffryn yma."

" Yn y sîr," ebai'r 'Rhen 'Dderyn.

"Yn Nghymru," ebai'r clochydd.
"Yn Mhrydain," ebai'r sexton.
"Yn Ewrop," ebai'r clochydd.
"Yn y byd," ebai'r sexton.

A chan fod y ddringeb uchaf bellach wedi ei chyrhaedd, yr offeiriad wedi ei ddyrchafu yn nês i gylch y gwŷnfyd na neb arall ar y blaned hon, a gwaelod y gwpan yn y golwg, cododd Mr. Prys ar ei draed, ymystwyrodd nes taflu ymaith ddau fotwm oddiar wastband ei glôs, ac ymadawodd tan ddyweyd, "Nos da'wch" yn galonog.

"Nos da'wch," ebai'r Hen 'Dderyn, gan folltio'r drŵs ar ol ei gyfaill, a dodi y gostrel yn ol i gysgu yn y cwpbwrdd; a chyn pen ychydig fynydau yr oedd yntau wedi ymuno â'r Llanllonyddion eraill yn mröydd tawel cŵsg.

## PENNOD II.

### LLANLLONYDD.

Saif Llanllonydd mewn glŷn cysglyd ar gyffiniau dyffryn clodfawr. Nid yw fawr, ac nid yw fychan; ond y mae yr hyn sydd o hono yn ddigon trwsiadus oddiallan a chlŷd oddifewn. Ei adeiladau cyhoeddus ydynt eglwys fawr henafol, anolygus ei gwala—barn ei Sexton am dani ydoedd fod yr hen saint gynt wedi ei chynllunio a'i chodi o bwrpas a bwriad yn hyll, fel ag i ddychrynu y diafol o'r parth hwnw o'r wlad; a dau gapel Ymneillduol, a'u ffugenwau barddonol ysgrythyrol a blwyddyn eu hadeiladiad wedi ei gerfio ar eu talcenau. Ei swyddogion cyhoeddus:—yr Offeiriad, un gweinidog Ymneillduol (yr oedd yr addoldy arall yn cael ei ddiwallu gan y weinidogaeth a adwaenir wrth y gair "*supply*"), meddyg, treth-gasglwr, a chwnstabl; ac ni ddylem anghofio y ddau lewddyn y soniasom eisoes am danynt, sef y clochydd a'r sexton—nid oedd neb yn Llanllonydd mwy cyhoeddus ac adnabyddus na hwynt-hwy. Yr oedd yno ddosbarth arall o dai a gwŷr cyhoeddus, sef y gwesttai a'r gwesteion. Wyth oedd nifer y rhai hyn, ac o'r wyth yr oedd chwech yn dafarnau gwerinol. Nid oedd gan Noa yn yr arch, ac fe allai na foddwyd oddiallan iddi, ddim crëadur cyffelyb i'r darluniau o wahanol grëaduriaid a addurnai arwyddfyrddau y chwe' thŷ tafarn hyn. Y peth hynotaf o'u deutu ydoedd, fod tri o honynt ar yr enw o lewod, a'r tri arall o deirw, a "*John Jones, licensed to sell Ale, Porter, and Tobacco, to be drunk on the premises,*" o tan bob arwyddlun; ac yr oedd y llewod mor debyg i'r teirw, a'r teirw mor dra chyffelyb i'r llewod, fel pe tŷnesid y chwe' *sign* i lawr, a'u cymysgu yn dda gyda'u gilydd, ni buasai yr un o'r John Jonesiaid yn gallu cymeryd ei lŵ pa arwyddlun oedd ei eiddo prïodol ef ei hun. Chwanegasid cryn lawer at eu penbleth wrth fod y crëaduriaid wedi colli eu lliwiau cynhenid, y glâs, y côch, a'r gwŷn, a'r dû wedi dïanc oddiwrthynt, a'u gadael yn llwydaidd ddilewyrch. Tòri syched y Llanllonyddion oedd prif, os nid unig amcan y tai hyn; a hâfaidd oedd gwenau y chwe' Mrs. Jones, a

difyr oedd ffraethebau y chwe' John Jones wrth weled eu cymydogion yn gwneyd hyny o gymwynas â hwy eu hunain.

Ond yr oedd y ddau westtŷ yn ymffrostio pethau uwch, ac yn hòni fod ganddynt amcan mwy dyrchafedig i'w bodolaeth. Y "Ddraig Gôch" oedd arwyddlun y naill, a llun "Gafr" Gymreig yn hongian yn y gwagle rhwng dau fynydd, fel pe buasai yn y weithred o neidio o ben Moel Siabod i ben y Wyddfa, a ddynodai y llall. Yr ail mewn grâdd oedd gwestty yr *Afr;* tra yr oedd sôn am y *Ddraig Gôch* ymhell ac agos fel lle enwog am gyflawniad yr ymadrodd Seisnig anghyfiaith oedd yn baentiedig ar waelod ei arwyddfwrdd, "*Good Accomodation for Man and Beast.*" Rhedai cerbyd trwy Lanllonydd bob yn eilddydd, ac yn y *Ddraig* yr arosai; yno y newidid y ceffylau, yr yfai y gŷriedydd ei lasiaid o frandi, ac y chwythai y *guard* yn ei gorn nes hel o'i ddeutu hyny o blant rhyddion oedd yn y Llàn. Yno y rhoddai boneddigion yr ardal i fyny, ac nid oedd meddwi yn y *Ddraig* hanner cymaint pechod yn marn y Llanllonyddion ag yn un o'r Llewod neu'r Teirw. Ac yr oedd cymaint o urddas a boneddigeiddrwydd yn perthyn i'r tŷ, fel na feiddiai rhai dynion cyffredin fyned o fewn ei borth heb ymgrymu i gapan ei ddrŵs, a dyosg eu hetiau cyn croesi y trothwy.

Y noson y soniasom yn y bennod flaenorol am dani, tywynasai goleuni yn llofft y *Ddraig* trwy y nos, a than y goleu hwnw yr oedd gwyneb gwelw a marw gwraig y tŷ. A phan dywynodd yr haul yn y bore, i beri fod y fflam wan ar ben y ganwyll gŵyr yn anfuddiol, yr oedd yno brysurdeb dystaw trwy yr holl dŷ; dau deiliwr mewn un ystafell yn tòri ac yn pwytho brethyn dû, a gwnïadwraig neu ddwy mewn ystafell arall yn darpar galarwisgoedd i'r rhyw fenywaidd. Y morwynion yn y tŷ a symudent y cadeiriau a'r llestri yn dra diesgeulus, a'r gweision yn y buarth a sisialent eu hymadroddion ar adenydd eu hanadl, canys yr oedd angeu gerllaw; a'r ansicrwydd hwnw ynghylch y dyfodol yn gorphwys ar eu meddyliau un ac oll, ag sydd yn cythryblu y cyfryw bobl pan fyddo marw eu meistr neu eu meistres.

Pan oedd pawb fel hyn yn brysur efo'u gorchwylion, daeth y Parch. Thomas Duncombe, offeiriad Llanllonydd, i mewn i'r gwestty, a pharodd ei ymddangosiad ac adsain ei lais gynhwrf trwy y lle.

"Sut chwi i gyd yma heddyw'r bore, a sut y plant?" ebai ef mewn llais uchel a soniarus.

"'Rydym ni oll yn bur iach, diolch i'r Brenin mawr, syr," ebai Catrin Huws, y ben-forwyn.

"Catrin, chwi geneth dda—diolch i'r Brenin mawr am bobpeth——Brenin mawr yn nghanol barn yn cofio trugaredd, Catrin. 'Ac a dywysodd ei bobl trwy yr anialwch, o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.'"

"Tanki, syr," ebe Catrin, "mae'r Bibl yn ffeind iawn; ac yr ydych chwi yn ei gofio yn rhagorol. Peth gwerthfawr iawn ydyw cô', Mr. Duncombe."

"Cofio pethau da, da yw," ebe'r offeiriad; "cofio pethau drwg, drwg yw. Chwi gwybod lle mae'r gefeilliaid, Catrin?"

"Yn y gegin, syr, yn chwareu marbls, diolch i'r Brenin Mawr," ebe'r ben forwyn, yr hon nid anghofiai un amser ddiolch i'r Hollalluog, os byddai rhai o'i weision yn y cyrhaedd; a'r hon ni phetrusai gymeryd

yr un enw mawr yn ofer os byddai ei gaseion yn clywed. *Humbug* a gwraig weddw ddiblant oedd C. Hughes; ac yr oedd pobl yn siarad fod y gŵr gweddw gan Beter Prys a'i lygad arni.

"Druain bach gwirion, diniwed," ebe'r clerigwr calon-dyner; "hwy fawr feddwl eu colled. Mae plant fi wedi tyfu i fyny, Catrin. Plant yn anwyl iawn pan f'ont yn sathru eich traed; ac fel arall pan dd'ont i sathru ar eich calon."

A chyda hyny ymdeithiodd ymlaen i'r gegin, a chafodd y gefeilliaid yno yn chwareu marbls fel y rhagddywedasai Catrin Hughes, ac yn edrych mor iach eu hysbrydoedd a phe na buasai un o ddygwyddiadau pwysicaf eu bywyd wedi cymeryd lle. Yr oeddynt yn tŷnu at ddeg oed, yn wridgoch iachus, ac o bryd, gwêdd, maint, gwisg, yr un ffunud a'u gilydd. Pe rhoddasech chwi ddillad y naill am y llall—pe cyfnewidiasech lygaid, genau, gên, neu drwyn y naill, a'i ddodi ar wyneb y llall—buasai y ddau berson o ran eu nodau gwahaniaethol yn aros fyth yr un. John ac Ifan, neu Ifan a John, oedd eu henwau; nis gwyddys i ba un i roddi y flaenoriaeth ar gyfrif oedran. Dau flodeuyn y glaswelltyn oeddynt, a flagurasent hyd yn hyn mewn cesail gynhes, sef oedd hono, cariad rhïeni tyner a darbodus—a'r olaf o'r rhai hyny, bellach, yn gorwedd yn ei harch ar y llofft gerllaw. Ond y mae gofid plant, fel cawod o wlaw Ebrill, yn sychu'n fuan; a thra nad oedd neb yn yr holl fyd crwn yr effeithiai'r farwolaeth hon gymaint arnynt a'r ddau blentyn penfelyn y soniwn am danynt, fe allai nad oedd yn Llanllonydd yr un dau, yn ol pob golwg, mor ddidaro ynghylch y dygwyddiad. Gwyleiddiodd y ddau ychydig wrth weled Mr. Duncombe; ond yr oedd ef yn deall natur plentyn yn rhy dda i ddyweyd gair croes wrthynt am eu dideimladrwydd. Yn hytrach, cynnygiodd gyd-chwareu â hwynt; gofynodd i Ifan am fenthyg tô; a dewisodd y chwareuwyr un ac oll y *game* hono a adwaenir yn mysg plant wrth yr enw "Tri Thwll." Yr oedd tyllau eisoes yn y llawr, a dechreuwyd arni yn ddiymaros; ac wrth fod yr hen offeiriad hybarch yn fawr, yn dew, yn anystwyth, ac yn anghynefin â'r gwaith, collodd y frwydr yn bur fuan, a dedfrydwyd ef, yn ol deddfau anhyblyg y chwareu, i ddal ei figyrnau fel y gallai ei wrthwynebwyr buddugoliaethus saethu eu marbls atynt. Ein hesgusawd tros grybwyll ffaith mor ddibwys a hon ydyw, y sylw neu ddau a wnaeth yr hen foneddwr wedi iddo ddwyn ei gospedigaeth figyrnol. "Mhlant anwyl i," ebai ef, "cyfoeth chwi yn awr ydyw marbls; daw amser pan bydd arian yn cyfoeth, a marbls yn ddim; a daw amser gwedi hyny pan bydd arian yn ddim; gan hyny, 'Trysorwch iwch' drysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhŵd yn llygru, a lle nis cloddia lladron trwodd.'"

## PENNOD III.

### Y "PASSING BELL."

Tra y gweinyddid y gosp ac y traddodid y foeswers flaenorol, yr oedd gŵr am y drŵs â hwy a wrandawai'r cwbl, sef y Nicodemus; a phe

buasai rhywun â'i wallt càn wŷned a Mr. Duncombe yn cydchwareu marbls â'r plant, cawsai deimlo oddiwrth arabedd a gwawd y bedddòrwr archollion dyfnach nag a wnaed ar ei figyrnau. Ond gan mai'r offeiriad ydoedd, edrychodd yntau yn sobr iawn, fel y gallai yn mhresennoldeb y fath un, yn y fath le, a than y fath amgylchiad.

"Y mae'r bedd yn barod, syr," ebai'r Hen 'Dderyn, gan feddwl bedd gwraig y tŷ.

"Chwi d'weyd yn iawn, Nicodemus," ebai Mr. Duncombe, tan sychu y chwŷs a ddygasai'r gwaith annghynefin i'w wyneb, "parod yw'r bedd i bawb; chwithau, Nicodemus, a ddylech ystyried hyny, yn lle meddwi a cholli eich synwyr a'ch amser gyda dïod."

"Ac y mae Catrin Dafydd wedi marw, syr," ebai'r Hen 'Dderyn, heb gymeryd sylw o'r bregeth gymhwysiadol y rhoisai yr ymadrodd cyntaf destun iddi.

"Catrin hen wraig dda, dduwiol," ebai'r offeiriad, "chwi roi *Passing Bell* iddi, Nicodemus."

"*Passing Bell* i 'Sentar dlawd felly, Mr. Duncombe bach!" ebai'r Sexton, "'rydach chi' yn rhy dda o lawer, syr, i fod yn Berson; yn rhy dda o lawer—mi ewch yn angel tan eich dwylo, syr, os na fyddwch yn fwy gofalus."

"Methodist, Independent, Baptist, Wesleyans, Cwacers, Eglwyswrs," ebe'r hen Gristion eangfryd, "enwau ydynt i gyd ar *different regiments* yn myddin fawr Emmanuel; nhw i gyd fel *infantry* Lloegr yn gochion eu gwisgoedd wedi eu trochi yn y gwaed. Fi synu gweled y gwahanol enwadau yn casâu eu gilydd—pobl y capel yn casâu'r eglwys, a phobl yr eglwys yn casâu'r capel—a hwythau oll yn galw eu gilydd yn llwythau Israel; os yw'r Bedyddwyr yn trigiannu tu hwnt i'r Iorddonen, ba waeth; mae'r Cwacers, fel Benjamin, yn llwyth er ei fod yn fychan. P'am y rhaid fod gwahanfur rhwng Cristionogion? Dim, os nad i brofi mai dyn ydyw dyn yn awr, fel yn nyddiau Rehoboam a Jeroboam. Daeth Israel at fab Solomon gan ddywedyd wrtho, 'Dy dad a wnaeth ein hiau ni yn drom; yn awr, gan hyny, ysgafnhâ beth o gaethiwed caled dy dad, a ni a'th wasanaethwn di.' Ond Rehoboam a drôdd glust fyddar i'w cais, ac i'r henuriaid ei gynghorwyr, ac a'u hatebodd, 'Fy nhad a wnaeth eich iau chwi yn drom, a minnau a chwanegaf arni hi; fy nhad a'ch ceryddodd chwi â ffrewyllau, a minnau a'ch ceryddaf chwi âg ysgorpionau.' A phan welodd Israel na wrandawai'r brenin ar eu cais, atebasant ef gan ddywedyd, 'Pa ran sydd i ni yn Dafydd? nid oes chwaith i ni etifeddiaeth yn mab Jesse: O Israel, aed pawb i'w pebyll. Ac Israel a wrthryfelasant yn erbyn tŷ Dafydd hyd y dydd hwn.' Na fydded i'r Dissenters,—ein brodyr anwyl y Dissenters, gamsynied trwy feddwl ein bod ni yn maentumio dim i'r Eglwys Sefydledig yn y gymhariaeth wrth ei dodi hi yn dŷ Dafydd; ein hunig amcan ydyw dangos mor debyg ydyw'r Cymry i'r hen Iuddewon gynt."

Tra y traddodai yr offeiriad hybarch y sylwadau uchod, y rhai a swnient yn dra thebyg ar gyfrif dullwedd yr iaith i hen bregeth, edrychai y ddau efell mewn syndod i fyny ar wyneb hardd yr hen ŵr, planai yr Hen 'Dderyn ei bâr llygaid rhyfedd mewn twll yn y llawr, a thröai Catrin Hughes ei dwy fawd o gylch eu gilydd tan wylo'n hidl, fel y medrai hi bob amser ar foment o rybudd.

"A chwi, Nicodemus, yn galw Catrin yn dlawd; etifedd bywyd tragwyddol yn dlawd! Tlawd iawn ydyw pob un nad yw yn meddu cyfoeth o'r un natur a chyfoeth Catrin Dafydd. Hwyrach bod chwi yn meddwl, Nicodemus, ei bod hi yn rhy dlawd i dalu i chwi am *Passing Bell;* mi wnaf i hyny drosti; a cherddwch a dodwch ef yn y fynyd," ebai Mr. Duncombe.

"Tanki, syr," ebai'r Hen 'Dderyn, gan ymlwybro gynted gallai tua'r clochdŷ, tan edrych yn hynod o foddhäus fel un yn ymdeimlo mai nid ffŵl o ddyn oedd efe ei hun; ond mai angel o'r nefoedd oedd Mr. Duncombe.

"Mi ddywed'soch bethau rhagorol iawn," ebai C. Hughes, gan gymeryd ei ffedog i sychu ei dagrau.

"Cofiwch chwithau hwynt," ebai'r offeiriad.

Ac wedi dodi ei ddwylaw yn apostolaidd ar ben y ddau efell, a thraddodi iddynt ei gynghor syml arferol ar iddynt fod yn blant da, efe a ymadawodd; canys yr oedd tlodion yn Llanllonydd i ba rai y cyfranai yn llawen yn ol ei allu; ac yr oedd yno gleifion a ddysgwylient am ei ymweliad fel am dòriad y wawr; ac yr oedd yno blant adfyd a galar a dderbynient ei gynghorion a'i gysuron fel cenadwri uniongyrchol oddiuchod.

Un plentyn adfyd y bwriadai ymweled âg ef y bore hwnw ydoedd Ifan Dafydd, gŵr gweddw yr hen wreigan y soniwyd am dani.

## PENNOD IV.

### HEN YMNEILLDUWR.

Trigianai Ifan Dafydd mewn bwthyn tô gwellt yn nghanol y Llàn, yr hwn, er ei fod yn isel ei fondô a gwael ei ddiwyg, a fuasai yn drigfan iddo ef a'i hen gymhares am hanner can' mlynedd, a lle y magasent dyaid llïosog o blant. Hen Ymneillduwr at asgwrn ei gefn oedd Ifan Dafydd; a chanddo galon oer, a phen goleu ar bynciau crefydd—yn cael ei lywodraethu gan ei reswm yn hytrach na'i deimlad. Yr oedd wedi darllen ac ymdreulio cymaint yn yr Ysgrythyrau, fel y gwyddai ymha le yr oedd pob ymadrodd o'u mewn, ac yr oedd yn cofio llawer iawn o hono yn rhigil ar ei dafod leferydd, yn enwedig o epistolau Paul. Edrychai ar bob adnod yn ngoleuni ei synwyr cyffredin cryf; a phe buasai y werin mewn angen am esboniad ar y Bibl gan un o ddaliadau Ymneillduol, ac o'u plith eu hunain, ni buasai raid iddynt fyned ymhellach nag Ifan i'w ysgrifenu. Ysgrifenu! na, yr oedd ef wedi ei eni a'i fagu mewn cyfnod pan yr edrychai seneddwyr ein gwlad ar addysgu plentyn tlawd fel yr un peth a magu rebel. Yr oedd a wnelai ef â bwrdd caled y ffarmwr pan yn chwech neu saith oed, ac nid â'r Bwrdd Ysgol. Yr oedd yn ddarllenwr da, diolch i'r Ysgol Sul, a daeth yn ddarllenwr mawr a manwl yn y maes a ddewisodd; ond yr oedd ysgrifenu yn wybodaeth na fedrai ddim oddiwrthi, er yn ei ymyl. Yr oedd ynddo lawer o stoiciaeth yr hen Buritaniaid, ac o resymoliaeth Ymneillduwyr (y dosbarth goreu o honynt) dechreu y ganrif bresennol.

Credai ef yn nadgysylltiad yr Eglwys a'r Llywodraeth pan oedd hanner Ymneillduwyr Cymru yn credu mai dinystr ar grefydd fuasai hyny; yr oedd yn dadleu am lawn freiniau i'r Pabyddion pan y credai pawb, bron, a'i hadwaenai, mai y defnydd cyntaf a wnaethent o'u rhyddid fuasai ei losgi ef a'i gyffelyb. Yr oedd yn meddwl y byd o Dr. George Lewis, ac wedi llyncu hyd yn nôd Uchel-Galfiniaeth ei *Gorff Duwinyddiaeth* yn ei grynswth; y Bibl, a llyfrau yr "Hen Georgyn," oedd ei holl lyfrgell. Clywsom ef unwaith yn gwneyd rhestr o'i gredo, fel y bydd plant yn dodi ŵyau ar linyn, a dyma hi: "Fy Arglwydd yw Duw; Crist yw fy Ngwaredwr; fy apostol yw Paul; a fy mhrophwyd yw George Lewis."

Cafodd Mr. Duncombe yr hen ŵr yn eistedd yn athrist a phenisel o flaen y tân, ond parodd dyfodiad yr ymwelydd iddo ymsionci ychydig.

"Wel, Ifan bach, chwi cael colled fawr," ebai Mr. Duncombe.

"Colled fawr iawn i mi, syr; ond ennill i Catrin," ebai yr hen gredadyn. "Mae hi yn y nefoedd càn wired a bod y Bibl yn wir."

"Ond sut chwi bod yn brudd, ynte?" gofynai'r offeiriad; "mae'r Bibl yn d'weyd, 'Gwỳn eu byd y meirw, y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd.'"

"Ydyw, ydyw; digon gwir," ebai'r hen ŵr, "fel hyn y mae dyn yn fynych yn llawen am yr hyn y dylai fod yn brudd, ac yn brudd am yr hyn y dylai fod yn llawen. Yr ydym yn lapio ein hunain i fyny gymaint yn y *presennol*,—y mae ffydd y goreu o honom mor wan, fel y mae ein hyfory yn cael ei lyncu i fyny yn yr heddyw, a'r 'bỳr ysgafn gystudd' yn gorlethu ein gobaith am 'fod gyda'r Arglwydd.' Dyna paham, syr, yr ydwy' innau yn teimlo mor isel. 'Does geny' yr un rheswm arall trosto."

"Pryd chwi claddu, Ifan? Fi wedi peri i Nicodemus roi *Passing Bell*," ebai Mr. D.

"Naddo, gobeithio, syr," ebai'r Ymneillduwr. "Y mae'n bryd i ddefodau Pabaidd felly ddiflanu o'r wlad. Un o hen draddodiadau y tadau ydyw, sydd yn dra niweidiol i grefydd bur y Testament Newydd."

"Wneis i ddim *harm*, gobeithio," ebe'r offeiriad yn bryderus.

"Dim *harm* ynddo ei hun, syr, mwy nag sydd mewn canlyn cŵn hela, a dawnsio; ond dylai fod gan ddynion anfarwol rywbeth amgenach i'w wneyd na dilyn cŵn a dawnsio; ac os rhaid cael clôch o gwbl, dylech roddi rhyw leferydd rhagorach i'w thafod nag adgoffa i'r plwyfolion yr ofergoeledd o burdan. Oni ddywed yr Ysgrythyr fod yr ysbryd, pan y 'dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu,' fod yr ysbryd yn dychwelyd at yr hwn a'i rhoes. Nid i'r purdan, syr; pob parch i chwi, nid i'r purdan. Nid oedd gan enaid Catrin yn ei chredo, yr un purdan i fyned heibio iddo; yna pa reswm rhoddi *Passing Bell* iddi hi?"

"Peidiwch cynhyrfu, Ifan bach, fi talu," ebe Mr. D.

"Nid tâl ydyw'r pwnc, syr," a cherddai yr hen Ymneillduwr yn frysiog yn ol a blaen hyd yr ystafell.

"Pe fi gwybod, ni buaswn yn brifo'ch eich teimladau chwi fel hyn; maddeuwch," ebai'r offeiriad tyner. "Ni wnaf byth ffasiwn beth eto. Bore da."

"Bore da, syr. Peidiwch a chymeryd yn angharedig arna' innau."

Aeth Mr. D. ymaith dan ail adrodd ei gyfarchiad ymadawol; a chyda

hyny, dyma glul y gloch yn disgyn ar glustiau yr hen Ymneillduwr. Safodd i'w gwrando, a'u cyfrif yn ofalus, er mwyn bod yn sicr mai clul i Catrin ydoedd. Un, dau, tri,—hyd i wyth; ië, nid oedd dadl nad *Passing Bell* Catrin ydoedd. "Yn mhell y bo lol ynfyd fel hyn," a rhoes ei fysedd yn ei glustiau rhag clywed yr ail a'r drydydd glul.

Ond tra yr oedd yr hen Ifan yn ei benbleth yn ei gaban, yr oedd Nicodemus yn ei ogoniant yn y clochdy yn tynu yn rhaff y glôch gyda'r ffurfioldeb a'r osgo sydd yn gweddu mor dda i weithred mor bwysig; a'r ddau efell erbyn hyn wedi myned ato. Mynent hwythau hefyd gael treio eu llaw; ond yr oedd gan yr Hen 'Dderyn syniadau neillduol ar urddasolrwydd y gwaith o gnulio *Passing Bell*, fel nad ymddiriedai y rhaff ar amgylchiadau felly i undyn, heb eithrio hyd yn nôd Mr. Duncombe ei hunan. "Rywbryd eto, 'mhlant i," ebai ef, "chwi gewch dreio eich llaw rhyw nos Iau, pan fyddwn ni yn galw pobl i'r gosber; ond cofiwch chwi mai peth pur bwysig ydyw canu cloch fawr y llan yma; y mae yn agos i fil o glustiau dynol, heb sôn dim am glustiau eraill, yn gwrando arni hi; ac os rhoir hanner tinc, neu rhyw goll felly, y fi geiff y bai."

"I ba beth y mae *Passing Bell* dda, Nico?" ebe un o'r bechgyn.

"Dda!" ebe'r oracl mewn syndod fod cwestiwn mor ynfyd yn cael ei ofyn hyd yn nod gan blentyn, "Dda i bobpeth; dyna un peth y mae o'n dda:—I hysbysu'r plwyfolion fod hwn a hwn neu hon a hon wedi marw, a bod yr enaid wedi pasio'r purdan, yn lle fod pobl yn dyweyd celwyddau am eu gilydd. Hen arferiad dda ysgrythyrol ydyw'r *Passing Bell* yn yr eglwys er dyddiau'r Apostolion, a chyn hyny am wn i. Rhaid i mi fyn'd yn mlaen efo 'ngwaith," ebe ef; "yn ail,—un, dau, tri," &c., "wyth."

"P'am wyth tinc, Nico, mwy na chwech neu saith?" ebai un o'r bechgyn.

'Rhoes y gofyniad gyfleusdra i'r Hen 'Dderyn arddangos y wybodaeth helaethaf a manylaf ag oedd ganddo ar ei elw. Yr oedd holl ddeddfau y *Passing Bell* ar flaenau ei fysedd. "Dyma'r rheol," ebai ef, "a sylwch chwi, 'mhlant i, fe allai y bydd y wers o werth i chwi rhyw dro, o werth mawr," a chododd ei law aswy, ysgarodd ei bysedd, gafaelodd â bŷs a bawd ei ddeheulaw yn ei fawd chwith; "sylwch chwi 'rwan," ebai ef drachefn, gan besychu yn bwysig, a symud y bŷs a'r fawd fel yr elai yn mlaen:—

| | | |
|---|---|---|
| "Gŵr prïod | 9 | tinc. |
| Gwraig brïod | 8 | eto. |
| Dyn dibrïod | 7 | eto. |
| Merch eto | 6 | eto. |
| Llanc tan ugain oed | 5 | eto. |
| Lodes eto. | 4 | eto. |
| Baban gwryw | 3 | eto. |
| Eto benyw | 2 | eto. |

"Cofiwch chwi y wers yna—mae hon yna yn un o'r gwersi pwysicaf sydd gan glochydd i'w dysgu," ebe Nicodemus.

# PENNOD V.

## DAU GLADDEDIGAETH.

Yn mhen tridiau ar ol dygwyddiadau y bennod flaenorol, canai yr un glôch drachefn yn arafaidd brudd i wahodd y marw i'r bedd. Trefnwyd fod y ddau gynhebrwng i gymeryd lle yr un prydnawn,—un am ddau, a'r llall am bedwar, y tlawd wrth gwrs yn olaf. Claddedigaeth Gwâdd (gwahodd) oedd y cyntaf, a Chladdedigaeth i Bawb oedd y llall. Perthynasau agos, ac ychydig o wŷr parchus y llàn a'r ardal, oedd yn y Gwâdd; ac yr oedd rhyddid i bawb ddyfod i'r llall. Ystyrid cynhebrwng gwraig y Ddraig Gôch yn un o'r angladdau mwyaf parchus a fu erioed yn Llanllonydd—dygid pobpeth ymlaen ynddo yn y dull mwyaf ffurfiol;—yr oedd elorgerbyd y plwyf wedi ei ddwyn allan o'i gut, wedi ei olchi yn lanwaith, ymylon ei dô wedi eu planu hefo plu duon a ddygasid yn unswydd o Gaer, a cheffyl dû cyfanliw, heb flewyn gwŷn ar ei gyful, wedi ei gyrchu o tuag ugain milldir o ffordd, fel y byddai pobpeth yn weddus. Dilynid yr elorgerbyd gan ddau neu dri o gerbydau—y blaenaf yn cynwys y ddau efell; tra y cerddai'r offeiriad a'r meddyg, a Nicodemus a Peter Prys yn bârau, y naill ar ol y llall, fel gosgorddlu angeu, o flaen yr orymdaith. Tra y tynent yr arch o'r elorgerbyd yn y ffordd wrth y fynwent, ac y gosodent hi ar yr elor, aeth y Person yn mlaen i'r festri, gan ddychwelyd i'w cyfarfod wrth borth y fynwent, a cherddai o'u blaen hyd at borth yr eglwys tan ddarllen rhan o'r trefniad ardderchocaf fe allai a gyfansoddodd dyn anysbrydoledig erioed, sef y Llith Gladdu. Cymerai pawb eu heisteddle yn yr eglwys, a Mr. Duncombe a ddarllenai ymlaen yn effeithiol iawn, canys er mai Cymreigiwr gweddol ydoedd, (gan iddo gael ei eni a'i fagu yn Lloegr,) yr oedd yn gallu rhoddi llawer iawn o drydan teimlad yn ei oslef wrth ddarllen. Yna daeth yr amser offrymu; cerddasant o un i un ymlaen i'r ganghell, lle y rhoisid y corff yn ystod y gwasanaeth, ac ar yr arch yr oedd y plât casglu arian, a gadawodd pob un ei offrwm ar y plât hwnw, yn cael eu blaenori gan y plant amddifaid, y rhai a gerddent tan wylo law yn llaw i'r fan. Wedi hyny, ymdeithiwyd yn araf at y bedd, lle y rhoddwyd eglurhâd llythyrenol ar yr ymadrodd, "Pridd i'r pridd, a lludw i'r lludw," trwy i Nicodemus daenellu ychydig o bridd ar gauad yr arch—hen arfer ryfedd, a ddŷg bob amser fferdod i waed yr adyn mwyaf dideimlad. Yna aeth Mr. Prys efo'i ladan o gylch i gasglu "ŷd y glôch," fel y galwai ef y casgliad wrth y bedd. Dychweladd pawb yn ol yn y drefn y daeth, ac yr oedd yn y *Ddraig* arlwy ar eu cyfer, heb anghofio y cwrw brŵd wedi ei felysu â siwgr a'i bereiddio â lemon.

Yr oedd angladd Catrin Dafydd fel pe buasai yn perthyn i oes, cystal ag i ddosbarth, gwahanol. Hyd yn nod pe buasai moddion, ni welsid yno fawr o gwrw brŵd, ac nid oedd yr un o'r pawb a deimlasai ar ei galon i ddyfod a thalu y gymwynas olaf i'r hen wreigan ddichlyn, yn

meddu cerbyd a fuasai yn ychwanegiad yn y byd at urddas gorymdaith angladdol. Ond gwnaed y diffyg hwn yn fwy nag i fyny trwy fabwysiadu hen ddefod arall. Yr oedd yr ymadawedig yn ymhyfrydu llawer mewn cânu ar hyd ei hoes, a daeth cantorion ei chapel yn lled gryno i'w chladdedigaeth, tan arweiniad y lleisiwr goreu yn yr holl wlad; ac wedi i'r gweinidog Ymneillduol weddïo yn effeithiol yn y bwthyn, codwyd yr elor ar ysgwyddau perthynasau a charedigion; ac oddiyno i'r fynwent ni pheidiodd acenion galarus un neu ddwy o'n hemyn-dônau poblogaidd a dylifo tros wefusau yr orymdaith brudd. Nid oedd Mr. Osborne Morgan eto wedi galw sylw y cyhoedd at iawnderau Ymneillduwyr i fyned i fynwentau plwyfol, a chladdu eu meirw yn ol eu harferion eu hunain; ac o ganlyniad, ni feddyliodd Mr. Duncombe, ac ni theimlodd y gweinidog unrhyw ddiraddiad o herwydd fod yr offeiriad yn cymeryd y gwasanaeth, yn ol cyfarwyddyd y gyfraith, yn ei law ei hun pan ddaethant at borth y fynwent. Yr oedd yr offrwm, ac "ŷd y glôch," yn ngolwg Ifan Dafydd yr un mor wrthun â'r *Passing Bell;* ac felly ni bu yr un o'r ddau ar waith. Cyflwynwyd yr ychydig arian gweddill oedd gan y cyfeillion i'r hen ŵr i'w gynnorthwyo yn ei henaint a'i lesgedd. Ac er fod Mr. Prys a Nicodemus Dansi yn credu yn gryf yn ŷd y glôch, &c., ac yn anghymeradwyo yr ymddygiad o beidio offrwm fel heresi beryglus, yr oedd y Person yn barod ac yn awyddus i'w dilëu, a buasai wedi ei dilëu er's llawer blwyddyn yn Llanllonydd pe dilynasai ef ei farn ei hun yn y mater; eithr attelid ef gan y wardeniaid, a phersoniaid y plwyfi cyfagos, trwy ddyweyd fod yr holl wrthwynebiad i'r ddefod yn tarddu oddiar deimladau drwg gelynion yr eglwys, y rhai a gymerent bob esgus i dori y cysylltiad dwyfol, o edefyn i edefyn, a hanfodai rhwng yr Eglwys â'r Wladwriaeth.

Nid oedd fawr berygl ychwaith y cawsai Catrin Dafydd Sul Coffa, fel y cafodd Mrs. Jones, yn ei holl fawrhydi a'i urddas. Edrychai Ifan ar hwn hefyd gyda'r un dibrisdod ag yr edrychai ar yr ofergoelion eraill a nodwyd; ac yn ei le, cynnaliai ef a'i gyd-Ymneillduwyr, wylnos y nos cyn yr angladd, yn gyfansoddedig weithiau o bregeth, ond fynychaf o gyfarfod gweddi. Defod ryfedd oedd y Coffa, yr hon a gymerai le, ac a gymer le eto, y Sabboth dilynol i'r angladd. Ar derfyn y gwasanaeth boreuol yn yr eglwys, ymlwybrai perthynasau'r marw at y bedd, lle y penlinient yn ddefosiynol ar lun rhai yn gweddio; yna taenent flodau a dail bythwyrddion ar hyd cwrlid y gwely pridd,—cysgodau gweiniaid o farwoldeb y corff ac anfarwoldeb yr enaid.

## PENNOD VI.

### CARWRIAETH.

Aeth rhai blynyddau heibio er pan gymerodd y dygwyddiadau a nodwyd yn y pennodau blaenorol le. Yr oedd gwallt rhai o'r personau a enwyd yn wynach, eu gwarau yn gamach, a'u camrau yn fyrach—ond yr oeddynt oll yn aros ar wyneb y tir, gan sugno bronau cyffredin

eu gwahanol gysuron, ac yfed y rhan a ddodwyd iddynt o drallodion bywyd, heb esgeuluso ychwaith ddarllaw peth o'r un hylif alegorïaidd â'u hymddygiadau eu hunain. Tyfai y ddau efell, John ac Ifan, i oedran llanciau, tan ofal dyfal a thirion eu hysgutor, Mr. Duncombe, mor raddol a sicr ag y gŵyrai yr hen bobl i henaint. Wrth gwrs, cawsant ysgol dda; ac yr oedd yr un neillduolrwydd yn eu dilyn yno drachefn, sef eu tebygolrwydd i'w gilydd, yn feddyliol a deallol, cystal ag yn allanol. Yr oedd eu gwêdd a'u gwisg yr un ffunud, a'r olaf o'u rhydd-ddewisiad eu hunain; dysgent yn yr un dosbarth efo'u darllen, ysgrifenu, daearyddiaeth, gramadeg, a phob gwybodaeth arall a gyfrenid iddynt. Yr oedd eu hysgolfeistr yn y benbleth gethinaf yn fynych i ddyweyd pr'un oedd pr'un o honynt; nid yn anaml y byddai John yn derbyn y gosp a haeddasai Ifan, a phryd arall i'r gwrthwyneb, a syrthiai y ddau yn fynych i'r un trybini ag y gesyd Shakespeare y ddau Dromio ynddynt yn y *Comedy of Errors*. Pa fodd bynag, pan oeddynt oddeutu 16 oed, cyfarfu John â damwain a adawodd ei hôl arno am y gweddill o'i oes. Syrthiodd oddiar gefn ceffyl, o thorodd ei goes; a chan nad oedd meddyg y Llàn yn gynnefin iawn ag ail osod esgyrn, ac na feddyliwyd am ei gymeryd tros y Mersey, lle yr oedd llanc gwladaidd o Fôn eisoes wedi cyrhaedd cryn enwogrwydd yn y gangen hono o feddyginiaeth, arosodd y goes hono ychydig bèrach, ac yr oedd John yn hobian ychydig o hyny allan. Gadawodd y ddamwain ei hargraff arno mewn ystyriaethau eraill hefyd. I'r craff a'r tra chydnabyddus â'r ddau, yr oedd y poenau a ddyoddefodd tan y driniaeth wedi heneiddio ychydig ar ei wêdd, wedi surio pur ychydig ar ei deimladau, a bywiogi tipyn bach ar ei amgyffredion; i'r digraff nid oedd dim gwahaniaeth ond yr hobian.

Parodd y ddamwain i John fod ar ben ei hun weithiau, gan nas gallai gyfranogi yn holl chwareuon Ifan a'i gyfoedion; er nad oedd Ifan ychwaith hanner boddlawn i'w adael. Ond yr oeddynt yn parhâu eto, a pharhausant am fisoedd wedi hyn, yr un o ran eu chwaeth a'u tueddiadau. Os dillad brithion a fỳnai un, dillad brithion o'r un gwneuthuriad a fỳnai y llall. Os uwd a fỳnai John i'w swper, rhaid a fyddai i Ifan gael yr un bwyd; canys nid oedd y bwyd iachusol hwnw eto wedi ei alltudio hyd yn nôd oddiar fwrdd danteithiol teulu y *Ddraig;* yr oeddynt yn bwyta uwd, ac nid yn ei ganmol fel y gwneir yn yr oes hon. Os i'r eglwys yr âi y naill ar y Sul, yno hefyd yr âi ei frawd. Pe gwnaethai natur y ddau yn gylymedig wrth eu gilydd â dolen o gnawd, fel y gwnaeth y *Siamese Twins,* anhawdd a fuasai i'w dyfodiad a'u mynediad fod yn fwy unol. Tra y bu dau o bobpeth ar eu cyfer, anfynych iawn y cymerai ymrafael o fath yn y byd le rhyngddynt.

Ond y mae serch wedi peri llawer anghydfod yn y byd erioed. Yn ystod rhai o'r oriau a dreuliodd John, fel y nodwyd, wrtho ei hun, efe a welodd rywbeth swynol i'w ryfeddu mewn merch ieuanc a adwaenai gyda'r gyntaf yn y byd, ac addfedodd y rhywbeth hwnw mewn bỳr amser yn dalp chwilboeth o gariad. Jemima Sophia Rees, merch gwesttŷ yr *Afr*, oedd hono.

Rhïan landeg oedd Jemima Sophia, ychydig henach na'r gefeilliaid a newydd ddychwelyd o ysgol yn Lloegr, lle y bu yn dysgu Saesneg, chwareu y bêrdoneg, a phethau cyffelyb, y rhai sydd yn addurniadau

rhagorol i ferched o sefyllfa go lew, yn enwedig os byddant wedi dysgu golchi, smwddio, a gwnïo tipyn yn gyntaf. Yr oedd gan Jemima Sophia y congl llygad mwyaf rheibus, y wên fwyaf swynol; yr oedd o feddwl ysgafn, ac ymadroddion chwarëus, ac yn tòri ei geiriau gyda lediaith Saesneg hynod o ddeniadol; a'r neillduolion hyn a lyncasant feddylfryd John yn llwyr. Cadwodd ei archollion serchglwyfus yn ddirgel am hir amser, heb yngan gair am danynt, hyd yn nôd wrth ei efeill-frawd. Ond daeth y dirgelwch o dipyn i beth yn hysbys i rai; canfu Peter Prys a Nicodemus y ddau yn rhodiana yn gariadus fraich yn mraich rhwng y coed afalau yn mherllan yr *Afr* un cyfnos, pan oedd y ddau lewddyn hyny yn eistedd yn hamddenol i fwynhâu eu pibellaid yn mharlwr cefn y gwesty dywededig.

"Holo!" ebai'r Hen 'Dderyn, "dacw ddarpar gwaith cylymu i chwi a Mr. Duncombe, Mr. Prys."

"Ië, ar f'engoch i," ebai'r clochydd, "dacw ddeunydd prïodas. Mae nhw yn caru, saffed a 'mod i;" a thynodd ei ddeheulaw oddiamgylch y plât oedd ar ei gopa, a chan agor ei safn anferth, chwarddodd mor uchel nes y clybu'r cariadon yn y berllan, yr hyn a derfynodd eu cyfeillach yn swta trwy i John neidio dros y gwrych isel i'r cae gerllaw, a llwybreiddio y ffordd hono yn ysgafndroed tuag adref; ac i Jemima hithau gymeryd llwybr cwmpasog i ddyfod at y tŷ, fel na byddai raid iddi wynebu y ddau rychor y gwelsai eu gwynebau yn ddigon amlwg yn ffenestr y parlwr cefn.

"On'd oes rhywbeth rhyfedd iawn yn y caru yma?" ebai Peter Prys, "sut y mae pobol yn fwy yswil, dywed, gyda'r gwaith yma nag ydynt efo dim arall? Efo prynu a gwerthu, waeth gan bobol pwy gwêl nhw; ond efo caru, gwyliwch rhagoch"

Ac mewn atebiad i ymholiadau mor ddyfnion ac athronyddol nid oedd gan y Sexton ddim i'w ateb, ond "Natur, Peter, natur."

"Ië, natur; 'rwyt ti, Nico, bob amser yn agos i dy le; 'pob teiladaeth rhag tylodi,' fel y dywedodd Jonathan Hughes," a chwareuodd y clochydd efo'r chwech gwŷn oedd wrth gadwyn ei oriawr, gan edrych yn ddoeth iawn ar ol rhoddi engraifft mor ddiamwys o'i gôf aruthrol, a'i allu i gyfaddasu dyfyniadau yn brïodol.

Anturiodd yr Hen 'Dderyn awgrymu mai gwaith Thomas o'r Nant oedd y geiriau a ddyfynwyd, ac fel tipyn o orchudd i'w ryfyg yn beiddio cywiro y fath anffaeledigrwydd, ychwanegodd mai y bardd goreu yn yr holl fyd oedd Bardd y Nant; ei fod ef yn adnabod hen bobl er's talwm a'i gwelsent yn chwareu hanterliwds, mai mewn buarth ffermdŷ y byddai amlaf, mai yn yr ysgubor y gwisgent am danynt, mai gwagen o flaen drŵs yr ysgubor oedd eu chwareufwrdd; ac yn mhellach, fod gan Mr. Prys y côf mwyaf aruthrol a fu gan ddyn marwol erioed yn ei benglog.

Meddyliai Mr. Prys nad oedd yn mhlith plant gwragedd gydymaith mor ddyddan a'r Hen 'Dderyn, ac awgrymodd yn ngwrês ei garedigrwydd y prïodoldeb iddynt gael bob un wydraid arall, canys "Yr awr geir yn llawen, cheir mo honi'n brudd," fel y dywedodd ——

"Bardd y Nant eto," ebai Nicodemus, gan ragflaenu unrhyw gamgymeriad y gallasai ei gyfaill fod ar fedr syrthio iddo drachefn.

"Ië, siwr; dyna fel yr oeddwn i yn myn'd i ddyweyd. Ond y caru yma oedd genym dan sylw, onidê?" ebai Mr. Prys, a chymerwyd llwnc gweddol gryf o'r gwydraid newydd a ddaethai ar y bwrdd.

"Iê, siwr," ebai'r Torwr Beddau, gan efelychu ei uwchswyddog yn bur lythyrenol yn y gyfryw weithred.

"Mae nhw yn d'weyd wrtha' *i*," ebai'r athronydd dyfnddysg, gan roddi pwyslais ar y rhagenw, fel pe na ddywedasen' *nhw* wrth neb arall, "fod pobl Sir Fôn yn caru yn y gwely; pobl Sir Gaernarfon ar yr aelwyd; a phobl siroedd eraill Cymru fel y bo hi yn dygwydd; ac nad yw'r Saeson a'r Ffrancod byth yn caru o gwbl, ond yn bargeinio â'u gilydd fel prynu mochyn mewn ffair."

"Mae'n siwr bod chwi yn gwybod," ebai'r Hen 'Dderyn, "lle sâl i neb arall wybod os na ŵyr clochydd Llanllonydd."

## PENNOD VII.

### PERERIN.

Ar hyn agorwyd drŵs y parlwr yr oeddynt ynddo, a daeth dyn lludd-edig ei olwg i mewn, gan eu cyfarch â "Nosda'wch, nosda'wch."

"Nosda'wch," ebynt hwythau; "'rydech chwi yn ddiarth ffordd yma, mi allwn feddwl," ebai'r clochydd, a'i lygadu o'i goryn i'w sawdl.

"Ni bûm erioed yma o'r blaen," oedd yr ateb.

"Ydech chwi yn dwad o bell, 'mod i mor hy' a gofyn?" ebai Mr. Prys, yr hwn oedd yn holwr diderfyn os cai rhywun yn ddigon meddal i'w ateb.

"Dipyn tu draw i Bwllheli, os gwyddoch chwi pa le y mae'r fan hono."

"Na wn i, 'n siŵr. Wyddost ti, Nic?" ebai Prys.

"Mi fûm i yn agos yno er's tipyn llai na chan' mlynedd yn ol, mewn cl'dig'eth. Berch, 'rwy'n meddwl, oedd enw'r lle. Dyna'r fynwent wlypa' y tòrwyd bedd erioed yn ei phridd. Waeth geny' gladdu corff mewn cerwyn freci nag mewn lle felly. Ac y mae tir rhy galed, o'r tu arall, yn ddrwg iawn i'r tòrwr."

"Aros, Nico," ebai'r clochydd, yr hwn a adwaenai y bedd-dòrwr yn ddigon da i wybod ei fod wedi taro wrth destun y pregethai arno am ddwyawr, o leiaf, os na roddid rhyw attalfa arno ar unwaith; "at y pwnc, os gwelwch chwi yn dda, fel y bydd y gethwrs yma'n d'weyd," ebai'r clochydd; a chan droi at y gŵr dyeithr aeth at "y pwnc," "Beth yw eich neges ffordd yma, 'mod i mor hy' a gofyn?"

"Wel, gan eich bod chwi mor hy' a gofyn," ebai'r gŵr dyeithr, "mi ddywedaf i chwi mai dyfod i ymofyn gwraig yr ydwyf."

"Dyna hi eto," ebai P. Prys, "pwy fuasai'n meddwl? 'Cynt y cyferfydd dau ddyn na dau fynydd.'" Bwriad y clochydd ydoedd cymhwyso yr ymadrodd "dau ddyn" at y ffaith fod ei gyfaill ac yntau yn sôn am garu pan ddaeth y gŵr dyeithr i mewn, ac yntau drachefn ar neges garwriaethol. Fe fu llawer cyfarfyddiad rhyfeddach na hwn, mae yn fwy na thebyg, ond parodd i'r clochydd chwerthin yn galonog iawn. "Sut y byddwch chwi yn caru ffordd acw?" ebai ef.

"Wel, nid oes genym ni y ffordd acw yr un gyfraith bendant ar y mater. Fel ymhobman arall, y mae acw amrywiol ddulliau."

"Gadewch glywed rhai o honynt, os gwelwch yn dda," ebai'r clochydd, gyda'r bwriad o ddewis y goreu o honynt a'i gymhwyso at Catrin Hughes.

"Bydd yn ddrwg genyf bob amser wrthod cais mor fychan; ond sôn am gladdu fyddai fwyaf gweddus mewn cwmni fel hwn, lle ma'r mwyafrif tros eu hanner cant oed."

Pe buasai y dyn wedi byw tan yr un tô a Nicodemus Dansi am yr hanner can' mlynedd, nis gallasai daro ar bwnc mwy cydnaws â chwaeth y boneddwr hwnw. "Iawn, rhagorol iawn," ebai ef, gan wneyd yr ystumiau mwyaf dychrynllyd ar ei wyneb wrth chwerthin ei oreu glâs, a lledu ei enau i faint twll llygoden fawr, "mae'r gŵr yma, Mr. Prys, pwy bynag yd'io, yn ei dallt hi. Hwdiwch, ddyn diarth, welsoch chwi erioed fynwent yn cael ei chadw'n well, a gwell pridd ynddi, na'n mynwent ni yn Llanllonydd yma? Mae'r pridd fel blawd, fel blawd; a phe bae'n bosibl cael barn y rhai sy'n cysgu ynddo, dywedent yr un peth, a'u bod yn cysgu mor esmwyth ynddo a phe byddent mewn gwely plu."

Dywedai'r gŵr dyeithr "ei bod yn nos pan y daethai ef heibio i'r gwely crybwylledig, ond fod y lle mor dawel, fel yr oedd pob lle i gasglu fod pawb yn cysgu'n drwm iawn. Ond 'yr awr geir yn llawen, cheir mo honi'n brudd,' gadewch i ni gael gwydryn arall, ac ymgom," a churodd y bwrdd nes daeth y rhïan a fuasai yn destun yr ymddyddan blaenorol gerbron, i'r hon yr archodd efe yr hylif angenrheidiol, ac fel attodiad y gofynodd os oedd yno wely gwâg i ŵr dyeithr ar daith am noson neu ddwy. Ac ar ol ei fesur o'i goryn i'w sawdl gyda'i phâr llygaid treiddgar, hi a'i hatebodd fod yno wely at ei wasanaeth.

Rhoes hyn esmwythdra i'w feddwl, a thynodd ei gadair at y tân, a thynodd y ddau eraill gadeiriau at y tân, ac edrychasant yn fanylach ar eu gilydd nag o'r blaen; a thueddai hyny i beri fod mwy o agosrwydd rhyngddynt. Dyn tan ei ddeugain oed oedd y gŵr dyeithr, tàl a lluniaidd o gorff, yn gadael i'w wallt dû dyfu tros ei ysgwyddau, ac i'w farf gudynog orchuddio ei wyneb. A'r neillduolrwydd olaf, er i Peter Prys ei glywed yn siarad Cymraeg glân gloew, a barodd ymryson yn meddwl y boneddwr hwnw ai nid Iuddew oedd y gŵr dyeithr; ac er mwyn dymchwelyd pob ammheuaeth, gofynodd iddo ei enw.

"Fy enw i ydyw Hywel Puw; ac os oes rhywbeth o'i le ynddo," ebai ef, "nid arnaf fi y bu'r bai; dyna'r enw ro'w'd i'r Person wrth fy meddio, a chàn belled ag y bydd a wnelwyf fi âg ef, dyn'r enw a ro'ir i'r clochydd wrth fy nghladdu."

Yr oedd yn amlwg fod Hywel Puw yn ddyn calon a gwyneb agored, ac i unrhyw wyneb-ddeonglwr yr oedd yn amlwg hefyd fod ganddo ryw gyfrinach, ond heb ganddo ddigon o ffydd yn ei gymdeithion i'w gosod ger eu bron; ac yn ol pob tebyg nid cyfrinach serch oedd hono. Edrychai yn sŷn ar y tân, ac edrychai ei gymdeithion yn fudanod yr yr un modd, nes y tòrodd y Clochydd, o'r diwedd, ar y dystawrwydd trwy ofyn ai nid oedd gan eu cyfaill dyeithr ryw 'stori newydd neu hen er eu hadeiladaeth? Atebodd yntau fod yn ddrwg ganddo nas gallai eu cynysgaethu â dim gwerth ei adrodd felly, a thaflodd yr un gofyniad yn ol i Peter Prys.

"Dywed di hanes y Llŷs Penyd i'r gŵr dyeithr, Nico," ebai'r clochydd, "yr wyt ti yn ei medru hi cystal ag y medra' innau 'mhader."

"Ar goreu," ebai'r Hen 'Dderyn, "y neb sydd ganddo glust i wrando gwrandawed."

## PENNOD VIII.

### HANES LLYS YSBEIRIOL.

"I DDECHREU, Hywel Puw," ebai'r Hen 'Dderyn, "mi ddylwn dd'weyd fod Lôn Ysbeiriol tua milldir o Lanllonydd yma, a'i bod yn hen ffordd sydd wedi cau ei hunan i fyny â drain, danadl, a chyll, ac wedi cymeryd i'w cheudod gymaint o'r cloddiau uchel o'i deutu, fel mai nid gwaith hawdd ydyw ymlwybro ar y ddeutroed trwy ei chanol. A thua hanner y ffordd i fyny Lôn Ysbeiriol, ac felly tua hanner y ffordd i lawr [yr oedd hwn yn un o ddywediadau digrifaf yr Hen 'Dderyn, yn marn yr Hen 'Dderyn ei hun], yr oedd 'smotyn tipyn lletach na'r gweddill, ac yn y 'smotyn hwnw y cynnelid Llŷs Ysbeiriol, neu Lŷs Penyd, neu *Court Pains*, er's talwm; ond ar ganol y Llàn y cynnelir o yn awr er's llawer blwyddyn. Difyrwch dyddiau nodedig Llanllonydd ydyw'r Llŷs Ysbeiriol; hwyrach yn yr hen amser ei fod yn sefydliad difrifol iawn; yn awr, yr unig rai sydd yn edrych yn sobr ydyw'r swyddogion, a'r edrychwyr yn chwerthin digon i ddyn cyffredin am ddwy flynedd, beth bynag. Ar ddyddiau nodedig, megys gwylmabsant y plwyf, prïodas rhyw bobl fawr, neu ddyfodiad aer cyfoethog i'w oed, y daw y Llŷs hwn o'i grogen; a phan ddaeth un o deulu Wynnstay i'w oed oedd y tro diweddaf iddo wneyd ei ymddangosiad. Yr oedd hi yn dygwydd bod yn ddiwrnod hynod o heulog, ond hynod o oer, fel a geir weithiau yn mis Chwefror. Codwyd chwareufwrdd ar ganol y 'sgwâr ar gyfer yr eglwys, a cherddai y Llŷs yn orymdaith trwy'r heolydd cyn dechreu ar ei orchwylion. Yn gyntaf, dyma'r *Judge*, yr hwn, o oes i oes hefyd, a ddaliai y swydd o grïwr cyhoeddus; llarp o hen ddyn mawr unllygeidiog, yn gwisgo ei ferwig a'i ŵn ynadol, ac yn edrych mor sobr, dysgedig, ac urddasol a phe buasai y *great Lord Thurlow*, pwy bynag oedd hwnw. Ar ei ol, cerddai bob yn ddau chwech o *farristers* y Llŷs, yn edrych mor sobr-ddifrifol a phe buasent yn nghynhebrwng yr haul, er mai cnafon mwyaf coeglyd y Llàn oeddynt ar adegau cyffredin,—hwythau hefyd yn eu gŷnau a'u perwigau swyddogol. Dilynid y rhai hyn gan chwech o gwnstabliaid y Llŷs, càn sobred eu golwg ac o'r un dosbarth diras a'r lleill. Yn olaf yn y *procession* gwerthfawr deuai y crogwr—llipryn teneu, hirfain, unionsyth, o'r enw Bil Ysgawen,* fel pe buasai wedi ei ddodi yn ei fabandod yn rhisglyn y pren hwnw, ac iddo dyfu ar lun ei *fold*—yr oedd mor ryfeddol o unffurf ar ei hŷd, os nad oedd ei ysgwyddau yn ychydig culach na'i forddwydydd; a dygai ar ei wyneb gymaint o ôl y frêch wèn, yr hyn a'i gwnai hefyd yn dra thebyg i risgl garw y pren dywededig; a chanddo gawrfil o drwyn, fel pe tyfasai

* *Alder-tree.*

cangen rhywdro ar ei flaen, o'r hon yr oedd y boncyff eto yn aros. Cludai fasged ar ei fraich, yn cynnwys cap dû yr ustus, jwg chwart y Llŷs, hen gyffion, a mân bethau eraill perthynol i'w swydd. O flaen, ar ol, ac o bobtu i'r orymdaith, yr oedd tyrfa yn chwerthin, gwaeddi, dawnsio, ac yn ymddwyn fel pobl hanner o'u hwyliau gan lawenydd. Cymerai hyd yn nôd yr hen bobl y fath ddyddordeb yn y rhialtwch, fel na theimlent oddiwrth yr hogiau gwylltion yn llamsachu ar y llecyn tyneraf ar eu cyrff, sef y cyrn ar eu traed.

"Wedi dringo i ben yr esgynlawr, ac i'r Llŷs eistedd i lawr yn drefnus a swyddogol, dechreuid ar y gwaith trwy i'r Ustus ei hun ddarllen gwers ffurfiol ei agoriad, yr hon a ddechreuai gyda'r ymadrodd, 'Duw gadwo'r brenin, Amen,' ac a ddiweddai gyda'r un geiriau, ac a ddywedai yn rhywle tua'r canol mai amcan a dyben y llŷs goruchel hwnw ydoedd magu cymydogaeth dda, a chospi pechaduriaid am droseddau a chamymddygiadau nad oedd cyfreithiau y tir na'r eglwys yn eu cydnabod; ond troseddau, er hyny, y dylai cymdeithas gymeryd sylw digllawn o honynt, a chospi hefyd y sawl a geid yn euog o'u troseddu hyd eithaf cyfraith y Llŷs hwnw y meddai ef yr anrhydedd digyffelyb o fod yn ben a barnwr arno. A chyda fod llîth y barnwr trosodd, cychwynai y cwnstabliaid at eu gwaith o ymofyn am droseddwr ymhlith y dorf; a chan eu bod wedi penu ar eu hysglyfaeth ymlaen llaw, ni byddent yn hir cyn dyfod â rhyw adyn o flaen ei well. Y cyntaf y syrthiodd eu crafangau arno y tro hwn ydoedd Nedi Bethel, hen lencyn hanner call, yn ennill ei grystyn wrth gario dwfr mewn *tin* mawr bron gymaint âg ef ei hun, a'i werthu hyd y Llàn yma am geiniog y tyniad a brechdan; ac, fel llawer eraill, heb fod yn llawn ben llathen, yn credu mai y weithred fwyaf *ddynol* y gall dyn byth ei chyflawni ydoedd meddwi; ac yn nesaf at hyny, curo y crëadur mwyaf diamddiffyn a ddygwyddo ddyfod ar ei lwybr, ac yn achos Nedi, ei fam oedd hono. Nid am fod yr hen Lowri ychwaith yn batrwm o ddynes; rhaid i bawb gael y gwir, hen wreigan aflêr ac ansyber ei gwala oedd Lowri ar y goreu.

"Wel, i chwi, dyma osod dwylaw ar Nedi, a dyma Nedi yn gwingo ac yn bustachu, ond i ddim pwrpas; ffwrdd ag ef i fyny'r chwareufwrdd, lle y gosodwyd ef mewn byr amser i sefyll yn adyn crynedig o flaen y Llŷs; a'r dyrfa erbyn hyn braidd yn dechreu teimlo fod rhywbeth go sobr wedi'r cwbl, yn eu hen sefydliad barnol. Trefnwyd yn ddioed fod un o'r *barristers* i erlyn, a'r llall i amddiffyn, y carcharor. Cododd y dadleuydd erlynol i fyny, a chan roddi tro i'r sypyn o fyglys oedd ganddo yn nghadw yn nghîl ei fochgern, dywedodd rywbeth tebyg i hyn; ond ni fedraf fi, ac ni fedr undyn byw, yr wy'n ofni, ail adrodd yr araeth hono air am air, gan fod Robert Pierce yn siarad Cymraeg mor ryfeddol o ramadegol, ac yn dyweyd geiriau hynod o hirion ac ansathredig. Ond rywsut fel hyn yr oedd o wrthi hi:—

"'Boed wiw genych, fy arglwydd farnwr,—Cyhuddir y carcharor annhymig ger eich bron o bechawd gwaradwyddus—pechawd y buasai cyfraith Moses a chyfraith Aaron yn condemnio y sawl a gawsai yn euog o hono, nid yn unig i garchar, ond i farwolaeth heb os nac onibae. Nid yw'r cyhuddiad a ddygir yn erbyn y carcharor, fy arglwydd, [tro i'r fyglysen] yn ddim llai pechod na golchi ei fam. Wedi i Lowri, druan, fod trwy y dydd yn hèl ei thamed hyd y wlad, a dychwelyd i'w chaban

yn mrîg yr hwyr yn lluddedig iawn, yn benaf o herwydd cario baich o frigau a dŷnodd hi o wrychoedd y ffarmwrs a roesant damed iddi; fe ddaw yntau, Mistar Nedi, [tro arall i'r fyglysen], i'r un caban yn feddw fawr wedi yfed hanner peint o ddïod fain; efe a ymddigona ar y bwyd a hèliodd yr hen wraig, efe a ymdwymna wrth y tân brigau a gynnullodd hi; yna efe a ofyn am fenthyg ei chetyn ac am bibellaid o'i thybaco; hithau yn ateb nad oes ganddi ond deunydd un catiad o dybaco ar ei helw, a'i bod yn cadw hwnw tan y boreu i glirio ei brest. [Symud y fyglysen o'r naill fochgern i'r llall, yr hyn a bârodd beth attalfa ar ffrŵd yr hyawdledd]. Gofyna Mistar Nedi yn nesaf beth sydd i'w wneyd, na fedr ef feddwl am fyn'd i'w wely heb gatiad, a dywed yr hen wreigan yn dyner wrtho am 'smocio carnau'r ebol, os nad all fforddio prynu dybaco, fel rhywun arall. Ar hyn tŷr y carcharor allan i natur ddrwg iawn, geilw ei fam ei hun yn 'Hen Faedan;' a diwedd y cwbl a fydd, iddo ei golchi nes y byddo hi yn clecian. Yr wyf yn appelio at deimladau eich arglwyddiaeth fel tad tyner, ai nid yw ymddygiad o'r fath yn gweddu'n well i anwariaid y South Sê nag i gristion o ddyn, os gellir galw slebog fel hyn yn ddyn neu gristion. Yn fy meddwl i, y mae yn îs nag anifeiliaid y maes ac na bwystfilod yr anialwch. Pwy erioed glywodd sôn am oen yn golchi dafad? neu am lô yn golchi buwch? neu am elephant bach yn golchi elephantes fawr? Ond yr hyn ni wnai yr oen, y llô, na'r elephant bach, a wnaeth y carcharor. A chofiwch chwi hefyd mai nid gwaradwydd bychan i Lowri, druan, ydyw bod yn fam i leban ansiapus fel hyn, yr hwn nid yw yn ennill digon o brês wrth gario dwfr i gadw ei hunan mewn dybaco a hanner peint o ddïod fain, a'r hwn nis gall ddarllen yr un gair, nac ysgrifenu yr un llythyren ond mewn cleisiau duon ar gorpws yr hon a'i hymddŷg. Nedi, o bawb, a ddylasai amddiffyn a chastellu Lowri; ac o bawb, Nedi ydyw yr unig un a gyhuddir o'i golchi, ac yn fy marn ostyngedig i, a gyhuddir hefyd yn hollol gyfiawn. Eich arglwyddiaeth, yr wyf yn gobeithio, ac yn hyderu, y bydd i chwi, fel pen addurnol y llŷs hwn, weled mai cyfiawn ydyw cospi y troseddwr ger eich bron hyd eithaf cyfraith y llŷs hwn. [Anadl y Dadleuydd dysgedig yn trafaelu mor gyflym a nerthol nes y bu agos iddo ysgubo y fyglysen o'i lle, a'i chwythu i un llygad y Barnwr]. Wrth derfynu,' ebai Bob, 'yr wyf yn cyflwyno yr achos poenus hwn i'ch barn ddiwyrni chwi, fy arglwydd, ac yn eistedd i lawr, gan obeithio fy mod yn ei gyflwyno felly i ffynnonell cyfiawnder diwyrni, a fy mod innau, trwy hyny, wedi gwneyd fy nyledswydd.'

"Tra y traddodid yr araeth danllyd hon, ffaglai un llygad y Barnwr gan dân dialeddol y cyfiawnder y soniwyd am dano; ac ar ei therfyniad, tòrodd y dyrfa allan mewn crechwen o gymeradwyaeth. Yr oedd dafnau breision o chwys yn rhedeg i lawr gwyneb y carcharor, ac ni bu erioed o dan bren dyoddef grëadur a grynai mor arswydus o'i goryn i'w sawdl. Fel bu'r lwc, nid oedd yr hen wraig ei fam yn y dyrfa, onidê buasai Nedi a hithau yn yr un arteithiau. Ac ar ol i rai mynydau fyned heibo, ar orchymyn y Barnwr, cododd y crogwr ar ei draed, a gwaeddodd nerth ei ben am

"'*Silanse for the defence!*'"

Yna cododd *barrister* arall, o'r enw Bil Harri, i amddiffyn y cyhuddedig. Ystyrid Bil y mwyaf dawnus a digrif yn yr holl blwyf. Bil

Harri a ennillasai'r wobr y diwrnod cynt am wneyd gwyneb hyll trwy goler ceffyl; a Betsan Harri, ei fam, pan ei gwelodd a lesmeiriodd yn y fan, fel diffodd canwyll. Dywedodd y Dadleuydd Amddiffynol rywbeth yn debyg i hyn:—

"Boed wiw genych, fy arglwydd farnwr,—Pe buasai y llwch anfedrus sydd yn myn'd i'ch hanerch yn bresennol yn meddu y filfed ran o ddawn a medr y boneddwr dysgedig a'i rhagflaenodd, ni buasai y truan cyhuddedig yr un pum' mynyd heb ei adfer i'r rhyddid y cymerwyd ef o hono mor anhaeddiannol. Beth ydyw'r cyhuddiad a ddygir yn erbyn y carcharor? Ai ei fod yn grëadur hanner call? Os felly, dylai tua hanner pobl y Llan yma fod yn sefyll ochr yn ochr âg ef. Ai mygu tybaco? Yr wyf fi yn methu'n glir a gweled fod rhyw lawer mwy o niwed mewn mygu tybaco nag sydd yn ei gnoi, [a rhoes y dadleuydd dysgedig bwt i'w ben yn nghyfeiriad ei frawd dysgedig a erlynai yn yr achos]. Ai meddwi ar hanner peint o ddïod fain? Wel, gellid meddwl fod hwnw y dull rhataf o feddwi y clywodd neb erioed sôn am dano. Dywedodd fy mrawd dysgedig rywbeth wrthych, fy arglwydd, am yr elephant. Ychydig o elephantiaid sydd yn nghoedwigoedd y wlad hon; nid wyf yn gwybod am fwy nag un o honynt a ddaeth erioed gan belled oddicartref â Llanllonydd yma, ac oddiwrth yr un hwnw, mae'n debyg, y cafodd ein crogwr parchus batrwm trwyn. Ond beth sydd a wnelo elephant â'r pwnc? 'Ydych chwi yn myn'd i gyhuddo'r carcharor o ddwyn elephant? Nac ydych gobeithio. Ond yr ydych yn ei gyhuddo o gyhuddiad llawn mor annhebyg i wir a hyny. Yr ydych yn ei gyhuddo o olchi ei fam. Pwy glywodd erioed o'r blaen am ddyn yn golchi ei fam? Ac y mae Nedi, druan, yn rhy ddifater i olchi ei hun, heb sôn am olchi neb arall. Anfynych y bydd dwfr a gwyneb Nedi yn dyfod i gyffyrddiad agos â'u gilydd, ond pan fo'r dwfr yn y *tin* ar ei ben yn ymdòni trosodd ac yn dyferu arno. A phe rhoisai olchfa dda i'r hen faeden, pwy welsai fai arno? Mi gymeraf fy llŵ na olchodd y genawes felynddu mo honi ei hun er ys llawer blwyddyn. Fy arglwydd, gweithred o drugaredd y galwaf fi y weithred y dygir y carcharor ger eich bron i'w gospi o'i phlegid. Gan hyny, yr wyf yn hyderus y bydd i chwi dymheru eich cyfiawnder efo trugaredd, ac arfer barn ddiwyrni, fel y cadwo y Llŷs hybarch a henafol hwn y clod a haeddodd, ac a gafodd, yn yr oesoedd dirif a aethant, eto yn yr oesoedd dirif a ddeuant, ac y cawn ysgrifenu mewn llythyrenau cariad a thegwch ar hen femrwn ein Llŷs, 'Edward Bethel a gyhuddwyd ar gam, a gafwyd yn ddieuog, ac a ollyngwyd yn rhydd, heb frycheuyn ar ei gymeriad fel dinesydd Llanllonydd.'"

Eisteddodd y dadleuydd dysgedig i lawr, a thorodd y dyrfa mewn banllefau mwy byddarol, os yr un, nag o'r blaen. Galwodd Mr. Ysgawen am "*Silanse for the Judge,*" a buwyd rai mynydau cyn cael gwastrodedd ar y bobl. Yna llefarodd yr Ynad, gan edrych yn ymgnawdoliad llythyrenol o bwysigrwydd ac urddasoldeb:—

"Edward Bethel," ebai ef, "cyhuddir chwi gerbron Llŷs Peiriol, neu Lŷs Penyd, neu *Court Pains,* Llanllonydd, o'r trosedd gwarthus o guro eich mam. Cawsoch yr amddiffyniad mwyaf medrus, yn yr hwn y ceisid eich cyfiawnhâu trwy droell-ymadrodd hynod o gywrain. Yr un ystyr sydd gyda ni yn y rhan yma o'r wlad i'r gair curo âg i'r gair

golchi, a drieidi chwareus ar ran eich amddiffynydd ydoedd cyboli hefo'r gair hwnw o gwbl. Yr wyf fi yn eich cael yn euog o'r pechod, ië, pechod meddaf, a ddodir yn eich erbyn; ac yn eich galw yn ddyn creulon iawn pan y gofynech am bibellaid o dybaco eich mam, a hithau yn byw ar y plwyf. Gan hyny, (ebai'r Ynad, a dodi'r cap du o fasged Mr. Ysgawen am ei ben,) dedfryd y llŷs hwn ydyw fod i chwi gael tywallt chwart o ddwfr oer o jwg y llŷs i lawr eich llawes, a'r brenin George a'ch cynnorthwyo i ddal y driniaeth, ac i dderbyn llês oddiwrthi rhagllaw."

Hwyrach eich bod chwi, Howel Puw, wedi gweled dyn mewn llŷs barn yn cael ei ddedfrydu i bymtheng mlynedd o lafur caled, a'i glywed yn tòri allan mewn ebwch galon-rwygol; os do, yr oedd gwaedd Nedi Bethel tan y *verdit* yn bur debyg i hono. Ond 'doedd wiw iddo fwstro; rhoes y chwe' cwnstabl eu dwylaw yn dŷn arno, a rhwymasant ei fraich ddebeu yn ddïogel wrth hoel fawr oedd wedi ei gyru i bolyn a ffurfiai ran o'r esgynlawr; nolodd yr *hangman* lonaid ei jwg chwart o'r dwfr oeraf oedd i'w gael, ac yr oedd rhai darnau o rew yn nofio ar hyd wyneb hwnw, a thywalltodd ef bob dyferyn o hono rhwng llawes crys a chroen y condemniedig, nes oedd y truan yn beichio fel un o'i hwyl, ac yn dolefain y gallasech chwi ei glywed o Bwllheli, neu rywle pellach na hyny, os oes lle pellach yn bosibl. A dyna i chwi engraifft o'r dull y byddent yn dwyn ymlaen y Llŷs Ysbeiriol. Wrth gwrs, yr oedd amrywiaeth yn y cyhuddiadau, ac amrywiaeth yn y cospedigaethau; ond yr oedd y coeg sobrwydd a'r coeg ddigrifwch bob amser rywbeth yn gyffelyb.

Wedi gwrando yn astud ar y chwedl trwyddi, fel un hoff o hen arferion gwlad, gofynodd Hywel Puw ar ei therfyn, pa effaith a gawsai'r driniaeth ar fywyd dyfodol Nedi Bethel.

"O! effaith ragorol iawn," ebai'r Hen 'Dderyn, "churodd o mo'i fam byth ond hyny; achos da p'am, yr oedden' ni yn ei gladdu ymhen deufis i'r diwrnod y cynnaliwyd y *Court Pains*. Peter wnaeth yr arch, a finnau wnaeth y bedd; onidê Peter?"

"Ië siwr," ebai Mr. Prys, "O hen sefydliad *noble* oedd y Llŷs Ysbeiriol."

"Nos da'wch," ebai'r gwr dyeithr, "a diolch i chwi am eich cwmni."

"Nos da'wch," ebai'r ddau Aderyn y Corff, "rhaid i ni dd'weyd, 'Têg edrych tuag adre'.'"

## PENNOD IX.

### NOSWAITH GYDAG YSBRYDION.

Wedi gofyn am i'w swper fod yn barod ymhen tuag awr o amser, aeth Hywel Puw allan i'r heol, er mwyn cael tipyn o awel iach cyn myned i gadw am y noson; a chafodd fod digon o wynt oddiallan i wneyd, o leiaf, gant o awelon bywiog. Yr oedd yr wybren uwchben fel pe buasai wedi ei throi yn faes rhedegfa cymylau,—cymylau duon â'u mwng i

fyny yn ymryson rhedeg efo cymylau gwŷnion gwlânog, a'r sêr yn wincio ac yn chwerthin fel yr elent heibio, a hwythau yn rhuthro ymlaen yn gyflymach, gyflymach, tan gymeradwyaeth y llu nefol, heb ymattal hyd yn nôd pan gyrhaeddent y *grand stand*, sef oedd hwnw, yn enw pob rheswm a barddoniaeth, y lleuad. A'r gallu a yspardynai gesyg y dryghin yn y wybren, a barai deimlo ei ddylanwad yn Llanllonydd hefyd. Ysgubai fel gwallgof ar hyd yr heolydd; ymosodai ar goedydd cedyrn, ac ysgytiai hwynt fel pe buasent blant drwg; chwibanai a rhüai bob yn ail yn nghyrn y simddeiau, oddieithr rhai gwesttŷ yr *Afr;* yr oeddynt hwy mor isel ac mewn lle mor gysgodol, fel na chai fawr grâff un amser arnynt; ymosodai ar yr hen glochdŷ a'r Eglwys fel pe buasai yn ngwasanaeth yr Ysbryd Drwg, nes y parodd agos i dafod yr hen glôch dòri allan i edliw iddo ei swydd a'i gynddaredd.

Edrychai'r gŵr dyeithr wrth fodd ei galon. Hwyrach fod natur ac yntau yn dygwydd bod o'r un feddwl ar y pryd; a bod ei fynwes ef ei hun yn ddarlun lled gywir o'r hyn a welai oddiallan. Pa fodd bynag, ymlwybrodd ymlaen, heb ganddo unrhyw amcan neillduol mewn golwg ond "dilyn ei drwyn," ac arfer gwerinair sathredig. Trôdd heibio i gongl gwesttŷ ar hyd lôn gul, yr hon a'i harweiniai, yn ol ei ddysgwyliad, i'r caeau, gan ddywedyd wrtho ei hun, fel un yn ymwynfydu ar bleserau yr ystorm, "Sut y mae hi tu allan, tybed?" Cyn iddo gyrhaedd neppell oddiwrth drigfa dyn, clywai siarad am y gwrych âg ef; llais llanc ydoedd, fel pe buasai yn difyru neu yn adeiladu ei hunan gyda'r gorchwyl buddiol o holi ei hun :—

E.—"Felly, yr wyt tithau yn dechreu cael dy lygad-dynu gan y genethod, wyt ti?"

J.—"Pa ddrwg sydd yn hyny?"

E.—"Dim; ond nid oes ond un yn Llanllonydd allai fy llygad-dynu i, a hono ydyw Jemima Sophia."

J.—"Jemima Sophia ydyw'r lodes dlysaf yn y plwyf, yn y sîr, yn Nghymru, yn y byd."

E.—"Mi ddanfonais i falentin iddi hi yn mis Chwefror, a darn o farddoniaeth gyda hi; y darn hwnw, wyddost, sydd yn dechreu,—

Fenyw fwyn, gwrando gŵyn
Un ar farw er dy fwyn.

J.—"O ho! mi fûm *i* yn siarad â hi, yn gwasgu ei llaw heno ddwaetha' yn y byd; bûm yn cydrodiana â hi yn y berllan; a phe cauasai Peter y Clochydd ei gêg fawr, yr wyf agos yn siŵr y buasai adduned wedi ei gwneyd rhyngom a barhausai hyd gyttundeb."

E.—"Yr oeddwn i wedi meddwl am Jemima er ys misoedd, bellach; ond dyna fel y mae hi bob amser pan y meddyliaf i am rywbeth, byddi dithau yn siŵr o fod wedi meddwl am yr un peth o fy mlaen i. Rhaid imi gael fy newis y tro hwn, neu ni siaradaf air â thi byth ond hyny."

J.—"Siarad neu beidio, fy eiddo i ydyw Jemima Sophia; os bydd geny' rywbeth, byddi di yn siŵr o'i eisieu bob amser; 'rwyt ti yn cymeryd difyrwch wrth fy mhoeni i beunydd. Y carp câs, fyddai fawr geny' dy daro di!"

E.—"Taro fi, ynte, yr hen goes fèr wenwynllyd! Taro fi, a chymer y canlyniad. Tharewaist ti erioed mo hona'i o'r blaen, ac mi gym'raf fy llŵ na tharewi di byth mo hona'i drachefn."

Gwrandawai Hywel Puw ar yr ymrysonfa rhwng hyrddiadau'r gwynt; a chan mor debyg oedd llais y ddau efell i'w gilydd, fel na wybu efe fod yno ragor nag un, hyd onid aethant i sôn am daro, pryd y gwelodd ei gamgymeriad.

Hyd yn hyn, ni buasai ffrae gyffelyb erioed rhyngddynt; yr oeddynt yn caru eu gilydd yn fwy na brodyr; hoffbeth y naill oedd hoffbeth y llall; ond, yn anffodus, nid oedd gan Jemima Sophia gyd-efeilles, onidê aethai eu brawdgarwch cynhesol ymlaen ymhellach; nis gallent eu dau ymserchu yn yr un rïan, ac, yn ffodus, hwyrach, nid oedd gan natur ar ei helw ond un Jemima Sophia Rees.

Dychwelodd Puw yn ol i westtŷ yr "Afr," gan droi yr hyn a glywsai yn ei feddwl, a thrwy hyny ei gymysgu â'r ystorfa anhylaw oedd ganddo eisoes yn yr un lle; a'r gyntaf a'i cyfarchodd ar ei fynediad i mewn ydoedd Miss Rees, merch y tŷ. Bychan y gwyddai ef mai hi ydoedd Jemima Sophia; a bychan y gwyddai hithau mai un o'r meddyliau a nofiai ar wyneb ei gôf yntau ar y pryd ydoedd anghydfod rhwng John ac Ifan, ac mai hi ei hunan ydoedd achlysur diniwed yr anghydfod hwnw. Pa fodd bynag, wedi iddo fwyta ei swper, gofynodd os oedd gŵr y tŷ a chanddo hamdden i ymgomio am ychydig amser. Daeth John Rhys, gŵr y tŷ, ymlaen, â gwên ar ei enau, gan gyfarch ei wêst, a sylwi fel math o ragymadrodd ei bod hi yn dywydd mawr ar y môr i'r llongwyr druain.

"Mawr iawn, mawr iawn," ebe Puw, gan edrych arno yn graff a manwl. Rholyn llydan, boliog, trwyngoch, oedd y tafarnwr; a thybiai y gwêst ei fod yn debyg i ddyn a allai gadw cyfrinach; o'r hyn lleiaf, credai fod ei groen yn ddigon o maint i gadw llawer iawn o gyfrinachau. Tòrodd Puw y rhew trwy ddyweyd fod ganddo air neu ddau eisieu eu dyweyd wrth John Rhŷs os gallai ef hebgor yr amser i'w gwrando. "O gallai, yn enw dyn; dim i'w wneyd yn nhafarnau bach y wlad ond ar nos Sadyrnau, a nosweithiau ffeiriau, a mwy o ymladd nag o yfed yn aml ar y nosweithiau hyny, fel yr oedd mwyaf gresyn adrodd."

"Wel, i ddechreu ynte yn y dechreu," ebai H. Puw. "Hen filwr ydwyf fi, wedi gweled llawer tro ar fyd, er nad wyf eto yn llawn deugain oed, ac yn edrych yn ieuengach hwyrach na hyny. Chwe' blynedd yn ol yr oeddwn yn yr India, lle y cefais *sunstroke,* yr hyn â'm hanalluogodd yn llwyr, ac a roes i mi ryddhâd o'r fyddin; gan na byddwn mwyach, yn ol barn y meddyg, ddim ond baich ar Gwmni yr India Ddwyreiniol yn y wlad hono, danfonwyd fi i long i ddyfod tua Phrydain. Glaniasom yn Llundain; ac er fy mod wedi hybu llawer yn ystod y fordaith, ni chefais ond cael a chael yn y Brifddinas i ddyfod yn rhydd o grafangau'r meddygon, y rhai a fynent fy nanfon i ryw glafdŷ, yr hyn ni fuasai i mi ar y pryd ond porth i'r bedd. Ni chollais ddim amser yn hwylio cychwyn tuag adref; a chan fod y ffordd o Lundain i Bwllheli yn mhell dros ddau can' milldir, yr oedd yn faith i'w cherdded; ond i ddyn heb ond ychydig arian ar ei elw nid oedd ond cerdded am dani. Cyrhaeddais Amwythig heb i ddim neillduol gymeryd lle, ond fy mod yn lluddedig iawn erbyn bob nos, ac yn myn'd wanach wanach

o ddydd i ddydd. O'r Amwythig unionais tua chartref, gan ymdaith trwy wlad lle y siaradent iaith anwyl fy mam. Llettyais noswaith mewn pentref nid anenwog, a chodais yn y bore i fyned ymlaen i'm taith; ond cyn myned ond ychydig filldiroedd o'r fan hono, diffygiodd fy nerth yn llwyr, a thröais i gae o wair tòredig, ac yno yn anadlu ei berarogl iachusol o tan bren cysgodol, y treuliais y diwrnod gyda'r bwriad o ail gychwyn pan elai'r haul tros y gorwel. O! John Rhys, na byddai mwy o ddynion yn marw â'u rhinweddau mor bersawrus a'r gwair wrth farw! Ond erbyn i'r haul fyn'd tros y gorwel, teimlwn fy hun yn rhy wan i fyned ymlaen i'm taith, nac yn ol, nac i'r llàn a adawswn yn y bore. Yr oeddwn wedi sylwi ar hen balas o'm blaen, yn sefyll ar lechwedd glŷn heb fod neppell oddiwrthyf, ac unionais goreu gallwn tuag ato. Nis gwn yn iawn pa un i'w alw ai palas ai murddyn; y dull tecaf fyddai ei alw yn hanner o bob un. Gofynais i'r unig fôd dynol a welwn o gwmpas y lle, os gallwn gael llettŷ noson yno; ac wedi dadleu yn daer âg ef, cefais ganddo ddyweyd nad oedd ond un gwely gwâg yn y lle—fod hwnw mewn pentŷ ar wahân oddiwrth y tŷ, ac na byddai neb byth yn cysgu ynddo, ond y gofalai ef na chawn wely llaith. Diolchais iddo yn fawr; ac wedi mwynhâu ei garedigrwydd ar lun swper iachus, hwyliais tua'm hystafell wely. Rhoes i mi bob cysur angenrheidiol i'm gwneyd yn gwmfforddus, heb anghofio canwyll tua hanner llath o hŷd; a rhybuddiodd fi i beidio dychryn os clywn ddrŵs fy ystafell yn clepian tua hanner nos. Edrychai hyn yn debyg i ysbryd; ond nid oedd dewis i gardotyn, ac ni bu ofergoeledd erioed ymhlith fy ngwendidau. Cefais fy ystafell yn ddigon o faint, a gwely ar ei chanol digon helaeth i ddwsin o ddynion gysgu yn gysurus ynddo yn bîg ac yn ben, neu draed yn nhraed. Yr oedd tân siriol hefyd wedi ei gyneu ar fy nghyfer, ac wrth hwnw yr eisteddais am oriau, yn dadluddo ac yn myfyrio am y naill beth a'r llall, nes y syrthiodd trwmgwsg arnaf, o'r hwn y deffröwyd fi ymhen rhai oriau gan sŵn ergydiol drŵs fy ystafell yn agor ac yn cau. Gelwais rhwng cwsg ac effro ar i bwy bynag oedd yno ddyfod i mewn, a than ei berygl i adael y drŵs hwnw yn llonydd.

Ar hyn cododd Puw ei lygaid at ei wrandäwr, a chanfu yn ei lygaid gymysgfa o ammheuaeth, dychryn, a syndod. A chan gyfeirio at y neillduolrwydd blaenaf, aeth ymlaen:—

"Coeliwch chwi neu beidiwch, mae pob gair a ddywedaf cyn wired a'r pader. Pwy sydd yna, ebai fi, d'owch i fewn; a chyn wired a bod dwfr yn y Dyfrdwy gerllaw, dyma dosbwth o ddynan bychan sionc mewn cap côch yn cerdded yn filwrol i ganol yr ystafell, gan wneyd y moes-ymgrymiad dèlaf i mi wrth fyned heibio. Tua llathen o'i ol, wele ddynsawd arall o'r un teulu mewn cap gwyrdd; ac un arall mewn cap glâs; ac un arall eto mewn cap melyn, a'r pedwar yn ymdaith yn ol a blaen hyd yr ystafell. Gofynais iddynt yn ddigon diofn i ba gatrawd yr oeddynt hwy yn perthyn. Atebodd y gŵr â'r cap côch, yr hwn a weithredai fel arweinydd ar y tri eraill, mai gwŷr Gwŷn ab Nudd, brenin gwlad ëang Hud a Lledrith, oeddynt hwy, yn gwarchod trysor deiliad i'r brenin hwnw, o'r enw Gofal Bydol, yr hwn tra yn y cnawd, a guddiasai rywbeth gwerthfawr heb fod yn neppell o'r ystafell yr oeddynt ynddi. Atebais innau nad oeddwn wedi clywed o'r blaen am y brenin hwnw; ond os na byddai i'w bedwar gŵr ddadguddio i mi y trysor y soniwyd am dano, y

torwn mewn gwrthryfel yn erbyn ei lywodraeth. Y Cap Côch, gan ddirnad fy ngeiriau, a atebodd :—

"Gwae, gwae, a fydd i ti, fôd marwol, os meiddi gyffwrdd pen dy fŷs âg un o honom—ni a'th wnawn yn ddigon mân i fyned trwy ogr rhawn."

"Rhaid cael ychwaneg na phedwar o honoch chwi, sparbils gweiniaid, i'm gyru trwy ridyll heb sôn am ogr," ebai finnau, gan edrych mor ffyrnig fyth ag y medrwn.

"Ymgroesa! nid Indiaid melynion, gwagsaw, ydym ni."

"Ac nid llyfrgi, âg arno ofn ysbryd ydwyf finnau; mi a ymaflaf godwm, neidiaf, taflaf drosol, neu ciciaf bêl droed â'r goreu o honoch, ac â'r oll o honoch gyda'ch gilydd."

"Wel," ebai'r Cap Côch, "os wyt ti am ymryson, gad i ni gael y bêl droed ynte."

"O'r gore," ebai finnau.

Daeth pêl yno o rywle mor annysgwyliadwy ag y daethai y dynion bychain eu hunain, a dechreuasom ar y chwareu yn ddioed—pedwar yn erbyn un—gwŷr Gwyn ab Nudd yn erbyn y diweddar filwr yn ngwasanaeth Cwmni anrhydeddus yr India Ddwyreiniol. Yr oedd yr ystafell ar y lleiaf, mae'n wir; ond parhâodd yr ymdrech yn hîr, a chan mor hylaw oedd y gwŷr bychain efo'u traed, ofnwn unwaith mai hwy fyddent drechaf. Pa fodd bynag, wrth weled pethau fel pe buasent yn troi yn fy erbyn, mi a ymwrolais, ac a greulonais hefyd fwy na heb, a chyrhaeddais droediad i'r belen a'i gyrodd trwy'r ffenestr ymhen pellaf yr ystafell.

"Dyna ti wedi ei gwneyd hi," ebai'r Cap Côch, "dos allan i'w 'nol hi gynta' gallot,"

Tybiais nad oedd hyn ond dyfais hudol a lledrithiog i'm cael allan o'r ystafell; a chan daro fy nhroed yn y llawr, dywedais yn awdurdodol, "Dos di i 'nol y bêl, y Cap Côch."

Ond mwmiai hwnw rywbeth fod arno ofn nos; a bu agos i mi gicio rhingyll Gwyn ab Nudd ar ol y belen. "Dos di, ynte, Cap Gwyrdd," ebai fi wrth yr hwn yr oedd ei ddiddosben fel pe buasai wedi ei wau o ddail coed cyll; ond edrychai hwnw mor ddisylw a didaro o'm cais a phe buasai wedi ei eni yn fud a byddar; a chyda'r un edrychiad hurt yr atebwyd fi gan y lleill. Gan hyny, tröais drachefn at y rhingyll, gan ymresymu âg ef, ac edrych yn dra mileinig ar yr un pryd, mai eu dyledswydd hwy oedd edrych ar ol y bêl yn eu iâl eu hunain, ac nad oedd ond distryw a dinystr yn eu haros os nad ufuddhaent i'm gorchymyn. Wedi gwneyd osgo crio am beth amser, dringodd y Cap Côch i'r ffenestr, a diflanodd trwy y twll a wnaethai y bêl yn y gwydr mor ddisymwth a phe buasai yn ysbryd; y lleill yn y cyfamser yn agor eu llygaid bychain mewn syndod at ufudd-dod eu blaenor i ddyn marwol, cymysgedig âg ofn y dyn marwol hwnw y gadewsid hwy fel hyn yn ei gwmni. Ond ni bu'r Cap Côch nemawr amser cyn dychwelyd, a'r belen tan ei gesail.

Prin y mae y ffrwgwd hon, John Rhys, yn werth ei hadrodd, ond y mae yn dangos i chwi fy mod i wedi cael meistrolaeth arnynt; ac nis gellwch chwi wneyd dim o dylwythion têg, ysbrydion, a llawer o ddynion hefyd o ran hyny, heb eu meistroli yn gyntaf. Yr wyf wedi sŷnu llawer byth er hyny sut y medrais ymddwyn mor ddewr. Ond o hyny allan, myfi oedd yr arwr; ac wedi chwareu pêl droed nes llwyr flino,

eisteddodd y Cap Côch a minnau wrth y tân i fwynhâu ein hunain wrth ddyweyd chwedlau am hyn a'r llall. Ni ddaethai gair eto o eneuau y lleill. Adroddais i wrtho fy hanes personol a'm helbulon yn India, gan ddisgwyl y buasai yntau yn rhoi ychydig o'i hanes yntau yn Ngwlad Hud a Lledrith i minnau. Ond dim un gair ar y pen hwnw; a phan ofynais iddo, ac y pwysais arno, gan arfer yr awdurdod a ennillaswn, atebodd fi fod ei fywyd ef a chyfrinachau ei fywyd yr un peth, ac atolygodd yn daer arnaf na ofynwn iddo mwyach.

Ond beth am y trysor? ebe fi; rhaid i mi gael rhan o hwnw genyt, neu myn ——, a bu agos i mi enwi'r Mawredd, ('roeddwn i'n rhegi'n dost pan ddaethum o India—mae pob hen sowldiwr yn rhegi). Buasai enwi'r Mawredd yn derfyn ar unwaith ar ein hymdrafod, os rhoddir coel ar yr hyn a ddywed traddodiad am fodau annaearol, ac ymatteliais; a da hyny, canys sylwais fod y Cap Côch, pan y dyfalodd pa enw oedd ar ddyfod o'm genau, yn troi gwŷn ei lygaid bychain i fyny, fel pe buasai yn ymbaratöi at roddi naid i'r difodiant cûdd, a chymeryd ei dri chydymaith gydag ef.

"Wel," ebai'r Cap Côch, "gan dy fod di yn farwolddyn dewr, ac yn grëadur gwynebagored a diragrith, mi a ddadguddiaf i ti gyfrinach y trysorau. Tyred y ffordd yma," ebai ef, ac arweiniodd fi ar hyd culfa dywell, cyn dywylled mi allwn feddwl, pan fo hi yn hanner dydd, a phan fo hi yn hanner nos; ac ymhen pellaf y gulfa cododd ei fŷs bychan at y tô lle yr oedd drŵs bychan, a dywedodd wrthyf am agor hwnw. Gwnaethum yn ol ei gais; a daeth i lawr am ein penau sypynau lawer o hen bapyrau llychlyd. "Cadw y rhai hyn," ebai'r Cap Côch, "yn ofalus iawn hefyd; hwyrach na byddant o fawr lês i ti, ond hwy fyddant i eraill." Cipiais hwy i fyny gan eu dodi yn ofalus yn fy mynwes. Oddiyno aethom yn ol at gàreg yr aelwyd; archodd i mi godi hono, ac o dani cawsom hen grochan bychan yn llawn o hen arian bâth, a pheth aur hefyd a phrês. Neidiais o lawenydd gan fy mod yn dlawd neillduol. Fi bïa rhain, *trump?*" ebe fi. "Ië, *trump*," ebai'r Cap Côch; "dyro eu hanner i geidwad y lle yma am ei garedigrwydd i ti, a chadw yr hanner arall i ti dy hun."

"Dyma ein swyddogaeth ni yn y lle hwn yn awr ar ben," ebai ef ymhellach, ac ymestynodd ef a'i dri chydymaith ger bron fy llygaid i fod y dynion talaf a mwyaf a welais erioed, a chleddyf hîr llafnloew gan bob un o honynt yn ei law. "Gorwedd ar dy wyneb ar lawr," ebai'r Cap Côch, "ymgais dy fywyd fyddo cael hyd i aerod yr ewyllys yna; ac os beiddi godi dy olwg, neu wneyd cam â dymuniad y testamentwr, ni a'th falwn yn wir yn ddigon mân i fyned trwy ogr rhawn."

Gan eu gwir ofn, gorweddais a'm gwyneb obry, a phan godais ar derfyn yr amser gosodedig, sef oedd hwnw hanner awr, yr oedd y tân wedi diffodd, y ganwyll wedi llosgi allan, y wawr yn tòri, y ceiliog yn y buarth gerllaw yn cânu, a minnau yn rhwbio fy llygaid er mwyn gweled yn gliriach ai breuddwyd oedd yr holl ymdrafod ai peidio. Ond gwelwn y crochan a'i gynnwys ger fy mron, a theimlwn y sypyn papyrau yn fy nghesail. Aethum ati i'w darllen a'u holrhain yn ddiymaros, a chefais eu bod ymhell dros eu cant oed; a'u bod yn gynnwysedig o gydnabyddiaeth am ddyled gan wahanol bersonau yn yr ardal; rhai gweith-

redoedd tir ; a hen ewyllys. Hen ewyllys Robert ap Siôn ap Risiart ap Llywelyn, neu Robert Jones, yn tystio ei fod ef yn marw yn ddibriod, ac yn gadael ei holl eiddo i'w frawd Ifan, yr hwn, fel y dywedai papyryn arall, oedd wedi ymrestru yn filwr i wasanaeth Cwmni anrhydeddus India Ddwyreinol rai blynyddau cyn hyny ; a'r hon oedd wedi ei thynu allan a'i harwydd-dystio yn gyfreithlawn a rheolaidd. Rhenais yr arian, yn ol y cyfarwyddyd, efo'r dyn a roisai'r llettŷ i mi, yr hwn a deimlai yn falch neillduol o honynt, ac yn falch neillduol hefyd fod tenantiaid yr hen ystafell wedi ymadael ; ond ni chrybwyllais wrtho o gwbl am y papyrau. A'm gwaith o'r noson hono hyd yr awr hon ydyw olrhain treiglad y gwir etifedd yn yr ewyllys. Ysgrifenais at gadben fy myddin yn India ; ac wedi ymgynghori â llyfrau'r fyddin, cafodd ef allan fod un Ifan Jones wedi gwasanaethu ei amser yn y wlad hono, a dychwelyd i'w wlad ei hun. Trwy ddirfawr lafur, cefais allan pa le y treuliodd weddill ei oes ; iddo adael un mab o'r enw Huw, yr hwn a ddaeth drosodd gan ymsefydlu yma fel gwesttŷwr ; ac y mae yn ddiddadl mai Huw Jones oedd ei enw, os na ddarfu iddo fabwysiadu y dull aflêr o ddefnyddio enw ei fam yn lle eiddo ei dad, fel y gwneir mewn rhai rhanau o Gymru. Dyna fy hanes i, John Rhŷs, a dyna fy neges yn y cŵr yma o'r wlad. Os gellwch roddi rhyw gynnorthwy i mi, byddaf yn dra diolchgar."

Edrychodd John am beth amser ar y tân, ac edrychodd wed'yn beth amser ar Hywel Puw ; ocheneidiodd amryw weithiau ; trôdd ei lygaid tua'r nenfwd, fel un wedi ymgolli yn y myfyrdod dwysaf, ac ar arllwys allan y wybodaeth werthfawrocaf.

"Huw Jones, y *Ddraig*," ebai ef, "wedi marw, syr, er's blynyddau."

"A fu ganddo wraig ?" gofynai Puw yn chwyrn.

"Wedi marw, syr," ebai'r tafarnwr.

"A phlant ?"

"Dau efell, y rhai sy'n fyw ac iach."

[*I'w orphen yn y rhifyn nesaf.*]

# MEDDYLFRYD CRIST IESU.

(BEIRNIADAETH YSGRYTHYROL.)

AIL ERTHYGL.

## PHILIPPIAID II. 5—8.

"Canys bydded ynoch y meddwl yma, yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu :
Yr hwn, ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw ;
Eithr efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion :
A'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes."

Adn. 7. "*Eithr efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion.*"

"*Eithr efe a'i dibrisiodd ei hun.*"

FEL y sylwyd yn yr erthygl flaenorol,* y mae y gair "*eithr*" yma yn gosod hunan-ddibrisiad yr Ail Berson yn gyferbyniol i ddal gafael yn ei ogoniant dwyfol ; ac y mae y gair yn gadarnhâd grymus i'r golygiad a amddiffynwyd ar y rhan olaf o adn. 6,—"ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw." Pe meddwl y frawddeg yna fuasai y golygiad cyffredin—'Ni farnodd ei waith yn gosod ei hunan yn ogyfuwch â Duw, yn ysbeiliad,' y mae yn amlwg maï nid "eithr" a roddasid i lawr yn y frawddeg gyferbyniol, ond "er hyny :"—'Yr oedd yn ogyfuwch â Duw ; er hyny efe a'i dibrisiodd ei hun.' Ond ni oddef y cysylltiad ἀλλά, fel y mae yn sefyll yma, ei gyfieithu yn yr ystyr o "eto" neu "er hyny," [*Gwel* WINER, ROBINSON, ALFORD] : heblaw fod y syniad, megys y ceisiwyd dangos eisoes, yn un ag y mae pobpeth, dybygid, yn ei erbyn. Pan yn dyfod ar ol geirynau ammodol *(conditional particles)*, cymer yr ystyr o "er hyny;" megys, 1 Cor. iv. 15 : "Canys *pe byddai* i chwi ddeng mil o athrawon yn Nghrist, *er hyny* nid oes i chwi nemawr o dadau :" a 1 Cor. ix. 2 ; "*Onid* wyf fi yn apostol i eraill, *eto* yr wyf i chwi." Ond pan yn dyfod ar ol geirynau *nacaol (negative particles)*, dynoda wrthgyferbyniad

* Gwel Y TRAETHODYDD am Hydref, 1874.

uniongyrchol. Dyma a ddyry Robinson fel ei ystyr gyntaf a mwyaf prïodol—-gwrthgyferbyniad uniongyrchol ar ol y geirynau nacäol οὐ, μή: megys Mat. iv. 4: "*Nid* trwy fara yn unig y bydd byw dyn, *ond* trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw;" a Mat. v. 17: "*Ni* ddaethum i dòri, *ond* i gyflawni." Felly y mae y gair hwn yn amlwg yn yr adnod dan sylw, yn dwyn ei ystyr naturiol a llythyrenol (o ἄλλος—*arall*) o wrthgyferbyniad uniongyrchol, yn dyfod ar ol y geiryn nacäol οὐ: *Nid* y peth hwn *eithr* peth arall—hollol wrthwynebol: "*Ni* thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw"—'Ni ddaliodd afael megys trwy drais yn ei fawredd dwyfol:' "*Eithr*—'yn lle hyny, yn wrthwyneb i hyny'—efe a'i dibrisiodd ei hun."

"*Efe a'i dibrisiodd ei hun.*" Y mae y ferf ἐκένωσεν (κενόω o'r ansoddair κενος—*gwâg*) yn arwyddo *gwaghâu.* Felly y cyfieithiad cywir a llythyrenol ydyw—"Efe a'i *gwaghäodd* ei hun." Y mae y rhagenw ἑαυτὸν—"*ei hun*"—wedi ei osod o flaen y ferf yn lle ar ei hol; dengys y sefyllfa bwysleisiol hon i'r gair fod ymddarostyngiad ein Harglwydd yn *wirfoddol,* wedi ei gymeryd ganddo "o hono ei hun." Y mae yr "ymwaghâd" hwn yn cael ei ddal mewn cyferbyniad i'r "tybied yn drais" yn yr adnod flaenorol—yr hyn *a* wnaeth yn cael ei wrthgyferbynu â'r hyn *ni* wnaeth. 'Ni *ymgyfoethogodd* yn ei fawredd dwyfol, eithr efe a'i *gwaghäodd* ei hun:' yn lle *ymlenwi, ymwaghâu* a wnaeth; "ac efe yn gyfoethog," fe "ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd;" yn lle edrych ar hawl-freintiau ei Dduwdod fel trysor i'w wasgu yn dŷn a'i gadw yn ei feddiant er pobpeth—yn lle hyny efe a roddodd y cwbl i fyny o'i fodd; yn lle defnyddio ei ogyfuwchder â Duw yn gyfleusdra i hunan-ddyrchafiad, efe a'i defnyddiodd yn gyfleusdra i gyflawni y weithred fwyaf aruthrol o hunan-ddarostyngiad a welodd creadigaeth Duw erioed! "Efe a'i gwaghäodd ei hun." Ond o ba beth? Nid o'i Dduwdod; buasai hyny yn anmhosibl: ond o *ffurf* Duw—o'r prïodoliaethau dwyfol yn yr *amlygiad* cyson a phrïodol o honynt.

*"Gan gymeryd arno agwedd gwas."* Yr un yw y gair a gyfieithir yma "agwedd" a'r un a gyfieithir yn adn. 6. yn ei ystyr brïodol yn "ffurf" (μορφή). Nid oes yr un rheswm, dybygid, dros i'r gair a gyfieithir yn adn. 6, yn "ffurf" gael ei gyfieithu yma yn "agwedd." "Ffurf" ac nid "agwedd" yw gwir ystyr y gair; perthyna "agwedd" yn nes i feddwl y gair σχῆμα (fel y dangoswyd yn yr erthygl flaenorol wrth ymdrin â'r gwahaniaeth rhwng μορφή a σχῆμα). Cadwyd yr un gair yn y cyfieithiad Seisonig yn y ddau le—"*form;*" a gwell fuasai hyny yn ddïau yn y Gymraeg, nid yn unig am mai "ffurf" ydyw y cyfieithiad cywiraf o'r gair, ond am y buasai y cyferbyniad hefyd yn cael ei gadw felly yn y golwg yn eglur: "Yr hwn ac efe yn *ffurf* Duw—a gymerodd arno *ffurf* gwas."

Y cyfieithiad llythyrenol o'r gair δοῦλος ydyw, nid "gwas" yn unig, ond "caethwas." Felly y cyfieitha Lightfoot: "*taking the form of a slave.*" Dŵg hyn y cyferbyniad allan gyda nerth mawr:—"Yr hwn oedd yn ffurf *Duw* wedi cymeryd arno ffurf *caethwas!*" Wele *Fab* Duw wedi dyfod yn *was* Duw; ac *Arglwydd* pawb wedi dyfod yn *was* i bawb—ïe yn "gaethwas," yn *slave.* Yr ystyr olaf a ddyry Lightfoot yn arbenig—gwas i *ddynion,* yn unol â Mat. xx. 27, 28: "A phwy bynag a fyno fod yn benaf yn eich plith, bydded yn was i chwi. Megys na ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu ond i wasanaethu." Ond yr ydym yn credu gydag

Alford mai yr ystyr arbenig yma ydyw—gwas *i Dduw.* Fel hyn y mae nerth y cyferbyniad yn dyfod allan—"yr hwn oedd yn ffurf *Duw* wedi dyfod yn ffurf *gwas* (i Dduw)." Ac yn hyn, dybygem, y mae dyfnder anolrheinadwy dirgelwch yr ymwaghâd Dwyfol—fod tragywyddol *Fab* Duw wedi dyfod yn *was* Duw. Onid dyma hanfod yr ymddarostyngiad?—fod yr Hwn oedd yn *Dduw* wedi dodi heibio, neu osod dan attaliad dros dymmor, mewn modd anamgyffredadwy, ei fywyd Dwyfol ac annibynol fel un o bersonau tragywyddol y Duwdod,—nid o ran ei fod, yr hyn a fuasai yn anmhosibl, ond o ran ei amlygiad, ac hyd yn nôd fel y mŷn rhai o ran ei *weithrediad* (oddieithr ar achlysuron neillduol, a'r pryd hyny fel actau o ufudd-dod ac i ddybenion y prynedigaeth), a dyfod i fyw o fewn i derfynau cyfyng bywyd *gwas?* Fe "waghäodd ei hun" o "ffurf Duw," ac fe "gymerodd arno ffurf gwas." Fe ymddiosgodd dros dymmor o'r gogoniant Dwyfol, ac fe ymwisgodd yn nillad gwas. Fe ddaeth yn was i Dduw mewn trefn i gyflawni gwasanaeth digyffelyb dros ddynion, ac "i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer."

*"Ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion."*

Wynebir ni yma gan ddau gwestiwn:—ystyr yr ymadrodd hwn, a'i berthynas â'r ymadroddion blaenorol. Nid oes dadl nad yw y frawddeg hon yn gosod allan ffaith fawr yr Ymgnawdoliad: penderfynir ei hystyr benodol gan yr esboniad a roddir ar y gair "cyffelybiaeth." Beth yw meddwl neillduol y gair hwn, a phaham y defnyddir ef yma?

Deallir ef gan rai fel yn gosod allan y *neillduolrwydd* a berthynai i'r ddynoliaeth yn mherson y Duw-ddyn. Cyfeirir at yr ymadrodd yn Rhuf. viii. 3, fel un cyfatebol: "cyffelybiaeth cnawd pechadurus." Yr oedd efe yn debyg i bechaduriaid, ond yn "ddidoledig oddiwrth bechaduriaid;" yn yr agosrwydd mwyaf atynt, ac yn y pellder mwyaf oddiwrthynt yr un pryd. Yr oedd yn rhaid cael y ddau—yr agosrwydd a'r pellder, i wneyd Gwaredwr i bechadur. Yr oedd yn rhaid ei gael mor agos atynt nes bod yn eu natur ac o dan eu hachos; yr oedd yn rhaid ei gael mor bell oddiwrthynt drachefn, nes bod yn "ddihalog" ac "heb bechod." Dywedir yn 1 Ioan iii. 5, "ymddangos o hono ef" yn ein natur "fel y dilëai ein pechodau ni;" ond chwanegir yn y fan fel cymhwysder anhebgorol i hyny—"ac ynddo ef nid oes pechod." Felly, yn ol Meyer ac Alford, y mae "cyffelybiaeth dynion" yn gosod allan y tebygrwydd a'r annhebygrwydd, yr agosrwydd a'r pellder. Yn ol y golygiad hwn, yr oedd Efe *yn* ddyn—ond nid dyn *ydoedd;* yr oedd Efe yn ddyn gwirioneddol, ond yn wahanol i bob dyn arall. Nid yn unig yr oedd yn wahanol am ei fod yr un pryd yn *fwy* na dyn, ond yn wahanol yn ei gyfranogiad o ddynoliaeth, Fe'i "gwnaed" neu fe "ddaeth" (*γενόμενος*), yn gyferbyniol i *ὑπάρχων* (y rhaghanfodiad) yn adn. 6, yn ddyn; nid trwy drefn natur—yr hon drefn sydd yn cynnwys y llwgr gwreiddiol a pherthynas gyfammodol â'r dyn cyntaf mewn euogrwydd—ond trwy weithred oruwchnaturiol, yn rhinwedd yr hon yr impiwyd y planigyn dwyfol i mewn i'r ddynoliaeth, ac felly y "bu gyfranog o'r un pethau" â dynion yn holl hanfodion eu natur, sef "y cîg a'r gwaed;" ond heb gyfrifiad euogrwydd a throsglwyddiad llwgr y gwreiddyn, eithr yn dyfod ei hunan ar unwaith yn wrthddrych ac yn gyfrwng cyfrifiad newydd fel Pen cyfammod arall, gan ddyfod felly yn wreiddyn dyn-

oliaeth newydd—dynoliaeth ysbrydol a sanctaidd. "Wele *y* Dyn!" gan hyny—cyffelyb i ddynion eraill,—ond yn sefyll wrtho ei hun yn ddigyffelyb yr un pryd. Nid oedd "y dyn cyntaf," yn ei sefyllfa gyhoeddus ac yn ei burdeb personol, ond cysgod gwan o'r "ail ddyn"—"ffurf yr hwn oedd ar ddyfod." Yn ol Meyer, nid *dyn* oedd y Person hwn yn yr ystyr bur ac unig y cymhwysir yr enw at ddynion eraill *(purus putus homo)*, ond Mab Duw "yn *nghnawd* a *natur* dynolryw." Dyma, gan hyny, un ochr i'r gair "cyffelybiaeth" yn y lle hwn—yr awgrym a gynnwysa o'r *gwahaniaeth* rhwng "y dyn Crist Iesu" â dynion eraill. Ni buasai ystyr mewn dyweyd fod y Person hwn wedi ei wneuthur yn "gyffelyb" i ddynion, pe na buasai *ond* dyn.

Yr ochr arall i ystyr y gair ydyw yr un sydd ar y wyneb, sef *tebygrwydd.* Beth yw meddwl pendant y gair a gyfieithir yma "cyffelybiaeth"—*ὁμοίωμα*? Y mae y darllenydd yn cofio o bosibl yr eglurhâd a roddwyd yn yr erthygl flaenorol ar y gwahaniaeth rhwng "ffurf" a "dull." Golyga y blaenaf y nodweddion hanfodol a sefydlog, a'r olaf yr agwedd allanol a chyfnewidiol. Y mae Bengel yn gosod "cyffelybiaeth" o ran ei ystyr yn y canol rhwng y ddau. Dyma ei eglurhâd ef:—*μορφή, forma,* "ffurf," a arwydda rywbeth hanfodol; *ὁμοίωμα, similitudo,* "cyffelybiaeth," a arwydda ei berthynas â phethau eraill o'r un cyflwr; *σχῆμα, habitus,* "dull," a gyfeiria at agwedd ac ymddangosiad. "Cyffelybiaeth dynion" yma, gan hyny, a arwydda ei fod Ef o'r un ystum, osgedd, ymddangosiad â dynion eraill. Nid ei fod yn meddu y pethau hyn yn gyferbyniol i *wirionedd* dynoliaeth; ond fod gwirionedd ei ddynoliaeth yn cyrhaedd at, ac yn cymeryd i mewn hyd yn nôd y pethau hyn. Nis gallwn beidio meddwl (yn wahanol i Lightfoot) fod y gair hwn yn awgrymu gwirionedd dynoliaeth ein Hiachawdwr. Nid "cyffelybiaeth" sydd yma yn cau allan wirionedd, ond gwirionedd yn cymeryd i mewn hyd yn nôd "cyffelybiaeth." Cymerodd ein Harglwydd ddynoliaeth nid yn unig yn ei hanfodion tumewnol, ond yn ei harwyddion allanol. Cymerodd hi yn gyflawn a gwirioneddol. Yr oedd yn ddyn mor wirioneddol, nes bod (yn yr holl bethau hyn) yn hollol yr un fath â dynion eraill. Fel hyn, y mae "cyffelybiaeth" yn gosod allan y tebygrwydd, ac yn *cynnwys* y gwahaniaeth. Y mae yn dangos gwirionedd dynoliaeth ein Hiachawdwr, ac ar yr un pryd yn awgrym o'i Dduwdod. Arwydda fod yma *ddyn* gwirioneddol, ac ar yr un pryd anfeidrol *fwy* na dyn.

Defnyddir y rhif llïosog "dynion," (medd Lightfoot) am fod Crist, yr ail Adda, yn cynnrychioli, nid y person unigol, ond yr hîl ddynol: Rhuf. v. 15; 1 Cor. xv. 45—47. Gwnaed ef yn "nghyffelybiaeth" y rhai yr oedd yn sefyll drostynt.

2. Y cwestiwn nesaf ydyw—perthynas yr ymadrodd hwn â'r rhai blaenorol. Y mae yn haws fe allai penderfynu ystyr yr ymadroddion hyn arnynt eu hunain nag olyniad y meddyliau yn eu trefn resymegyddol.

(1.) Cysyllta De Wette hwy â'u gilydd trwy ystyried y tri rhangymeriad (y trydydd yn yr adnod nesaf, yr 8fed) "cymeryd," "ei wneyd," "ei gael," yn eglurhâd ar ddull a modd y "gwaghâd." Yn ol y golygiad hwn, dylai y tri ymadrodd fod, nid yn gydraddol *(co-ordinate)* â, ond yn îs-raddol *(subordinate)* i'r, prif osodiad—"efe a'i gwaghäodd ei hun."

Fel hyn :—Efe a'i gwaghäodd ei hun :—

Trwy { 1. Gymeryd arno agwedd gwas.
2. Ei wneuthur mewn cyffelybiaeth dynion.
3. Ei gael mewn dull fel dyn.

Nid ydym yn credu fod y drefn hon yn gywir. Yn un peth, y mae yn amlwg, dybygem, fel y cawn achos i sylwi eto dan yr adnod nesaf, nad yw yr hyn a roddir uchod fel y trydydd grîs i fod yn rîs arno ei hun o gwbl, ac nad yw ond dull arall yn unig o ail-adrodd yr ail. Dywed Alford (yn groes i De Wette) fod yr hyn a roddir fel y grîs cyntaf i fod yn îs-raddol, megys uchod, i'r frawddeg "Efe a'i gwaghäodd ei hun." Yr ydym ni yn barnu gyda De Wette mai cydraddol ydyw i fod, gan fod y ddau ymadrodd "efe a'i gwaghäodd ei hun," a "chan gymeryd arno agwedd gwas" yn cyd-osod allan ffaith fawr yr Ymgnawdoliad, yn ei dwy ochr.—yr hyn a roddodd Mab Duw heibio, a'r hyn a gymerodd. Yr ochr gyntaf ydyw—"Efe a'i gwaghäodd ei hun o ffurf Duw;" a'r ochr arall ydyw—"Efe a gymerodd arno ffurf gwas." Wedi hyny, daw yr ymadrodd "ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion" yn îs-raddol i'r rhan gadarnhäol o'r prif osodiad—yn eglurhäol arno.

(2.) Yn ol y golygiad yna, safant fel hyn :—

Yr Ymgnawdoliad.

Efe a'i gwaghäodd ei hun—Efe a gymerodd arno ffurf gwas

(trwy gael)

Ei wneuthur mewn cyffelybiaeth dynion

Adn. 8. "*A'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes.*

*"A'i gael mewn dull fel dyn."*

Fel y dywedwyd o'r blaen, nid gosod allan rîs gwahanol yn yr ymddarostyngiad y mae yr ymadrodd hwn, ond ail gymeryd i fyny y mater lle y gadäwyd ef yn yr adnod flaenorol. Y mae Efe yno wedi dyfod i lawr mor isel a bod wedi cymeryd natur dyn. "Yn awr," meddai yr apostol, "wedi iddo ddyfod i natur dyn, nid yw y darostyngiad yn darfod yn y fan yna: y mae genym actau pellach o ymddarostyngiad i'w hysbysu, y rhai a gyflawnodd efe yn y natur hono."

Rhaid nodi fel eithriad ysgafn i'r sylw yna fod yma un *gair* îs yn cael ei ddefnyddio—"*dull.*" Y mae yn deilwng o sylw fod y tri gair y buwyd yn eu cymharu â'u gilydd, wedi cael eu defnyddio gan yr apostol yma mewn trefn olynol: "ffurf," "cyffelybiaeth," a "dull." Y maent fel hyn yn ffurfio graddeg, yr hyn sydd, dybygem, yn cadarnhâu eglurhâd Bengel arnynt. Daeth y Person Dwyfol i lawr hyd yn nôd i'r "dull"—yr holl ystum, osgedd, ac ymddangosiad sydd yn nodweddu *dyn.* Cymerodd y ddynoliaeth nid yn unig yn ei phrïodoliaethau pwysicaf, ond yn ei chwbl—i lawr i'w hagweddion mwyaf allanol. Fe'i cafwyd ef yn hollol yn "null" (σχῆμα) dyn.

Y mae gan y Proffeswr Lightfoot sylw rhagorol i roddi cyfrif am y gwahaniaeth rhwng yr holl eiriau pwysig yn yr adnod hon a'r un flaen-

orol, mewn ffordd arall, er nad yw o anghenrheidrwydd yn cau allan y gwahaniaethiad a wnaethpwyd uchod. Dywed efe fod y 7fed adnod yn dangos y cyferbyniad rhwng *yr hyn oedd Crist o'r dechreuad*, a'r hyn *y daeth efe i fod wedi hyny:* oblegid hyn y dywedir "gan *gymeryd*" (*λαβών*) ac nid "gan *feddu*" (*ἔχων*); "*cyffelybiaeth*" (*ομοίωμα*) ac nid "*ffurf*" (*μορφή*); "*a wnaed*" neu "*dyfod*" (*γενόμενος*) ac nid "*bod*" (*ὢν*),—y cyfan yn eiriau yn dangos *cyfnewidiad.* Ond yn yr adnod hon, y mae y cyferbyniad rhwng yr hyn *ydyw* Efe ynddo ei hun, â'r hyn yr *ymddangosai* yn ngolwg dynion: oblegid hyn defnyddir "*dull*" (*σχῆμα*), ac nid "*cyffelybiaeth*" (*ὁμοιὼμα*) na "*ffurf*" (*μορφὴ*); "ei *gael*" (*εὑρεθεὶς*) ac nid "*dyfod*" (*γενόμενος*) na "*rhag hanfodi*" (*ὑπάρχων*); "FEL *dyn*" (*ὡς ἄνθρωπος*) ac nid "*dyn*" (*ἂνθρωπος*),—y cyfan yn eiriau sydd yn awgrymu *tebygolrwydd allanol.* "Nid oes na phryd na thegwch iddo: pan edrychom arno, ni bydd pryd fel y dymunem ef: dirmygedig yw, a diystyraf o'r gwŷr:" Esa. liii. 2, 3.

*"Efe a'i darostyngodd ei hun."*

Wele ni yn cael ein harwain gan yr Apostol i edrych i lawr i raddfa ryfeddol y darostyngiad—dyfnder o dan ddyfnder. Y mae y naill ddyfnder yn agor i ddyfnder arall mwy. Wedi i ni "gael" Duw Tragywyddoldeb yn mherson y Mab yn y disgyniad aruthr o fod yn cerdded y ddaear fel dyn cyffredin, y mae Efe yn ei "ddarostwng ei hun" eto yn ei ddynoliaeth, trwy actau pellach o hunan-ymwadiad. Ar y gair "darostwng" y mae pwys y frawddeg hon yn gorphwys. Sylwasom ar y frawddeg arall yn y 7fed adn. "Efe a'i gwaghäodd ei hun," fod y rhagenw "ei hun" o *flaen* y ferf, yn y lle pwysleisiol; ond yma y mae *ἑαυτὸν* ("ei hun") *ar ol* y ferf, a'r pwys ar "darostyngodd." Dyma y rheswm a ddyry Meyer (dyfyn. gan Alford) am y gwahaniaeth: yn y frawddeg flaenaf yr oedd pwys y mater yn gorphwys ar *gyfeiriad* y weithred fel yn edrych yn ol neu tuag ato "ei hun;" ond yma y mae y pwys ar y *weithred* ei hunan sydd yn cyfeirio felly.

*"Gan fod yn ufudd."*

Wedi cymeryd "*ffurf* gwas" (*δοῦλος—slave*), bu fyw bywyd gwas; llanwodd y ffurf hyd yr ymylon âg *ufudd-dod.* Y mae y frawddeg hon yn egluro y "darostwng" yn yr un flaenorol; yn hyn yr oedd y darostyngiad yn gynnwysedig—mewn "ufuddhâu:" "Efe a'i darostyngodd ei hun gan fod yn *ufudd.*" "*I Dduw*" yn ddealledig; mewn cyferbyniad i hyn y mae dechreu y paragraph nesaf: "O herwydd paham *Duw* a'i tra-dyrchafodd *yntau.*" Dyma beth newydd ar y ddaear, a newydd yn yr holl grëadigaeth. Ni chlybuwyd erioed o'r blaen am neb yn darostwng ei hun trwy ufuddhâu i Dduw. Y mae Duw yn un mor fawr, fel mai anrhydedd penaf y crëadur uchaf ydyw ufuddhâu i Dduw. Ond dyma Berson mor fawr fel nas gallasai "ufuddhâu" hyd yn nôd i *Dduw*, ond trwy weithred o ymddarostyngiad anfeidrol! Y mae deddf Duw yn un mor ogoneddus, fel y mae hi yn rhoddi mawredd arnom ni pan yr ydym yn ufuddhâu iddi. Ond *derbyn* mawredd a wnaeth y ddeddf trwy ufudd-dod Hwn. Y mae Hwn yn un mor fawr, nes y mae yn fawredd digyffelyb ar ddeddf *Duw* ei hunan ei fod *Ef* yn ufuddhâu iddi. "*Efe a* FAWRHA y *Gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus.*"

*"Hyd angeu."*

Y mae y gair "hyd" yn gosod allan nid parhâd yr ufudd-dod, ond ei ddyfnder. Yr un fath yn hollol a'r ymadrodd yn Dat. ii. 10: "Bydd ffyddlawn hyd angeu."

Golygiad arwynebol a thra anghywir ar y gair yna ydyw ei esbonio, fel y gwneir yn fynych, yn yr ystyr o *barhâu* yn ffyddlawn hyd ddiwedd yr oes. Y mae hyny yn dda, ac i'w gymhell, bid siwr; ond nid yr annogaeth "Bydd ffyddlawn hyd angeu" a ddylid ei defnyddio i hyny. Meddwl arall hollol sydd i'r annogaeth yna; sef bod yn ffyddlawn hyd at roddi ein bywyd i lawr dros Grist, os bydd galw am hyny. Nid ffyddlondeb Cristionogion cyffredin sydd yma, ond ffyddlondeb *merthyr.* Gallai fod y gair "cystudd" sydd yn yr adnod wedi camarwain rhai i dybied mai "angeu" naturiol a feddylir. Ond y mae ystyr neillduol i'r gair "cystudd" yn y Testament Newydd: golyga mewn llïaws o fanau "erlidigaeth," ac nid afiechyd. Ac felly yn yr adnod yr ydym yn awr yn cyfeirio ati, fel y gwelir yn amlwg: (at Eglwys Smyrna yr ysgrifenir):—"Nac ofna ddim o'r pethau yr ydwyt i'w dyoddef. Wele, y cythraul a fwrw rai o honoch chwi i *garchar,* fel y'ch profer; a chwi a gewch *gystudd* ddeng niwrnod. Bydd ffyddlawn *hyd angeu,* a mi a roddaf i ti goron y bywyd." Felly nid yw hon yn adnod gymhwys i'w rhoddi ar feddau Cristionogion cyffredin, na swyddogion yr eglwys, pa mor ffyddlawn bynag y gallont fod wedi bod gyda'r gwaith. Beddargraff *merthyr* ydyw.

Y mae y merthyr yn "ffyddlawn hyd angeu" dros Grist, fel y bu Crist yn "ufudd hyd angeu" drosto ef. Yr un ystyr yn hollol sydd i "hyd angeu" yn y ddau le; nid "hyd" o ran parhâd, ond o ran *graddau.* "Gan fod yn ufudd hyd angeu:" nid fe barhâodd i ufuddhâu hyd yr adeg y bu farw, ond fe ufuddhâodd *nes* marw; fe fu farw *o* ufudd-dod; yr oedd y marw yn rhan o'r ufudd-dod, ac yn weithred goronol yr ufudd-dod i gyd. Un yrfa ryfedd o ufudd-dod oedd ei holl fywyd, yn cyrhaedd ei grîs dyfnaf yn ei angeu. Fe ddododd ei einioes i lawr "o hono ei hun," ac ar yr un pryd mewn ufudd-dod i'r "gorchymyn a dderbyniasai gan ei Dad."

*"Ië, angeu y groes."*

Y mae yr "Ië" yma, neu "hyd yn nôd" (δε) yn hynod bwysleisiol. "Angeu?" "Ië," ond nid angeu cyffredin. Math neillduol o angeu oedd hwn. Angeu a gedwid o'r naill du, i'w ddwyn allan yn unig ar achlysuron mawr a nodedig—i gyfarfod â'r dosbarth duaf o droseddwyr, neu y mwyaf dirmygedig o ddynion. Angeu y troseddwyr gwaethaf, a chaeth-weision hefyd—y rhai a gyfrifid megys pethau ac nid personau. Angeu ag yr oedd y dyoddefaint mwyaf angerddol ac hefyd y gwaradwydd dyfnaf yn cyfarfod ynddo. Angeu ag yr oedd cyfraith Moses wedi cyhoeddi melldith arno; ac un ag yr oedd hyd yn nôd Cenhedloedd yn ei ystyried y fwyaf gwarthus a'r greulonaf o bob cospedigaeth. Angeu oedd fel hyn mewn modd nodedig yn cyfuno ynddo ei hunan bob elfen o boen, gwaradwydd, a melldith. Dyma uchder a dyfnder wedi cydgyfarfod!

Uchelderau mawr ei Dduwdod,
A dyfnderoedd ei ufudd-dod,
Sy'n crëu synu fyth ar synu
Yn nhrigolion gwlad goleuni.

Wele ddau pen y raddfa ddigyffelyb: yr hwn oedd "yn ffurf Duw" wedi dyfod i "angeu y groes!"

Sylwa Lightfoot fod yn rhaid fod y cyferbyniad â'i sefyllfa ei hunan yn peri i'r Apostol deimlo yn fwy dwfn ddarostyngiad ei Feistr. Am ei fod yn ddinesydd Rhufeinig, nis gallasai efe ei hun dan unrhyw amgylchiadau ddyoddef y fath warth; ac felly, yn ol y traddodiad, tra y rhoddwyd yr Apostol Pedr i farw trwy groeshoeliad, merthyrwyd yr Apostol Paul trwy dòri ei ben â'r cleddyf.

Y frawddeg "*Efe a'i gwaghäodd ei hun*" yw y pegwn ar yr hwn y trŷ holl ryfeddodau digyffelyb y paragraph hwn. Yn mha beth yr oedd yr "ymwaghâd" hwn yn gynnwysedig—yn mha fodd ac i ba raddau yr oedd, nid yn unig yr amlygiad, ond (yn ol rhai) y gweithrediad o'r perffeithiau Dwyfol, yn cael ei attal, neu ei derfynu gan ammodau dynol, yn "y dyn Crist Iesu," yn ystod tymmor ei ddarostyngiad, sydd ddirgelwch mawr. Ac nid yw hyn ond rhan o ddirgelwch mwy—undeb y ddwy natur o gwbl yn mherson y Cyfryngwr. Dyma ddirgelwch mwyaf, a gogoniant mwyaf, ein crefydd—y mae yn dywyll gan danbeidrwydd y goleuni, fel yr haul yn troi yn dywyllwch i'r llygad gan rym ei ddysgleirdeb. "Ac yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb—Duw a ymddangosodd yn y cnawd!"

Hyd yr ydym ni wedi gweled, y mae duwinyddion yr Almaen wedi treiddio yn llawer dyfnach nag ysgrifenwyr Lloegr i athrawiaeth y *Kenôsis*, neu yr "Ymwaghâd" Dwyfol. Gwel DORNER'S *Person of Christ*, a DELITZSCH'S *Biblical Psychology, &c.*

---

# Y BARDD O'R NANT A'I WAITH.

GWAITH THOMAS EDWARDS (*Twm o'r Nant*): Cyhoeddwyd gan I. Foulkes, 23, *Brunswick Street, Liverpool.* 1874.

Y MAE yr oes hon yn dra gweithgar mewn ailgyhoeddi hen lyfrau, yn ogystal â chyfansoddi rhai newyddion. Yn Lloegr, sefydlwyd amryw gymdeithasau i'r pwrpas, ac y mae yr ysbryd a'u bywhâ yn parhâu i ymledu. Gwnaeth Spurrell beth gwasanaeth da yn y cyfeiriad yma yn Nghymru, ac y mae Mr. Foulkes wedi ein hanrhegu âg amryw hen lyfrau enwog, ag oedd wedi myned yn brinion; er hyny, y mae llawer o lênyddiaeth ein tadau eto yn dra anghyrhaeddadwy, fel y teimlwn yn ddiolchgar am bob cais a wneir i gyflenwi y diffyg. "Nis gallwn ddymuno i unrhyw waith, neu ddosbarth o weithiau," ebai Macaulay, "sydd wedi cael dylanwad mawr ar y meddwl dynol, ac sydd yn dangos nodweddiad cyfnod pwysig mewn llênyddiaeth, gwleidyddiaeth, neu foesau, ddiflanu o'r byd." Ysgrifenai efe fel yna mewn erthygl ar

argraffiad, newydd ei gyhoeddi dan olygiaeth Leigh Hunt, o weithiau chwareuol Wycherley, Congreve, Vanbrugh, a Farquhar,—boneddigion ag yr oedd dylanwad Twm o'r Nant ar y Cymry ymron yn bur mewn cymhariaeth i'r eiddynt hwy ar eu cydgenedl. Y mae yn amlwg fod ei weithiau ef wedi cael dylanwad mawr iawn ar ei wlad, a hyny mewn cyfnod tra phwysig yn ei hanes. Nid oes yr un bardd Cymreig fu mor boblogaidd ymhlith ei gydoeswyr â Twm o'r Nant. Credid ynddo yn ddiderfyn gan werin ei wlad, ac y mae y traddodiad am dano sydd wedi ymsefydlu mewn llawer cylch, yn cymeryd yn ganiatäol eto ei fod yn wyrth o athrylith.

Nid ein gwaith yn bresennol yw chwilio i seiliau y ddedfryd a chyfiawnder y farn a draddodwyd gan "lais y wlad" ar waith y bardd o'r Nant. Gwnaed hyn yn dra rhagorol, mewn erthygl yn y TRAETHODYDD am 1852, gan y diweddar feirniad craff a bardd awenyddol Caledfryn. Y mae wedi cael ei alw yn "Shakspeare Cymreig," gan olygu ei fod ef i'r Cymry yr hyn ag ydoedd Shakspeare i'r Saeson. Nid yw hyn oll, wrth reswm, ddim ond ffolineb. Ar yr un pryd, yr oedd Bardd y Nant yn gymeriad hynod iawn, yn berchen athrylith o anferth fywiogrwydd ac ŷni; ac yr ydoedd ei synwyr da, a'i adnabyddiaeth drwyadl o'r bobl yn ei arwain i osod ei feddwl yn y dull ag oedd fwyaf cyfaddas i'w dealltwriaeth, ac yn fwyaf sicr o ennill eu cydymdeimlad. Yr oedd y wlad yn dywell ac yn isel iawn ar y pryd; ac eto yr oedd y bywyd newydd a ddaeth wedi hyny yn gymaint o fendith i Gymru yn ymweithio yn nerthol mewn llawer man, ac yn prysur ddwyn oddiamgylch ddyrchafiad y genedl. Y mae y naill a'r llall o'r gosodiadau hyn yn cael eu profi yn amlwg yn y bardd hwn ei hunan. Rhaid fod y bobl mewn sefyllfa isel cyn y gallent dderbyn gyda'r fath fwynhâd y brâs-ddigrifion ansyber a ddyry efe yn ngenau rhai o'r "ffyliaid," &c., i'r unig ddyben o beri iddynt chwerthin; ac eto y mae yn rhaid fod cydwybod y genedl dan gryn radd o ddeffröad cyn y gallasai oddef, llawer llai mwynhâu, y traethiadau meithion, difrifol, a roddir i bwyntiau pwysig ei holl chwareuon. Ond gyda'r pethau hyn, yn gysylltiedig â'i ffraethineb diderfyn, ei iaith werinol gref, a'r cynghaneddion a fyddent yn clecian yn barhäus yn ei linellau, nid ydyw yn rhyfedd fod Twm o'r Nant yn sefyll mor uchel yn ffafr ei gydoeswyr. Ac y mae yn dda genym fod Mr. Foulkes wedi dwyn allan yr argraffiad prydferth hwn o'i weithiau. Yr oedd ei gyfansoddiadau bellach wedi myned yn brinion iawn, ac yr oedd llawer, wrth glywed darnau ffraethbert o honynt, a gadwesid yma a thraw ar lafar gwlad, yn teimlo yn dra awyddus am gael cyfle i ymgydnabyddu â phethau a wnaethant gymaint o argraff ar feddwl y genedl. Dïau y caiff llïaws eu siomi yn y cyfansoddiadau. Bydd dosbarth helaeth yn methu dirnad pa fodd y cafodd cynnyrchion mor aflerw y fath ddylanwad, ac y daethant i'r fath enwogrwydd; bydd dosbarth helaethach, fe allai, yn sŷnu o'r ochr arall, fod cymaint o wir addysg, o awen, ac o ddylanwad daionus yn nghaneuon un y byddent arfer a synio mor isel a dirmygus am dano. Ond deuwn bellach at y gorchwyl y bwriadem ei gyflawni drwy hyn o erthygl.

Ein hamcan yn yr ysgrif hon yw cynnorthwyo yr efrydydd i gael gwybodaeth gyflawn o gynnyrchion llênyddol Twm o'r Nant, fel y maent yn aros mewn ysgrifau, yn gystal ag mewn argraff, a ffurfio math o

attodiad cyffredinol i bob argraffiad sydd wedi ei gyhoeddi o'i weithiau.

Nid yw y llyfr sydd yn awr o'n blaen yn proffesu cynnwys y cyfan o gyfansoddiadau yr awdwr. Yr unig beth a ddywed y golygydd yw, "Y mae yr argraffiad hwn y cyflawnaf a ymddangosodd eto o waith Bardd y Nant. Ceir ynddo liaws o ddarnau nad oeddynt yn y *Gardd o Gerddi* nac yn argraffiad Merthyr; ac o'r tu arall, gadawsom allan rai Carolau y credem yn gydwybodol nad oedd ynddynt unrhyw deilyngdod a hawliai eu hail gyhoeddi." Nis gallwn feio y golygydd am adael allan amryw ddarnau, ond buasai yn dda genym pe cawsem ganddo ef, neu gan rywun, hysbysrwydd digonol am bob cyfansoddiad adnabyddus o waith y Bardd, fel ag i'n galluogi i ffurfio barn gywirach, oddiar seiliau lletach, am liosowgrwydd a theilyngdod y cyfan o'i gynnyrchion. Credwn fod genym hawl i ofyn hyn oddiar law pwy bynag a ymgymero â golygu gwaith unrhyw hen awdwr, a buasai y cyfryw hysbysiad yn ffurfio rhagdraeth ddyddorol i gorff y gwaith hwn. Peth arall tra defnyddiol fuasai mynegai i *ddechreuad* pob cân, (oblegid y mae amrywiaeth go fawr yn eu teitlau.) Ond nid gweddus yw i dderbynydd etifeddiaeth gwyno na chawsai fap o'r tir, gan mai peth bychan mewn cymhariaeth yw mapio ystâd ar ol ei chael. I brofi ein bod yn credu yr hyn a ddywedwn, yr ydym ni wedi gwneyd mynegai cyflawn i gynnwysion pob llyfr o waith Twm ag y gwyddom am dano, fel y gallwn gyfeirio ar unwaith at unrhyw ddarn, a chymharu gwahanol argraffiadau. Yr ydym hefyd wedi trefnu mynegai i'r holl fesurau ar y rhai y cânodd y bardd, yn ogystal yn yr Interliwtiau, ag yn y *Gardd o Gerddi*. Diolchwn yn galonog i gyhoeddwr yr argraffiad diweddaf am ei wneyd mor hwylus i'r amcanion hyn, trwy ei dudalenu yn olynol trwyddo, ac nid yn ddarnau ar wahân fel llyfr y Merthyr. Gan fod trefnu y cyfryw fynegai yn gofyn cryn amser a llafur, a'i fod yn dra boddhâol a manteisiol i'r llenor ei feddu, rhoddwn y cwbl yma ger bron y darllenydd. Nid yw y naill na'r llall o'r argraffiadau yn gyflawn, fel y crybwyllasom, ond y mae y ddau gyda'u gilydd yn gasgliad lled berffaith o holl weithiau adnabyddus y bardd. Trefnasom y darnau a gynnwysant yn ol llythyrenau y wyddor, fel y byddo hawdd i ddyn wybod ar unwaith a ydyw rhywbeth a ddarganfyddir eto yn adnabyddus ai nad yw. Y mae y tair colofn ffigyrau yn cyfeirio, y gyntaf at argraffiad *Gardd o Gerddi*, a gyhoeddwyd yn ystod bywyd yr awdwr; yr ail at argraffiad y Merthyr; a'r drydedd at argraffiad Lerpwl. Sylwer eto fod dwy golofn yn rhagflaenu y llinellau, y naill yn dynodi trefn y mynegai, er mwyn hwylusdod i gyfeirio at unrhyw gyfansoddiad, a'r llall yn dynodi rhif y mydr yn y daflen ddilynol o'r mesurau. Fe welir ein bod wedi ysgaru y caneuon yn y chwaryddiaethau oddiwrth y lleill yn y *Gardd o Gerddi*, &c. M. a ddynoda y mydr; R. y rhif; G. tudalen yr argraffiad gwreiddiol; M. argraffiad y Merthyr, ac L. argraffiad Lerpwl. Gan nad yw argraffiad Rhuthyn o *Gardd o Gerddi* yn ein cyrhaedd, nis gallwn gyfeirio ato.

I.

MYNEGAI I "GARDD O GERDDI," &c.

| M. | R. | | G. | M. | L. |
|---|---|---|---|---|---|
| 40 | 1 | A glywch chwi'r gŵr rhagorol ... | | 366 | |
| C. | 2 | Ai Thomas atgas udgi ..... ...... | | 390 | |
| 29 | 3 | *All frugal farmers* ............... | 197 | 244 | |

NODIADAU.

58. "Ieuenctid un fodd." Y mae hon, nid yn unig yn *Gardd o Gerddi* a'r holl argraffiadau o waith yr awdwr, ond hefyd yn yr Interliwt (gwel tudalen 186 o argraffiad Lerpwl), a hefyd yn gerdd ar wahân, os ydym yn iawn gofio. Digwydda felly ddwywaith yn argraffiad y Merthyr.

84. "Pob dyn a dynes gynes gall." Gellir gwneyd yr un sylwadau ar y gân hon eto, (gwel tudalen 16 o argraffiad Lerpwl). Dichon fod hyn yn argoeli meddwl uchel y bardd am y cyfansoddiadau yma.

108. "Wel dyma ddydd gorchafiaeth." Nid yw hon yn *Gardd o Gerddi*, ond y mae, fel y gwelir yn argraffiad y Merthyr, ac hefyd yn *Dewisol Ganiadau yr Oes Hon*, o waith Huw Jones o Langwm, tudalen 165. Casglodd golygydd y Merthyr lawer o gyfansoddiadau ynghyd, oedd o'r blaen ar wasgar, ac ymddengys iddo roddi i mewn yn y llyfr bob peth o waith yr awdwr ag y gwyddai am dano.

Nid hawdd yw gwybod yn ol pa drefn y cyflëodd y bardd ei ddarnau yn y *Gardd o Gerddi*, heblaw yn ddosbeirth o Garolau, Cerddi, &c. Dilynodd golygydd y Merthyr drefn yr awdwr yn lled fanwl, fel y gwelir wrth sylwi ar ddwy golofn y rhifau uchod; ond ei fod wedi gosod y darnau newyddion yma ac acw drwy gorff y gwaith.

II.

## Mynegai i Gerddi yr Interliwtiau.

At argraffiad Lerpwl y mae y cyfeiriadau yn y daflen ddilynol. Tudalenwyd yr Interliwtiau bob un ar wahân yn argraffiad y Merthyr, fel nas gellir yn hawdd gyfeirio atynt. Trwy help y daflen ganlynol, fodd bynag, ni bydd yn anhawdd d'od o hyd ynddo i unrhyw ganiad, ond cymharu y ddau argraffiad â'u gilydd.

### Cyfansoddiadau Newydd-gasgledig Argraffiad Lerpwl.



### Cyfansoddiadau Attodol.



* Toddaid ydyw hwn, a gwaith Rolant Huw o'r Graienyn ydyw. Gwel *Gorchestwaith Beirdd Cymru*, &c., yn y Bala, 1790, tudalen 9.

M. R.

4 Cydneswch yma'n awr, o fach i fawr. (Mentra Gwen). Ymddiddan rhwng gwraig yr Hwsmon a gwraig y Shiopwr. (*Llyfr. y Cymr.* 585). Gwel ddyfyniadau yn y TRAETHODYDD, cyf. VIII, (1852), tudalen 150.

5 (*Llyfr. y Cymr.*, 691). Ymddiddan rhwng y Dall a'i Arweinydd.

6 (*Llyfr. y Cymr.*, 691). Trueni y rhai sydd yn Ddeilliaid Ysbrydol.

Cofnodir y ddwy Gerdd uchod yn *Llyfryddiaeth y Cymry*, tudalen 691. Gan nas gwelsom erioed mo'r naill na'r llall, nis gallwn roddi eu llinell dechreuol na'u Mesur.

(56) 7 "Yn gimint ag iti ofyn imi fy nith." (*Hearts of Oaks*). Ateb yw hon i gerdd o waith J. Thomas o Bentrefoelas. "Gwrandewch arnai modryb yn adrodd fy nghwyn."

31 8 "Dowch bawb sydd trwy wledydd yn prynu baledi."

(57) 9 "Pob nwyfus ddyn ifangc sydd heb ddiangc i'n ddol."

10 Englynion i anerch Robert William, a Rolant Huw o'r Graienyn.

(58) 11 "Yn ol arfer wrol yrfa." Carol Plygain ar *March in Scipio.* Gwel *Cynnulliad Barddorion*, 1790.

12 "Darluniaf, annelaf nod." Cywydd i Gybydd-dod, mewn Byd ac Eglwys. *Brython*, (1862), 50, a 230.

13. Englyn Beddargraff Jonathan Hughes.

Am ddawnus gofus gyfan—wir sulwad
A'i sylwedd doeth gynghan ;
Odid fawr yn llawr y llan,
Byth nytha bath Jonathan.

(*Llyfr. Cymr.*, 586).

(Cymharer beddargraff Huw Llwyd, Cynfal, o waith Edmwnd Prys).

14. "Duw anwyl, da yw ini—dy gyfarch." 'Englynion Ar Adferiad y Brenin Sior i'w gynefin Iechyd.' Testun Eisteddfod Corwen. (Gwaith Gwallter Mechain. Cyf. I., 231).

15. "Siarlota sy ar ail ateb—moliant." Englynion i'r Frenines. (Gwaith G. M., I. 232).

16. "Mae taenu canu cynnydd." Englyn heb testun. (Gwaith G.M. I. 232).

17. "Y Tywysog dewisol." (Gwaith G. M., I. 233).

18. "Ysgyfarnog wisg fawr-nad." Englyn i'r Ysgyfarnog. (Gwaith G. M., I. 236).

19. "Wallter sy'n canu wylltaf." Englyn i Gwallter Mechain. (Gwaith G. M., I.)

20. "Offeiriad sy'n offeryn." Gwel TRAETHODYDD, Cyf. VIII. (1852), tudalen 151. Fe allai nad dyna wir ddechreu y gân, o herwydd dyfyniadau a roddir o honi. Gresyn na chaem gopi cyflawn, oblegid nid yw ymhlith gweithiau yr awdwr, ac y mae yn gân pur nodweddiadol.

21. "Hai, how hawyr, beth yw 'r hewian." Cân i'r Stiwardiaid. Gellir gwneyd yr un sylw o barthed i hon ag i'r un flaenorol. TRAETH. VIII., 144.

22. "Yn y Bala at y tân." Cân duchanol i ryw ddinesydd dinôd. Cyhoeddwyd hi ar ddull cerdd, ac yn y *Delyn Arian.*

23. "Mae yn mynwent mewn manau." Englyn mewn mynwent. *Seren Gomer*, 1823, Cyf. VI., 117.

24. "Clywch wbwb, cloch ebwch." Cân "Cynffon yr Esgob."

Heblaw yr uchod, yr ydym wedi cael trywydd ar lïaws o gynnyrchion anghofiedig eraill o waith y Bardd, a rhai o honynt yn bur ddyddorol. Hysbysodd yr hen dad awenyddol Cynddelw ni am amryw, a dysgwyliwn wrtho, un ai anfon ei gronfa i ni, neu gyhoeddi ei gasgliad ei hunan. Dylem gael cân "Cynffon yr Esgob," a Chân Boliticaidd etholiad y Mostyniaid, yn ddioed. Y mae cyfaill arall, tra chyfoethog yn y cyfryw drysorau, yn ein cyfeirio at un sydd yn meddu llawer o lawysgrifau y Bardd o'r Nant.

III.

MYNEGAI I FESURAU TWM O'R NANT.

| I. | R. | |
|---|---|---|
| 3 | 1 | *Bellisle March.* 228. |
| | 2 | *Betty Brown*, (vid. *Sunselia).* |
| | 3 | Bid hir oes i Fair, (*Let Mary*) 32. |
| | 4 | *Bird.* 42, |
| 5 | 5 | Breuddwyd ar ei hyd (*Cupid's Dream*), 344. |
| 6 | 6 | Calon drom (*Heavy Heart*), 112, 119, 127, 131, 219, 320, 325, 349, 353, 371, 381. |
| | 7 | Carwr Trwstan? 377. (Heb ei nodi.) |
| | 8 | *Cast away care*, 123. |
| | 9 | *Charity* Meistres (Eluseni), vid. Gwledd Angharad. |
| 12 | 10 | *Consêt* Gruffydd ab Cynan, 39. |
| | 11 | *Consêt* Catrin Penllyn (Toriad y Wawr, 80.) |
| 15 | 12 | Dime Goch, 248. |
| 16 | 13 | Diniweidrwydd, 200. |
| 17 | 14 | *Dorsetshire March*, 194, 302, 317. |
| | 15 | Duc o Dero(Llygoden yn y Felin), 93? |
| | 16 | Duw, cadw 'r Brenin, 184, 222. |
| 18 | 17 | Fedle Fawr, 27. |
| | 18 | Ffylena, 78. |
| 20 | 19 | Glan Meddwdod Mwyn, 93, 233, 242. |
| | 20 | *God save the King* (Duw, cadw'r Brenin). |
| 23 | 21 | *Greece and Troy*, 317. |
| | 22 | *Guardian Angel*, 102. |
| 25 | 23 | Gwel yr Adeilad, 73,199, 247. |
| | 24 | Gwledd Angharad, 207 (*Charity Meistres*) |
| | 25 | *Heavy Heart* (Calon Drom). |
| | 26 | Iechyd o gylch, 95. |
| | 27 | *King's Farewell*, 20, 46, 108, 131. |
| | 28 | *Let Mary live long*, (Bid hir oes i Fair). |
| | 29 | *Lovely Peggy*, 244. |
| | 30 | *Lucy Hoy*, 16 (Malldod Dolgellau) |
| 33 | 31 | Llef Caerwynt, 85, 88, 230. |
| | 32 | Llygoden yn y Felin (Duc o Dero) 93? |
| | 33 | Malldod Dolgellau, 16 (*Lucy Hoy*). |
| 35 | 34 | *Miller's Key*, 51, 189 (Billericay?) |
| 36 | 35 | *Monday Morning.* |
| | 36 | Mwyn Susannia, 1. |
| | 37 | *Old Darby*, 297, 306. |
| | 38 | *Princess Royal*, 35. |
| 38 | 39 | Prysurwch i'r Neithior (Haste to the Wedding), 103. |
| 39 | 40 | Rodney's Tune, 225, 331, 337, 361, 366. |
| | 41 | *Something else to do*, 312. |
| | 42 | *Spanish Gipsy* (Spaen Wenddydd). |
| | 43 | Spaen Wenddydd, 57, 83, 105. |
| 45 | 44 | Sunselia (*Betty Brown*),25,214,235. |
| | 45 | *Tempest of War*, 289, 292. |
| | 46 | *The Bird*, 42. |
| | 47 | *Toll Bell*, 67, 201. |
| 46 | 48 | To my own Mind. |
| | 49 | Toriad y Wawr (Consêt Catrin Penllyn). |
| | 50 | Troad y Droell, 62. |
| | 51 | Tros y Mynydd (Troad y Droell). |
| | 52 | *Watkin* (*Young Watkins*). |
| | 53 | *Young Watkin's March*, 104, 224. |
| 50 | 53 | Yspaen Wenddydd (Spaen). |
| | (54) | *Consêt* y CAPTAIN *Morgan.* |
| | (55) | Bryniau Iwerddon. (58) *March in Scipio.* |
| | (56) | *Hearts of Oaks.* |
| | (57) | *Hunting the Hare.* |

IV.

MYNEGAI I FESURAU CERDDI YR INTERLIWTIAU.

| | | |
|---|---|---|
| | 1 | Aeres Trefaldwyn, 130. |
| | 2 | *Amor Elis* (Ianto'r Coed), (Cariad Nebun?) |
| 1 | 3 | *Bellissle March*, 189. |
| | 4 | *Billericay*, 81. (Miller's Key? sef Agoriad y Melinydd). |
| 5 | 5 | Breuddwyd ar ei hyd (*Cupid's Dream*), 27. |
| | 6 | Calon Drom (*Heavy Heart*), 39. |
| | 7 | *Charming Moll* (Chee Ho Dobyn). |
| | 8 | Chee Ho Dobyn, 124. |
| | 9 | Clychau Rhiwabon, 78. |

| I. | R. | |
|---|---|---|
| | 10 | Codiad yr Haul, 308. |
| | 11 | Codiad yr Ehedydd Bach, 74. |
| 10 | 12 | *Consêt* Gruffydd ab Cynan, 337. |
| | 13 | *Consêt Lord Wheelberry*, 274. |
| | 14 | *Cupid's Dream* (Breuddwyd ar ei Hyd). |
| 12 | 15 | Dime Goch, 16, 84. |
| 13 | 16 | Diniweidrwydd, 139. |
| 14 | 17 | *Dorsetshire March*, 43, 96. |
| 17 | 18 | Fedle Fawr, 210 |
| | 19 | Ffarwel y Cwmni, 198. |
| 19 | 20 | Glan Meddwdod Mwyn, 117, 183 |
| | 21 | Gorddigan y Pibydd Coch, 75. |
| | 22 | *Great George the King*, 311. |
| 21 | 23 | *Greece and Troy*, 311. |
| | 24 | Grisial *Ground*, 178, 283. |
| 23 | 25 | Gwel yr Adeilad, 201. |
| | 26 | *Haste to the Wedding*(Prysurwch i'r Neithior). |
| | 27 | *Heppy's March*, 270. |
| | 28 | Ianto'r Coed (*Amor Elis*), 335. |
| | 29 | *If Love's a Sweet Passion*, 108, 303. |
| | 30 | *King Charles's Delight* (*Sailors Bold*), 34. |
| | 31 | *Langolee*, 128. |
| | 32 | *Lord of Cildare*, 290. |
| 31 | 33 | Llef Caerwynt, 30. |
| | 34 | *Merionethshire March*, 286. |
| 34 | 35 | *Miller's Key*, 56. |
| 35 | 36 | *Monday Morning*, 186. |
| | 37 | *Prince Rupert*(Tyb y Tywysog), 342. |
| 39 | 38 | Prysurwch i'r Neithior (*Haste to the Wedding*), 144. |
| 40 | 39 | *Rodney*, 24, 62. |
| | 40 | *Ruabon Bells* (Clychau Rhiwabon.) |
| | 41 | *SailorsBold*(*King Charles's Delight*) |
| | 42 | *Spanish Haven*, 349. |
| | 43 | *Sweet Passion*, 303, (*If Love's*), 108. |
| | 44 | *Sweet William*, 329. |
| 44 | 45 | Sunselia, 353. |
| 48 | 46 | To my own Mind, 157. |
| | 47 | Toriad y Dydd, 148. |
| | 48 | Tyb y Tywysog Rupert (*Prince Rupert*), 294. |
| | 49 | Wele'r Adeilad (Gwel yr Adeilad.) |
| 53 | 50 | Yspaen Wenddydd, 132, 343. |
| | (54) | Consêt y Captain Morgan. |
| | (55) | Bryniau Iwerddon. |
| | (56) | *Hearts of Oaks.* |
| | (57) | *Hunting the Hare.* |
| | (58) | *March in Scipio.* |
| | (59) | Mentra Gwen. |

Cymharer yr uchod â'r Daflen helaeth a roddodd Ceiriog o hen donau Cymreig yn y *Bardd a'r Cerddor*, t.d. 44. Gwel hefyd beth darluniad o'r Mesurau yn y Rhaglith i Eos Ceiriog, a cherdd hynod o flaen *Blodeugerdd Cymru.*

Gobeithiwn na bydd ein gwaith yn ffurfio y taflenau uchod yn annerbyniol gan edmygwyr y Bardd, a chan lênorion yn gyffredinol. Fe allai y mabwysiedir y tafleni rywdro, os gelwir am argraffiad newydd eto o'r gweithiau hyn; a buddiol fyddai yn ddiammheu cael argraffiad cyflawn o holl waith y Bardd, gyda nodiadau ieithyddol a hanesiol ar y cyfansoddiadau.

Gwelwn fod Mr. Foulkes wedi gadael allan rai o'r anerchiadau i'r *Gardd o Gerddi.* Gan nad ei amcan oedd crynhoi a chyhoeddi y cyfan a wyddys am y Bardd a'i weithiau, nis gallwn gwyno oblegid hyny; ond y mae y cyfryw anerchiadau yn bwysig yn hanes llênyddiaeth, pa mor ddiwerth bynag fyddont fel cyfansoddiadau. Maent yn fynegfŷs i gysylltiadau y Bardd, ac i gylch ei gyfeillion; ac felly yn gyfrwng i ni ffurfio barn gywirach am ei gymeriad personol.

Bellach, cyflëwn rai cyfansoddiadau a ddygwyddasant i'n dwylaw, ag nad ydynt gynnwysedig mewn unrhyw gasgliad o waith Thomas Edwards. Fe allai nad doeth fyddai byth eu hailargraffu yn llawn; o leiaf, rhaid i ni yn awr adael cryn ddarnau o honynt allan.

*Cerdd o ymddiffyniad y Prydydd iddo ei hun, yn achos y Celwydd a godwyd arno hyd y wlad; ar Lef Caerwynt.*

Dowch bawb sy drwy wledydd yn prynu Baledi,
Rhowch glust-ymwrandawiad i ganiad sy geni:
Mi ddweuda 'r gwirionedd; y llynedd bu llunio
A llywio oer gelwydd, a llawer i'w goelio.

Rw'i megys nod mewn ymgais nerth,
I bob celwyddau, swyddau serth,
Yn mysg rhai anferth ynfyd, fy hanes i bob enyd
Sydd yn eu cegau coeglyd; mae straeon hyfion hefyd
Ar led y byd drwy lid a barn,
A phawb yn rheini 'n rhoddi darn.
Drwy gâs a gwyn mi ges y gair
Fod geni 'n feichiog ddwy neu dair,
A chefais anair hynod, bod wedi lladd fy mhriod,
Ac eilwaith oera gwaelod, gwneyd im fy hun ddibendod.
Fel hyn mae syndod gimaint sydd
O son am danaf nos a dydd.

Ac 'rwan oer awel cadd chwedel i chodi
A'i thanu 'n bur lydan wrth un o'r baledi
Fy mod wedi canu a gwahanu yn dra hynod,
Ry grog ynglef i'm gwraig riw anglod.
Ond dyna gelwydd tonog wŷn,
Heb iddo riw na lliw na llun.
Nid penu ar un ar aned oedd gynnydd hyn o ganiad
Ond ateb i'r gofyniad a roisai hwnw ar rediad
I farnu 'n galed ar y gwŷr
Hyn fu 'r dechreuad siarad sûr
Ond am fy anwyl wraig fy hun
Ni cheisia 'n deg ond gwaetha un dyn
Am fyw 'n gytun heb groesni, na churo nac ymchwerwi
Er maint o bob rhyw gledi, a gwrthwyneb a ddaeth ini
Ni bu 'rioed fath fri drygioni a gwall
I'n anghytuno i foddio 'r fall.

Ond hoff gan y bobol ansiriol gael siarad
Rhai trwstan hyll agwedd sy ar trawst yn eu llygad.
A genfydd frycheuyn yn erwyn dyn oerwall
Wall ergyd aneirif yn llygad un arall
Yr holl ystraeon chwerwon chwith
A gadd eu taenu a'u planu i'n plith
Athrylith rhagrith eger, ysgumion llid a ffalster
Cyfarthgwn anwn enwer, y rhai ddyfyd gelwydd ofer
Melldith mallter sy'n eu mysg
A'u câs wenwynig ddiawlig ddysg
Pe cawn i lonydd ddeuddydd iach
I fyn'd trwy 'r byd am un tro bach
Mi dro'ch cyfeillach heibio, gan dreio rhyw ffordd eto
Ffarwel i deyrnas gwallco, mae mryd i gyd eich gado
Rwy wedi blino'n wawd i blant
Nid yma yw 'r Nef i Dwm o'r Nant.

THOMAS EDWARDS *a'i cant.*

Peth go ryfedd na fuasai y gerdd uchod wedi ei chyhoeddi mewn rhyw gasgliad o waith yr awdwr. Teifl beth goleuni ar hanes a nodwedd y bardd yn ei hen ddyddiau. Gobeithio nad oedd dim sail i'r chwedlau a daenid am dano, ac y cwynai efe o'u herwydd. Fe gredwn nad oedd, ac o ganlyniad cyfleir i'n sylw yn y gân ddarlun pur darawiadol o'r hen brydydd, druan, wedi colli ei brïod, ac wedi llwyr flino ar y byd. Hiraethai am orphwysdra, a gobeithio iddo ei gael mewn byd gwell, canys nid hir y bu wedi hyn ar y ddaear. Wrth sôn am ei wraig, dygir i'n côf chwedl a glywsom am y ddau. Pan y gwelai y

wraig ef yn pensyfrdanu mwy nag arfer, fel pe buasai yr awen yn methu esgor, gofynai iddo yn goegaidd, "Fynwch chwi lymaid o laeth enwyn, Tomos bach, i godi'r doluriau?" Peth arall sydd yn ei gwneyd yn hynod na buasai y gerdd uchod yn ei waith casgledig yw, ei bod o gyfansoddiad rhagorol. Ni thybiwn fod ynddi farddoniaeth aruchel, i'w chymharu â gweithiau beirdd fel Milton a Homer; ond y mae yn addas i'r amgylchiad, wedi ei geirio yn brydferth, ac ar fesur cywrain. Ychydig iawn o'r cyfryw gyfansoddiadau a gynnyrchir gan feirdd yr oes hon. Ni phetruswn ddyweyd fod hyny yn golled. Pe na buasai dim mwy o feddwl yn y geiriau nag sydd mewn ceryg, y mae y dull cywrain a meistrolgar y cysylltir hwy ynghyd, yn dra dymunol i'r glust a'r meddwl. Yr oedd beirdd yr oes o'r blaen yn feistriaid ar fydr beth bynag. Prin y gellir dyweyd hyny am lïaws o brydyddion yr oes esmwyth hon. Yr ail ganrif ar bymtheg sydd gyfoethog mewn Cywyddau melus ac ystwyth; y ddeunawfed ganrif a ragora mewn telynegion peroriaethus; gwyn fyd nas gallem ddyweyd fod y bedwaredd ganrif ar bymtheg yn rhagori mewn drychfeddyliau awenyddfawr. Un daioni pwysig a ddeilliai o droi yn ol oddiwrth y mesurau penrydd sydd yn awr mewn arferiad fyddai, y caem lai o gynnyrchion, ac, fe allai, rai gwell. Lle y mae llencyn yn awr yn gallu bwrw allan ganeuon yn ol y cyflymdra o gan' llinell y dydd; pe mabwysiadai blethiad a manylwe y ganrif ddiweddaf, fe'i tynid i lawr i ddeg llinell y dydd, gyda'r gobaith y byddai y meddwl wedi ei ddwyseiddio a'i ddirwasgu i ryw raddau, yn lle bod fel *hydrogen gas* yn ymchwalu trwy yr ehangderau.

Buom yn gresynu lawer gwaith na byddai yr hen dônau a arferid ar y mydrau melus hyn yn fwy adnabyddus a chyrhaeddadwy. Mewn gwirionedd, anhawdd iawn yw cael un o honynt mewn argraff, ac anfynych y cyfarfyddir â neb yn eu medru. Dichon y byddai adfer y tônau yn foddion i adfer yr hen fydriad hefyd. Clywsom ychydig o'r tônau yn cael eu cânu, ac er nas barnem fod ynddynt nac athrylith na chelfyddyd uchel, eto meddent ryw felusder tra swynol, yn enwedig y rhai lleddf.

Ond dychwelwn at hyn eto. Sôn yr oeddym hynoted y ffaith na chyhoeddwyd y gân uchod o'r blaen. Y mae un rheswm arall y gallasem ddisgwyl iddi fod yn adnabyddus. Clywsom y ddwy linell ddiweddaf o honi yn cael eu hadrodd lawer gwaith, ond nis gwelsom neb yn gallu nodi o ba gân y cymerwyd hwynt. Y mae y *Gwladgarwr*, (Mawrth, 1838, t.d. 67,) yn dyweyd mai o dan ryw argyhoeddiad o oferedd ei fywyd fel Interliwdiwr y llefarodd y geiriau, a hyny yn lled gynar yn ei fywyd. Dichon mai dilyn y *Gwladgarwr* y mae Mr. Foulkes yn ei nodiad ar y llinellau (t.d. 481), a'r un modd Caledfryn yn y TRAETHODYDD, VII., 133.

Gall yr efrydydd gymharu ymadroddion y gân uchod o barthed i'w wraig, a'r gân a gyfansoddodd "i roddi hanes bywyd yr Awdwr hyd bedair blynedd ar ol ei briodi." Gwel tudalen 281, yn dechreu ar y Galon Drom, "Pawb dan wybr." Ac hefyd â'r Cywydd o'r hwn y rhoddir darn yn y *Gwladgarwr*: "Clywch gwynfan clychawg."

Y mae yn eglur fod gan y bardd gryn lawer o hunan hyder, a'i fod yn meddwl tipyn am dano ac o hono ei hunan. Ond nid oes dim i'w feio, nac yn annymunol, yn ei Fywgraffiad, ond y mae yn ddernyn doniol a phur feistrolgar drwyddo. Cyfansoddodd ef ar gais amryw, ac anfonodd ef i Myfyr, i'w roddi yn y *Greal* am 1805, lle gyntaf ei cyhoeddwyd.

*Cerdd o ymddiddan rhwng Mab a Merch, lle buasai Garwriaeth yn hir, ond digwyddodd i'r ferch fod wedi cloffi, neu'r peth a elwir beichiogi, ag felly mae hi yn adrodd ei chwyn, ag ynte yn ddifater o honi: ar* "Monday Morning."

Argraffwyd y gerdd hon yn Nghaer, gan T. Huxley, dros William Jones, 1770; a chan nad oes ynddi ddim neillduol, ymfoddlonwn ar roddi pennill neu ddau o honi fel engraiff o'r gweddill.

Ferch.—Fy nghariad, clyw 'nghwyn,
'Rwy 'i 'n achwyn yn wachel ar afel yr ês,
Tro yma trwy amod (ddull hynod) er llês.

Mab.—Mi'th welaf (mae'th wawr)
Yn awr yn annhirion, dy foddion sydd fall,
Nid oes mor help iti, ti weli dy wall.

* * * *

Ferch.—Ai 'rwan mor gecrus, 'rych chwi'n edifarus,
Ar ol cael eich 'wyllys, tra hoenus o hyd?
Fy nenu fi'n unig i'r gwradwydd llygredig,
A'm gado'n rhwymedig tan berig y byd:
O anwylyd troi'n elyn, ar ol canlyn cyd!

Mab.—Taw, taw a'th gamsyniaeth, nid ydyw'n elyniaeth,
Er oeri o'r garwriaeth oedd unwaith yn dda;
Mae boreu teg eglur, yn troi'n brydnawn budur,
Os cymrai' di'n brysur pa gysur a ga'?
Yn ddidderbyn-wyneb 'rwy'n ateb na wna'.

* * * *

Ferch.—Och eiriau rhy chwerwon! o gelwydd rhy greulon:
Ni cherais (awch wirion) rhai gwaelion eu gwŷn,
Os wyt yn dyfeisio rhyw ffordd i'm troi heibio,
Beth bynag a ddelo, Duw dalo iti'r dŷn
Am fy ngado mewn aflwydd o'th herwydd dy hun.

* * * *

Tho. Edwards a'i gwnaeth.

Yr oedd y dosbarth yma o gerddi yn bur lïosog yn yr oes o'r blaen, a rhaid fod derbyniad mawr iddynt, a darllen mawr arnynt; a gobeithiwn fod eu dylanwad er daioni ar y wlad. Y maent yn awr, fodd bynag, wedi llwyr golli eu poblogrwydd, a hyderwn fod hyny yn argoel nad oes cymaint o angen am danynt, ac fod moddion gwell mewn arferiad i buro ein cenedl. Nis gallwn lai nag ofni fod ambell i hen brydydd cwperaidd yn cymeryd mantais ar yr awen, dan esgus cynghori a rhybuddio meibion a merched, i borthi eu chwaeth isel, a'u llygru yn fwy. Anhawdd yw i ni yn yr oes hon, sydd mor wahanol yn ei hysbryd, farnu y fath oes ag a oddefai gynnyrchion aflan Sionyn y Prydydd, Hugh o Langwm, Rhys Jones y Blaenau, a Llewelyn Ddu o Fôn. Diolchwn fod gwareiddiad a chrefydd wedi ei gwneyd yn anmhosibl i'r hiliogaeth hono o brydyddion fyw yn ein gwlad. Credwn fod Twm o'r Nant, er ei holl erwindeb a'i iselder achlysurol, yn teimlo yn achos moesoldeb ei genedl, ac yn amcanu at ei dyrchafu a'i phuro. Ni ddymunwn ar un cyfrif esgusodi ei faswedd, ond goddefer i ni am dro ddad-

gan y gwirionedd am feirdd a llênorion ein gwlad. Addefwn fod genym engreifftiau o gyfansoddiadau anghymhwys i glustiau enwaededig o bob oes, o Madog Dwygraig, yn y *Myvyrian*, hyd Talhaiarn; ond ein ple yw, "nad ydym waeth na dynion eraill." Heb sôn am awduron Paganaidd Groeg a Rhufain, cymharer Boccaccio o'r Eidal; Rabelais a Balzac o Ffrainc; a beirdd a llênorion aflan y Saeson o bob oes. Beth sydd yn Dafydd ab Gwilym i'w gymharu o ran serthedd, âg anllad ganeuon Chaucer *(the well of English undefiled!)?* Nid oes un ymadrodd anweddus yn Interliwtiau Twm o'r Nant nad ellir ei bâru âg ymadrodd o weithiau clasurol Shakspeare,—heb sôn am ei gydoeswyr—Ben Jonson, Massinger, Ford, Beaumont, a Fletcher. Y gwir yw mai natur aflan, yw natur dynoliaeth syrthiedig, ac fod ei haflendid yn ymwthio i bob peth y gesyd dyn ei ddwylaw arno—hyd yn nod llênyddiaeth. Diolchwn fod hyn wedi ei weithio allan bron yn hollol o lênyddiaeth Cymru a Lloegr, a phenderfynwn ei gadw allan yn llwyr rhagllaw. Ni ddylid ei oddef yn y gweithiau enwocaf. Carther ef allan o'r prif awduron. Y mae moesoldeb yn bwysicach na chelfyddyd. Da genym weled fod Mr. Foulkes wedi gadael allan rai ymadroddion anweddus, ac wedi newid eraill yn yr Interliwtiau. Gwnaeth yn dda ollwng un gân hefyd heibio, a gobeithio mai i dir ebargofiant yr â, er ei holl dalent. Y mae y mater yma o foesoldeb yn dra gwahanol oddiwrth ofergoeledd. Gellir goddef hwnw. Ni ddaw nemawr niwed oddiwrth gasglu chwedlau gwerinaidd am y tylwyth têg, a gwrach y rhibyn, a'r cyhyreth, oblegid y mae y rhai hyny wedi marw. Coelion marw ydynt, wedi ffosyleiddio, ac nis gallant wenwyno na niweidio neb. Y mae yn fuddiol eu casglu, a'u cofnodi, a'u trosglwyddo i'r oesau a ddêl, fel rhan bwysig o hanes y meddwl a chrëadigaethau y dychymyg. Ond y mae nwydau y natur ddynol yn fyw o hyd, ac nid oes dim arbediad i fod ar ddim a'u portho. Y mae fel y gwahanglwyf. Rhaid dinystrio tai, llosgi gwisgoedd, ac alltudio personau y byddo y drwg hwn ynddynt, beth bynag fyddo eu hardderchawgrwydd, eu gwerth, a'u hurddas. Pe buasai y Bardd o'r Nant yn byw yn yr oes bresennol, dïau y buasai ei gynnyrchion yn dra gwahanol, o leiaf yn eu ffurf allanol, ac yn llawer purach a choethach eu geiriad. Oes lygredig ac anifeilaidd oedd yr oes hono, cyn i Ymneillduaeth ennill dylanwad cyffredinol ar y wlad. Wrth gwrs yr oedd eithriadau; ond goddefid llyfrau a chynnyrchion pur anweddus, ac yr oedd dynion parchus, tebyg i Jonathan Hughes, yn ddigon marwaidd eu teimlad moesol i ollwng trwy eu dwylaw bethau tra annheilwng. Dyry y ffaith hon, o welliant yr oes, ffydd ynom tuag at y moddion a ddygodd y diwygiad hwn oddiamgylch, sef lledaeniad y Bibl, a sefydliad yr Ysgol Sabbothol; a gobeithio y cyfyd ni eto yn fwy zelog o blaid y moddion Dwyfol hyn, i ddiwyllio ein cenedl a'r byd.

*Cerdd o Gynghor i'r Merched; ar* "Lord Wheelberry."

Gallem nodi amryw resymau dros beidio cyhoeddi y gân hon yn gyflawn. Argraffwyd hi yn Nghaerlleor, tua chan' mlynedd yn ol, ac nid yw ei holl ymadroddion yn rhy chwaethus, er ei bod o fydryddiad da. Y mae ein gofod hefyd braidd yn brin, ond caniatäer i ni roddi rhediad y gân, ac ychydig linellau yma ac acw fel esiampl.

Y merched penweiniad su ai bwriad yn bur.

* * * *

Os eich cariad a ga' lwyr dori'ch gair da,
A'ch gado chwi gwedi tan gledi tyn gla';
Fo gilia' o'r golwg, nas gwelwch fûn wen,
Drachefen ond cefen y cna'.

Os collwch eich gairda, fûn lana, wedd lon,
Dros fyth ni ddaw'n union yn ol;
Cewch lawer o goegni a bryntni ger bron,
Am gwympo, min ffynon, mor ffôl

* * * *

Pryd hyny lle bydd, gwrid côch i'ch dwy rûdd,
A gosod cymendod 'rôl darfod y dŷdd,
Daw cerydd am garu'n y gwely, deg wedd,
Fo brofir y'ch agwedd yn brudd.

* * * *

Os cyll eich morwyndod, fûn barod, fwyn ber,
Considrwch, mae'n fater go fawr.

Yr oedd gan y bardd saethau llymion yn ei gawell, ac nis gallwn ddirnad na lŷnodd ambell un yn nghalon merched Cymru. Bygythiai yn arw a diarbed, er y defnyddiai iaith go anghoeth weithiau. Gellir gwneyd bron yr un sylwadau o barthed i'r gân ganlynol eto. Nis gwyddom pa effaith allai darlleniad o'r cyfryw gael ar feddyliau y rhai y cyfansoddwyd hwynt er eu mwyn, ond rhaid i ni dystio mai eu heffaith arnom ni yw ein pruddhâu,—peri i ni resynu at ganlyniadau dinystriol y pechod a oganir. Bron na ddywedem eu bod yn archolli ein calon, ac yn peri iddi waedu weithiau, at drueni a gwae y merched anffodus a ddarlunir. Cyffröir ein haidd yn erbyn yr arferion drwg sydd yn arwain i'r fath alanas. Cynhyrfir ein teimladau pan gofiom ddifrawder ac ysmaldod lliaws o benau teuluoedd wrth gyfeirio at y drwgarferion tan sylw, a chywilyddiwn at y ffaith eu bod eto yn parhâu yn ein plith. Er mai geiriau ysgeifn fel "trwstan," "llithro," a'r cyffelyb, a ddefnyddir yn y gân isod i ddynodi y drwg, nid yw ei hargraff ar y meddwl ddim yn llai pruddglwyfus.

*Cân o Gwynfan Merch Ifangc wedi bôd yn drwstan gyda'i Chariad. I'w chanu ar* "Gonsêt y Captain Morgan."

Y Merched Ifengc dowch ar dŵyn
I wrando pruddaidd gaethaidd gŵyn,
A chymrwch ddyfal siampal syn,
Yma yn rhwydd o herwydd hyn,
Llithro a wnes om lles am llwydd,
Och! gwelwch saled iw fy swydd.

Pan oeddwn Ifangc ddidranc ddawn,
Am tad mewn eiddo yn llwyddo 'n llawn,
Fo 'm gyre i'r ysgol rasol rodd,
I blith y *Saeson* fèilchion fodd,
Am ddyscu balchder ofer iaith,
Yrwan mae llwyr gwae fi 'r gwaith.

Ymhlith caseion fryntion frad,
Y gair oedd lydan hyd y wlad;
Fy mod i felly heb gelu'n gaeth,
Gan wawdio'n dost a'i ffrost yn ffraeth,
Am pobol ine' ai geirie'n gâs,
Mewn angharedig sarig siars.*

* * *

Gwiliwch falchder ofer wall,
Gwiliwch wawdio er lliwio i'r llall,
Gwiliwch goelio er allo'r un,
Cyn ichwi ymrwmo ach impio'ch hun,
Mewn glan briodas wiwras wên,
A Duw fo madde i mine. Amen.

Thomas Edwards *a'i cant.*

Cofnodir yn *Llyfryddiaeth y Cymry*, t.d. 691., ddwy gerdd a gyhoeddwyd gan Twm o'r Nant yn 1791. Nis llwyddasom i gael golwg arnynt, ond wele eu teitlau, "Ymddiddan rhwng y Dall a'i Arweinydd;" "Trueni y rhai sydd yn Ddeilliaid Ysbrydol." Gallwn feddwl fod y ddwy gân hyn yn rhai sylweddol, ag y byddai yn werth eu cadw ar glawr pe llwyddid i gael gafael ynddynt.

Yr oedd yn arferiad gan feirdd y ddeunawfed ganrif gyfeirio caniadau at eu gilydd; y naill yn ateb i'r llall. Byddai un weithiau yn cyfansoddi ar ddull holiad, a'r llall yn ateb, a'r holi a'r ateb megys yn ngwydd gwlad. Gwel engraifft o hyn, tudalen 108, o argraffiad y Merthyr, rhwng Elis y Cowper a'r Bardd o'r Nant. Gofyna y Cylchydd yn dra miniog—"Pwy dynodd lygaid *Eglwys Loeger?*" ac ateba Twm yn wawdlym iawn:—

Mae lle i mi'n iachus ofyn ichwi,
Pwy roes hyddysg
Lawn gyd addysg, *lygaid* iddi?
Prin un Llygad ga'dd hi egor,
Ffurfiau *Pabaidd,*
Sy' rioed i'w llechwedd, y naill ochr.

Ffurf i osod allan eu syniadau oedd hyn, ac nid am fod arnynt eisiau gwybod yr holent. Ffordd anuniongyrchol o ddadguddio eu meddwl ydoedd, yr hyn yw barddoniaeth yn ei holl ffurfiau mewn gwirionedd. Am yr un rheswm y personolent gymeriadau. Cawn hwy weithiau yn gofyn mul neu ffôn, tros rhyw Wil Cadi Marc neu John Jones; ond nid at hyn y cyfeiriwn, oblegid nid oes yma bersonoliaeth wirioneddol. Cymerer y ddwy gân ganlynol fel engraifft. Cyfansoddwyd y gyntaf gan yr hen fardd o Bentrefoelas, yn nghymeriad merch ieuanc yn meddwl am brïodi, a'r ail gan y Bardd o'r Nant, yn nghymeriad ei modryb, yn ei chynghori i "ymgroesi;" ac y mae awen gref a synwyr cyffredin lonaid y ddwy.

*Ymofyniad Merch Ifangc a'i Modryb ynghylch cael Gwr.*
I'w chanu ar "Hearts of Oak."

Gwrandewch arna'i, modryb, yn adrodd fy nghŵyn,
Tra bo'ch chwi'n cael enyd, am funyd, yn fwyn:
Mae genyf feddylfryd er's enyd yn siwr,
Ac achos i gychwyn i ymofyn am wr.

* Dïau mai camsillebiad yw hwn o *sias*, gair enwog ymhlith yr hen feirdd am helfa—*chace.*

O herwydd paham, trwy'g'ledi drwg lam,
'Rwy'n ffaelio cytuno ond mwstro efo 'mam.
Mae hi'n mynd yn hên, ni welir arni wên,
Ond milain ymaelyd a'r galon i'r golud,
A minau'n fun glŷd, am fyw'n glên.
A chanddi ni chaf, ond bod yn y slâf,
Mi welaf yn ole pa beth a geir gartre',
Hi a'm gwêl ar ryw brydie'n rhy brâf.

Mi fyddwn yn ddedwydd, tan arwydd dinam,
Pe cawn i roi ffarwel, a madael a mam;
A rhwymo fy nghorffyn â glanddyn da'i glod,
Mewn toriad naturiol, mae'n fuddiol iawn fod.
Pob rhadol anrhydedd yn ddewraidd trwy ddawn,
Fe'm geilw bob awr f'anwylyd fwyn wawr.
Heb nemawr rwy'n ameu, o groes dynion gwestiynau
Mae'n addo mwyn eiriau imi'n awr.
Ni ddywed air croes trwy g'ledi drwg loes,
Na difoes ddrwg dafod, yn gwbl rwy'n gwybod
Gwnawn gydfod yn hynod trwy'n hoes.

* *

Fe ddweudodd rhyw ddewin fy ffortun mewn ffair,
A minau, pan glywais, a goeliais bob gair:
Fe addawodd yn ddiau, cwyn oleu, cawn wr,
Yn ddwy flwydd ar bymtheg, gysondeg yn siwr:
Rwy 'rwan mewn braw yn mynd yn ddau naw,
A'm holl hen gariadau'n gwneud trwynau'n mynd draw,
Gan ddwedyd yn ffri, y bydd hawdd fy nghael i,
Fel pwysi 'ymron pasio, mae pawb im' troi heibio;
Rwy' heno'n anghryno fy nghri:
Rwy'n disgwyl bob dydd, a'm calon yn brudd,
Rhyw ddiwrnod yn ddygyn, gael rhwymo fy nghorffyn,
Yn lle bod yn forwyn ddifudd.

A dyna ichwi, modryb, ymadrodd eich nith:
Rwy'n gwla ddigalon, â chwynion rhy chwith.
Nis gwn i am fy niwedd, iawn duedd rwy'n dweyd,
Pa beth sy'n obeithiol, iawn wrol, yw wneud.
Rwy'n dyfod trwy gri, a'm llygaid yn lli,
I ofyn rhyw gyngor, wych onor, i chwi:
Y chwi sydd o hyd, yn dallt cwrs y byd,
Bob munyd a minau, 'mron llyncu pob llanciau,
Rhowch ateb, mewn breintiau, mae'n bryd,
Mae f'wyllys i'n fawr, rhwng lleuad a llawr,
Tra bo ni'n cael cyfle i ryw simio rhesymau,
Mynegwch p'run oreu imi'n awr.

John Thomas o
Bentre Foelas a'i gwnaeth.

Cânodd y Bardd o'r Nant atebiad i'r uchod, yn mherson y Fodryb, ac y mae yn debygol fod cyd-ddealltwriaeth rhyngddynt o'r dechreu mai felly yr oedd i fod. Bygwth y nith yn arswydus y mae y fodryb, ond nid yw y lliw yn rhy gryf i ddangos tlodi a thrueni llawer o deuluoedd yn yr amseroedd celyd hyny. Nid yw y Bardd o Bentrefoelas yn rhydd oddiwrth ymadroddion serthaidd, ond y mae y Bardd o'r Nant wedi ymgadw yn dda oddiwrth ddiflasdod, er ei fod yn blaen a brâs yn ei ddarluniadau. Cawn rywbeth tebyg mewn rhanau o'r gyfrol santaidd

—ymadroddion didramgwydd i'r oes yr ysgrifenwyd hwy ynddi—ond nid dim i borthi dychymyg anmhur. Dylid cadw y gwahaniaeth hwn o flaen y meddwl yn eglur. Gall iaith fod yn isel, heb fod yn llygredig: gall bardd fod yn werinaidd ac anghoeth, heb fod yn fasweddus: gall cerdd anafu chwaeth, heb glwyfo gwir wyleidd-dra.

*Atebiad y Fodryb i'w Nith, ar yr unrhyw fesur.*

Yn gymaint ag iti ofyn imi, fy nith,
Atebiad i'th ganiad, roch anfad, ry chwith;
Ni fedrai 'n anfeidrol, yn ol dy ddrwg naws,
Ond barnu dy chwantau 'n rhyw droiau rhy draws,
Pe gwyddit, goeg wawr, y byd sydd yn awr,
Ti welit, mewn sadrwydd, d' ynfydrwydd yn fawr,
Ni sonit, 'rwy' 'n siwr, mewn gwŷn am gael gwr,
Drwy gyflwr drwg aflan, pe baet ti mewn caban
Yn trin, heb fawr dân, fara a dwr.
Un angen, chwyrn chwant, heb gel eiff yn gant
Eu nwyfiant, wŷn ofer, sydd yn denu llawer
I 'mddrysu mewn blinder yn blant.

R'wyt titheu 'n hurt weithian, ben chwiban awch wael,
Yn nghanol parodrwydd, ynfydrwydd difael;
Ffolineb dy natur sy'n eglur ddinam
Yn peri mawr drwbwl i feddwl dy fam,
Y hi sydd, drwy hedd, yn chwenych, iach wedd,
Dy ddwyn i'r ffordd oreu, da fyddai it' hyd fedd;
A thithau sydd ffol, trwy ryfyg drwg rol,
Yn wyllt-ffol heb deimlad, o gyngor na phrofiad;
Mae'n siwr iti ddwad i'r ddol.
Yr esmwyth di-ras, nis gwel, drwy naws gas,
Mo'i addas esmwythder, nes myn'd i gyfyngder,
Tan drymder, dew flinder di-flas.

Hyfrydwch dy galon, echryslon awch rydd,
Yw son am briodi, trwy daerni bob dydd:
Ti froli fod caru 'n rhyw fwyn-gu fawr fael,
Cyn gwybod, ysywaeth, 'r orchafiaeth i'w chael:
Y llencyn mwyn llon, sy'th garu ger bron,
Eill fod, gwedi ymrwymo, yn dy ffusto â ffon:
Nid yr un tafod sy, i garu a chadw tŷ;
Gwahanu wna 'n hynod bob anwes, byr benod;
Yr ysmaldod yn drallod a dry.
Pan ddel mewn poen ddig, y byd main ei big
A'i weledig dylodi i wasgu yn bur wisgi,
Mi wranta cei gosbi dy gig.

Pe'i denit rhyw ddynan penchwiban o chwant,
A myn'd, tan ei gerydd, i gario iddo blant,
Er sionced dy foddion, ti fyddit cyn hir
Tan gilwg tyn gwlwm, blin gloffrwm blaen glir
Er gweniaeth, er gwawd, er plesio dy gnawd,
Fe dderfydd y cwbwl mewn caban tylawd.
Cei d'adael yn dost, a'th ben wrth y post
Bydd rhydost dy rodiad, a'th fol wrth dy lygad,
Ar ol i ti fyned heb fost:
A'r gwr yn fwy gwaeth, yn ffromi 'n lled ffraeth,
A'i afiaeth i yfed, ymysg ei hen ddeiliaid
Heb deimlad o'r ddyled a ddaeth.

A phan êl yn dostach, neu bellach i'r byd,
Bydd raid codi allan, mwy hyllig o hyd—
Y gwr fyn'd yn weithiwr, neu slafiwr bras lwyd,
A thitheu 'n trafaelio i fegio dy fwyd.
Caiff o, felly 'n ffest, ddigonedd yn ei gest,
Ar fyrddau 'r cymydogion mewn cyfion ingcwest:
A'th ditheu dy hun yn llafan ddrwg ei llun:
Cei gychwyn yn wagfol, a'th gowion o'th ledol,
I hel eu rhaid bydol bob un
Ti fyddi 'n ddidrefn, oer garpiog dy gefn
A'th ddodrefn i'th ganlyn, sef cwd ar dy goryn
Ni welir mo'th llun di mwy'n llefn.

Bydd amryw 'n dy speitio, neu dremio oddidraw,
A chyw yn dy ledol a chyw yn dy law;
Ac un ar dy gefen yn mewian—y mam
A'r llall yn dy berfedd,—bydd caithaidd bob cam!
Dwad adre drwy 'r rhos, bob enyd o'r nos,
A'th ddiblau mor ffiaidd a pherfedd hen ffos.
A rhaid hel i wneud tân, brina modd, breniau mân,
A'u caiio 'n dy hafflau, ar draws y camfeuau,
Tan lusgo dy glocsiau, yn wraig lân!
A'th ffraeth briod ffri, can chwerwed a chi,
Yn rhegi ac yn rhwygo, pan ddel peth i'w flino,
Dy leinio, am ei dendio gei di.

A dyna iti rybudd, mewn deunydd di-dwyll,
I'w gym'ryd yn siampal, heb attal drwy bwyll.
Mi welais yn waelaidd 'r un sylwedd 'rwy'n siwr
Rai ffol o'th gyffelyb, yn ymachub am wr,
A'r rheini 'n un rhith, hyd y plwyf yn ein plith
Doi ditheu, oni ymgroesi, 'rwy'n ofni, fy nith.
Os dewin was diawl, a holi am dy hawl,
Erwinawl arweinydd, gwae goelio 'i gau gelwydd!
A'i beunydd leferydd difawl:
Gweddia di ar Dduw, rhag rhyfyg bob rhyw,
Y distryw mawr dostrwydd, sy eisieu gras hylwydd,
Yn rheol gyfarwydd i fyw.

Thomas Edwards *a'i cant.*

Eglur yw y rhoddai y dosbarth hwn o brydyddion bwys mawr ar y mesur. Defnyddiodd y Bardd o'r Nant tua chant o wahanol fesurau yn ei Garolau, ei Gerddi, a'i Iterliwtiau; heb gyfrif y Pedwar ar Hugain caeth, fel eu gelwir. Byddwn yn meddwl fod llawer o'r Carol-fesurau, fel y cenid arnynt mor gynghaneddol gynt, yn llawn caethach nag un o'r pedwar ar hugain, ac yn sicr yn llawn prydferthach na rhai o honynt. Un amcan genym yn gwneyd tabl o'r mydrau oedd galw sylw neillduol atynt. Y maent yn bwysig ar lawer ystyr, ac yn faes y gallai y Bardd a'r Cerddor lafurio arno gydag adeiladaeth iddo ei hun, ac ennill i'w genedl. Gwnaeth yr hen Dafydd Jones o Dref yr Yw (chwedl yntau), lawer yn y cyfeiriad yma, fel mewn cyfeiriadau lliosog eraill, er gwasanaethu ei genhedlaeth, a gallai cyhoeddwyr yr oes oleu hon gymeryd ambell wers oddiwrth un o argraffwyr cyntaf Cymru. Pan yn cyhoeddi ei *Flodeugerdd* enwog, gofalodd am roddi tri mynegai iddo ar ei ddechreu; un yn cyfeirio at y "Llinell gyntaf o bob ban drwy'r

Llyfr, yn ol rheol yr Egwyddor;" yr ail at "Henwau y Beirdd, a'u gwaith wrthynt;" a'r trydydd at "Henwau'r Mesurau, a'r lle i gael y Gerdd a fo i'w chanu arnynt:" ac ar y diwedd, "Testyn Caniadau'r Blodeugerdd, i'w canu ar fesur," &c. Rhoddodd hefyd yn nechreu y *Blodeugerdd* gân ddifyr ar y Mesurau arferedig yn Nghymru, ac y mae hono yn awr yn bwysig, gan fod y dyddiad, 1550, ar ei diwedd, yr hyn a olyga iddi gael ei chyfansoddi yn y flwyddyn hono, ond nid oes wrthi enw awdwr. Profa fod lliaws o'r tônau arferedig gan Twm o'r Nant a'i gydoeswyr yn bur hen yn Nghymru. Gwnaeth Mr. Chappell yn ddiweddar ymosodiad beiddgar ar wreiddioldeb yr hen dônau cenedlaethol Cymreig, a hawlia hwy i'r Saeson, ar sail llawysgrifau sydd yn eu cynnwys mewn ffurf henafol, o dan enwau Seisonig. Yn awr, lle y mae ein Pencerddwyr i amddiffyn ein hawl yn ein hetifeddiaeth ardderchog mewn cerddoriaeth? Hwyrach na thalai hyny ddim cystal a chymenu ar lwyfan eisteddfod, ond mi fyddai yn fil mwy o wasanaeth i'n cenedl a'i llênyddiaeth. Mae y mater yn ddifrifol, ac nis gallwn ddirnad pa fodd y medr ein cerddorion fod yn esmwyth yn eu croen nes gwrth-hyrddio yr ymosodiad hwn yn erbyn y gelyn. Ond fel hyn y mae penawd y gân y cyfeiriwyd ati:—"*Myfyrdod, neu Ddeusyfiad Cantores, am gael ei gwisgo a rhai o'r prif Geinciau, yn lle Dillad, ar fesur y* Dôn Fechan, *ar yr hon ei Cenir y rhan fwyaf o Lyfr y Ficer Llanymddyfri.* Mr. Rhŷs Pritchard, M.A. 1614." Y mae gan Ceiriog, yn y *Bardd a'r Cerddor*, lawer o sylwadau hapus ar Fydryddiaeth yr hen fesurau.

Ymddengys fod tipyn o dywyllwch o gwmpas awduriaeth y Gerdd a elwir "Ymddyrchafiaeth yr Hwsmon." Mewn llawysgrif yn ein meddiant, fe'i priodolir i Huw o Langwm, ac ar ryw olwg, y mae yn fwy naturiol i ni ei hystyried yn eiddo iddo ef nag i Thomas Edwards, yn gymaint ag i'r olaf ysgrifenu cerdd o wrth-ateb iddi. Y mae yn eithaf posibl, fodd bynag, i fardd ateb ei hawl ei hun, ac mai camgymeryd a ddarfu ysgrifenydd y copi yn ein meddiant. Nid oes gan ein Bardd yr un gân arall ar y mesur—*Duc of Dero*, neu, *Lygoden yn y Felin*,—ond credwn fod gan Huw Jones; ac y mae gan yr olaf gân arall ar yr un pwnc mewn Interliwd o'i eiddo, ond i'w chânu ar fesur arall,—*Lordwhilbri.* Tybiwn mai Pedwar Tymmor Bywyd yw pwnc y chwaryddiaeth, ond y mae y dechreu a'r diwedd yn ddiffygiol. Ar tudalen 15 y ceir y gân, a dechreua fel hyn:—

Rhowch glod i'r glân hwsmon,
Sy a'i ddwyfron yn ddwys, &c.

Gan fod y gân dan sylw yn *Gardd o Gerddi*, yr hwn a gyhoeddwyd yn ystod bywyd y bardd ei hun, peth rhyfedd na fuasai rhyw hysbysrwydd wrthi os gwaith y Bardd o Langwm yw. Gan nas gallwn benderfynu y cwestiwn yn awr, nid oes genym ond ei gyflwyno i sylw ein llênorion, gyda chrybwyll fod gan ein hawdwr gân arall ar yr Hwsmon yn y Pedair Colofn Gwladwriaeth, 342, ar *Prince Rupert*, ac un yn ei hymyl o ateb iddi ar *Spain Wenddydd*, 343.

Yn yr un hen lawysgrif, y cyfeiriwyd ati uchod, cawn engraifft arall o gerdd hawl ac ateb, er nad mor uniongyrchol a'r rhai a nodwyd; o

leiaf fe'u gosodir yn yr ysgriflyfr fel y cyfryw, er nas gallwn ni weled y cysylltiad lleiaf rhwng y ddwy. Rice Hughes o Ddinam yw yr holwr yn yr amgylchiad dan sylw, a digon cyffredin yw ei waith. Defnyddia gryn lawer o eiriau llanw—fwy na'r cyffredin o'i gydoeswyr. Nid oedd y Bardd o'r Nant yn ofalus iawn am naddu ei feini, fel na byddai eisieu llanw rhyngddynt; ond y mae yn well nag y gellid tybio ar yr olwg gyntaf; oblegid wrth ail feddwl daw synwyr i lawer ymadrodd a ymddengys ar y cyntaf yn llàc a dibwynt. Ond beth bynag am deilyngdod llênyddol y pâr cyfansoddiadau, gan nas gwyddom iddynt ymddangos erioed o'r blaen mewn argraff, ac fel y caffo pawb fantais i farnu eu cysylltiad â'u gilydd drosto ei hun, rhoddwn y ddau yn llawn ger bron y darllenydd.

*Cerdd yn erbyn Meddwdod:*
I'w chanu ar "*Gwel yr Adeilad.*"

Ystyriwch hyn o ystori, a luniais yma leni
O ddifri ddwyfron.
Ag 'wyllys ped fai gallu, gwneyd cynwrf yn y canu
Heb gelu o'r galon.
I chwi; sy i'n bro yn fawr eu bri
Yn byw mewn ofer blysig bleser
Yn treulio 'ch amser, difater nid myfi,
Gwell in' ymgroesi mewn modd grasol
Cyn myn'd i 'ffernol ffi.
Ni gawn, ond ceisio a llunio 'n llawn
A byw yn weddus a gorfoleddus
Yn Nuw a'i wllys, trwy felus ddawnus ddawn
I deyrnas nefoedd oleu, gwir foddau o ranau 'r awn
Yn lle hyn trwy wall hynod, mae maeddu i gael a medd'dod
Yn gymod gimin
A'r enaid heb gael rainio; ond y corff yn cerffio
Heb ddrecio i ddrycin
Yn fawr, mae syndod medd'dod mawr
Yn cael 'rwy'n coelio, ei amal iwsio
Er chwenych swagrio, gan lawer Cymro cawr.
Fe dderfydd hyn ryw ddiwrnod, bydd trallod hynod awr
Ar draul; 'raiff llawer bywyd hael
Wrth gadw cwmni a mynych feddwi
Mae efe'n difrodi pob gwisgi fwyngu fael
Ni bydd i ni ond beddau o'r goleu yma i'w gael.

Eich iechyd mwynaidd iachus, a gollwch nid yw gallus
O'i ddilys ddolur.
Da foddus mae'n difuddio, eich gwrda ffeindia i'w ffendio
'N lle ceisio cysur
Gwanhâu; mewn diwrnod bach neu ddau
Eich holl dda bwyllau, a'ch sownd resymau
Sydd synwyrola' a'ch dyddiau, mwnau man
Fydd chydig oni chreder, a pheidio a'r pleser plan
Mae 'n gry', yn magu 'n heini hy'
Pob cenfigen, a drwg absen, a malais milen
Wall gymen nid yw gu
O eisiau gras i 'mgroesi, a pheidio a lloni i'r llu,
Eich enaid mae'n gaethiwo, cydwybod sy'n cyd-wibio
A llygrio 'n llogrydd
A'r Glân Ysbryd yn spredio, i ffyrdd a fỳn eich fforddio
I geisio ymgroseydd

Ond sias, ac eisieu ceisio gras.
Yn fwya o ddifri 'r wyf fi yn ofni
Na fydd i chwychwi, obaith am weini'n was
I fyn'd at Dduw am fwynder, am fod mor faiwer fas.
Yn dŷn; mae 'n seinio geiriau 'n syn
Ni chaiff na meddwr, eulunaddolwr,
Na gwryw-gydiwr, enllibiwr, tyngwr tyn
Mo etifeddu teyrnas y cynes wir Dduw gwyn.

Saint Paul at y Rhufeiniaid, sy'n traethu ar fwyn draethiad
Trwy gariad gwrol
Am iddynt trwy rodiana, heb gel wrth liw dydd gola'
Yn wiwdda weddol.
Nid chwaith, mewn llwyr faterion llaith.
Sef medd'dod milen, a mas genfigen
Ond byw'n ddiabsen, wir gynen fwynwen faith
Cant Grist mewn moddion grasol
Os gwnant hwy weddol waith
A pham, na roddwn ni bob llam
Tuag at was'naethu Duw a'i garu
Yn daer maen difri ni chaem heb gelu gam
Ond byw yn ddiesgeulus trwy ddawnus fodd dinam.

Fy mrodyr mwyn hyfrydol, ystyriwch yn dosturiol
Trwy fuddiol foddion,
Fod barnedigaeth dygyn, am gilio efo'r gelyn
I'ch ffelyn ffolion.
Ond Duw, ro imi gymod gwiw
I gael ei garu, yn faeth heb fethu
A llawn i'n lloni : ynghrist y bo ni byw
A Duw ro at fy ngweddi fwyn heini g'leini glyw.
Heb sen, yn gymwys liwus len
Rhown ein gweddia' ar Dduw'r uchelne'
Gael madda'n beia' a'n dwyn i'r wynfa wen
Yrwan rhoddwch chwithau, bawb gyda minau, Amen.

Rice Hughes o Ddinam a'i cant.

Fe allai y llwyddwn rywdro i wybod rywbeth am y bardd anghofiedig hwn. Nid yw ein Geiriaduron yn cofnodi ei enw, ac nid oes sôn am dano yn y *Llyfryddiaeth*. Ychydig iawn o bwys yn ddïau sydd yn hyny, ond y mae fod y Bardd o'r Nant wedi cymeryd sylw o hono yn gosod peth pwysigrwydd arno. Gweler gymaint y mae Twm yn ei ragori arno, ymhob ystyr. Dyma yr ateb :—

*Cerdd o Attebiad: Cyffes gwraig Ieuangc.*

I'w chanu ar "*Hunting the Hare.*"

Pob nwyfus ddyn ifangc sydd heb ddiangc i'w ddol
Briodol naws dynol ystad,
Cewch glywed fy nghyffes wir hanes mewn rhol
Wirionedd da unol diwad.
Fy ngwraig roes yn ffri (Duw fadde iddi hi)
Laweroedd o eiriau ac o feiau arnaf fi.
Rhaid imi'n rhyw dymer (Pwy gymer ei am)

— Ymatteb i'm llwyrgam rhag llid
Chwi glywsoch yn glau fel 'roedd hi'n mawrhau
Ei hunan a'i henw gan loyw ymlanhau
Fy ngoleu angyles a'i 'n sarffes flin swydd
— Yn wradwydd o gelwydd i gyd.

Pan oeddwn yn ifangc wir laslangc wawr lon
Yn mynd i blith dynion ar daith
Dewisais hon yma (mi brofa ger bron)
Gan garu ei hiawn foddion hi'n faith :
Ac yna mor gain, priodi'r fun fain
A rhodio efo'i phobol hi'n siriol ei sain.
I'w nain 'roedd hi'n eneth dda odiaeth ddiwad
Ag iddi gymeriad tra mwyn ;
A chwedi'n wych hy, ni a gawsom yn gu
Ein hwylio i sefydlu a'n taclu mewn ty,
A threfnu bywoliaeth gan golaeth rhyw ger
Mewn llawnder yn dyner ar dwyn.

Ond gwedi'r holl gwbwl oer drwbwl ar dro
Y byd aeth i bwyso'n o bell ;
A'r gangen wen gymen ai'n slyfen yslo
Ni byddwn er gwingo ddim gwell.
Pan gafodd hi i'w drin, blentyn bach blin
—Hi eisty yn y lludw rith arw—
A'i deulin a'i dwylo yn baetio mewn baw
Fel hwch fydde difraw'n yn dom.
Ni chai ganddi'n siwr, fel gweddo o flaen gwr,
Na llaeth nac ymenyn na deigryn o'r dwr
Na threinsiwr na chwpan yn lan yn ei le
Pwy felly na ffraeai'n o ffrom ?

Ni chyfyd hi o'r gwely ; mae'n gwilydd i un gre'
Fod felly bob troiau heb ddim trefn,
Wneiff hi ond mynd i'r cwpwrdd a dadwrdd am de
Ac eiste' neu chware ar ei chefn :
Ni fedr hi ar frys, dda lendid ddilys,
Na golchi na smwddio yn gryno imi grys,
Mae'n wallus fy nillad, a rhwygiad y rhain
Ni thrwsiff un llain ar fy lles.
Ni wnaiff hi'n ddinam, pan gwynwy'i nrwg lam
Na chorddi na godro ond moedro am ei mam.
Fy ngham sy resynol, chwi synech i gyd
Pe gwyddech chwi'r gofid a ges.

Mae'n rhaid imi godi mewn difri bob dydd
Pan welwy'r boreuddydd ger bron.
A gweithio mewn cilwg a'm calon yn brudd
Wrth wel'd mor anhylwydd yw hon
A hithau mor hael, i'w ffrindiau'n ddiffael
Yn cario ac yn llusgo lle gwelo hi gael
Na mael na chanmoliaeth na bariaeth i'w bol
On'd yw hi'n erwinol o wraig ?
Pan fyddwy'n ddifreg, yn dwedyd yn deg
Hi sgeler ysgowliff ; ni chauiff mo'i cheg
Hi reg, ni chym ragor na chyngor na cho
Bydd barod i ymdreiglo fel draig.

Dyma rybudd i feibion yn dirion ddidwyll
Rhag bod yn rhy fyrbwyll am ferch
Mae rhai teca'r olwg yn burddrwg o bwyll
Yn mynd yn ddwys amhwyll ddiserch

Dihareb wir drig mai nid wrth ei phig
Mae prynu cyffylog iach enwog ei chig
Llygredig yw'r gw'radwydd annedwydd fod neb
Yn dryllio teg undeb mor gas
Pan ymrano ty'r un, yn ei erbyn ei hun
Ni ddichon ef sefyll, dwys ofid sy'n 'nglŷn,
Mae'r gelyn mawr gilwg yn amlwg ei nerth,
Anhawdd yw byw'n brydferth heb ras.

Er ateb gwyneb i ganiad—y wraig
Anrhegais fy mwriad
Gwir dardd glir rhag dadwrdd gwlad
Awch waeledd heb iawn chwiliad.

Nid nodi godi o ran gwg—un-wraig
Ryw anrhaith barn amlwg
Ond ca'lyn amnaid cilwg
Gwawr euog ddreng pob gwraig ddrwg.

Tho. Edwards a'i cant.

Ar ol dechreu, neu yn hytrach pan ar orphen ein hysgrif, anrhegodd Cynddelw ni â chopi o "Gynffon yr Esgob." Cynnwysa ddêg pennill hir. Y mae yn un o'r gogangerddi cryfaf a llymaf, os nad mwyaf coethedig yn yr iaith. Dylai gael ei chyhoeddi yn gyflawn yn rhywle, ond rhaid i ni yn awr ymfoddloni ar ychydig bigion fel esiampl o honi. Rhyw hen glochydd oedd wedi cânu yn gâs i Twm, gan alw ei hunan yn "Gynffon yr Esgob," ac felly roddi yn llaw y cellweirfardd erfyn miniog i waedu ei hun.

*Mesur Breuddwyd ar ei hyd, ateb i'r gân a wnaeth—Cynffon yr Esgob—yn erbyn druch y Bigel drwg.*

1. Clywch wbwb cloch ebwch arswydwch y sen
Roes cynffon yr Esgob ar osgo fy mhen :
Rwy braidd yn llechweddgam a phengam ddiffudd
'Mron dryllio gan drallod wrth syndod beth sydd
Och pa fath beth yw Esgob ; ai esgill iddo gaed ?
Neu ynte sarff neu fwystfil a'i dreigil ar ei draed
Pa radd a wnaed i arwyddo nerth
Pan fyddai yn ei foddion ryw gynffon mor gerth
Ond cynffon ydyw'r caead hyll doriad—
Pan godo hono'n hynod y drewdod sydd i'w drin
Ar chwaethiad blin chwythiad bleth
Sawyr gwynt oddiar fydredd y perfedd yw'r peth.

2. Peth bynag pwyth arbenig, y Gwyr Eglwysig lenn
Iw'r corff hyd at yr ysgwydd a'r Esgob ydyw'r pen
Dylaent o nen, talentau nawdd
Fod fel yr ychain gwiwlan oedd tan y mor tawdd—2 Cron. 4.
Y rheini oedd deip gwir union o Apostolion Duw
A'u hollawl benau allan, ond weithian hynod yw
Cael heddyw'n fyw cwilyddiwn fod
Cynffonau rhain s'allan yn aflan ei nod.

8. Briw syn ar bersoniaid ai trefniad diras
Distyru'r Efengyl a'u gorchwyl yn gâs
Y nhw'n cael o'i ffrwythau mawr bwythau mor bell
Ag eraill o'u tlodi'n ei nodi hi'n well—Esay 58. 1.
Mae'r proffwyd yn mynegu rhaid llym dderchafu'r llef
A'n llais fel udcwn effro, a'i gyffro gydag ef

Awdurdod gref, dweud mewn grym.
'Wnaiff geiriau Seisnigaidd drwy ddanedd fawr ddim,
Faint gwell fydd tir na thomen o halen na fo hallt,
Mae'n gwilydd mewn argoelion geill ffolion ddynion ddallt
Fod Mari a Mallt'n ymorol mwy
Am ras a'i hoff orsedd na pherson y plwy.

Gwnaeth Twm o'r Nant amryw englynion pur darawiadol. Cyfansoddodd, yn wir, gryn lawer ar y mesurau caeth; ond nid oedd er hyny, yn feistrolgar iawn ar y gynghanedd. Ymddengys ei gynghaneddion yn bur anorphenedig yn aml. Nid oes arnynt nemawr o ôl gofal a llafur, ac y maent yn fynych yn wallus. Yr ydym yn cofnodi yr englynion canlynol, yn hytrach er mwyn eu cysylltiadau, nag er mwyn eu teilyngdod cynwynol. Dygant ni i bresennoldeb dau hen fardd, a ddylent fod yn fwy adnabyddus. Ioan Tegid, eu disgybl, fuasai y dyn i wneyd cyfiawnder â Robert William a Rowlant Huw, y naill o'r Pandy, a'r llall o'r Graienyn, Bala; ond rhag diffyg ei well, bwriadwn yn fuan wneyd ychydig ymgeledd i goffadwriaeth y ddau brydydd gonest uchod. Yn y cyfamser, nid annerbyniol yn ddiau fydd y canlynol:—

*Englynion i annerch Robert William, a Rolant Huw o'r Graienyn.*

Wyf Robert, rwym-bert o'm bodd—i'ch anerch
A chynil ymadrodd
Hen undeb anwyldeb nodd
O honof ni wahanodd.

Da genyf eich hyf orchafiaeth—drwy fyd
O drafodawl driniaeth:
Bendithion meithion i'w maeth,
A dawn yw elw dynoliaeth.

Mae gwynfyd bywyd yn beth;—ond gwynfyd
Enaid ganfod pobpeth
Yngariad dyfiad difeth
Duw'n wr blaen, dyna wir bleth.

Nid enwau doniau sy'n adeni—dyn
Rhaid enyn goleuni
Cenhedliad rhad fawrhydi,
Anian am nef ynom ni.

Proffwydi gwersi gwirson—y gwersyll
Nag arswyd am foddion
Da gwyddost di agweddion
A Rolant Huw yr helynt hon.

Anerch ef yn oruwch un—yr ydwyf
Er adwyth ei gorphyn
Rhan enaid yr hen wan-un
A wnai hawl yn Nuw ei hun.

T. E. Nant ar frys
Hydref 24, 1800.

Gan nad oedd yr englynion uchod yn fuddugol, nac ail fuddugol, mewn unrhyw eisteddfod, ofer fyddai i ni nodi eu beiau anafus. Gwelsom, er hyny, lawer o gyfansoddiadau buddugol, ac hyd yn nôd rhai perffaith gywir o ran rheol a chynghanedd, yn llawer mwy amddifad o wir fiwsig. Y peth pwysicaf yn ngolwg yr hen feirdd, o Dafydd ab Gwilym hyd Twm o'r Nant, oedd cael peroriaeth yn eu llinellau, ac nid cadw yn gaeth at reolau gallofyddol. Y mae rheol a deddf yn eithaf mewn cystadleuaeth, ond dymunem brotestio yn erbyn crach feirniadaeth beirdd ambell orsedd, nad oes ganddynt glust i werthfawrogi gwir gynghanedd beroriaethus mewn na meddwl na geiriad. Rhyw gloddiau terfynol, neu linynau arweiniol, ddylai y rheolau fod, ac nid gwely Procrustes, i wasgu yr awen rhwng ei erchwynion haiarnaidd. Dylem grybwyll fod yr englynion uchod wedi eu hysgrifenu yn llaw y bardd ei hun, yn llyfr Robert William.

At y cofnodion dyddorol a chwanegodd Mr. Foulkes at hanes ei fywyd, cyfranwn ninnau chwedl neu ddwy oddiar lafar gwlad. Clywsom yn gyflawnach yr hyn a gofnoda Mr. Foulkes am helynt Gwallter Mechain ac yntau. Yn y Bala y deallem ni i'r ffrwgwd gymeryd lle; ond y mae yr englynion y cyfeiriwyd eisoes atynt, yn ngwaith Gwallter Mechain yn profi, feddyliem, mai camsynied a wnaethom. Cynnaliwyd Eisteddfod Corwen yn 1789, blwyddyn Chwyldröad mawr Ffrainc, ac un y Bala y flwyddyn ganlynol, a'r ddwy o dan nawdd Cymdeithas Gwyneddigion Llundain. Ymddengys fod tipyn o ddyryswch gyda golwg ar ddyddiad yr eisteddfodau uchod. Dywed awdwr medrus yr erthygl ar Gwallter yn *Enwogion Cymru* mai yn Eisteddfod y Gwyneddigion, a gynnaliwyd yn Llangollen yn 1788, yr ymddangosodd gyntaf fel bardd; y flwyddyn ganlynol, iddo ennill y gadair arian yn Eisteddfod Corwen, yn erbyn Jonathan Edwards a Thwm o'r Nant; fod Eisteddfod y Gwyneddigion yn y Bala wedi ei chynnal yn ddiweddarach yr un flwyddyn, ac i Gwallter ennill y gadair, wrth gânu awdl Ystyriaeth ar Oes Dyn, yn erbyn Dafydd Ddu, heblaw y ddau brif-fardd a enwyd; a darfod i'r Gwyneddigion gynnal eu heisteddfod am 1790 yn Llanelwy, pryd yr ennillodd Gwallter y wobr am y Traethwyd goreu ar Ryddid. Y mae golygydd "Corff y Gainc" yn cyttuno â'r dyddiadau uchod (gwel 2 arg., tudalen 25, &c.), a'r un modd olygydd gweithiau Gwallter Mechain. Ond gallai dyn feddwl ar y "Gorchestwaith," sef y llyfryn a gynnwys y cyfansoddiadau, mai yn 1790 y bu Eisteddfod y Gwyneddigion yn y Bala. Fe allai er hyny, mai yr hyn a olygir yn y wynebddalen yw, mai yn 1790 y gorchymynodd y Gwyneddigion gyhoeddi y cynnyrchion. Nid yw yn anmhosibl ychwaith fod ganddynt ddwy eisteddfod yn yr un flwyddyn, gan yr ymddengys fod eisteddfodau yn fyw iawn yn yr oes hono, ac fod ganddynt un yn Nghaerwys a Llangollen yn 1788. Ond yr hyn a ddyry ddilunwch y llyfryn tu hwnt i ammheuaeth yw, fod Awdl Dafydd Ddu ar Ryddid, yr hon a ennillodd y gadair yn Llanelwy, yn gynnwysedig ymhlith y cyfansoddiadau.

Fodd bynag, pan ennillodd Gwallter y gadair yn Nghorwen, teimlai yr hen feirdd yn siomedig iawn weled newyddian ieuanc yn eu trechu, yn enwedig y Bardd o'r Nant, yr hwn oedd tua 23 o flynyddoedd yn hŷn na'r buddugwr. Y chwedl yw, ddarfod i Gwallter adrodd yr englyn canlynol ar ol dyfarnu iddo y wobr:—

Beirdd Meirion crychion eu crwyn—a Dinbych
Oedd danbaid yn cychwyn :
Twm o'r Nant a'i faut fwyn
A ildiodd i Drefaldwyn.

Yna cododd Twm yn ddioed ac atebodd :

Rhyw draws ofernaws farnu—fu'n Llundain
Hyll wendid oedd trefnu
Clod i Gwallter, dallter du
Cyhoeddus cyn ei haeddu.

Cymharer Gwaith Gwallter Mechain, Cyf. I., t.d. 238, 239).

Yn niwedd y Gorchestwaith crybwylledig, cawn gân Seisonig o dan y penawd canlynol :—" *Verses published in the Chester Chronicle to the Praise of the Gainer of the Medal at the Bard's Convocation in St. Asaph, in Honour to his Poetic Abilities, stiled the* ' WELCH SHAKESPEAR.' "

O Thou, to whom in Asaph's mitred Town,
Judgment and Taste decreed the Laurel Crown

* * * *

Should pert Malignity, with Dulness come,
And strive to blast thy Laurels in their bloom,
Let cold contempt, alone, thy Breast inspire,
Know thy own Worth, and rev'rence the Lyre.

Cynnwysa y gân tua 50 llinell, ac arddengys gryn deilyngdod llênyddol. Pwy oedd yr awdwr, tybed? Y tebycaf yw mai ei gyfaill Dafydd Samuel, yr hwn oedd un o'r Gwyneddigion. Y mae Cywydd mawrnad rhagorol y Bardd o'r Nant i D. Samwel yn *Diliau Barddas*, gyda chywydd marwnad iddo yntau yn dilyn, o waith W. J., Bardd Môn. Y mae rhai ymadroddion yn y cywydd olaf sydd yn peri ini feddwl ei fod yn cyfeirio at y cyfansoddiad Seisonig tan sylw. *(Diliau Barddas*, 287).

Ar ol yr Awdl Seisonig, cawn y cyfieithiad canlynol ar fesur cywydd :—

Yr Arwyrain Seisnig i DOMAS EDWARDS, neu SHAKSPEAR Cymreig, wedi ei chyfieithu o'r Saenaeg.

Wiw lew lyw o Elwy Lân,
Drysoraist y dres arian.

* * *

Gad ddirmig i unig enni
Da farn dêg tan dy fron di.
Adnebydd dy iawn hybarch
A dod i'r Gân burlan barch.

Nid oes enw wrth y cyfieithiad ychwaith, ond y mae'n debyg mai rhywun o'r Gwyneddigion a'i gwnaeth, os nad D. S. ei hun. Yn canlyn yr uchod y mae tair carol ddienw drachefn; ond prin y gallwn eu hawlio i'r Bardd o'r Nant. Llyfr go hynod yw y llyfr, a go garbwl, yn enwedig pan ystyriom ei fod dan nawdd y Gwyneddigion.

Dywedir iddo gyfansoddi yr englyn canlynol yn feddargraff ar borthmon anonest; ond iddo beidio a'i gerfio ar y gàreg (yr hyn a ddilynai, ar y pryd, fel celfyddyd) o dosturi at y weddw a'r amddifaid:—

Yma mae hen borthmon yn huno,—ddifäodd
Ei fywyd ar dwyllo:
Aeth ef o'r byd i'w gryd gro;
Twll ei ——, twylled yno.

Cyfansoddodd un englyn Seisonig. Collodd ei ffordd unwaith yn Nghaer, a methai gael hyd i'w letty arferol. Trôdd i mewn i'r prif westty—y *Royal Hotel;* ond ni chafodd dderbyniad yno, ac felly anerchodd y gwestwr:—

I say, sir! I never did see—in a town
A tanner so saucy,
No bed man! and I bid money
May your old town go down the Dee.

Adroddir chwedl arall am dano, ei fod yn meddyginiaethu mŵg, ac yn gosod berwedydd yn Garthmeilio, Llangwm. Daeth yr hen offeiriad gonest, Watkin Llwynon, ato un diwrnod, ac a'i cyfarchodd yn bur barchus. "Thomas Edwards," ebai y person, "yr wyf wedi dechreu englyn i mi fy hun, ac yn fy myw y gorphenwn ef." "Sut y mae'r dechreu, Mr. Watkin," ebai Twm.

Watkin o ruddin raddol—bugail
Ar bagad o bobol,

ebai yr offeiriad yn hynod bwysig; ac atebodd Twm mewn mynyd,—

A'i ddefaid ant i ddiafol,—
O'i ran ei hun, aiff ynteu ar eu hol.

Bu yn gosod berwedyddion mewn amryw dai yn y Bala a'r cylchoedd; yn y *Lion*, y *Bull*, tŷ modryb Ellin, (lle y mae tŷ Dr. Richards yn awr), y *King's Head*, a'r *Cross Foxes*, yn y Rhiwlas a Glànllŷn. Pan yr oedd efe yn y Bala, yr oeddynt yn ail-adeiladu maelfa Mr. Charles, lle y mae Mr. T. Jones, *Druggist*, yn awr. Yr oedd y Bardd yn chwedleua ryw ddiwrnod gyda'r gweithwyr, a phwy a ddaeth heibio ond Ned Leban, sef cardotyn crwydol a dybiai ei hun yn brydydd, ac meddai wrth y bobl,—

Dyma dŷ uchel heb ddim achos
Pe buasai y moddion yn llai mi fuasai y tŷ yn îs.

Trôdd Twm ato, ac atebodd:—

Y neb sydd eisio ceisio cân
Naid o lwybyr Ned Leban.

Ond gwelwn mai ofer i ni, yn yr ysgrif hon, feddwl crynhoi y cwbl a glywsom am y Bardd o'r Nant, ac fe allai na chawn byth gyfleusdra na thuedd i ddychwelyd eto ato. Pa'r un bynag, gobeithiwn ein bod wedi cyfranu rhywbeth yn hyn o sylwadau at yr hanes cyffredin am y bardd a'i weithiau; ac at hanes yr oes yr oedd yn blodeuo ynddi. Diolchwn nad oes angen Twm o'r Nant yn yr oes hon; ar yr un pryd, nis gallwn lai na diolch am dano yn yr oes lygredig a thywyll a'i cynnyrchodd, oblegid credwn iddo, ar y cyfan, wneyd llawer o lês yn ei ffordd ac o fewn ei gylch ei hun. Credwn ei fod yn amcanu at wneyd daioni, ac yn ofalus rhag gwawdio gwir grefydd, fel y cânodd ei hunan—

Os cenais i ddrwg ddynion, sydd megis blinion bla
Ni chenais i achwynion yn erbyn dynion da.

Clywsom am dano yn mynwent Llanelwy, a phan welai ddau ŵr eglwysig yn dyfod i fewn, gorweddai i lawr rhwng dau fedd i gysgu yn drwm. Pan ddaeth y ddau glerigwr heibio, yr oedd yn ddyddorol iawn ganddynt ei weled, er cymaint draen a brofai yn ystlys llawer o'u brodyr. "Holo, dyma Dwm o'r Nant; gadewch i ni ei ddeffro, gael i ni gael *sport*." Ac ymdrech mawr a wnaed i'w ddeffro; ond yr oedd ei gwsg ymron yn anorchfygol. O'r diwedd, wedi hir fustachu gydag ef, fe gaed ganddo agor ei lygaid, ac ymddangos fel dyn effro. "Oh," meddai, "mi wnaethoch dro diflas a mi, yn fy neffro yrwan; yr oeddwn yn cysgu mor felus, ac yn breuddwydio breuddwyd rhyfedd iawn." "*Dear me*, Thomas Edwards, beth oeddych chwi yn ei freuddwydio?" "Breuddwydio mod i wrth borth y nefoedd." "Hynod iawn, beth oeddech chwi yn ei wneyd fan hono?" "Wel, siarad yr oeddwn i, pan ddarfu chwi fy neffro, gyda'r apostol Pedr." "Wel beth oedd Pedr yn ddyweyd wrthych chwi?" "Yr oedd yn gofyn i mi y pryd hwnw, 'Tomas, oes dim personiaid yn marw yn ngwlad y ddaear acw y dyddiau yma?'" "A beth a ddywedasoch chwi, Thomas Edwards?" "Mae nhw'n marw fel pobl eraill, am wn i." "Wel, beth ddywedodd yr apostol Pedr am hyny?" ebai yr offeiriad. "Dyna ddywedodd o," ebai Thomas, "'Rhyfedd iawn, ddaeth yma yr un o honyn' nhw er's dros ddau gant o flynyddoedd!" Felly, cafodd y ddau offeiriedyn ddigon dan eu dant am y diwrnod hwnw.

Wrth derfynu, goddefer i ni ddadgan ein hedmygedd o'r hen fardd dibrisiedig. Meddai lawer o synwyr cyffredin yn gystal ag o awen, a dïau fod ynddo elfenau llwyddo yn y byd, oni buasai ei gysylltiadau teuluaidd a'i anffodion. Yr oedd ynddo ysbryd bywiog, siriol, anturiaethus, a lled benderfynol. Fe allai ei fod yn ddiffygiol mewn dyfalbarhâd, ond profodd fod ynddo dalent at beirianwaith, a pheth athrylith i ddyfeisio. Talai gryn sylw i grefydd, er iddo arwain bywyd lled wyllt am ryw dymmor o'i oes. Ceryddai y Cylchwr am gymysgu crefydd â maswedd yn ei ganeuon, (gwel ddechreu "Pleser a Gofid"); ond cânai

ei hunan yn lled anghyson ambell dro; ac esgus go wael oedd ganddo drosto ei hun. "Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda," meddai yn ei ragymadrodd fwy nag unwaith. Beth bynag am ei grefydd bersonol, bu yn nodded i grefyddwyr erlidiedig ei oes ar lawer achlysur, ac yr oedd bob amser ar ochr y gwan pan ddeuai taro, ac ar du crefydd pan ddelai ymosodiad. Gobeithiwn na chyll beirdd yr oes hon mo'r hyn oedd ragorol ynddo ef, ond yr ymgadwant, ar yr un pryd, rhag ei efelychu yn ei wendidau.

Nis gwyddom am ddim rhyddiaith o waith ein hawdwr, heblaw yr hanes a ysgrifenodd am helyntion ei oes drafferthus ei hun. Y mae cymaint o fywyd, naturioldeb, a synwyr cyffredin yn hwnw, fel y gofidiwn yn ddwys na buasai wedi cynnyrchu mwy mewn ffurf o ryddiaith. Yn 1764 y cawn ei enw gyntaf mewn cysylltiad a'r wasg, (*Llyfr. y Cymr.* 476). Mewn cydweithrediad â David Jones ac Edward Parry, cyfieithodd a chyhoeddodd *Y Perl Gwerthfawr.* Yr oedd ar y pryd yn 26 oed. Dïau fod ysgrifeniadau lawer o'i eiddo eto yn llechu mewn conglau o sir Ddinbych, yn enwedig llythyrau oddiwrtho. Byddai yn bur ddymunol pe gellid eu casglu a'u dethol, a'u cyhoeddi mewn rhyw ffurf. Deallwn fod gán ei orwyr, y diweddar Mr. Whitehouse, gasgliad dyddorol o greiriau yr hen fardd; ond nis gallasom sicrhâu fod yn ei feddiant ysgrifeniadau o bwys, nac i ddwylaw pwy yr aethant ar ei farwolaeth. Gallasem derfynu gyda gweddi farddol gyffredin, "Heddwch i'w lwch;" ond terfynwn, nid trwy weddi dros y marw, ond trwy amlygu ein dymuniad cryf, os nad ein hyder—fod ei enaid bywiog o'r diwedd wedi cyrhaedd heddwch bythol.

Mr John Peters Bala (Ioan Pedr)

---

# ENAID.

Enaid lifodd o anadl Iehofa,
Yn ei ddifeth buredd fyth i bara:
Ei dêg hanfod, ganedig o Wŷnfa,
I'w lŷs o ogoniant ail-esgyna:
Pa rin, Oh! Pwy a'i pryna,—ddrud drysor,
Ond clwyfau Iôr, dwyfolwaed Calfaria!

Rhowch fydoedd filoedd i gyd-dafoli,
Oh f' enaid, dilys, gwnei 'u gorfantoli!
O flaen y trydan, ddwyfol hynt, rhedi;
Syth heol duwies o'th ol adewi;
Ac o'm marw-awr cymeri—'th adenydd,
A chadwen defnydd, uchod, nid ofni!

(Ioan Pedr)

# GWAITH OLAF MR. STUART MILL.

*Nature, the Utility of Religion, and Theism.* By JOHN STUART MILL. London: Longmans.

YR oedd y gwaith hwn wedi ei barotöi gan yr athronydd mewn rhan er ys blynyddoedd, er mai ar ol ei ddydd y cyhoeddwyd ef. Yr ydym yn cael ynddo ffrwyth olaf ei ymbalfaliadau ar y cwestiynau mawrion; ac ar bob cyfrif rhaid dyweyd ei fod yn dra anfoddhâol. Chwedl un o'r adolygiadau galluocaf a ymddangosodd arno,—"Y teimlad cyffredinol ymron ydyw fod ei ddarllen yn llanw yr enaid â thristwch." Mae cyfeillion Mr. Mill, y rhai a ymffrostient ynddo fel goleuni dysglaer eu hysgol, wedi cael eu siomi yn ddwys ynddo, a hyny o herwydd fod ei ysbryd cryf yn methu ymorphwys yn dawel yn nghulni materolaeth. Ac er fod rhai o olygiadau gwahanol yn llawenychu wrth weled fod yr athronydd, yn ei ymgeisiadau eithaf i gael allan gyfrinach y grëadigaeth, yn tramwyo yn nghyfeiriad y goleuni, eto ni allant lai na gofidio yn fawr ei fod wedi gorfod myned ymaith yn nghanol y fath dywyllwch. Mewn cysylltiad â'r *Hunan-fywgraffiad* a gyhoeddwyd yn ddiweddar, y mae y llyfr hwn, i'r darllenydd meddylgar, yn dra addysgiadol. Mor bell o ddangos athroniaeth y pethau "pendant" yn baradwys y gallai dyn ymorphwys ynddi, gan deimlo fod holl ymofynion ei enaid wedi eu boddloni, y mae y wlad yr oedd Comte a'i gyfeillion yn mrwdfrydedd eu zêl yn ymogoneddu gymaint ynddi, yma wedi ei hyspeilio o'i gogoniant, ac y mae ei chlodforydd Prydeinig mwyaf galluog yn gorfod teimlo ei fod yn marw yn yr anialwch. Ac am y pethau—yr hên bethau—y golygid fod goleuni yr ysgol newydd wedi gwneyd yn anmhosibl i un meddwl deallus eu credu mwyach,—er fod meddyliau cryfaf yr oesoedd wedi gallu ymorphwys yn dawel arnynt,—y mae rhyw bosiblrwydd o'u gwirionedd, rhyw "fe allai" dwfn am eu dilysrwydd yn codi o ddyfnder enaid yr athronydd, sydd yn myned i fesur mawr dan sylfeini adeiladwaith ei einioes, ac yn gwneyd llawer iawn o'i lafur yn ofer. Nid rhyfedd fod y *Pall Mall Gazette* yn cyhoeddi hyn oll yn "anathronyddol," ac fod cyfeillion a dysgyblion Mr. Mill yn barod i haeru ei fod yntau hefyd yn ynfydu, ac yn myned yn goelgrefyddol. Yr ydym ni yn meddwl mai mwy athronyddol fyddai cydnabod fod gwaith gŵr o'r fath allu, a gonestrwydd diammheuol, ac annibyniaeth, yn ymdeimlo yn anterth ei addfedrwydd â gwendid y golygiadau y rhoisai ei einioes i'w hamddiffyn, yn awgrymu yn gryf, o leiaf, nad ydyw y golygiadau hyny mor gywir ag y dychymygid eu bod, os nad yn awgrymu hefyd bod y dirgelwch sydd yn ein hamgylchynu yn rhy ddwfn i bob athroniaeth.

Dywed Miss Helen Taylor, llysferch yr awdwr a golygydd y llyfr, fod y traethawd ar *Natur* wedi ei gyfansoddi er's pymtheng mlynedd, ond ei fod wedi myned dan "gyweiriadau mynych, y rhai yr arferai yr awdwr eu gwneyd yn hynod o fanwl a thrwyadl." Dywed hi ymhellach ei fod "yn hynod o bwyllog ac araf mewn ffurfio golygiadau, ac fod ganddo wrthwynebiad neillduol i ddadganiad golygiadau hannerog." Cymer yr awdwr i fyny yn y traethawd hwn y frawddeg adnabyddus, y golyga dynion yn gyffredin ei bod o awdurdod ddiammheuol fel cyfarwyddyd i ddyn, Dilyn Natur. Noda ddau brif ystyr i'r gair Natur:— 1. Yr holl alluoedd sydd yn bod naill ai yn y byd allanol neu dumewnol, a phobpeth sydd yn cymeryd lle trwy y galluoedd hyny. 2. Nid pobpeth a ddygwydda, ond yr hyn a gymer le heb ymyriad, neu heb ymyriad gwirfoddol neu fwriadol dyn. Golyga fod cadw at y gwahaniaethiad yna yn llawer o help tuag at osgoi yr amwysedd sydd yn y defnydd cyffredin o'r gair. Dywed mai y cyntaf ydyw yr un cywir, oblegid y mae Natur yn golygu pob gallu, ynghyda ffrwyth y cyfryw. "Hyd yn nôd y gelfyddyd," meddai Shakspeare, "yr hon y dywedwn ei bod yn ychwanegu at natur, sydd yn gelfyddyd y mae natur yn roddi." Ond y mae y defnydd yma o'r gair yn ngwrthwyneb i'r defnydd cyffredin, pan sonir am natur yn gyferbyniol i gelfyddyd. Gan hyny rhaid mai yn ystyr olaf y gair, sef ar wahân i ymyriad, neu i ymyriad gwirfoddol a bwriadol ar ran dyn, y golygir fod natur i'w dilyn. A haera efe fod hyny yn dra afresymol. Y mae natur gan rai o'r doethion mor lawn o oleuni, a phrydferthwch, a daioni, a phob cysuron, fel nad oes dim yn ddiffygiol i ogoniant perffaith ond drygioni dyn. Ys dywed Schiller,

> The world is beautiful everywhere,
> Where man comes not with his sin and care.

Ac y mae rhai o honynt wedi darganfod fod y natur ddynol hefyd mor ogoneddus dda fel nad oes eisiau dim ond ei gadael i'w greddfau cynhenid, heb ymyraeth â hi trwy ddysgyblaeth a melldithion gwareiddiad, na fyddai dyn hefyd, fel y grëadigaeth, yn dda iawn. Mor hyderus y teimla y dynion hyn yn eu golygiad am ogoniant a daioni natur, fel y dygant hyny ymlaen yn rheswm, sydd yn eu bryd hwy o anorchfygol nerth, yn erbyn yr hyn a ddywed y Bibl am bechod a'i ganlyniadau. Os oes Duw yn bod, a ydyw yn debyg y bydd i Grëawdwr y goleuni, a'r hwn sydd yn llanw y ddaear a digonolrwydd, ac yn ei gwisgo â phrydferthwch, ddamnio dyn am beth mor resymol a dewis ei ffordd ei hunan? Ac os nad oes Duw yn bod, a ydyw yn debyg y bydd i Natur, sydd yn mhob man mor gyfoethog ei hadnoddau, ac wedi darparu mor amlwg ar gyfer dedwyddwch dyn, droi yn ei erbyn yn y diwedd? Y mae Mr. Mill, pa fodd bynag, wedi cymeryd yr ochr arall i'r darian yn gwbl, ac y mae natur, iddo ef, yn llawn trueni, a dyn yn llawn o ddrwg. Ac y mae meddwl am ddilyn natur, lle nad yw hyny, o herwydd ein darostyngiad i'w deddfau, yn anocheladwy, yn wrthni. Fel rheol foesol, neu reol trwy ba un y gallai dyn ymgyrhaedd am ragoriaeth uchaf ei fodolaeth, dangosir fod dilyn natur yr amryfusedd mwyaf y gallai feddwl am dano. Wrth ymwneyd â hyn, y mae Mr. Mill yn cael fod eisiau ymryddhâu oddiwrth rai egwyddorion y gellid yn gyfiawn, ebe fe, eu galw yn rhagfarnau naturiol, y rhai sydd yn codi oddiar deimladau

naturiol ac anocheladwy, ond yn dueddol i ymwthio at bethau sydd y tu hwnt iddynt. Y mae arno ofn i fawredd ac aruthredd y grëadigaeth, y rhai sydd yn naturiol yn llanw y meddwl âg ofn, ei ragfeddiannu yn y fath fodd fel ag i'w dueddu i edrych ar natur gyda mwy o barchedigaeth nag sydd yn angenrheidiol. Nid oes dim yn hyn oll, oddieithr mawredd ac aruthrol nerth; ac yn ei fryd ef, ni ddylai y pethau hyn,—gan nad oes a fynont âg awgrymu bodolaeth Crëawdwr mawr a hollalluog!—gynnyrchu yn y meddwl unrhyw syniad o ofn neu barchedigaeth. Wedi diarfogi y meddwl fel yna o bob rhagdueddiad ffafriol yn ei olwg ar natur, y mae yr awdwr yn myned rhagddo i ddangos peth mor ofnadwy o gethin ydyw. Yn sicr, yn ol ei ddesgrifiad ef, nid oes nemawr berygl i neb syrthio mewn cariad â hi!

"Am fod gan y galluoedd naturiol hyny yr hyn nad allwn ei ddynwared, anferth nerth, a'u bod yn ein dychrynu trwy yr un brïodoledd yna, fe fyddai yn gamgymeriad mawr casglu fod eu prïodoleddau eraill y fath ag y dylem ymestyn atynt, neu y byddai yn iawn i ni ddefnyddio ein gallu bychan yn ol yr esiampl y mae Natur yn roddi i ni gyda'i nerthoedd mawrion. Canys pa fodd y saif y ffaith? Mai yn nesaf at fawredd y nerthoedd hyn sydd yn y byd, yr ansawdd fwyaf tarawiadol i bob un nad yw yn troi ei lygaid oddiwrtho, ydyw eu dibrisdod perffaith a hollol. Ant ar eu hunion at eu hamcan, heb ofalu beth neu pwy a allont lethu ar y ffordd; y mae Goreuyddion, yn eu hymdrech i brofi fod 'Beth bynag sydd yn iawn,' yn gorfod dal, nid fod Natur byth yn troi un cam o'r ffordd er gochel ein maglu i ddinystr, ond y byddai yn dra afresymol ynom ddysgwyl iddi wneyd hyny. Gallai llinell Pope, 'A baid dysgyrchiant pan yr âi di heibio,' fod yn gerydd têg i unrhyw ddyn a fyddo mor ffôl a dysgwyl moesoldeb dynol cyffredin oddiwrth Natur. Ond pe byddai y cwestiwn rhwng dau ddyn, ac nid rhwng dyn a gweithrediad naturiol, fe olygid y fath appêl fuddugoliaethus yn ddigywilydd-dra neillduol.

"Yn wir, y mae ymron yr holl bethau y mae dynion yn cael eu crogi a'u carcharu am eu gwneyd y naill i'r llall, yn cael eu cyflawni gan Natur bob dydd. Pobpeth, mewn gair, a wna y dynion gwaethaf, naill ai yn erbyn bywyd neu feddiannau, a gyflawnir ar raddfa ëang gan weithredyddion naturiol. Y mae gan Natur Noyades mwy marwol nag eiddo Carrier; y mae ei ffrwydriadau o danchwa mor ddinystriol a magnelau dynol, y mae ei phlâ a'i cholera yn myned ymhell tu hwnt i wenwyn gwpanau y Borgiaid. Y mae hyd yn nôd y cariad at "drefn," a dybir yn ddilyniad ffyrdd Natur, mewn gwirionedd, yn eu gwrth-ddywedyd. Mae y cwbl y mae pobl yn arfer anghymeradwyo fel "annhrefn" a'i ganlyniadau, yn cyfateb yn hollol i ffyrdd Natur. Y mae Aflywodraeth a Theyrnasiad Dychryn yn cael eu trechu mewn anghyfiawnder, dinystr, a marwolaeth, gan dymhestl neu haint."

Y mae hyn oll yn profi yn bur amlwg i'r awdwr fod Crëawdwr y byd, os oes Crëawdwr—a braidd na ellid meddwl fod y fantol yn gogwyddo yn ffafr ei fodolaeth!—naill ai yn derfynol iawn o ran gallu, neu yn foesol anmherffaith, neu y ddau. Ymddengys fod ei dad, Mr. James Mill, wedi dyfod i'r penderfyniad Manichëaidd y rhaid fod dau allu mawr, o dda ac o ddrwg, yn cyfyngu ar eu gilydd, ac yn cydymgais am lywodraeth y byd. Cyfeirir ato ef yma fel "un person diwylliedig a chydwybodol o'n hamser ni" a goleddai y cyfryw olygiad; ac nid ymddengys fod gan ei fab ddim mwy boddhäol i'w gynnyg fel eglurhâd ar yr anhawsderau a'i hamgylchant. Os ydyw amcanion y Crëawdwr yn dda, rhaid nad ydyw yn hollalluog i'w cario allan; ac os ydyw yn hollalluog, mae yn amlwg nad ydyw ei amcanion yn dda. Ond fe ellir golygu fod *terfyn i'w allu;* ac os ydyw yn fôd daionus, fod y drygau afrifed sydd yn y byd wedi eu dwyn i mewn trwy ymyriad rhyw allu arall, a gallu yr ydoedd efe yn rhy wan i fod yn abl i'w orthrechu. A

chan *nad oes* dim casgliad arall i ddyfod iddo heb wadu ei ddaioni, fe ymddengys mai y peth goreu a allem wneyd fyddai credu yn nherfynolrwydd ei allu!

Y mae amryw gamgymeriadau pwysig yn gorwedd wrth wraidd yr ymresymiad uchod. Yn un peth, mae yn anhawdd genym goelio nad ydyw Mr. Mill yn gwneyd camgyfrif pwysig yn yr olwg a gymer ar y swm o ddrygau sydd i'w canfod mewn Natur. Nid ydyw ond plentynaidd cwyno fod ei deddfau yn anhyblyg, ac felly yn dinystrio yn ddiarbed pwy bynag a osodo ei hunan yn eu ffordd, pan y mae gan ddyn ddealltwriaeth i weled mai dyna ydyw cymeriad ei deddfau, a synwyr i weled mai ei ddïogelwch ydyw peidio myned ar eu traws. Ie, y mae hyny ynddo ei hun y cymhelliad cryfaf iddo "ddilyn" natur, ac felly, droi ei nerthoedd mawrion yn wasanaeth iddo. Mae yn wir fod trychinebau blinion weithiau yn cymeryd lle; ond yn fynych y mae hyny yn dygwydd am fod dyn yn ddiystyr o'r gwersi y mae natur yn ddysgu iddo; a lle y maent yn anocheladwy, yr ydym yn meddwl fod modd eu hesbonio heb dybied fod y Crëawdwr yn cael ei lesteirio yn ei amcanion daionus gan allu drygioni sydd yn drech nag ef. Er gwaethaf awgrym Mr. Mill, "pe cymerasid y ddegfed ran o'r boen a dreuliwyd mewn cael allan gyfaddasiadau caredig drwy holl natur, i gasglu profion er düo cymeriad y Crëawdwr" y gallesid cael rhyw doraeth fawr o'r cyfryw brofion, y mae mor amlwg â'r haul, er gwneyd yr oll a ellid o'r achosion eithriadol, fod tystiolaeth fawr Natur yn mhlaid trefn a daioni, ac felly ei bod, a hyny yn dra diamwys, yn "dadgan gogoniant Duw." Nid ydyw yn anhawdd gweled fod rhyw anghydgord mawr wedi dyfod i fewn, ac fod y "grëadigaeth wedi ei darostwng i oferedd;" ond er hyny y mae corff gogoneddus ei chynghanedd yn anthem o foliant i anfeidrol ddoethineb ac anfeidrol ddaioni, yn gystal ag i anfeidrol allu. Ac yn sicr nid ydyw, ar gyfrif yr ychydig eithriadau, i'w golygu yn unig i'w "gwellhâu," tra y myntumia yn ei chyfanrwydd mawr o berffeithrwydd ei hawl i gael ei "dilyn." Yr ydym yn cydymdeimlo yn ddwfn â llawer a ddywed Mr. Mill am ddrygedd y natur ddynol. Gyda ei eiriadaeth yn unig ychydig yn wahanol, y mae ei olygiadau ar y mater yma mor drwyadl â'r eiddo Awstin ei hunan. Ei amcan yn y cyfan ydyw dangos mor gwbl anaddas ydyw natur yn y fan yma eto i fod yn arweinydd neu yn gynllun i ddyn, ac i'r fath drueni yr elai o feddwl am ei dilyn. Ond er fod y profion o ddirywiad yma lawer yn fwy na dim sydd i'w weled mewn anian, eto y mae digon wedi ei adael yn nghanol y chwalfa i ddangos fod egwyddorion mawrion y natur ddynol yn ffafriol i gyfiawnder. Y mae yn dêg i bobpeth yn sicr gael ei farnu wrth ei oreu, ac nid yn unig wrth ei waethaf. Bid sicr, y mae digon yn y natur ddynol i gyfiawnhâu ei theitl i anferth ddrygioni. Ond mor sicr â hyny, y mae ynddi gynneddfau o rywogaeth uwch. Y mae ynddi ddealltwriaeth a all dderbyn goleuni, a chael ei gyfoethogi yn ddirfawr â phob gwybodaeth; y mae ynddi galon sydd yn gartref i ddymuniadau nad ydyw eithaf y byd ond fel dim tuag at eu llanw; y mae ynddi reswm a barn a all fyned i mewn i diriogaethau byd mawr gwirionedd, a nodi ei holl drysorau yn eiddo iddynt eu hunain; ac yn arbenig, y mae ynddi gydwybod, sydd yn sefyll wrth ochr Duw o blaid purdeb a sancteiddrwydd, yn "cyhuddo" yn ofnadwy pan droseddir ei deddfau, ac yn "esgusodi"

dynion, gan daflu ei chysgod drostynt a'u cadw mewn tangnefedd heddychol yn nghanol yr ystormydd mwyaf, ond iddynt ymgadw yn ffyddlawn i'w hargyhoeddiadau. Fe ellid meddwl nad yw dyn, yn ol Mr. Mill, i wrando ond ar ei dueddiadau gwaethaf yn unig, pan amcana gael allan beth a fŷnai ei ddynoliaeth iddo wneyd, a bod yn ddiystyr hollol o'i dueddiadau goreu. Neu, yn ol syniad prydferth Plato am ddyn a'r wladwriaeth yn taflu goleuni ar gyfansoddiad eu gilydd, gellid meddwl mai ar wehilion y bobl, ysgum cymdeithas, y rhai a ymdrechant gamarwain y werin i'w dinystr, a hyny yn unig er mwyn porthi eu trachwantau eu hunain, y mae cymdeithas i wrando, ac nid ar wladgarwyr doeth a rhinweddol, sydd yn astudio dyrchafiad eu cenedl, ac yn ymwerthu i'w gwasanaeth. Cydnabydda Mr. Mill fod rhyw hedynau o bethau gwell yn perthyn i ni, ac fod y rhai hyny, o gael eu noddi yn brïodol, yn dyfod yn ail natur, ac "mai y natur yma o grëadigaeth, neu o leiaf o berffeithiad celfyddydol, o eiddo y goreu a'r gwychaf o fodau dynol, ydyw yr unig natur y mae o gwbl yn ganmoladwy ei dilyn." Heb sôn am berffeithiad rhinwedd yn y "goreu a'r gwychaf," yr ydym ni yn teimlo yn dra sicr nad oes eisiau i unrhyw ddyn ond dilyn y pethau da sydd yn ei natur ef ei hunan na cha' ei fod ar ffordd ddïogel i rinwedd a daioni.—Yr ydym hefyd yn credu bod Mr. Mill yn siarad yn llawer rhy hyderus, pan yn penderfynu mor ddiseremoni beth raid i anfeidrol ddaioni neu anfeidrol allu fod, ac y penderfyna fod natur yn dangos, os oes Crëawdwr, nad yw yn bosibl iddo fod yn meddu y ddau berffeithrwydd. Y mae rhai o'r crëaduriaid yn ysglyfaethus ac yn ymborthi ar eu gilydd, ac hefyd y mae poen a thrueni yn ffŷnu yn y byd. Mae y pethau hyn yn anghyson â'r syniad o fod y Crëawdwr yn dda, neu yn profi fod ei allu dan derfynau! Y mae i ddyn brau a therfynol iawn, fyned i draethu mor hŷf ar ammodau bodolaeth yr anfeidrol a'r diammodol, dipyn yn hŷf, a dyweyd y lleiaf. Beth os ydoedd yn rhan o gynllun y Crëawdwr, fel y mae bywyd yn dyfod trwy farwolaeth yn yr holl grëadigaeth, felly hefyd fod y crëaduriaid ysglyfaethus i ymborthi ar a allont gael gafael arno? A beth os ydyw y swm uchaf o berffeithrwydd moesol i'w gyrhaedd trwy ddyoddefaint, ac felly fod poen yn y pen draw yn terfynu yn y llawenydd dyfnaf? Neu beth os ydyw yr Hwn y mae ei lywodraeth yn annherfynol ac yn llanw tragywyddoldeb, a'i feddyliau, fel Efe ei hunan, yn anfeidrol, yn gweled ei fod trwy y drefn ar bethau sydd yn ymddangos mor annheilwng i Mr. Mill, yn dwyn oddiamgylch yn y pen draw fuddugoliaeth ehangach i'w ddaioni, ac felly berffeithiach dedwyddwch i'w grëaduriaid, a mwy o ogoniant i'w enw mawr? Neu beth os ydyw wedi goddef i *bechod* ddyfod i'r byd, —yr hwn sydd yn gweithredu mor effeithiol tuag at daflu pobpeth i annhrefn!—gan benderfynu, yn ei anfeidrol ddoethineb a'i ras, beri hyd yn nôd i hyny, yn y diwedd, derfynu mewn amlygiadau cyfoethocach fyth o ogoniant ei gariad? Y mae meddwl am dano Ef fel achos drygioni yn gystal a daioni, fel yr awgrymir yma fod rhai Theistiaid yn gwneyd, yn anghyson iawn, ac ar dir crefydd yn gabledd. Ond nid ydyw yn anghyson meddwl ei fod wedi crëu ysbrydoedd oedd yn meddu cymhwysder i'w fwynhâu, yn rhyddion i weithredu fel y dewisent; ac nid ydyw yn anmhosibl fod rhai o'r rheiny, wrth ymarfer eu rhyddid, wedi dewis bod yn anffyddlawn iddo; ac fod pechod, wedi iddo unwaith

ddyfod i fod, yn dal ei afael yn y byd, ac yn gwneyd ei ran tuag at ei lanw â thrueni. Fe allasai Duw ochel hyny mae yn ddiammheu ; ond nis gallwn ni amgyffred pa fodd oddieithr ar draul rhyddid ei grëaduriaid. Pa fodd bynag, y mae y mater oll gymaint tu hwnt i'n gallu ni i ffurfio barn arno, fel nad oes genym un hawl i haeru fod bodolaeth drwg a dyoddefaint, yn profi fod Duw yn ddiffygiol mewn daioni, i ewyllysio i bethau fod yn wahanol, neu ei fod yn ddiffygiol mewn gallu i gario allan ei ewyllys. Am ddim y mae traethawd Mr. Mill ar *Natur* wedi brofi, y mae y mater yn aros yn y fan lle yr ydoedd, y mae natur eto, yn ei harddangosiadau a'i hawgrymiadau mawrion o ddwyfol drefn a daioni, yn haeddu ei hastudio, ac yn deilwng o gael ei dilyn; ac y mae yn ei phobpeth yn profi fod yr Hwn a'i gwnaeth yn "dda a daionus," yn "ddoeth o galon ac yn alluog o nerth."

Mae yr ail draethawd ar *Ddefnyddioldeb Crefydd*, neu, yn hytrach, ei *han*nefnyddioldeb. Ei amcan ydyw profi mor afreidiol ydyw y goruwchnaturiol, yr hyn a olygir fel yn gwneyd i fyny hanfod crefydd, ac mor hawdd y gellid myned ymlaen hebddo. Mae yn wir fod yr addysg a roddir yn gyffredin yn y dyledswyddau sydd yn hanfodol i ddïogelwch a chysur cymdeithas yn cael eu rhoddi mewn cysylltiad â chrefydd, ac o herwydd hyny fod pobl wedi dyfod i'w hystyried fel yn perthyn yn hanfodol iddi ; ond nid ydyw efe yn gweled pam nad ellid cael addysg effeithiol yn y pethau hyny, a hono yn cael ei chyfnerthu â'r cymhellion mwyaf eu dylanwad ar galon dyn, ar wahân oddiwrth y goruwchnaturiol, trwy sefydlu math o ddiwylliad neu grefydd dynoliaeth,—a chreda, fe ymddengys, y byddai cymdeithas a phersonau unigol mor bell o fod ar eu colled trwy hyny, fel y byddent, mewn gwirionedd, lawer ar eu hennill. Ond y mae amryw gamgymeriadau pwysig yn y fan yma eto. Yn un peth, pa le y caed erioed unrhyw ddynesiad at y fath beth ar wahân oddiwrth grefydd? Yr ydym yn foddlawn iawn i roddi pob clod sydd yn ddyledus i Lycurgus a'i ddylanwad ar Sparta, i Socrates a'i ymdrechion i roddi cyfeiriad uwch i feddwl yr Atheniaid, i rinwedd Marcus Antoninus, &c. Ond fe wyddys yn dda mor ryfeddol o derfynol oedd y dylanwadau hyny; tra yr oedd rhai rhinweddau yn cael eu mawrhâu yn eithafol, fod hyny yn cael ei wneyd ar draul bod yn gwbl ddiystyr o rinweddau eraill, sydd mor hanfodol, os nad yn fwy felly, i berffeithrwydd cymeriad ; ac os gellid yn achlysurol ennyn brwdfrydedd yn mhlaid y rhinweddau a fawrhëid mewn ychydig ddysgyblion, neu dan amgylchiadau ffafriol iawn, godi pobl i oddef y fath ddeddfwriaeth ag a drefnai Lycurgus i Sparta, eto fod pob amcan i buro cymdeithas yn gyffredin trwy ymdrechion o'r fath wedi bod yn gwbl ddyeithr i feddwl y byd. Mae Mr. Mill yn sôn am grefydd fel pe byddai yn gyffredinol yn cario gyda hi athrawiaeth o foesoldeb. Ond y mae yn hynod fod y crefyddau paganaidd yn ymfoddloni ar fod yn gylch o wasanaeth i'r duwiau, ac heb fod a fynont â dysgu moesoldeb o gwbl. Y mae crefydd yr Efengyl yn sefyll ar ei phen ei hun mewn dysgu dynion i "olchi eu dwylaw mewn diniweidrwydd," ac felly i "amgylchynu allor Duw."—Drachefn, y mae Mr. Mill, wrth geisio dangos mor dda y gallem fyned ymlaen heb grefydd, yn cymeryd ei safle i wneyd hyny ar dir crefydd ei hunan. Yn y gynnysgaeth o ddoethineb sydd wedi ei gadael gan yr oesoedd i'r ddynoliaeth, oddiwrth ba un y gallai ffurfio iddi ei

hunan grefydd naturiol, y mae, yn gyfiawn, yn rhoddi lle arbenig i fywyd a dysgeidiaeth Iesu Grist fel yn rhagori yn fawr ar bobpeth arall. Ond nid oedd yr Iesu yn proffesu ei fod yn ddim ar dir natur; yr oedd ei bobpeth ef, ac efe ei hunan yr un modd, yn oruwchnaturiol. Mae yn wir ei fod y mwyaf *dynol* a sangodd y ddaear; ond yr ydoedd felly am ei fod yn *Ddwyfol.* Yr oedd ei ddynoliaeth ef yn berffeithiach na'r eiddo neb arall, am ei bod yn gorfforiad perffaith o'r ddelw wreiddiol ar ba un y crëwyd y ddynoliaeth ar y cyntaf. A heblaw ei fod ef ei hun yn oruwchnaturiol, y mae holl seiliau ei ddysgeidiaeth, a holl ysbryd a chymhellion a bywyd ei grefydd, yr un modd, yn hanfodi yn gwbl yn y goruwchnaturiol. Wedi i'r goruwchnaturiol gan hyny estyn i ni ddaioni mor fawr yn Nghrist, nid ydyw ond tâl gwael i ni dderbyn rhyw gyfran o hono, a hyny dan wrthdystiad yn erbyn ei darddiad goruwchnaturiol, tra yn gwrthod y peth mawr sydd yn gwneyd holl werth y gyfran a dderbyniwn, ac yn ychwanegol at hyny yn cynnwys ein bywyd tragywyddol! Am y cospedigaethau a fygythir yn yr Efengyl, y mae Mr. Mill yn camgymeryd yn aruthrol pan ddychymyga nad oes ond gwallgofiaid pruddglwyfol, *hypochondriacs,* a deimlent fod unrhyw berygl oddiwrthynt. Y mae profiad canrifoedd yn dangos fod dynion yn eu llawn bwyll, ac, yn wir, oddiar y gweithrediad o eiddo eu pwyll a olygent hwy eu hunain yr uchaf a'r perffeithiaf yn eu holl hanes, wedi eu meddiannu gan awydd i "ffoi rhag y llid a fydd," a phenderfynu "cymeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'u blaen." Ac er mor gryfion ydyw cymhellion y goruwchnaturiol i fywyd o rinwedd ar dir ofn, y maent ar dir *cariad* yn annhraethol gryfach. Lle y mae y taranau a'r mellt wedi methu dychrynu y galon galed, y mae yr amlygiad o'r anfeidrol gariad ar Galfaria, filoedd ar filoedd o weithiau, wedi ei thoddi, a dwyn y gwrthryfelwr i

Wylo cariad pur
Yn ddagrau melus iawn.

Ac mewn canlyniad, y mae hyny wedi profi ei nerth fel cymhelliad i fywyd sanctaidd mewn miliynau aneirif o amgylchiadau, a hyny i'r fath berffeithrwydd, fel nad oes yn holl hanes y byd ddim a dâl i'w gymharu âg ef. Er pobpeth sydd gan y traethawd ymddangosiadus hwn i'w arganmawl i'r gwrthwyneb, ymddengys i ni mai crefydd y goruwchnaturiol, wedi y cwbl, ydyw yr unig grefydd y mae yn werth i ddyn ddal ei afael ynddi.

Y traethawd ar *Theistiaeth,* neu Dduwgrededd, ydyw yr olaf o'r tri. Dyma gyfansoddiad olaf yr awdwr, ac y mae lle i feddwl, pe cawsai arbediad einioes i arolygu cyhoeddiad y cwbl ynghyd, y buasai wedi cyfnewid peth ar y ddau arall i'w dwyn yn nês at y safle a gymer yn hwn. Yn yr ail, yn enwedig, y mae yn cael fod yn bosibl sefydlu crefydd heb fod a fyno â'r goruwchnaturiol, nid yn unig a "atebai holl bwrpas crefydd, ond a wnai hyny yn well nag unrhyw ffurf o grefydd oruwchnaturiol o gwbl. Y mae nid yn unig yn meddu hawl i gael ei galw yn grefydd, ond y mae yn well crefydd nag unrhyw un o'r rhai a elwir yn gyffredin wrth yr enw hwnw." Ond yn y traethawd olaf, y mae wedi cael goleuni ychwanegol. Yr ydym yn ei gael, yn ei *Autobiography,* yn dangos anfoddlonrwydd ar y tir cul a

chaled a roddid iddo gan yr athroniaeth y cawsai ei fagu ynddi, yr eiddo Bentham a James Mill, ac yn dyheu am fwy o ddiwylliad i'r crebwyll, cyhyd ag na fyddo hyny yn myned ar draws tiriogaeth rheswm. "Ac yr wyf yn credu nad oes i ddiwylliad y fath duedd yn y crebwyll, am y byddo yn myned ymlaen yn gymesur â diwylliad y rheswm, yr un duedd angenrheidiol i ŵyro y farn, ond fod yn bosibl ffurfio dyfarniad perffaith sobr ar y profion ar bob ochr i gwestiwn, ac eto gadael i'r crebwyll aros trwy ddewisiad ar y pethau posibl sydd fwyaf cysurol a mwyaf gwelläol, heb mewn un gradd fyned y tu hwnt i gadernid y seiliau dros ddysgwyl mai y pethau hyny, yn hytrach na dim pethau eraill, a fyddant y pethau posibl a gymerant le mewn gwirionedd." "Nid ar fara yn unig y bydd byw dyn." Y mae y rhanau hyny o'n natur sydd yn ymwneyd â phethau y tu hwnt i gylch ein synwyrau, a thu hwnt i diriogaeth rheswm, mor hanfodol yn rhanau o honi a dim a feddwn, os nad dyma y pethau, mewn gwirionedd, yn ein hymwneyd â pha rai y mae ein natur yn cyrhaedd ei rhagoriaeth eithaf. Ymddengys fod y gwirionedd hwn wedi cymeryd gafael gref yn ddiweddar ar feddwl Mr. Mill, ac wedi gosod ei argraff i gryn fesur ar rai o'i argyhoeddiadau mwyaf pwysig. Yn lle bod crefydd dynoliaeth yn rhagori cymaint ar grefydd y goruwchnaturiol, y mae bellach "yn beth nad ellir ei ammheu, fod crediniaeth ddiammheuol yn modolaeth wirioneddol Bôd a sylweddola ein syniadau goreu am berffeithrwydd, a'n bod ninnau yn nwylaw y Bôd hwnw fel llywodraethwr y grëadigaeth, yn rhoddi ychwanegiad nerth i'n hymestyniadau at ddaioni y tu hwnt i'r hyn allant dderbyn oddiwrth gyfeirio at berffeithrwydd mewn dychymyg." Mae y syniad am "lywodraeth ragluniaethol gan Fôd hollalluog," yn ol y traethodau eraill, "yn beth y rhaid ei fwrw ymaith," ac nid ydyw sefyllfa ddyfodol yn beth i feddwl am dani; yn wir, fe ellid meddwl y byddai anfarwoldeb yn fwy i'w ofni na difodiant. Yma, pa fodd bynag, "I'r hwn a deimlo ei fod yn fanteisiol i'w foddlonrwydd neu i'w ddefnyddioldeb i obeithio am sefyllfa ddyfodol, fel peth posibl, nid oes dim i'w rwystro i ymfwynhâu yn y gobaith hwn. Y mae ymddangosiadau yn pwyntio at fodolaeth Bôd sydd yn meddu gallu mawr arnom—yr holl allu a olygir yn nghrëadigaeth y cyfanfyd, neu ei grëaduriaid bywydol, o leiaf; ac o ddaioni yr hwn y mae genym brofion—er nad o'i fôd a'i brïodoledd arbenigol; ac ni wyddom am derfynau nac i'w allu na'i ddaioni. Y mae lle i obeithio y gallai y naill a'r llall fyned mor bell a chaniatâu i ni y rhodd yma, ond iddi fod er ein llês." Y mae yn bosibl, wedi y cwbl, "fod Crist mewn gwirionedd yr hyn y tybiai efe ei hunan ei fod—nid yn Dduw, canys," meddai Mr. Mill, "ni wnaeth efe erioed yr hòniad lleiaf i'r cymeriad hwnw, a buasai, mae yn debyg, yn meddwl fod y fath hòniad mor gableddus ag yr ymddangosai i'r dynion a'i condemnient—ond yn ddyn dan siars neillduol, arbenig, bendant, a digyffelyb oddiwrth Dduw i arwain dynolryw at wirionedd a rhinwedd." Ac nid ydyw yn anmhosibl, bellach, fod dadguddiad yn ffaith, ac fod hyd yn nôd ystori ryfedd y gwyrthiau yn wir. Dyma a ddywedir,—"Yr hyn a ellir ddyweyd gyda gwirionedd ar ochr Gwyrthiau a ddaw yn unig i hyn: Gan ystyried fod trefn natur yn rhoddi rhyw brawf o fodolaeth Crëawdwr, a'i fod yn dwyn ewyllys da at ei grëaduriaid, er nad ydyw hyny brif ac yn unig

gymhellydd ei ymddygiadau tuag atynt: gan ystyried, drachefn, fod yr holl brawf o'i fodolaeth yn brawf hefyd nad ydyw yn hollalluog, ac yn ein hanwybodaeth o derfynau ei allu na allwn ni benderfynu yn bendant ei fod yn abl i ddarpar ar ein cyfer trwy y cynllun gwreiddiol o Grëadigaeth yr holl ddaioni a fwriadai estyn i ni, neu hyd yn nôd estyn unrhyw ran o hono mewn unrhyw adeg foreuach na phan y darfu i ni yn weithredol ei dderbyn,—gan ystyried y pethau hyn, pan ystyriwn ymhellach fod rhôdd, hynod o werthfawr, wedi dyfod i ni, yr hon er ei bod yn cael ei rhwyddhâu nad ydoedd dybygid yn cael ei gwneyd yn angenrheidiol gan yr hyn a aethai o'r blaen, ond ydoedd yn ddyledus, mor bell ag y mae ymddangosiadau yn myned, i gynneddfau meddyliol a moesol arbenig un dyn, ac fod y dyn hwnw wedi dadgan yn gyhoeddus nad ydoedd yn dyfod o hono ef ei hunan ond o Dduw trwyddo ef; yna y mae genym hawl i ddyweyd nad oes dim mor gynhenid anmhosibl neu mor gwbl anghredadwy yn y dybiaeth yma fel ag i rwystro unrhyw un rhag gobeithio y gallai, fe allai, fod yn wir."

Yr oedd Ajax, yn Homer, pan wedi ei gylchynu â thywyllwch yn maes y frwydr, yn gwynfydu yn anad pobpeth nad allai gael goleuni. "O dad Iau, rhyddhâ o leiaf feibion y Groegiaid oddiwrth dywyllwch; gwna awyr glir, a chaniatâ i ni weled â'n llygaid; yna dinystria ni yn y goleuni, os felly y rhynga bodd i ti." A geiriau olaf Goethe oeddynt, "Goleuni, goleuni, mwy o oleuni." Yr oedd Mr. Stuart Mill yntau, mae yn amlwg, yn teimlo yn ddwys oddiwrth y tywyllwch oedd o'i amgylch, ac yn dwfn awyddu am oleuni. Fe gafodd golled anadferadwy yn ei ddyddiau boreuol pan ddygid ef i fyny gan ei dad mewn perffaith anwybodaeth am Dduw; yn wir, fe dreuliodd ei ddyddiau yn ymbalfalu fel plentyn dall am Dad y goleuni. Y mae yn foddlonrwydd i ni ei weled yn terfynu ei einioes a'i wyneb tua chodiad haul. Yn wir, fe ellid gobeithio, pe cawsai ychydig ychwaneg o amser, y buasai cyn bo hir yn "rhodio yn y goleuni." Mae yn amlwg fod yr hwn a ddaeth yn "oleuni y byd" yn dyfod yn fwyfwy parchus yn ei olwg, ac ni fuasai yn rhyfedd ei weled cyn bo hir yn ymostwng i "dderbyn teyrnas Dduw fel dyn bychan," ac yn defnyddio ei allu ysblenydd a'i ddylanwad ëang i fawrhâu yr hwn y rhyfygai, yn malchder doethineb, i wneyd mor ddibris o'i hòniadau. Yr ydoedd yn ymofynydd gonest am wirionedd, er ei fod mewn llawer o bethau ymhell o fod wedi cael gafael arno. Fe fuasai yn hapus iawn genym obeithio fod y cyfnewidiad sydd yn dyfod i'r golwg yn hanes ei feddwl, pan yn cyfansoddi y traethawd ar *Theism*, wedi ei gario ymlaen nes adnabod o hono *y* Gwirionedd ei hunan, ac iddo fyned yn ei freichiau ef i'r bywyd. Pa fodd bynag,

He dies, and makes no sign!

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Supernatural Religion: an Inquiry into the Reality of Divine Revelation.* 2 Vols. Third Edition. London: Longmans.

MAE y gwaith hwn wedi cael derbyniad croesawus. Fe udganwyd o'i flaen gyda dyhewyd neillduol mewn ffordd o godi dysgwyliadau uchel yn ei gylch, ac fe'i derbyniwyd ymron fel gwyrth o allu a dysgeidiaeth. Y mae hefyd yn arbenig nodweddiadol o ysbryd ein hamseroedd ei fod yn cael ei fawrhâu gymaint yn fwy o herwydd ei fod fel ymofyniad i wirioneddolrwydd Dadguddiad Dwyfol yn penderfynu yn anffafriol i hyny, ac yn dadleu yn erbyn Crefydd Oruwchnaturiol. Fe deimla llawer, fel y teimlwyd laweroedd o weithiau o'r blaen, fod y ddadl yn erbyn Cristionogaeth, bellach, wedi ei dwyn i derfyniad, a'i fod, mae yn ddïau, yn dra rhyfedd fod neb eto yn ddigon hygoelus i ddal ei afael mewn syniadau mor henafol, pan y mae ysbryd gwyddoniaeth wedi gwneyd y fath ddynoethiad ar eu geudeb. Yr ydym yn dyfalu fod Cristionogaeth yn gallu edrych yn ddigon tawel ar hyn oll, fel y mae y creigiau oesol yn gallu edrych yn eithaf digyffro ar gynddaredd y tònau, neu fel y mae y sêr dysglaer yn gallu edrych o ddyfnder eu tawelwch mawr yn eigion wybren ar ruthr y mân dymhestloedd sydd yn bygwth eu hysgubo ymaith, gan ymfoddloni yn unig ar barhâu i lewyrchu, a hyny fel pe na buasai tymhestloedd yn bod o gwbl. Ar yr un pryd, mae y gwaith hwn yn deilwng o sylw fel ymchwiliad gonest a galluog i'r cwestiwn mawr. Os ydyw wedi cael gafael ar y gwirionedd, y mae hwnw o angenrheidrwydd yn fwy na phobpeth; ac os nad ydyw y gwirionedd ganddo, fe fydd yr ymosodiad hwn ar y gwirionedd yn ei adael, lle y mae, yn gryfach ac yn fwy gogoneddus.

Gan gymeryd y ffaith o Gristionogaeth fel y mae yn y byd, y mae yr awdwr yn penderfynu y rhaid ei bod yn un o'r lliaws ymdrechion dynol i benderfynu ein perthynas â Duw, â dyledswydd, ac â thynged, neu ei bod yn cynnwys dadguddiad Dwyfol ar y materion hyny. Ac os nad ellir ei *phrofi* yn ddadguddiad Dwyfol, nid oes dim i'w wneyd ond ei chymeryd fel ymgais ddynol at ffurfio crefydd; ac o angenrheidrwydd ni elwir arnom i ymddwyn tuag ati ond fel y cyfryw. Y cwestiwn mawr gan hyny ydyw, a oes prawf o ddadguddiad a chenadwri Ddwyfol mewn cysylltiad âg athrawiaeth Crist a'i apostolion? Gwrthodir *prawf mewnol* fel yn annigonol i gyfarfod â'r amgylchiad, oblegid nad allai hwnw ond profi cyfaddasder Cristionogaeth i'r rheswm dynol, ac ni ellir profi nad allasai rheswm dynol ei hunan gynnyrchu peth felly. Ymddengys i ni fod gwerth y prawf hwn yn cael edrych arno lawer yn rhy ddibris gan yr awdwr. Y mae y prawf mewnol yn golygu cyfaddasder Cristionogaeth i'r holl ddynoliaeth, nid i'r rheswm yn unig; ac y mae y boddlonrwydd a ddyry i'r rheswm a'r farn fel corff o wirionedd,—i'r gydwybod euog fel maddeuant ac fel cyfiawnder,—ac i'r galon fel y mae yn dwyn iddi wrthddrych mawr i'w ddewis ac i ymhyfrydu yn ddiderfyn ynddo, a pherffeithrwydd i ymestyn ato ac i'w gyrhaeddyd,—yn profi ei bod yn anfes-

urol uwch na'r un ymdrech ddynol y gallwn feddwl am dani i gyfarfod âg eisieu dyn. Yn wir, os ydyw dyn ei hunan o Ddwyfol darddiad, nid ydyw yn ormod i ni benderfynu fod y gallu hwnw yn yr Efengyl sydd yn ei grëu o newydd, ac yn ei godi o ddyfnder dirywiad at gynllun ei berffeithrwydd cynhenid, o Ddwyfol darddiad yr un modd. Y mae miliynau sydd wedi cofleidio Cristionogaeth—lïaws o honynt o ddealltwriaeth mor glir a barn mor gref a dysgeidiaeth mor ëang ag eiddo awdwr y llyfr hwn, ac yn llawn mor wagelog rhag cael eu camarwain, yn enwedig yn yr hyn a deimlent yn fater eu bywyd iddynt,—wedi profi yn eu meddwl lawn gymaint boddlonrwydd fod eu crefydd sanctaidd o Dduw ag fod eu hymborth yn eu cynnal, neu yr haul yn tywynu arnynt. Y mae yr awdwr ei hun yn credu mewn Duw, a Rhagluniaeth, ac Anfarwoldeb. A ydyw yn llawer o beth os ydyw dyn, sydd yn meddu y fath allu i adnabod ei gyd-grëadur yn yr amlygiadau a wna o'i feddwl, yn meddu cymhwysder hefyd i adnabod Duw yn yr amlygiadau a wna Efe o'i feddwl? Buasai yn chwith iawn fod yr hwn a'i gwnaeth, yr hwn yn ei ragluniaeth dirion sydd yn gofalu mor dyner am dano, a'r hwn a'i gwnaeth yn grëadur anfarwol, yn gadael dyn heb gymhwysder i adnabod ei lais, pan y mae yn llefaru wrtho. Ond er y cyfan, yr ydym, er mwyn ymresymiad, yn barod i ildio i'r awdwr yr holl nerth sydd yn y prawf mewnol. Y cwbl a all efe dderbyn ydyw *prawf allanol.* Ac y mae yn hawlio cael hwnw mor gryf fel nad allo ei wrthod! Yr ydym yn ofni fod hyn, gydag amryw awgrymiadau eraill sydd yn rhedeg trwy y gwaith, a'i holl ysbryd, yn dangos fod yr awdwr ymlaen llaw yn bur benderfynol o wrthod y cyfan; ac mewn tymher felly nid ydym yn gwybod am unrhyw nerth o brawf sydd yn ddigon i argyhoeddi dyn. "Ni chredent chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." Nid ydym yn gweled fod dynion yn hawlio peth felly gyda dim arall. Y mae math o brawf a wnelo yn fwy rhesymol credu peth na pheidio, yn gymaint ag a ddysgwylir yn gyffredin; ac, fel y sylwa Pascal, mae yn amlwg nad ydyw Duw wedi gadael ei dystiolaeth i ni mewn dim nad oes ynddi achlysur i anghredaeth, er fod ynddi ddigon o nerth i ffydd. Ond ar dir yr awdwr ei hunan yr ydym yn foddlawn i ymofyn beth yw y prawf allanol o ddwyfoldeb Cristionogaeth? Y mae, yn hollol gywir, yn cymeryd mai nerth gwyrthiol yn cydfyned â chenadwri ac yn profi awdurdod yr Iesu a ddylai fod y prawf hwnw. A ydyw y prawf a gynnygir yn y gwyrthiau y dywedir fod Crist wedi eu cyflawni yn ddigonol? Y mae yr awdwr hwn yn cael nad ydyw. Y mae ganddo ddau reswm dros gredu felly. Yn un peth, y mae yn cael fel mater o ffaith fod gwyrthiau yn anmhosibl; ac yn ail, y mae y dystiolaeth a roddir am wyrthiau yr Iesu yn anfoddhäol. Y mae y rhan arweiniol i'r llyfr yn myned yn erbyn y syniad o wyrthiau. Nid ydym yn cael fawr o newydd-deb yn hyn oll, ond yr hen ddadl wedi ei gwisgo o newydd, ac yn cael ei gwneyd mor ymddangosiadus ag y gellir i'r dyben o brofi fod gwyrthiau yn anmhosibl. Fe ddygir ymlaen dri rheswm y teimlir, mae yn amlwg, fod ynddynt ddirfawr nerth. Dadleuir, 1, y ceir dadl gyflawn yn erbyn gwyrthiau yn nhrefn sefydledig natur; 2, nad yw y gwyrthiau Ysgrythyrol ond rhan o "ffrwd" hîr o ymhòniad gwyrthiol, a ddechreuodd redeg oesoedd o flaen genedigaeth Iesu, ac a aeth ymlaen mewn nerth cynnyddol am lawer o oesoedd ar ol ei farwolaeth; 3, fod yr hòniad o wyrthiau yn gyffredin wedi bod yn uchel a mynych mewn cyfartaledd i anwybodaeth a choelgrefydd unrhyw oes, ac wedi suddo neu fyned o'r golwg gyda chynnydd gwybodaeth. Bid sicr, os ydyw y rhesymau hyn yn dal, y mae y gwyrthiau wedi darfod am danynt. Yn wir, os ydyw y cyntaf yn dda, pa raid am ychwaneg? Dywedir am ddadleuydd unwaith yn anerch y llŷs, ac wrth roddi cyfrif am absennoldeb un o'i dystion, dywedai fod ganddo ddeuddeg o resymau da i'w dwyn ymlaen; "ac yn gyntaf," meddai, "y mae y dyn wedi wedi marw." Atebai y Barnwr nad oedd angen i'r dadleuydd dysgedig drafferthu gyda'r unarddeg eraill, yr oedd yr un rheswm hwnw yn ddigon! Yr un modd os ydyw trefn sefydledig natur yn gwneyd gwyrthiau yn anmhosibl, pa angen dyweyd dim yn ychwaneg? Ond er cymaint yr ymddiried a hònir yn y rheswm hwn, y mae y dygnwch diddiwedd â pha un y ceisir ei ddal i fyny yn bradychu cryn wendid yn

rhywle. Y *mae* deddfau natur yn sefydlog. Yn nghanol byd sydd yn bodoli i gyfnewid, yr ydym yn cael fod y *drefn* ymha un y mae y cyfnewidiadau hyny yn cymeryd lle yn aros yn ddigyfnewid. Ac y mae yr ymroddiad dirfawr a ddangosir y blynyddoedd hyn mewn astudio natur, yn peri fod dynion yn dyfod i ymdeimlo yn fwyfwy â mawredd y cysondeb diball yma; yn wir fe fyddai awgrymu y posiblrwydd o unrhyw ymyriad âg ef yn wrthodedig ganddynt, nid yn unig fel gŵyriad ar wirionedd mawr, ond hefyd fel sarhâd ar ogoniant sydd wedi ennill eu hedmygedd dyfnaf. Ond fe ymddengys fod gwyrthiau yn gwneyd hyny; ac o herwydd hyny prin wrth gyfeirio atynt y "medrant ymddyddan yn heddychol." Mỳnai Hume fod gwyrthiau yn droseddiad ar ddeddfau natur, neu yn myned yn eu herbyn; ymddengys hefyd mai rhyw syniad cyffelyb sydd gan ei ddilynwyr, ac yn eu plith yr awdwr hwn. Ond ni fu erioed fwy camgymeriad. Ni phroffesir fod dim yn hanes yr Iesu yn dangos ei fod ef wedi llesteirio natur i gyrhaedd ei hamcanion. Ond fe hònir ei fod, fel un uwchlaw iddi, wedi ewyllysio gwneyd rhai pethau na fuasai natur o honi ei hun yn gallu eu dwyn oddiamgylch. Fe gydnabyddir yr holl uchafiaeth a hònir i ddeddfau natur; ond ar yr un pryd, y mae deddfau mewn deddfau, a'r rhai mwy yn cario yn eu mynwes y rhai llai. Y mae deddf dysgyrchiant yn cael ei fordd ar holl fater y ddaear, er fod y defnyddiau ar yr un pryd yn effeithio ar eu gilydd yn ol eu *affinities* fferyllol. Ac y mae yr un ddeddf sydd yn cadw holl gyrff y grëadigaeth wrth eu gilydd, ac yn rhwymo y naill a'r llall o honynt wrth ei ganolbwynt ei hunan, yn rhwymo y cyfan hefyd wrth ryw un canolbwynt mawr cyffredin; ac er fod milfiliwn o wahanol gyfeiriadau i'r nerthoedd sydd ar waith trwy y grëadigaeth, y mae y cyfan ar yr un pryd yn ddarostyngedig i'r un nerth cyffredin yn y gallu sydd yn cynnal y grëadigaeth i gyd. Beth bynag ydyw y cysondeb sydd i'w weled yn y cylch arbenig a alwn yn *natur* o fewn llywodraeth y Goruchaf, beth os oes ganddo Ef amcanion mawrion i'w cario allan sydd yn ymestyn i'r diderfyn y tu hwnt i ffiniau natur; a phan y mae y rhai hyny yn dyfod o fewn ei thiriogaeth, fod natur yn teimlo yn fraint cael myned allan o'i ffordd, os bydd raid, er talu ei gwarogaeth iddynt? Y mae y mater sydd mewn dyn, er mor "ofnadwy a rhyfedd" y mae wedi ei lunio, yn dra israddol yr ydym yn gwybod mewn cymhariaeth i'r ysbryd anfarwol sydd ynddo; beth os ydyw y *microcosm*, y byd bach, yn hyn, yn gynllun tra chywir o'r *macrocosm*, y byd mawr, ac yn hwnw fod y materol mor gwbl ddarostyngedig i'r ysbrydol ag ydyw corff dyn i'w enaid? A phan gydnabyddir gyda'r awdwr presennol fodolaeth Duw, a Rhagluniaeth, ac Anfarwoldeb, yn sicr nid ydyw yn anmhosibl oll mai felly y mae pethau yn bod. Ac ni fyddai yn rhyfedd o gwbl felly, pan y mae y byd arall yn cario allan ei amcanion o fewn cylch natur, fod pethau yn cael eu gwneyd sydd tu hwnt i'w hymadferthoedd cyffredin hi; neu, mewn geiriau eraill, fod gwyrthiau yn cael eu cyflawni. Drachefn, er mor gyson a goruchel ydyw natur yn ei gweithrediadau, yr ydym yn gweled fod dyn, fel crëadur sydd yn meddu meddwl ac ewyllys, yn gallu ffurfio ei amcanion a'u cario allan yn gwbl ar wahân oddiwrthi, ïe, ei fod yn gallu ffrwyno ei nerthoedd hi ei hunan a'u dwyn o'u ffordd er bod yn wasanaethgar i weithio allan ei feddyliau ef. Gall beri i'r gwynt a'r llanw, hyd yn nôd pan y maent yn ei erbyn, ei wasanaethu; gall newid llwybrau y mellt, ac yn llythyrenol "wneyd ffordd i fellt y taranau;" gall osod y dysgyrchiant ei hunan dan deyrnged iddo, a chyrhaedd llawer o'i amcanion yn nannedd ei wrthwynebiad. Os ydyw meddwl mor fychan ac ewyllys mor gyfyngedig â'r eiddo dyn yn gallu cyrhaedd y fath feistrolaeth ar natur, beth am feddwl ac ewyllys a fyddont yn anfesurol fwy? Beth yn enwedig am Dduw? Ac yr ydym yn gweled fod Iesu Grist yn hòni ei fod yn Fab Duw, ac nad oedd yr Iuddewon yn camgasglu pan yn dyweyd ei fod trwy hyny yn ei "wneyd ei hun yn gystal â Duw;" ei fod yn "un â'r Tad," yn "ogyfuwch â Duw," "yn Dduw." Os gofynir am brawf, yr ydym, fel efe ei hunan, yn cyfeirio at ei wyrthiau. Fe adnabyddid Ulysses, ar ei ddychweliad adref, trwy ei waith yn trîn mor feistrolgar ei fwa, y bwa nad allasai neb arall

wneyd dim âg ef. Os oes rhywun arall yn gallu cyflawni y gwyrthiau a wnaeth yr Iesu, yr ydym ar unwaith yn barod i'w addef yn Dduw. "Onid wyf fi," meddai efe ei hunan, "yn gwneuthur gweithredoedd fy Nhad, na chredwch i mi: ond os ydwyf yn eu gwneuthur, er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd; fel y gwybyddoch, ac y credoch, fod y Tad ynof fi, a minnau ynddo yntau." Yr ydym, a hyny yn berffaith resymol, yn casglu oddiwrth wyrthiau Crist y rhaid ei fod yn Dduw. Ond yma y mae yr awdwr dan sylw yn troi arnom, ac yn dywedyd fod y syniad am Dduw personol yn gosod gwyrthiau allan o'r cwestiwn, ac attega ei haeriad trwy ofyn, Pa fodd y gallwn brofi fod Duw yn gwneyd gwyrthiau, neu y gall weithredu oll ar wahân i'r drefn sefydlog sydd i'w gweled mewn natur? Ar y wyneb, y mae gwadu fod hyny yn bosibl, os cydnabyddir bodolaeth Duw, yn ymddangos yn rhyfeddol o chwith. Y mae efrydiaeth mater yn ein dyddiau ni yn peri i rai anghofio ymron fod meddwl yn bod. Ond er y cwbl y mae yr hen ddoethair oedd wedi ei osod i fyny mewn llythyrenau euraidd yn nosbarth-ystafell Syr William Hamilton yn berffaith gywir,—"Yn y byd nid oes dim yn fawr ond dyn; mewn dyn nid oes dim yn fawr ond meddwl." Ac os oes cymaint o fawredd yn meddwl y pryfyn dyn, a ydym i feddwl am fynyd fod meddwl y Tragywyddol, yr hwn ei hunan a roddes fod i'r grëadigaeth a'i holl ddeddfau, mor gaeth glymedig wrth ddeddfau y grëadigaeth faterol fel nad all ymyraeth â hwynt, mwy na'r trychfilyn distadlaf a anadlodd i fodolaeth? Heblaw hyny, y mae natur ei hunan yn pregethu gwyrthiau, neu yn dangos fod rhyw ymyriadau mawrion wedi cymeryd lle o'i mewn, oeddynt lêd y nefoedd ar wahân i weithrediad ei deddfau cyffredin. Onid yw y ddaear ei hunan yn dwyn tystiolaeth i ryw chwalfëydd mawrion wedi cymeryd lle yn ei hanes, nad oes dim yn y deddfau cyffredin a all eu hesbonio? Onid oes dechreuad wedi bod i'r holl wahanol rywogaethau o grëaduriaid, ac i'r creadur ardderchog dyn, nad oes gan weithrediad y deddfau cyffredin ddim cyfrif i'w roddi am dano? Onid yw bodolaeth bywyd ei hunan yn profi gweithred grëadigol ag yr oedd ei chyflawni bob tro yn wyrth? Ac am fodolaeth mater oll, yr oedd peri iddo hanfodi o'r diddymdra yn ymyriad hollol wyrthiol â'r drefn ar fodolaeth oedd yn ffŷnu yn flaenorol. Y mae awgrymu fod yn anmhosibl i Dduw wneyd gwyrthiau, ar dir rheswm, yn ymddangos yn rhyfeddol o wrthun; ac ar dir natur, yr ydym yn cael fod y ffaith o ymyriadau gwyrthiol yn cael ei phrofi yn llawn mor ddiammheuol â sefydlogrwydd cyffredin deddfau natur. A dyma gyfres o weithredoedd wedi eu cyflawni gan Iesu Grist sydd yn profi Dwyfol Allu mor wirioneddol â chrëadigaeth ei hunan. Onid ydyw efe gan hyny yn Dduw? Mae y prawf fod yn bosibl i Dduw wneyd gwyrthiau, ynte, o flaen ein llygaid; ac y mae hòniadau mawrion yr Iesu am dano ei hun wedi eu llawn gadarnhâu. Am ddim sydd gan drefn sefydlog y grëadigaeth i'w ddyweyd ar y pwnc y mae gwyrthiau yn bosibl, ac y maent yn ffeithiau hanesyddol.—Ond mewn trefn i wanychu ein hymddiried yn ngwyrthiau yr Iesu, fe'u cysylltir, yn yr ail le, â'r "ffrŵd" o ymhòniad gwyrthiol a ddechreuodd oesoedd o flaen ymddangosiad Crist, ac a aeth ymlaen, meddir, mewn nerth cynnyddol, am lawer o oesoedd ar ol ei farwolaeth. Bid sicr, y mae yn ynfydrwydd a choelgrefydd dynolryw wythïen dra chyfoethog i'w gweithio, os mynai dyn fwrw dirmyg ar y grediniaeth mewn gwyrthiau. Ond a all hyny brofi fod gwyrthiau yn anmhosibl? Y mae yn hytrach yn eu cadarnhâu. Y mae myrddiwn o gnafiaid yn marchogaeth hygoeledd y werin i'w hamcanion drygionus eu hunain, a hyny dan rith gonestrwydd; a ydyw hyny yn profi nad oes gonestrwydd yn bod? Onid ydyw y parch a'r derbyniad y mae yn ei hawlio, a'r holl ymdrechion llafurlawr a wneir i'w ddynwared, nid yn unig yn profi ei fod, ond hefyd y warogaeth uchaf iddo? Y mae arian drwg yn cael eu lledaenu; nid ydyw hyny yn profi nad oes arian da; yn hytrach y mae yn profi yn y modd cryfaf fod; ac yn mhellach, oni bae fod arian da ni fuasai arian drwg o gwbl. Ac nid ydyw yn beth i sŷnu ato, ysywaeth, fod dynion yn ddigon drygionus i geisio dynwared gwyrthiau. Ac yn ol y ddeddf, *Corruptio optimi pessimum*, Llygredigaeth y

goreu yw y gwaethaf, nid ydyw yn rhyfedd oll fod y llïaws mawr o'r pethau yr hònir iddynt y cymeriad o wyrthiau, yn bethau rhyfeddol o wrthun. Ond fel y gwrthwynebem yr ynfydrwydd o feddwl nad oes dim gonestrwydd yn y byd o herwydd fod llawer o dwyll a rhagrith ynddo, neu nad oes arian da am fod arian drwg yn rhedeg, yr un modd gwrthdystiwn yn erbyn yr afresymoldeb gwrthun o feddwl claddu gwyrthiau gogoneddus yr Arglwydd Iesu dan yr un garnedd â'r "gwyrthiau gau" yr ymdrechwyd drwyddynt i farchogaeth hygoeledd yr anwybodus. Am y gwyrthiau hyny, o'r rhestr a roddir gan Eisenmenger o'r rhyfeddodau Iuddewig, hyd y pethau dyeithr diweddaraf a brïodolir i greioriau y saint, y maent yn cael eu cyflawni i ddim pwrpas ond i beri i'r werin sŷnu ; nid ydynt yn hòni bod yn gorfforiad o unrhyw wirionedd ; ac nid ydynt yn cael eu cysylltu âg unrhyw urddas neu fawredd yn mherson neb fel seliau ei anfoniad, neu brofion o ddwyfoldeb ei genadwri. Am wyrthiau yr Iesu, o'r ochr arall, y cymhwysder sydd ynddynt i beri syndod ydyw yr hyn y gwneir leiaf o hono ; y maent oll yn cael eu gwneyd i ryw amcan daionus, teilwng o gyfryngiad dwyfol ; y maent yn dysgu gwirioneddau i'r byd sydd yn llawer mwy gogoneddus na hwy eu hunain ; ac oll yn cael eu cyflawni i ddangos anfeidrol urddas a gogoniant y Person mawr oedd wedi dyfod i'r byd i "wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." Fe wneir llawer gormod yn y gwaith hwn o barhâd y gwyrthiau ar ol dyddiau Crist. Yn wir fe ellid meddwl fod tymmor y gwyrthiau yn brïodol wedi terfynu gyda'r oes apostolaidd ; mae yr epistolau olaf yn gosod y dysgyblion yn bendant ar eu gwyliadwriaeth rhag gwyrthiau ffugiol, y rhai, yn absennoldeb gwir wyrthiau, oeddynt yn dechreu codi eu pen i foddloni yr ysfa gnawdol am bethau rhyfedd. Ac am y "gwyrthiau" oeddynt yn canlyn, fel y sylwa Paley yn dra meistrolgar yn yr ail osodiad o'r *Evidences*, y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt, fel rhwng holl ffûg-wyrthiau y byd, a gwyrthiau yr Arglwydd Iesu. Fe'u cofnodir hwynt ymhen tymmor maith ar ol marwolaeth y rhai y dywedir iddynt eu cyflawni ; fe gofnodir gwyrthiau Crist gan gydoeswyr. Fe'u cofnodir hwynt gan bobl o wledydd eraill ; yr eiddo Crist gan gydwladwyr, y rhai hefyd oeddynt lygaid-dystion. Y mae y sôn am y gwyrthiau hyny yn siarad sydd yn myned heibio ; y mae gwyrthiau Crist, fel ffeithiau y mae yr oesoedd wedi cael boddlonrwydd ynddynt, wedi cymeryd eu lle yn ddiammheuol yn hanesyddiaeth y byd. Mae y gwyrthiau hyny yn aros yn noethion a digysylltiad ; y mae gwyrthiau Crist yn rhanau hanfodol o Gristionogaeth. Mae y gwyrthiau hyny yn cael eu cofnodi yn nghanol rhyw gyffredinedd amwys, fel pe byddai ar yr haneswyr ofn yn eu calon ddyweyd dim a allo fradychu eu twyll ; mae gwyrthiau yr Iesu yn cael eu gosod ger bron gyda'r manylrwydd llwyraf, fel gan ddynion nad oes ganddynt ddim i'w gelu, ac nad ydynt gymaint ag yn meddwl am gael eu galw i gyfrif, &c. Beth bynag am "ffrŵd" aflan y ffûg-wyrthiau a ddyfeisiwyd gan ddrygioni dyn, y mae gwyrthiau pur a dyrchafedig yr Arglwydd Iesu yn rhanau hanfodol o'r "afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel y grisial, sydd yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen."—Ac nid ydym ni yn gweled fod yr awdwr yn ennill dim ychwaith pan yn gwneyd allan fod yr hòniad o wyrthiau wedi bod mewn cyfartaledd i anwybodaeth yr amseroedd, ac yn diflanu gyda chynnydd gwybodaeth. Gwir ei wala am wyrthiau y "ffrŵd." Oni bae fod y bobl yn anwybodus fe fyddai yn anmhosibl eu marchogreth trwy y fath oferedd. Ond beth sydd a fyno hyn oll â gwyrthiau Crist? A oes rhywun a haerai fod yr Iuddewon yn ei ddyddiau ef yn gorwedd mewn magddu o anwybodaeth? Yr oeddynt yn ddrygionus, mae yn wir, ond nid oeddynt yn anwybodus. Yr oedd y genedl wedi bod dan ganrifoedd o ddiwylliad yn ei hymwneyd â'r dadguddiad o feddwl Duw yn yr Hen Destament, ac â defodau sanctaidd ei wasanaeth. Yr oedd llawer o honynt hefyd wedi talu sylw manwl i athroniaeth genhedlig, ac yr oedd yn eu plith "ysgolion" mewn athroniaeth a duwinyddiaeth a ddangosent lawer o graffder a chywreinrwydd mewn meddwl a dadleu, ac yn sicr lawer o zêl mewn ceisio ennill pobl i gydweled â hwynt. Yr oedd ganddynt ddigon o

"uchel eglwyswyr" mor ddefosiynol ag y gallai ffurfioldeb eu gwneyd ; ac yr oeddynt yn ddigon goleuedig i feddu llïaws o "resymolwyr" oeddynt yn ddigon athronyddol i wadu pob peth. Yr oeddynt wedi bod yn ymrwbio am oesoedd â'r cenhedloedd mwyaf diwylliedig yn yr hen fyd ; ac ar y pryd mewn cyfathrach arbenig â'r genedl oedd yn llywodraethu y ddaear. Yn sicr nid ffyliaid oedd yr Iuddewon. Ac yr ydym yn cael eu hysbrydoedd mwyaf synwyrlym a ffelgraff yn barhäus o amgylch yr Iesu, yn ei wylio, ac yn dangos yr ystryw mwyaf y gellid meddwl am dano yn eu hymgais i'w faglu, neu "i'w rwydro yn ei ymadrodd." Pe buasai rhyw dwyll ynddo, nid ydyw yn debyg y buasai llygaid mor graff heb ei gael allan ; ac wedi ei gael allan, yn sicr nid dyna y dynion a fuasent yn petruso ei ddynoethi. Ond er y cwbl *nid ydym yn cael fod cymaint ag un o'i gydoeswyr erioed wedi ammheu gwirionedd ei wyrthiau.* Ac yn wir nid ydym yn cael hyny yn dygwydd o gwbl hyd ymhen canrifoedd wedi iddo adael y ddaear. Ceisid ei ddarostwng trwy brïodoli ei wyrthiau i Beelzebub ; ond nid oedd modd meddwl am eu gwadu.

Hyd yma y mae yr awdwr wedi bod yn brysur iawn yn lladd y lladdedigion trwy brofi fod y gwyrthiau yn anmhosibl. Ond araf iawn y maent yn marw. Braidd, fe ellid meddwl, na theimlai yntau fel Macbeth, "Fe fu amseroedd, pan wedi i'r ymenydd fyned allan y byddai dyn yn marw, ac yna diwedd." Ond prin y mae y diwedd wedi dyfod yma eto. Ac i wneyd y sicrwydd yn ddwbl sicr, y mae yr awdwr yn yr ail ran o'r gwaith yn dwyn ynghyd ddadl dra llafurus i ddangos fod yn anmhosibl *profi* fod y pedair efengyl wedi eu hysgrifenu hyd ddiwedd yr ail ganrif, ac am hyny nad ydynt yn eiriau llygaid-dystion, a thrwy hyny nad ydym dan orfodaeth i'w derbyn. Rhwng y ddau bwynt yma y mae anffyddiaeth, fel ysgogiadau y pendyl, yn chwareu o oes i oes. Mae y profion hanesyddol yn anfoddhäol; nid yw y peth yn bosibl. Ond am ddim a ddygir ymlaen yma, yr ydym ni yn cael nad yw y peth yn anmhosibl, o leiaf, os nad ydyw, yn wir, yn hollol bosibl, ac yn ffaith. Ac yr ydym yn dyfalu nad ydyw yr awdwr yn gallu dangos fod y profion hanesyddol yn annigonol i argyhoeddi pob meddwl ystyriol, er o angenrheidrwydd, yn rhy weiniaid o lawer i argyhoeddi dyn sydd wedi penderfynu na fyn ei argyhoeddi o gwbl. Mae yn ymddangos fod rhai ysgrifeniadau ar lêd yn y canrifoedd cyntaf nad oeddynt mewn gwirionedd yn gynnyrch meddwl y dynion y mae eu henwau wrthynt, ond wedi eu rhoddi allan dan eu henwau, er mwyn sicrhâu iddynt well derbyniad. Pa fodd y gellir profi nad yw y pedair efengyl felly ? Yr atebiad cyffredin a roddir ydyw fod cyfeiriadau mynych atynt i'w cael yn yr ysgrifeniadau boreuaf. Ond y mae yr ysgrifeniadau hyny yn ngolwg yr awdwr mor annilys, fel nad yw yn werth ganddo eu hystyried. Y cyntaf y mae yn werth sylwi arno ydyw Justin Ferthyr. Y mae yn ei ysgrifeniadau ef amryw gyfeiriadau at yr hanes efengylaidd. Ond rhy brin y gellir golygu fod y cyfeiriadau hyny yn uniongyrchol at y pedair efengyl. Y mae y dyfyniadau yn dra anghywir ; fe gyfeirir at bethau nad ydyw yr efengylau yn eu crybwyll, megys fod Crist wedi ei eni mewn ogof, ac fod tân wedi ei ennyn yn yr Iorddonen ar y bedydd ; fe ddangosir anwybodaeth am rai pethau a grybwyllir yn bendant yn yr efengylau ; ac fe ddyfynir yn dra lledchwith yn ei ymddyddan â Trypho yr Iuddew, y geiriau a ddywedwyd am Grist yn y bedydd, gan eu gwneyd yn "Hwn yw fy anwyl Fab, myfi heddyw a'th genhedlais di," yr hyn a roddasai ddadl gref i Trypho yn erbyn cyn-hanfodiad Crist, ac a'i harweiniasai i ddal mai y pryd hyny y gwnaed ef yn Fab. Fe gesglir oddiwrth hyn oll nad all fod Justin yn dyfynu o'r pedair efengyl, ac y rhaid fod yr *ἀπομνημονευματα των ἀποστολων*, neu *Adgofion yr Apostolion*, y proffesa ddyfynu o honynt, yn wahanol i'r efengylau sydd yn ein dwylaw ni. Gallai fod ysgrifenwyr yr efengylau wedi tynu ar yr *Adgofion* hyn yr un modd a Justin, ond nid eu hysgrifeniadau hwy oedd ganddo ef o flaen ei lygaid pan yn ysgrifenu ei lyfrau. Ar ol ei ddyddiau ef fe geir fod y pedair efengyl yn cael cyfeirio atynt yn debyg fel y maent yn ein dwylaw ni. Ond nid oeddynt felly yn nyddiau Justin, ac am hyny nid oeddynt yn bod cyn diwedd yr ail ganrif,

ac am hyny nid allant fod wedi eu hysgrifenu gan ddynion oeddynt yn dystion o'r pethau a gofnodant; neu mewn geiriau eraill, y pryd hyny yr oedd y chwedl, a godasai o ddechreuad bychan, ond a gawsai fagwraeth dda gan gariad a dychymyg dysgyblion yr Iesu, wedi tyfu i'w llawn faint, a'i gosod mewn ysgrifen yn y pedair efengyl mewn dull a olygid fel ei ffurf sefydlog. Ffrwyth yr ymchwiliad llaturfawr hwn, ag y mae ei ddysgeidiaeth wedi serenu llygaid llawer o ddarllenwyr, ydyw, nad ellir gorfodi yr awdwr i gredu fod y pedair efengyl wedi eu hysgrifenu cyn diwedd yr ail ganrif; ac am hyny nid ydyw ystori y gwyrthiau yn ddilys! Mae yn ddiau fod ein darllenwyr yn teimlo, fel ninnau, fod dyn wedi ei wasgu i le go gyfyng pan y mae yn myned trwy ymwingiadau mor annaturiol â'r rhai hyn. 1. Wedi y cyfan, mae ymhell iawn o fod yn sicr nad ydoedd Justin yn dyfynu o'r pedair efengyl fel y maent yn ein dwylaw ni. Yr ydoedd yr oes yn anfeirniadol, ac nid oedd dynion wedi eu hymarfer i'r manylder hwnw y mae ysgolheigdod y dyddiau yma yn hawlio mewn dyfynu o ysgrifeniadau pwysig. Y mae llawer o lacrwydd yn hyn i'w weled yn wir yn y dyfyniadau a wneir o'r Hen Destament gan ysgrifenwyr y Testament Newydd. Ac yn sicr nid ydym i sŷnu fod Justin yn fynych yn dyfynu yn ddiofal o'i gôf; ac yn ddiarwybod iddo ei hun, yn dyfynu weithiau o rai o'r ysgrifeniadau anghanonaidd, fel o'r efengylau; ac yn fynych yn gwneyd ei ddyfyniadau yn ddigon anghelfydd. Yn wir yr ydym yn cael yr un diofalwch yn union yn ei ddyfyniadau o'r Hen Destament. A feddyliai rhywun o herwydd hyny am ddyweyd mai yn niwedd yr ail ganrif o'r cyfnod Cristionogol yr ysgrifenwyd yr Hen Destament? Nid oes gwell sail i gasglu hyny, oddiwrth drwsgleiddiwch dyfyniadau Justin, am y Testament Newydd. 2. A thybied nad oedd Justin yn niwedd yr ail ganrif yn dyfynu o'r pedair efengyl, pa fodd y gallai hyny brofi nad oeddynt yn bod y pryd hyny? Os oedd Justin yn dyfynu o ryw *Adgofion* eraill, mae yn eithaf posibl fod yr efengylau mewn bod. 3. Os nad y dynion y mae eu henwau wrthynt a ysgrifenasant yr efengylau, pwy yn yr ail ganrif y gallem dybied a wnaethai hyny? Y mae genym gryn brofiad ar allu pobl y dyddiau hyny mewn ysgrifenu. Ond yr ydym yn gweled nad oes dim cyffelybrwydd rhyngddynt âg ysgrifenwyr yr efengylau. Tra y mae yr efengylwyr yn dangos yr addfedrwydd mwyaf mewn barn a chwaeth, yn ysgrifenu am eu gwrthddrych mawr gyda phwyll a hunanfeddiant sydd yn peri i ni sŷnu atynt fwy na mwy, ac yn dangos y fath ymdeimlad dwfn o ddwyfol fawredd eu hystori, fel y maent yn ymfoddloni ar ei gosod ger ein bron yn noeth, ac heb ryfygu eu gosod eu hunain am amrantiad rhyngom a'i gogoniant,—y mae awdwyr yr efengylau apocryphaidd ac ysgrifeniadau eraill yr ail ganrif, o'r ochr arall, fel plantos yn bwhwman, yn ysgrifenu pob math o ynfydrwydd, ac heb fod yn fwy i'w cymharu â'r pedwar efengylwr nag y teimlai yr yspïwyr, a'u hystyrient eu hunain fel ceiliogod rhedyn, eu bod i'w cymharu â'r cawri, meibion Anac. Nid ydym yn gwybod am nemawr ddyrysbwnc mewn hanesyddiaeth sydd, wedi y cyfan, yn fwy anobeithiol na hwn,—pwy o ysgrifenwyr yr ail ganrif a allasai ysgrifenu y pedair efengyl? 4. Ond a chaniatâu y cyfan y mae yr awdwr hwn yn ei geisio genym,—yr hyn sydd gryn lawer yn ormod!—beth y mae wedi ennill yn y diwedd? Dyma y cyfan, nid allwn fod yn hollol sicr fod y pedair efengyl fel y maent yn awr, wedi eu hysgrifenu hyd tua diwedd yr ail ganrif. Y mae efe yn teimlo y gall oddiwrth hyny wrthod ystori y gwyrthiau, a phenderfynu yn erbyn y goruwchnaturiol mewn crefydd! Beth am yr hanes am Grist, y cydnabydda fod dechreu yr ail ganrif yn heidio gan efengylau yn ei gynnwys, ac y mae yn amlwg fod meddwl y byd yn llawn o hono? Pa un bynag a oedd y pedair efengyl wedi eu hysgrifenu hyd y pryd hyny ai peidio, *yr oedd yr eglwys yn bod,* ac yr oedd ei hanfodiad yn ymddibynu ar yr hanes am Grist. Nis gall dadl yr awdwr hwn, ar ei heithaf, fyned ymhellach na pheri i ni betruso a ydyw y pedair efengyl *yn ganonaidd;* am holl ffeithiau mawrion bywyd a marwolaeth Crist, y maent yn aros yn anwadadwy; ac y mae gwarantau y grefydd sydd yn credu ynddo, a "chan gredu yn cael bywyd yn ei enw ef," yn aros yn dragywyddol ansigledig.

*Law and God.* By W. PAGE-ROBERTS, M.A., Vicar of Eye, Suffolk. London: Smith, Elder, & Co.

DWSIN o bregethau goleu a pheraidd, yn rhoddi addysg alluog ar rai o'r cwestiynau a deimlir yn fwyaf dyrys yn ein dyddiau, ac ar yr un pryd mor ffyddlawn i'r Efengyl fel y gallai pob dyn ddeall a theimlo ynddynt lais yr hwn a ddaeth i'r byd i ddaguddio i ni y Tad. Y mae perthynas *Deddf* a *Duw* â'u gilydd wedi dyfod yn bwysig iawn bellach. Y mae mawrhydi deddfau yn cael ei deimlo yn fwy yn awr nag mewn unrhyw adeg arall yn hanes y byd. Maent yn cael eu deall gymaint yn well. Ac wrth ymwneyd yn barhäus â hwynt, a gweled y cysondeb perffaith a gogoneddus â pha un y maent yn gweithredu, y mae llawer yn anghofio y gallai fod dim y tu hwnt iddynt; ac o aros yn hir yn ngafael y cyfryw anghof, y mae y meddwl yn dyfod mor ddyeithr i'r syniad am Dduw uwchlaw y cyfan, fel y mae crybwyll ei enw Ef yn taro yn chwithig ar y glust, ac yn swnio yn "anwyddonol." Ac y mae hyn yn wir am lïaws sydd ymhell o fod wedi tynu Duw allan o'u credo. Y mae llawer o Gristionogion yn ymdeimlo yn gymaint â mawredd deddfau y byd gweledig, fel y petrusant grybwyll am ddim hyd yn nôd yn eu gweddïau, os meddyliant y gallai bod rhywbeth a fyno y deddfau âg ef. Gallant appelio at galon Duw; ond pwy all ymyraeth â gallu dall ac anwrthwynebol y deddfau? Pell iawn a fyddo y syniad o fychanu dim ar ogoniant deddfau natur. Y maent yn wir yn anfesurol tu hwnt i'n hedmygedd eithaf. Mae yn ddïau fod llawer o ddynion da wedi eu tlodi eu hunain yn ddirfawr wrth edrych gyda chilwg ar efrydiau gwyddonol, ac y mae hyny wedi gadael ar feddwl gwyddonwyr yr effaith annymunol o beri iddynt ddychymygu y rhaid fod pellder annhramwyadwy rhwng gwyddoniaeth a chrefydd; mae yr ofnusrwydd llwfr ar y naill law a'r rhyfyg beiddgar ar y llaw arall wedi dwyn pethau i'r fath ystâd fel y mae llawer yn anobeithiol am ddwyn y pleidiau at eu gilydd, ac yn ymollwng yn ddiymadferth i'r syniad nad oes dim i bobl wneyd ond dewis eu hochr. Yr ydym yn gwrthdystio yn erbyn y culni gwaradwyddus yna, ymha le bynag y delo i'r golwg. Mae yn amlwg mai yr un Duw a grëodd y byd ac a lefarodd y gair. Os oes rhyw anghysondeb yn ymddangos rhyngddynt, gallwn fod yn berffaith dawel y rhaid fod Duw y gwirionedd wedi gosod, ychydig yn îs na'r hyn sydd yn taro ein llygaid, ryw egwyddor ddwyfol o gysondeb y gellir gobeithio na fydd ein llafur yn ofer o geisio cael gafael arni. Drychfeddwl arweiniol y pregethau hyn ydyw nad yw *Deddf*, pa un bynag ai yn y byd materol ai yn y byd ysbrydol, ond amlygiad o ewyllys Duw; mai ynddo ef yr hanfoda; ac ar wahân oddiwrtho nad ydyw yn ddim. Y mae unoliaeth y deddfau oll, ynte, yn ei feddwl anfeidrol ef, yn ddigon o warant am eu perffaith gysondeb. A ydyw yn rhyw ddyben gweddïo? Dyma yr ateb a geir:—

"Mae yn eithaf posibl y gallwn ddarganfod fod cylch deddf yn ymestyn ymhell tu hwnt i'n hamgyffredion presennol. Gallai pan ydym *ni* yn gweddïo am adferiad un anwyl i ni o glefyd, fod y *meddyg* yn gweled yn eglur ewyllys Duw, ac yn gwybod fod y canlyniad mor sicr ag mewn marwolaeth y mae yn anmhosibl ei gyfnewid. Mae y naill achos a'r llall yr un mor ddarostyngedig i ewyllys Duw; yn y naill a'r llall mae ei ewyllys wedi ei dadgan; yn y naill gall ei bod yn cael ei darllen gan y sylwedydd arwynebol, ac yn y llall gan wybodaeth ddyfnach y gwyddonydd. Ond hyd nes y gwybyddom yn glir ac yn bendant beth yw ei ewyllys ef, y mae genym y fraint hyfryd a gobeithiol o ddyweyd pobpeth wrtho ef, ein dymuniadau dirgelaidd, y pethau yr hiraethwn gymaint am danynt. Efe yw ein Tad, a thrwy Grist ni a wyddom ein bod yn blant iddo—plant bychain, a'n gwybodaeth yn fechan. Mae efe yn ein hadwaen yn well nag yr adwaenom ein hunain, ac ni raid i ni ofni ymddiried ein hanghenion iddo. Hyd yn nôd os gwnawn gamgymeriad, fe rydd efe i ni ei fendith, er dyweyd wrthym, 'Ni wyddoch pa beth yr ydych yn ei ofyn;' a phan ofynwn iddo am unrhyw beth, ni a wnawn fel y gwnaeth ein Cynllun pan ddarfu iddo yntau, hefyd, weddïo gweddi yr hon i olwg ddynol na ellid ei gwrandaw, 'Fy Nhad, nid fy ewyllys i ond yr eiddot ti a wneler.' Ond nid byd materol a deddf faterol ydyw pobpeth, nac yn agos i bob-

peth. Y mae byd meddwl ac enaid sydd yn myned ymlaen wrth ddeddf, yr un fath ag y mae byd mater sydd yn dadguddio deddf; ac mor sicr ag ydyw deddfau symudiad yn y naill achos ydyw deddf gweddi yn yr achos arall. Un o feddylwyr gwleidyddol mwyaf enwog yr oes hon neu unrhyw oes arall a ysgrifenodd, 'Anhwyldeb mawr yr enaid ydyw oerder.' Fel y mae bywyd y ddaear yn y pen draw yn ymddibynol ar yr haul, felly y mae enaid dyn yn ymddibynol ar gymundeb â Duw. Sôn am 'weddi-fesurydd!' Y sicraf ydyw sefyllfa enaid dyn. Gall dynion godi a gorwedd heb weddi, a gallant yn dda deimlo fod fferdod marwolaeth arnynt. Ni ŵyr y rhai a godant wrthddadleuon yn erbyn gweddi ond ychydig am ei gwir fendith. Nid rhyw ddarn o beirianwaith meddyliol yn unig ydyw, er sicrhâu rhyw fantais dymmorol i'r hyn y mae moddion materol yn annigonol. Yn Ngweddi yr Arglwydd, yr hon ellir gymeryd yn gynllun i bob gweddi, ni ofynir ond am un fendith faterol, a hono o'r fath fwyaf syml; nid cyfoeth neu allu neu le neu ddigonolrwydd, ond angenrheidiau noethaf bodolaeth—'Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol.' Y mae pobpeth arall i'r enaid. Nid ydyw Teyrnas Nefoedd yn rhyw Undeb-dŷ yn unig, o ba un y gall y segur a'r annarbodus, ac yn wir pawb a ddêl, gael ymwared ar y pryd. O! rhywbeth tra gwahanol ydyw oddiwrth hyn. Gweddi ydyw cymundeb enaid â Duw, ei ymorphwysiad ar anfeidrol gariad. Y mae dynion a gollent bobpeth a feddant yn y byd yn hytrach na cholli gallu a llawenydd rhyfedd gweddi. Pe collent hyn, deuai bywyd iddynt yn anialwch, yn ddiffaethwch gwâg, dros ba un, yn cael eu blino gan dywod-dymhestl a gwynt marwolaeth, heb eu hadfywio gan goeden, neu gysgod, neu ddwfr rhedegog, y rhaid iddynt deithio ymlaen i'r diwedd anobeithiol. Costied a gostio, rhaid iddynt weddïo, canys y maent wedi gweled wyneb Duw yn Nghrist, ac yn awr nid allant fyw hebddo. Gallai fod eu gweddïau weithiau yn camgymeryd, ond mae yr ysbryd sydd yn eu hanadlu yn dyweyd am dano ef sydd yn gwrando ar lêf ei blant. Yn gorwedd o dan yr eisieu ar y pryd y mae anghenion dyfnach enaid sydd wedi canfod mor annigonol ydyw pethau goreu y ddaear, ac mor lawn o siomedigaeth yr hyn a ddymunasom fwyaf. Ië, mewn llawenydd newydd, fel mewn aflwydd sydd yn ein dallu, yn mlinder a rhydni pleserau wedi eu cael yn rhy fynych, yn anfoddlonrwydd dirgnöawl yr ymwybodolrwydd o fethiant ac ar uchelfanau llwyddiant, i bobl druain dlodion yn gystal ag i fawrion y ddaear yn eu hunigedd, y mae yn dyfod yr angen am weddïo a galw ar Dduw. 'Ti, O Dduw, yw fy Nuw i; yn fore y'th geisiaf. Sychedodd fy enaid am danat. Hiraethodd fy nghnawd am danat, mewn tir cras a sychedig heb ddwfr."

*The Story of the Earth and Man.* By J. W. DAWSON, F.R.S., F.G.S. Principal and Vice-Chancellor of McGill University, Montreal. Second Edition. London: Hodder & Stoughton.

NI fyddai yn hawdd cyfeirio at ddim a allai roddi i'r darllenydd well syniad am yr hyn sydd gan Ddaeareg i'w ddyweyd am y ddaear ac am ddyn, na'r llyfr hwn. Y mae wedi ei ysgrifenu gan ŵr sydd yn ddaearegwr enwog ei hunan, ac ar yr un pryd, chwedl yntau, "yn dâl ei ffydd yn y sylweddau anweledig hyny o ba rai nad ydyw hanes y ddaear ei hunan ond un o'r cysgodion sydd yn ymestyn ar faes amser." Y mae yn anffodus fod dynion mor fŷr eu hamynedd wrth geisio deongli i'w hystyr eithaf yr awgrymiadau aneglur a geir yn haenau y ddaear. Nid ydyw y wyddor yma eto ond ieuanc, ac nid ydyw wedi cael ond ychydig amser i ymwrando â'r chwedl ryfedd sydd gan y ddaearen i'w thraethu am helyntion y cynfyd pell. Ac eto yr ydym yn cael dynion enwog yn cymeryd i fyny ei dadganiadau bloesg, ac oddiwrthynt yn nyddu allan ddamcaniaethau cywrain am bethau nad all y ffeithiau hòni fod nemawr neu ddim perthynas rhyngddynt â hwynt. Mae yn wir fod y damcaniaethau hyn yn cael eu gosod ger bon ar y dechreu fel pethau posibl yn unig, a llawer o ofal yn cael ei gymeryd i wrychu o'u hamgylch âg ymadroddion sydd yn dangos nad ellir eto, o leiaf, eu hystyried fel darganfyddiadau awdurdodedig; ond y mae *ysbryd* yr athroniaeth newydd yn hòni iddynt le darganfyddiadau, ac yn myned rhagddo i arllwys dirmyg difesur ar bwy bynag a deimlo ar ei galon eu cwestiyno. Wedi nodi rhai tybiaethau digon gwylltion,—tybiaethau nad oes dim sail iddynt o leiaf yn y *ffeithiau*,—y mae Herbert Spencer yn raslawn yn ymostwng i wneyd sylw fel yma:—"Mae yn wir fod rhai meddyliau

mor ddyeithr i'r profiadau hyny o eiddo natur, oddiwrth ba rai y mae y syniad hwn wedi ei adeiladu, fel y teimlant anhawsder i'w ffurfio. I'r cyfryw y mae y dybiaeth y gallai y cynfilyn, trwy unrhyw gyfres o gyfnewidiadau, byth roddi tarddiad i fronfaethes yn ymddangos yn fympwyol—yn gymaint felly ag yr ymddangosai haeriad Galileo am ysgogiad y ddaear i'r Aristoteliaid, neu yn gymaint felly ag yr ymddengys haeru fod y ddaear yn gron yn awr i bobl New Zealand." Yr ydym yn cydnabod fod i'r crebwyll le mawr iawn yn astudiaeth natur. Trwy weithred feiddgar o'i eiddo y mae y darganfyddwyr mawrion, wrth hir aros uwch ben y ffeithiau, yn disgyn ar rywbeth sydd yn ymgynnyg i'w meddwl fel eu deddf; ac y mae blynyddoedd o ymgydnabyddiad pellach â'r ffeithiau, a phrofi eu cysondeb â'r egwyddor sydd o'u blaen, yn cadarnhâu eu tybiaeth yn fwyfwy, nes o'r diwedd ei *phrofi*. A phan y maent hwy yn dwyn eu darganfyddiadau ger bron y byd, y maent yn gallu appelio, nid at gywreinrwydd eu dychymygion, ond at y ffeithiau sydd yn eu profi. Ond er ein bod ni yn sefyllfa anffodus yr Aristoteliaid yn nyddiau Galileo, neu eiddo ein cydoeswyr anwyddonol yn New Zealand, nid ydyw ein darganfyddwyr yn gweled yn dda ein cyfeirio at y ffeithiau. Esboniad mawr y peth a arferem alw yn grëadigaeth ydyw "dadblygiad." Cymerir fod dysgeidiaeth y ddaear yn dangos fod y naill beth yn dyfod o beth arall, y cwbl yn eu dadblygiad yn ymestyn at berffeithrwydd uwch, ac heb ddim ond natur yn ddechreuad i'r cyfan. Os dyna y gwirionedd, yr ydym yn foddlawn i'w dderbyn. Ond cyn ein galw i wneyd hyny, rhaid i'r athroniaeth newydd ateb i ni y cyfryw gwestiynau â'r rhai canlynol:—Paham na fuasai rhyw olion o fodolaeth dyn i'w cael lawer yn gynt, ac yn enwedig na fuasai gweddillion yn aros o'r ymgeisiadau aneirif a wnaethai natur trwy y cyfnodau, o'r cynfilyn i fyny, cyn ei gynnyrchu ef? O'r 98 gwahanol fathau o grëaduriaid a breswylient Ewrop, yn ol Pictet, yn y cyfnod *post-glacial*, pan ddaeth dyn gyntaf i'r golwg, y mae 57 yn aros yr un fath hyd heddyw, a'r lleill wedi myned o'r golwg: pa fodd na fuasai rhyw un o'r 57 wedi ymsymud rhywfaint yn ei ddadblygiad? Os ydyw dyn yn dyfod o ryw grëadur arall, a oes rhyw gyfatebiaeth a all esbonio paham y mae efe yn sefyll gymaint ar ei ben ei hun, ac yn anfesurol uwch na'r cyfan? Ac yn debyg gyda chwestiynau eraill sydd yn ymgynnyg i'n meddwl. Y mae y llyfr hwn yn rhoddi syniad da am sefyllfa bresennol daeareg, ac yn taflu goleuni gwerthfawr ar lawer o'r cwestiynau dyrys y mae dynion yn ymboeni gyda hwynt y dyddiau hyn.

*Gweithiau Dewi:* sef Cynnyrchion Barddonol a Rhyddieithiol y diweddar Barch. DAVID JONES, (Dewi Arfon), ynghyda Chofiant o hono gan y Parch. JOHN OWEN, Penyberth; a chwech o'i Bregethau; o gynnulliad a than olygiad ei Frawd. Caernarfon: Davies.

BYDD yn dda gan liaws cyfeillion Dewi Arfon gael y gyfrol brydferth hon o'i gyfansoddiadau, a bydd ei darllen yn ddifyrus ac yn addysgiadol i lawer. Gresyn mawr oedd iddo ef gael ei alw ymaith mor fuan. "Ei haul a fachludodd tra yr oedd hi yn ddydd." Ond y mae yn gysur meddwl fod yr Un Mawr y cysegrasai ei hunan i'w wasanaeth yn gweled y gallai efe fforddio ei gymeryd o faes yr ymdrech, a'i goroni gyda'r gorchfygwyr. Yr oedd yn ŵr ieuanc o'r dymher fwyaf hynaws a chyfeillgar; yn fardd o'r fath oreu; yn "weinidog cymhwys y testament newydd;" a chan faint ei ymroddiad i bob llafur buddiol a dueddai tuag at ddyrchafu ei genedl, nid rhyfedd fod y rhai oeddynt yn ei adnabod ac yn abl i werthfawrogi ei wasanaeth, yn teimlo ei fod wedi gadael y fath fwlch ar ei ol. Y mae trwy y cynnyrchion hyn, sut bynag, yn llefaru eto; a diammheu y gwna hyny yn y fath fodd fel ag i beri i lawer, na chawsant erioed y fraint o'i adwaen neu ei wrando yn pregethu, fendithio ei goffadwriaeth. Dymunwn i'r gyfrol ledaeniad helaeth. Bydd yn fendith i'n cenedl.

---

TREFFYNNON: P. M. EVANS, ARGRAFFYDD.

# Y TRAETHODYDD.

## Y DDAU EFELL.

*(Parhâd o'r Rhifyn diweddaf.)*

### PENNOD X.

"YMGAIS I FYN'D I FYD ARALL HEB HELP DOCTOR."

Cerddodd y chwedl am yr anghydfod rhwng y ddau efell gyda'r cyflymdra hwnw a nodweddai bob newydd o'r fath mewn llânau bychain, yn enwedig cyn i newyddiaduron ddyfod yn bethau mor gyffredinol, a thrwy hyny ranu y dyddordeb mewn athrod rhwng y lleol a'r cyhoeddus. Daeth y newydd a'r achos o hono yn fuan i glustiau Mr. Duncombe, yr hwn a deimlai yn ofidus iawn o'r herwydd; i glustiau John Rhys, yr hwn nis gwyddai yn iawn pa beth i'w feddwl; i glustiau Nicodemus a Peter Prys, a'u meddwl hwy ydoedd mai y peth goreu yn nesaf i gladdu ydoedd prïodi.

Dywed hen air, "mai llygriad y peth goreu ydyw'r llygriad gwaethaf," ac y mae casineb brodyr yn ddïarebol am ei chwerwder; ar yr un egwyddor, o bob casineb brodyr, casineb efeilliaid ydyw y chwerwaf. Parhäodd yr elyniaeth gyndynaf rhwng John ac Ifan ar ol y noson y cymerodd yr ymrafael hono le yn y berllan. Ceisiodd Mr. Duncombe lawer tro eu cymmodi yn ei ddull addfwyn a thadol arferol:—

"Chwi anghofio eich tad a'ch mam," ebai ef; "nhw byw'n heddychol; Ysgrythyr dyweyd wrth bawb am beidio cweryla; cweryla yn beryglus iawn; yr apostol Ioan yn dyweyd fel hyn:—'Yr hwn sydd yn casâu ei frawd, yn y tywyllwch y mae; * * * * ac ni ŵyr i ba le y mae yn myned, oblegid y mae y tywyllwch wedi dallu ei lygaid ef.' Chwi clywed beth mae'r Gwirionedd ei hun yn ei ddyweyd?" A dagrau breision yn rhedeg i lawr ei ruddiau têg, gwasgai yr ymadrodd, "Pa le y mae yn myned," at eu hystyriaeth. "Nis gwyddoch chwithau'ch dau ddim beth fydd terfyn eich casineb. Ysgydwch ddwylaw, fel plant da; syrthiwch ar yddfau eich gilydd, ac ymgusenwch."

Ond safai y ddau lanc fel delwau, heb symud cymal nac yngan gair; a chydag ochenaid, deallai yr offeiriad fod ei gynghor a'i fygythiad yr un mor ddieffaith. Tröai ymaith yn athrist, tan ddeisyf arnynt beidio dwyn gwaradwydd ar eu rhïeni marw, nac ymgyndynu yn erbyn Gair Duw.

Yr oedd symudiadau eraill yn cymeryd lle yn y cyfamser. Bu Hywel Puw yn ddiorphwys yn holi ac yn archwilio am sicrwydd a dilysrwydd y wybodaeth a gawsai gan y tafarnwr yn y bennod flaenorol; ac wedi ei foddloni yn hyny o fater, bu yn ymchwilio yn ddyfal yn yr ardal, ond gan gadw amcan ei ymchwiliad yn ddirgel, pa un o'r ddau efell oedd yr hynaf. Yr oedd cryn wahaniaeth barn ar y pwnc. Rhai a ddywedent mai John, ac eraill mai Ifan. Yr oedd y meddyg a weinyddasai ar amgylchiad eu genedigaeth wedi marw; ond dywedai John Rhys yn bendant mai John oedd yr etifedd; tra yr oedd yr hen fydfaeth yn tystio yn gadarn mai Ifan ydoedd, ac yn attegu ei thystiolaeth ei hun trwy sicrhâu mai dyna a ddywedai eu mam hefyd. Yn ngwyneb y pethau hyn, profodd Hywel Puw ei hun yn ddyn call trwy fabwysiadu daliadau y fydfaeth, a hysbysodd hyny yn ddigon croew wrth ei westtŷwr.

Pa un ai mewn canlyniad i benderfyniad Hywel Puw, ynte beth, daeth cyfnewidiad dros serch Jemima Sophia Rees. Edrychai yn fwy chwarëus ar Ifan nag o'r blaen, pa bryd bynag y cyfarfyddent; a thòrai ei haddunedau a'i hoediau caru efo John yn amlach nag o'r blaen. O wythnos i wythnos, dangosai mewn gwahanol ffyrdd gynnydd ei serchlonrwydd at y naill, a'i hoerfelgarwch at y llall, nes y trôdd y llestri o'r diwedd â'u gwyneb yn isaf. Ymhen ychydig, aeth ymweliadau John â'r *Afr* yn anamlach, ac ymweliadau Ifan yn amlach. Gostyngai ysbryd John fel yr ymgodai ysbryd Ifan. Nid oedd undyn byw bedyddiol yn adnabyddus âg achos y cyfnewidiad hwn oddigerth John Rhys, ac, fe allai, Jemima Sophia Rees ei hun. Tybiai John, druan, yn chwerwder ei enaid, mai ei gloffni ysgafn ef a barasai yr holl gyfnewidiad. Mor ddall! mor anhysbys o un o neillduolion arbenicaf serch! Nid yw anaf dibwys o'r fath ond gwrthgyferbyniaeth, yr hwn sydd bob amser yn dwyshâu ac yn angerddoli y teimlad o gariad at y dymunolion eraill fyddo ar y gwrthddrych. Fel y mae'r brychau a welir ar wyneb yr haul yn gwneyd y rhanau dysglaer o hono yn ddysgleiriach, y mae'r màngeni ar wyneb prydferth yn ei wneyd yn brydferthach. Ond yr hyn a archollai ei galon ddyfnaf o unpeth ydoedd y wên wawdus ar wyneb ei frawd pa bryd bynag y cyfarfyddent wyneb yn wyneb, yn tarddu, nid oedd ammheuaeth ganddo, oddiar y fuddugoliaeth a ennillasai trwy ei ddisodli ef yn ffafr Jemima Sophia Rees. Yr oedd ymddygiad oerfalch y rhïan yn galed, ond ymddygiad ei frawd yn annyoddefol.

Ymhen ychydig fisoedd ar ol hyn, un cyfnos tawel, fel yr oedd y ddau ŵr teilwng y soniasom eisoes gryn lawer am danynt, sef oedd y rhai hyny, Meistri Peter Prys a Nicodemus Dansi, yn cymeryd eu rhodfa hwyrol, yn ol eu harfer pan fyddai'r hîn yn brâf, a'u Meistr Angeu yn lled segur, daethant at lwyn o goed ar lechwedd bron gwyrddlas; a chan fod y tywydd yn gynhes a hwythau yn lluddedig, eisteddasant ar y glaswellt mewn llecyn neillduedig o dan bren mawr

cysgodol a safai yn yr allt hono fel tywysog ymhlith ei bobl; ac ymddyddan yr oedd y ddau ŵr teilwng am y naill beth a'r llall. Ymgomio am yr hen amser pan oeddynt hwy yn blant, a chymharu y dyddiau da hyny pan elai holl bobl barchus i'r Eglwys ar y Suliau, neu yr arosent gartref, â'r presennol oedd ger eu bronau, pan oedd y llïaws wedi syrthio mewn cariad hefo *Dissent*, ac na wnai dim y tro ond y capel a'r capel o hyd, Sul, gŵyl, a gwaith.

"Mae ganddynt ryw foddion yn y capelau yma bob nos o'r wythnos," ebe Prys; "seiat un noswaith, tri neu bedwar math o gyfarfodydd gweddi, a chyfarfod cânu."

"Ie, cânu," ebe Nicodemus, "mae cenedl y Cymry wedi myn'd yn genedl o Jack y Nicos—ymbluo a chânu yn dragywydd, a phob corfran yn meddwl mai y fo ydyw'r mwyna'i lais yn yr holl wlad."

"Rhywbeth yn y capel yna bob nos ond nos Sadwrn," ebe Prys, gan fyned ymlaen efo'i araeth ar annuwioldeb yr oes hono; "mae nhw yn gadael nos Sadwrn yn gyffredin yn wâg er mwyn i'r dynion gael amser i *shavio*, ac i'r merched fyn'd i brynu *hartifisions* at drannoeth. A phe gwelech chwi y llyfrau rhyfedd sydd ganddynt. Mae llanciau 'rwan yn prynu Esboniad cyn prynu *watch*, a chwi ellwch weled yn nhai pobl ieuainc newydd brïodi glamp o Fibl Teuluaidd, ac heb yr un cloc gwerth sôn am dano. Ac yn lle yr hen *dresser* dderw fawr, a shilffoedd arni, ac ar y shilffoedd rês o ddysglau piwtar, llyfrgell, fforsyth, ydyw y drefn, a hono yn cynnwys tri neu bedwar Corff o Dduwinyddiaeth."

"Yn llawn o gyrff fel mynwent," ebe'r Hen Dderyn, megys rhwng cromfachau.

"Mi a glywais ddau hoglanc yn croesholi eu gilydd rhyw ddiwrnod yn ddiweddar ar y pwnc dyrys hwnw, Pa sawl B sydd yn y bennod gynta' o Genesis."

"Pwysig iawn," ebe'r Hen 'Dderyn. "Ond, gan gofio, a glywsoch chwi pwy a gafodd ei gladdu yn Llanioan yr wythnos ddiweddaf?"

"Na wn i, yn wir," ebe Prys, "rhywun wedi marw mae'n debyg." Dyma'r gair digrifaf a ddywedodd Mr. Prys yn ei holl fywyd, ac efe a chwarddodd am hir hir amser, ac a agorodd ei enau anferth yn lletach nag y gwelodd hyd yn nôd ei gydymaith hi erioed o'r blaen; mor ryfeddol o lydan fel y tŷnodd hwnw ei hunan yn ol rhag ofn syrthio i'r agendor a ymagorasai mor sydyn yn ei ymyl. "Ond pwy oedd y marw hwnw, Nico?" ebai ef, ymhen ysbaid.

"Morys Prisiart, y Sabbothwr, fel y byddai pobl yn ei alw fo. Wedi d'rysu'n lân, druan, ar bwnc y Sul yma. Fynai ef i neb wneyd na rhych na gwellt ar y Sul; dim gwaith, wrth reswm, ac yr oedd porthi anifeiliaid a godro gwartheg yn bechod yn ei farn ef, a choginio bwyd yn dòri'r Sabbath yn dipiau mân. Ysgrifenodd lawer o lythyrau at ein brenhines ifanc, yn deisyf arni roi attalfa ar yr anfadrwydd o gludo llythyrau ar y Sabbath; ac wrth nad oedd o yn cael yr un ateb i'r naill lythyr ar ol y llall, aeth i fyny i Lundain yn unswydd â llythyr yn ei law er mwyn ei roddi i'r frenhines ei hun yn bersonol; ond dal i gario a derbyn llythyrau yr oedd pobl, a dal i ocheneidio ac ymlid yr oedd Morys. Ond wrth weled nad oedd ei ymdrechion yn llwyddo, rhoes ei ysbryd i lawr, a phwysodd y peth gymaint ar ei feddwl, fel y bu raid i'w berthynasau yn y diwedd, er mwyn ei ddïogelwch ef ei hun a'i

anwyliaid o'i ddeutu, ei yru i wallgofdŷ. Yno, ei waith beunyddiol a dibaid ydoedd ysgrifenu llythyrau drachefn at y frenhines ar brif bwnc ei fyfyrdod. Fe ysgrifenodd ddigon o'r llythyrau hyn, fel pe yr aethent i gyd i ben eu taith, buasai yno ddigon o waith i un dyn i wneyd dim ond eu darllen ar hyd y dydd. Ond yr oedd ceidwad y lle yn rhy gall, ac yn eu cadw mewn cîst fawr; a phan elai hono'n llawn, taflai ei chynnwys i'r tân, fel y byddai'n wâg i'w llanw eilwaith. Nid oedd undyn byw, wrth gwrs, yn dysgwyl ateb i un o honynt; ond wrth weled ei holl appeliadau yn ddisylw, ysgrifenai yn fwy diwyd nag erioed. Ymhen rhai misoedd ar ol iddo fod yn y sefydliad, gwnaed *railway* newydd heibio i'r lle, a phan agorwyd hono, a'r *trains* yn rhedeg ar y Sul, taflodd y pechod hwn y pechod o gario llythyrau i'r cysgod; elai yn gynddeiriog o'i go' pan glywai chwiban a thrwst y ceffyl tân ar y Sabbath yn myned heibio. A phythefnos i ddydd Sul diweddaf, ychydig cyn amser y trên, dïangodd dros un o'r muriau allan o'r lle. Unionodd at y *line*, safodd ar ei chanol a'i ddwylaw ar lêd, a'r gwynt yn chwalu ei wallt gwŷn teneu; gwaeddai nerth ei ben, 'Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath.' Daeth y *train* ymlaen yn ei amser, ac ni welodd y gŷriedydd na neb arall y gwallgofddyn mewn pryd i rwystro yr ansiawns; ysgubwyd ef i fyd arall â geiriau y pedwerydd gorchymyn yn ei enau. O! 'roedd yno glydigaeth parchus. Dim ond bynddigions. Canys yr oedd Morys wedi gofalu yn dda am ei eiddo heblaw am y Sabbath. Pawb yn ei *hatband*, a'i fenyg, a'i frethyn du. Un felly fyddai'n alw yn glydigaeth iawn."

"Pwy wnaeth yr arch, tybed?" ebai Peter Prys, "mae'n siwr eu bod hwy yn gwybod na wna i byth arch i ddyn wedi lladd ei hun, yn enwedig os capelwr fydd o."

"Arch blwm o Lunden," ebe'r Hen 'Dderyn; "ond wyddwn i ddim erioed o'r blaen eich bod chwi mor ticlar hefo'ch cwsmeriaid."

Fel hyn y treuliodd y ddau rychor hanner awr, fe ddichon, pan yparodd sylw waglyd yr Hen 'Dderŷn am ticlargarwch Mr. Prys yn ei gwsmeriaid i'r gwron hwnw rhyw hanner mòni, ac a gynnyrchodd hefyd ddystawrwydd o rai mynydau rhyngddynt. Yn yr egwyl hono, clywai y ddau sŵn cerddediad ar y glaswellt o'r tu cefn i'r pren bôn-lydan yr eisteddent a'u cefnau arno. Trôdd Nicodemus i edrych yn llechwraidd pwy oedd yno, a chyda'i lygad mwyaf gwelai John Jones, mab y *Ddraig*. Yr oedd golwg gyffrous arno; ei lygaid yn wylltion, a'i holl ymddangosiad yn ddelw o bryder, ing, a thrallod. Estynodd y Tòrwr Beddau ei law at ei gydymaith, gan awgrymu arno i fod yn dawel a llonydd; a gwelai ar hyny y llanc yn gafael mewn cainc o'r pren a dyfai yn llorwelaidd, fel pe buasai yn profi ei nerth. Yna gollyngodd hi, a thŷnodd gadach cryf o'i logell, gan ei droi fel gwden, a gwneyd rheffyn o hóno.

"Deg o fynydau bŷrion," ebai ef, "a'r tenyn yma am fy ngwddf, a bydd pobpeth drosodd; ni bydd wed'yn yr un John i'w gasâu gan ei frawd; nac i athrodwyr chwerwon Llanllonydd estyn bŷs ar ei ol, a'i alw'n symlyn gwrthodedig; nac i ferch yr *Afr* luchio talpiau o iâ o'i llygaid gleision ato er mwyn ei fychanu. Fe baid y galon flin a gwaedu, fe dderfydd y nosweithiau hirfaith effro, a'r cûr poenus yn y pen poeth."

A rhedai ffrŵd gynhes o ddagrau o lygaid John Jones wrth feddwl y fath fyd gwâg a fyddai hwn wedi iddo ef druan gymeryd ei hunan o hóno; dagrau, yr ydym yn ofni, a ffrydient yn hytrach tros sefyllfa alarus y byd na thros ei gyflwr anffodus ef ei hun.

"Ond i ba le yr wyf yn myned?" ebai efe, ymhellach; "naid yn y nos dywell ydyw hon, nad oes modd ei neidio yn ol. Pe gwelwn yr ochr draw i'r llèn yr wyf ar wneyd adwy ynddi, hwyrach ei bod yn waeth hyd yn nôd na'r ochr hon. Ond dyma'r cwestiwn i'w benderfynu, Pa un ai tu yma ai tu draw y mae fy ffryndiau goreu? Yma nid oes neb yn malio mwy am danaf na phe bawn yn aderyn y tô; neb yn fy ngharu, neb fedraf innau garu, yr hyn sydd wedi magu casineb yn fy nghalon at bawb a phob peth, nes y mae hyd yn nôd gwyneb hawddgar natur, a'i miloedd gwrthddrychau tirion, yn gâs-bethau yn fy ngolwg. Yr ochr draw, y mae fy nhad a fy mam. O! ïe, fy mam anwyl! Bychan y gŵyr hi am flinfyd ei phlentyn. Daw hi i'm cyfarfod i'm cofleidio beth bynag. Gan hyny, at fy nhad a'm mam!"

Taflodd y cadechyn tros y gangen, a chwlwm rhedeg arno, a phan yn ysgyffalu i fyny er rhoddi ei ben yn y cwlwm, rhuthrodd y ddau glustfeiniwr o'u hymguddfa, a chymerodd yr olygfa fwyaf cynhyrfus a fu yn y llwyn hwnw erioed le:—

"Hold!" ebai Peter Prys, "nid fel yna ychwaith; dyma i chwi ffŵl —yn marw o hono ei hun, heb gymhorth doctor!"

Tarawodd eu hymddangosiad sydyn ac annysgwyliadwy yr hunanleiddiad â diffrwythder; gollyngodd y rheffyn yn hollol ddiymadferth, a syrthiodd ar y glaswellt fel un marw. Ymhen encyd daeth yn raddol ato ei hun, a chodwyd ef ar ei draed, pan yr edrychai fel un yn dadebru o gwsg cythryblus, ac o hunllef drom.

"Beth sydd yn dy flino di, dywed?" ebai Mr. Prys, drachefn; "yn myn'd i ffwrdd oddiwrthym heb wneyd dy ewyllys."

"Na dywedyd dy bader," ebai'r Hen 'Dderyn,

"Wnaethwn i yr un arch i dy fath di yn dragywydd," ebai'r arch arch-wneuthurwr.

"Thoraswn innau yr un bedd i ti yn dragywydd byth ond yn nghefn yr Eglwys; ac ni chawset ti na *Phassing Bell* na pheth—dim ond dy gladdu fel ci," ebai Nicodemus.

"Buasai raid dy gladdu di berfeddion y nos, heb ddarllen llith na gwasanaeth uwch dy ben, mwy na phe buaset ti erioed heb dy fedyddio yn enw y Drindod Sanctaidd," ebai'r Clochydd.

"Na chàreg ar dy fedd," ebai Nicodemus, "mwy na phe buaset yn bytaten *Pink Eyes* Llanefydd."

"Buasai dy ysbryd yn llamsachu fel *mwnci cat* hyd y coed yma am oesoedd lawer, a buasai raid dwyn rhyw ddyn cyfarwydd bellder o ffordd er mwyn dy ddarllen i lawr, a'th gyflwyno i rhyw gors tra rhedai dwfr, er mwyn cael llonydd genyt."

Tra y traddodent y ddeuawd farnedigaethol a difrifol hon, edrychai y llencyn yn hurt ar y ddau; ac wedi adfeddiannu ei lawn ymwybodolrwydd, tòrodd allan mewn tôn lethedig:—

"Yr wyf wedi pwyso y cwbl a ddywedwch yn fanwl," ebai ef.

"Mewn clorian pengoll," ebai Peter Prys; "llanc ifanc, cryf, parchus fel chwi yn dysgu myn'd yn *hangman*. Rhag cywilydd."

"Ac yn crogi ei hun yn y wers gyntaf," ebai'r llall; "heit o hono!"

"'Does ond treio eto am dani hi, ynte," ebai'r llanc; "fedra'i ddim byw yn hwy yn Llanllonydd yma; mae'r nefoedd uwch ben yn gwgu arnaf, a'r ddaear yn grasboeth tan fy nhraed; gelyn i mi ydyw pawb yn y lle, a bydd ganddynt destun newydd bellach; galwent fi o'r blaen y 'Gwrthodedig,' o hyn allan fe'm gelwir yr 'Hunanleiddiad.'"

"Twt, fydd undyn doethach o herwydd hyn," ebai Peter Prys.

"*Fedrwch* chwi gadw cyfrinach?" ebai'r llanc yn eiddgar; "cadw yr hyn a welsoch yn guddiedig hyd yn nôd oddiwrth eich gwragedd a'ch plant."

"Fedrwn ni? medrwn," ebai'r Hen 'Dderyn, yr hwn oedd yn addawr hynod o ddoniol mewn amgylchiadau o'r fath.

"Oddiwrth bob clust," ebai'r Clochydd, "ond un pâr; rhaid dyweyd wrth ein meistr; rhaid i Mr. Duncombe gael clywed; a hyny am dri rheswm: 1af. Am mai efe ydyw'r Person; 2il. Am mai efe ydyw'r dyn goreu sydd yn y plwyf; 3ydd. Am mai efe ydyw eich ysgutor chwithau."

Cydsyniai Nicodemus yn rhwydd efo ei uwch-swyddog ar ddoethineb y weithred o hysbysu y cwbl i Mr. Duncombe; a gwastraff ac oferedd a fu holl ymgais y llanc i gael ganddynt beidio, er iddo arfer amryw resymau cryfion, a therfynu mewn gwawdiaeth lem trwy ofyn os oeddynt hwy, er yn Brotestaniaid mewn enw, fymryn gwell na Phabyddion, pan y cyffesent bobpeth i'r offeiriad. "Ond gan eich bod chwi yn benderfynol," ebai ef, "gwell fyddai i ni fyned a'i hysbysu yrwan; ac mi ddeuaf gyda chwi i weled na fo dim chwanegu na thynu oddiwrth y gwirionedd." Ac felly fu. Cawsant yr hen offeiriad yn ei barlwr; a Pheter Prys, fel y bôd pwysicaf nid yn unig o'r ddau dyst, ond yn yr holl blwyf, ac eithrio y person yn unig,—hyny yw, yn marn Mr. Prys ei hun,—efe a weithredai fel llefarydd; a thêg ydyw hysbysu na chafodd John Jones fawr o waith i gywiro y traethiad. Yr oedd yn amlwg fod yr hanes yn poeni yr hen ŵr yn fawr iawn; canys ocheneidiai yn ddwys, edrychai gyda syndod oedd yn ymylu ar anhygoeledd; ac ar derfyniad yr hanes torodd ei deimladau allan yn naturiol yn ngeiriau y Litani:—"Oddiwrth bob drwg ac anffawd; oddiwrth bechod, oddiwrth ystryw a chyrch y cythraul, oddiwrth lid, ac oddiwrth farnedigaeth dragywyddol;" ac atebwyd ef yr un mor naturiol gan y Clochydd a phe buasent yn dwyn ymlaen y gwasanaeth cyffredin yn y deml blwyfol, "Gwared ni, Arglwydd daionus." "Ië, oddiwrth gyrch y cythraul," ebai'r offeiriad, gan ail-adrodd yr ymadrodd mwyaf penodol i'r amgylchiad, "gwared ni Arglwydd daionus; gwared ni, gwared ni, Arglwydd daionus."

"Wel, wel, John," ebai ef drachefn, "beth chwi meddwl gwneyd."

"Meddwl, syr, myn'd o'r llân yma i rywle," ebai John, yn benisel a thrist.

"Onid oes manau eraill ar y *ddaear hon* y gallech chwi myn'd iddynt, os chwi wedi blino ar Llanllonydd? Fi sŷnu atoch chwi, John; ysgolor da, bachgen cryf, iach, hardd; dylech chwi ymfudo i rhyw wlad estronol, lle chwi gweled gwynebau newyddion a golygfeydd newyddion; a, maddeuwch i mi am ddyweyd, John, merched lawn mor bropor a Jemima Sophia Rees."

Yr oedd yn amlwg fod awgrymiad Mr. Duncombe yn newydd i'r llanc, ac wrth fodd ei galon, canys efe a atebodd ar ffrwst,

"Ymfudo i ba le, syr?"

"Chwi ymfudo i'r America; digon o dir yno; digon o le i bobl gerdded heb sathru traed eu gilydd; digon o goed uchel y gall rhai fydd wedi blino ar y byd hwn fyned oddiarnynt i fyd arall."

Yr oedd y sylw olaf yn un tra annysgwyliadwy i ddyfod o enau Mr. Duncombe; parodd gryn syndod i'r ddau dyst, ond archollodd y llanc i'r byw; er nad yw yn profi dim ond hen wirionedd athronyddol, sef, mai gan y dyn tyneraf y ceir fynychaf y wawdiaeth lèmaf. Pa fodd bynag, tarawodd y llanc fel ergyd trydan; disgynodd ar ei liniau o flaen yr offeiriad, rhoes ei ddwylaw yn mhleth, trôdd ei lygaid tuag i fyny, gan ddodi ei hunan yn yr agwedd fwyaf gweddigar. "Dduw trugarog a graslawn," ebai ef, mewn tôn angerddol a thanllyd, "yn dy erbyn di, a thydi yn unig, y pechais. Yn ol dy fawr drugaredd, maddeu i mi fy amryfusedd pechadurus; diolch i ti am ddanfon y ddau Pharisead hyn i'm gwaredu rhag cyrch y cythraul; agor galon dy was, Mr. Duncombe, i faddeu i mi, fel y maddeuot tithau iddo yntau, trwy haeddiant yr Hwn a demtiwyd yr un ffunud a minnau, ond Efe heb bechod."

"Amen," ebai Mr. Duncombe, a dagrau o foddlonrwydd yn rhedeg o'i lygaid; gan y teimlai yn ddïogel yn ei feddwl fod y weddi hono yn brawf fod y bachgen wedi ei symud o gyflwr peryglus a gwarthus yr "Hunanleiddiad."

## PENNOD XI.

### YMFUDO.

TREFNODD Mr. Duncombe, fel ysgutor doeth, yn ddioedi eiddo yr efeilliaid, modd y gallai John Jones fyned i'w daith; ac ni oedodd yntau yn cychwyn, a'r rhan a ddigwyddai iddo o'r da gydag ef. Ni wyddai odid i neb yn y Llàn ei fod ar fedr eu gadael; ni welodd efe y gwyneb têg achlysurydd ei holl anghaffael; ysgôdd y gwyneb hwnw, fel yr ysgöir goleuni gan lygaid gweiniaid; bỳr a brysiog, eto serchog ar y cyfan, oedd yr ymddyddan ymadawol a gymerodd le rhyngddo a'i frawd Ifan. Yr oedd y teimladau o iâ a hanfodasai rhyngddynt er's rhai misoedd, wedi toddi ychydig yn ngwrês yr amgylchiadau poethion yr aethai John trwyddynt yn ddiweddar; a'r "tân" hwnw, y dywed yr hen ddïareb, sydd mor "hawdd i'w gynneu ar hen aelwyd," yn dechreu gwreichioni tipyn ar eu haelwyd hwythau. Llechai deigryn yn nghil llygad pob un o'r ddau, fel pe buasai yn gwylio ei gyfle i neidio o'i guddfan. Rhoes Mr. Duncombe Fibl bychan i'r ymfudwr, gan ei annog yn ddwys a thaer i'w ddarllen mewn hindda a dryghin, ar fôr ac ar dir; a'i wneyd yn llusern i'w draed ac yn llewyrch i'w lwybrau yn y tir gwyllt, a'r wlad anghyfanedd yr oedd efe a'i wyneb arni.

Cyrhaeddodd Lerpwl yr un noson ag y cychwynasai o Lanllonydd. Yr oedd hyny ar nos Wener. Cafodd nad oedd y llong y bwriadai hwylio gyda hi i gychwyn o'r porthladd hyd y dydd Mawrth canlynol.

Rhoes hyn ysbaid iddo yn y Brifddinas Gymreig y teimlai yn dra balch o honi. Yr oedd yn llettya mewn tafarndy a elwid yn "Dŷ Cymreig," yr hwn a safai mewn heol gûl heb fod ymhell oddiwrth yr afon; ac yn talu swllt y nos am ei letty, a swllt y pryd am ei fwyd. Anhawdd a fuasai iddo gael ei osod mewn sefyllfa i weled halogrwydd bywyd isel yn well nag yn hon. Am y bwyd, gweddus yw diolch am dano bob amser; ond pe buasai wedi ei goginio yn fwy chwaethus, a'i arlwyo ar ddysglau glanach, buasai llai o achos grwgnach ynghylch y pris. Yr unig beth a gymerai le yn Gymraeg yn y tŷ ydoedd rhegi a melldithio; yn hyn yr oeddynt bron a gyru Bedlam ei hunan i'r cysgodion. Ymgnawdoliad o'r desgrifiad a geir yn y "*Greglais o'r Grogloft*" oedd y tŷ a'r tylwyth. Ni chlywsai y llanc yn Llanllonydd ddim byd tebyg iddo, er iddo gael ei ddwyn i fyny mewn gwestty, ac er nad oedd Llanllonydd yn un o'r llânau duwiolaf yn y wlad.

Ac wedi esgyn oddiwrth y genfaint gableddus i'w ystafell wely, nid oedd ei sefyllfa nemawr gwell. Mewn goruwch-ystafell fechan, nas gallai dyn sefyll ynddi heb daro ei benglog yn y nenfwd, yr oedd tri gwely, o'r fath ag oeddynt, a dau yn cysgu yn mhob un, a John ydoedd un o'r chwech. Dyn a'i helpo! ychydig a gysgodd, a synfyfyriodd lawer yn yr ystafell ansyber hono yn ystod oriau digwsg ei nosweithiau meithion, tra yr oedd ei gymdeithion haner-meddwon yn chwyrnu yn braf. Y mae yn anhawdd portrëadu dyfnder anghysur dynol yn gywirach nag fel y ceid ef yn y Tai Cymreig hyn flynyddau yn ol.

Mewn cymhariaeth i'r ffau hon, yr oedd yr heol isel y safai y cyfryw o'i mewn yn ddedwyddach ei hunan i'n hymfudwr ieuanc; a'i bleser ydoedd crwydro yn ddiamcan hyd heolydd y dref, a sylwi ar agweddiad prysur y preswylwyr, gan ddyfalu beth allai fod meddyliau y dynion myfyriol a ruthrent heibio mor chwim a disylw o bobpeth. Canys yr oedd John yn fachgen meddylgar, ac yn sylwedydd craff ar y dygwyddiadau a gymerent le o'i ddeutu; ac yn dipyn o fardd hefyd, hyny ydyw, "yn ewyllysiwr da i'r trâd," yr hyn, a siarad yn hunangar, sydd yn well, gan ei fod megys yn gallu mwynhâu yr ardd-flodau, heb lafurio dim gyda'r garddu.

Un o'r gwrthddrychau a'i difyrodd, a'i dyddorodd, ac a'i synodd fwyaf o'r cwbl, yn ystod ei grwydriadau ar hyd heolydd Lerpwl, ydoedd derwen fechan, a welodd ar fin heol boblog, yn ceisio byw a ffynu. Ac er nad amcanodd erioed brydyddu o'r blaen, yr oedd ymddangosiad y gwrthddrych hwnw iddo mor darawiadol—a dylid hefyd—gymeryd i ystyriaeth ansawdd gyffröus ei feddwl ef ei hun ar y pryd—fel nas gallai yn ei fyw ymattal heb ymgais at wneyd yr anerchiad canlynol iddi:—

DERWEN ODDICARTREF.

Ai yma 'r ydwyt, blentyn glâs y goedwig?
Yn dwyn dy benyd ar dy ben dy hun;
Heb frawd, na chwaer na mam—druanes unig!
Yn dwys anadlu awyr halog dyn;
Pwy'th gludodd o'r anialwch gwyllt coedwigol,
I edwi mewn anialwch gwylltach dynol?

Mae'r awyr o dy ddeutu 'n fwll ac afiach,
Trwy fŵg a thawch y gwêna arnat haul;
O wlith y nos ni byddi fawr gymhenach—
Mae 'n barddu i gyd cyn cyrhaedd ar dy ddail

Crinasai coedydd eraill—ywen, onen,—
A da fod genyt tithau galon derwen.

Nid oes aderyn yma ar dy gangau,
   Yn tiwnio 'i danau fore gwŷn a hwyr;
A gwiwer sionc ysgafnlon rhwng dy frigau
   Ni welir byth yn chwareu—Duw a'i gŵyr!
Alltudiodd ffawd dydi o fyd gwiwerod—
Dynghedfen flin a chroes!—i fyd epäod.

A maddeu im' am ofyn it', pwy ydwyt?
   Mae 'th ddail yn debyg i ddail derw Clwyd;
Mi glywais am Freninbren praff y Ganllwyd,
   Ai un o deulu gwydn hwnw wyd?
Wrth edrych gylch y fan yr wyt yn sefyll,
'Does fodd nad plentyn wyt i Geubren 'r Ellyll.

Er glased yw dy frigau hoywon heddyw,
   Er teced wyt, yn wyneb rhwystrau gant;
Daw gauaf ar dy warthaf—try di 'n welw,
   A'th gu ogoniant fwrir oll i bant;
Pregetha ymlaen ar freuder oes, a dywed
Yn hyf, Y sawl sydd ganddo glust gwrandawed.

Meddyliodd John ar ol cyfansoddi y gân flaenorol, yr hon a gostiodd iddo rai oriau o bensyfrdandod, ac o boenau eraill nodweddiadol o esgoreddfa awenyddol galed, ei fod yn fardd tu hwnt, ac y byddai raid iddo gael ffugenw yn ddïoed. Yn hyn nid oes fawr achos beio arno, gan y gellid yn hawdd nodi aml i berchenog ffugenw cyhyd a choes rhaw heb erioed roddi prawf o'i ddawn i allu dodi cynifer a hyn o eiriau mewn mydr. Ni raid dyweyd iddo ei thrysori yn ofalus fel ei gyntaf a'i unig-anedig blentyn awenyddol; ond bu mor synwyrol, er ei fod yn gorfod cydnabod fod gwythïen o'r mŵn barddonol yn rhedeg trwy ei benglog, nad oedd ychwaith yn ddigon cref i dalu am ei gweithio. Gŵyr llaweroedd, er eu gofid, am lïaws o wythïenau cyffelyb yn ngwlad genedigaeth John.

Bore Sabbath, tra yn pererinio ar hyd un o'r heolydd, mewn ymchwil am rhyw gapel Cymraeg i fyned i addoli ynddo, gwelai ŵr oedranus ymhlith y llïaws a ddeuent ar hyd y llwybr tuag ato, a dynodd ei sylw fel un a welsai yn rhywle o'r blaen. Yr oedd ganddo gôt o frethyn dulas am dano, a botymau prês gloywon arni, gwasgod stŵff cartre', clôs pen glin, a hosanau cochddu'r ddafad, ac am ei ben yr oedd het befar drom, wedi gweled dyddiau gwell, a'i brwsio yn ol pob golwg o chwith. Adwaenodd ef wrth yr het ymhell cyn iddo gyrhaedd ato. Ifan Dafydd, yr Ymneillduwr, ydoedd, a mawr oedd syndod y ddau o weled y naill y llall mor bell oddicartref, a'u llawenydd o weled rhyw wyneb a adwaenent.

Welais i erioed gynifer o bobl yn fy mywyd! John bach," ebai'r hen ŵr, ar golli ei anadl, "ac y mae pob un o honyn' nhw'n ddiarth i mi,—ac yn debyg iawn iawn i'w gilydd fel twmplins un afal."

"I ba le yr ydych chwi yn ceisio myn'd, Ifan Dafydd?" ebai John.

"I hen gapel Williams o'r Wern, machgen i," ebai'r hen ŵr; "ddoi di gyda fi."

Cydsyniodd y llanc yn rhwydd, ac wedi peth holi a llygadrythu, cafwyd hyd i'r fan, a chafodd y ddau eu hunain yn eistedd mewn capel

helaeth, ac yn ei bulpud ddyn tàl, main, o bryd a gwallt du, yn parablu yn arafaidd y Gymraeg buraf ei harddull. Pwnc o athrawiaeth ydoedd mater y bregeth, yn cael ei drîn a'i drafod yn ddeheuig, a'i egluro mor dryìwyr nes gallai y distadlaf ei amgyffred ei ddirnad. Ymddangosai yr hen ŵr fel pe buasai yn mwynhâu y weinidogaeth, a defnyddio cymhariaeth isel i osod allan bethau uchel, fel pe dodasi ddyn newynog i fwynhâu gwledd frâs; tra yr ydoedd John hefyd yn cael pleser mawr wrth wrando, yn enwedig ar y drychfeddyliau hedegog a frithent y cyfansoddiad fel egluriadau ar yr athrawiaeth. Ac ar ddiwedd yr odfa, aeth Ifan Dafydd, a'i gyfaill ieuanc gydag ef, ymlaen at risiau y pulpud er mwyn ysgwyd llaw â'r pregethwr; ac wedi i'r gweinidog a'r dïacon gyfarch gwell i'w gilydd, trôdd yr hen ŵr at John, gan wneyd ei enw a'i ymdaith yn hysbys, a gofyn am air o gynghor iddo. Mae yn wir y gallai yr hen ŵr roi cynghorion digon prïodol a llïosog ei hunan, ond meddyliai y byddai mwy o bwys arnynt yn dyfod tros wefusau pregethwr o alluoedd a dealltwriaeth yr un y buasent yn gwrando arno, Coffäodd y gweinidog i'r gŵr ieuanc ymddygiad Abraham, a gofnodir yn yr unfed bennod ar ddeg o'r llythyr at yr Hebreaid, yn dodi ei ffydd yn Nuw hyd yn nôd pan "aeth allan heb wybod i ba le yr oedd yn myned." Cânodd y ddau yn iach efo'r gweinidog, a llwybrasant wrthynt eu hunain yn nghyfeiriad eu llettai, canys erbyn deall yr oeddynt yn llettya yn yr un heol. Cawsant hamdden i egluro y naill i'r llall beth oedd eu gwahanol negesau yn Liverpool. Ifan Dafydd i gyfarfod mab ar ei ddychweliad o fordaith hir; John Jones ar ei ffordd i New Orleans, fel ymfudwr.

## PENNOD XII.

### BONEDDWR DIARTH O LUNDEN.

CYRHAEDDODD John New Orleans yn ddiangol ar ol mordaith faith mewn llong hwylio, yn ystod yr hon ni chymerodd dim neillduol le i dòri ar ei hunrywiaeth o fôr o'u deutu, a'r awyr uwchben fel cauad arno yn amgylchu ei gorwel, a hwythau yn hwylio ymlaen megys mewn dysgl neu biser anferth. Gadawodd clefyd y môr ef ar ol ei gystuddio yn drwm am rai dyddiau, a chynefinodd o dipyn i beth â'r newydd-dra o gysgu ar shilff yn ystlys y llong; gwisgodd gwynebau dyeithr ei gydymfudwyr o radd i radd yn wrthddrychau cyffredin; a chan ei fod ef bellach yn sugno ei fwyniant o hono ei hun, ac nad ymgyfeillachai odid ddim âg undyn ond ag ef ei hun, yr oedd y fordaith, ymhell cyn ei diwedd, yn undônol i'r eithaf, a da ydoedd ganddo weled traeth annyddorol y rhan hono o'r byd newydd yn y golwg, a chael ei droed wedi hyny ar un o heolydd anolygus New Orleans. Yr oedd amryw yn Llanllonydd y carasai ddanfon pwt o lythyr atynt, canys fel y dywed y bardd Seisnig, "*Distance lends enchantment to the view;*" ond meddyliodd gydag ochenaid mai doethach iddo oddef ebargofiant ymhlith cyfeillion ei ieuenctyd, a phenderfynu ffurfio cylch newydd yn y rhanbarth o'r wlad yr oedd â'i wyneb arni—cylch na buasai yn gywilydd

gan yr hen gylch ei arddel—a'i ffurfio trwy ymroddiad llwyr i lafur gonest, a thrwy ymdrechion penderfynol i deilyngu yr enw DYN yn ystyr uchaf y gair.

Fel y gellid dysgwyl, parodd ymadawiad sydyn John lawer o siarad ymhlith y Llanllonyddion, a llawer o ddyfalu pa beth allai fod yr achos o hono; ond yr oedd y gwir achos yn anhysbys i bawb ond y tri a nodwyd, canys cadwasant y gyfrinach yn ddifwlch; Mr. Duncombe, am y tybiai na buasai ei dadguddio yn gwneyd llês i neb, a'r ddau arall yn rhinwedd eu haddewid bendant. Gan na wyddid y gwir achos, prïodolai athronyddion athrodus y Llàn ei fynediad i'r achlysur, sef oedd hwnw, gwrthodiad y llanc gan Jemima Sophia Rees; a chyda y rhai hyn y cydsyniai John Rhys, tad y rhïan, y rhïan ei hun, ac Ifan Jones, brawd yr ymadawedig.

Yr oedd ymweliadau Hywel Puw â Llanllonydd yn ansicr, a'i dreigliadau yn anesboniadwy i bawb. Er fod John Rhys yn un o'r rhai dyfnaf yn yr holl wlad, nis gallai wneyd na chael fawr iawn o Puw; a hanner gredai weithiau fod rhyw chwilen yn ei glust. Chwanegwyd llawer at benbleth gŵr yr *Afr* trwy i'r hen filwr gyrhaedd y Llàn gyda'r cerbyd un diwrnod â llafn o ŵr boneddig moesgar, modrwyol, a pheraroglus gydag ef; ac er cymaint a holodd ac a glustfeiniodd Rhys, y cwbl allodd ef gasglu ydoedd mai o Lundain y deuai y boneddwr dyeithr. Bu Puw ac yntau am ddwyawr gron wrth awrlais y clochdŷ yn nhŷ y Person; ac o ganlyniad, rhaid fod gan Mr. Duncombe a hwythau rywbeth pwysig ar droed; a gyrwyd am y tawedog a'r cyfrwysffôl Peter Prys yno atynt; ond ni cheid dim allan o grombil Peter, os y byddai ei feistr wedi peri iddo ei gadw. O'r Persondŷ aethant drosodd i westtŷ y *Ddraig*, lle yr archodd y boneddwr wely am y noson. Gan nad oedd Ifan yn gwybod dim eto am natur ymweliadau achlysurol Hywel Puw â Llanllonydd, wrth gwrs ni theimlai y fath ddyddordeb ynddynt ag a wnai ei fwriadol dad-yn-nghyfraith; ac o ganlyniad, ni feddai ei ymwelwyr y diwrnod hwnw fwy o ddyddordeb iddo ef ar y cyntaf na phe buasent westeion cyffredin. Ond edrychai y boneddwr arno mor graff ac mor hir, nes y teimlodd ei fod, i ryw ddyben, yn wrthddrych ei sylw arbenig; ac aeth yn unswydd i'r *Afr* er mwyn gofyn i John Rhys pwy oedd cydymaith dyeithr Hywel Puw. Y publican a atebodd nas gwyddai.

"Ond clustfeiniwch," ebai ef, "clustfeiniwch, Ifan; agorwch eich clustiau a'ch llygaid hyd yr eithaf. Gwylíwch bob smic. Yr wyf yn meddwl fod ganddynt rywbeth pwysig ar law."

Penderfynodd Ifan glustfeinio a gwylio yn ddyfal, ond nid oedd dim i'w gael. Dim ond Peter Prys yn derbyn yn foddhäus garedigrwydd y boneddwr ar lun gwydraid ar ol gwydraid, a dyfodd yn Sais dros ben, gan siarad yn barhäus y Saesneg digrifaf a glybu clust erioed; ac yr oedd yn anhawdd gwybod pa un a chwarddai uchaf, ai y boneddwr am ben Saesneg Peter, ynte Peter am ben ei stori ei hun. Tröai y clochydd ei law oddiamgylch y plât ar ei goryn, ac agorai ei enau crocodil yn lletach nag y gwelwyd hi erioed o'r blaen; ac ebychai allan frawddegau hirion a dyeithr, na wyddai undyn arall beth oedd eu hystyr, os gwyddai eu llefarydd ei hunan. Daeth Nicodemus yno ar ei *hald* o rywle; wedi clywed, mae'n debyg, am y croesaw a gai ei gydymaith, a

chyflwynodd Mr. Prys ef i'r boneddwr yn yr ymadrodd dillyn a ganlyn:—

"This is our grave-breaker, sir."

"Your what, sir?" ebai'r gŵr boneddig.

"The one as whats does break the holes in grounds for funerals."

"O, indeed! the grave-digger, eh! Nice day, Mr. Grave-digger?"

"Very much nice, Mr. Gwrboneddigdiarth," ebai'r Hen 'Dderyn, gan dywallt allan o'r ystorfa gyfyng oedd ganddo o Saesoneg, a gasglasai trwy oes o lafur diflin oddiar geryg beddau, gan mwyaf.

"What does he call me?" ebai'r gwr boneddig, gan dybied fod y "*grave-breaker*" naill ai yn ei lysenwi neu yn ei regu.

Eglurodd Hywel Puw nad oedd dim niwed yn y gair; ac aeth yr ymgom ymlaen, er mawr foddhâd i'r Hen 'Dderyn, yr hwn a sylwasai fod y boneddwr wedi cynhyrfu tipyn wrth ei ymadrodd, ac yn edrych fel pe buasai ar fedr bwrw ei lid arno am ddiraddiad. Bu Peter mewn helbul mawr ymhellach ymlaen yn ceisio dyweyd wrth y Sais hanes gŵr Tŷ'nycaeau yn myned adref yn mherfedd y nos yn ei ddïod, a chanwyll frwyn neu babwyr ganddo yn edrych am yr haul; yr hyn, o gyfieithiad Mr. Prys a safai yn debyg i hyn:—"The husband of Tŷ'nycaeau farm was go home in the belly of the night, with men of pope to see for sun." Ac wedi cwblhâu ei orchestwaith, er mawr foddlonrwydd iddo ei hun, trôdd at ei îs-swyddog, er mwyn rhoddi prawf arall i'r gŵr boneddig nad oedd hwnw yn deall Saesoneg, ac ebai efe, "Dyweyd wrth y gŵr byneddig yr oeddwn i, wyddost, am ŵr Tŷ'nycaeau yn myned adref wedi meddwi." O! yr oedd siarad Cymraeg yn rhwydd iddo wedi bod yn bustachu hefo'r Saesoneg.

Hwyliodd y boneddwr, o'r diwedd, i'w wely; hwyliodd Puw i'w lettŷ, gan adael y ddau rychor yno wrthynt eu hunain, lle y buont am beth amser yn slotian ac yn ymgomio.

"Fu agos i mi roi 'nhroed ynddi hi, onid do?" ebai Nicodemus, "hefo'r gair mawr hwnw. Peth peryglus iawn ydyw siarad Saesneg, welwch chi, yn enwedig efo bynddigions diarth."

"Peth peryglus iawn i un fel ti, fel tase," ebai Prys, "sydd cyn lleied o Sais. Am dana' i, mae siarad Saesneg yn hollol naturiol i mi, wyddost."

"Peri i mi gofio Nedi'r Llifiwr," ebe Nico; "un gerwinol am eiriau Cymraeg mawrion oedd Nedi, os ydach chwi'n cofio. Wel, nosweth talu am y tir tatws, a'r gŵr a biau'r tir yn y gader yn y cyfarfod yfed ar ol; dynan oedd hwnw heb ei fendithio âg enaid mawr fel enaid Nedi; dyma Nedi ar ei draed ac yn cynnyg 'yfair,' chwedl yntau, ac ebre fo, 'Risiart Watkins, chwychwi ydyw fy nhad-maeth i,' gan feddwl mai efe oedd yn rhoi tir iddo i blanu tatws. Ond meddyliodd Risiart mai ei ddifenwi yr oedd Nedi, a neidiodd ar ei draed fel teigr, ac ebre fo, 'Beth dd'wedaist ti, Nedi? Grogi, rhaid i ti beidio rhoi enwau drwg arna' i,' ebre fo, 'onide, tyr'd allan i'r buarth, ac mi ymladdaf fi â thi;' ac ni fynai Risiart ei argyhoeddi mai ei ganmol ef oedd yr amcan wrth ei alw yn dadmaeth, ac nid ei ddifrïo; a thrwy hyny terfynodd swper tir tatws yn swta iawn. Dyna'r perygl o arfer geiriau dyfnion. Mi fydda' innau ar fy ngwyliadwriaeth o hyn allan."

"Da iawn. Wyt ti yn dy le bob amser, Nico," ebai Mr. Prys, a'i lygaid hanner yn nghauad.

"Pwy ydyw'r gŵr boneddig diarth sydd yn cysgu yma heno, Peter?" gofynai Ifan, gan daro i mewn megys yn ddamweiniol i'r cwmni.

"Ffrynd i Mr. Duncombe a minnau," ebai Prys, gan sefyll ar ei wyliadwriaeth mewn mynyd, rhag ofn i neb gymeryd masgal arno yn ei ddïod. "Gŵr boneddig iawn, on'tê; digon o ddïod,—digon o ddïod," a gollyngodd y cauadau drachefn dros ei lygaid. Cododd hwynt, pa fodd bynag, yn fuan; "Diaist i, rhaid i ni fyn'd adre, wel'd di." A chychwynodd y ddau mor ddisigl ag y gallent, gan gyrhaedd eu cartrefleoedd heb i gymaint ag un llais ddisgyn ar glust y clochydd, "Pwy saethodd y mul?"

Trwy lawer o drafferth y gallodd John Rhys gael ychydig o grombil Hywel Puw, pan gyrhaeddodd yr olaf i'w lettŷ. Yr oedd gan Hywel mmheuon cryfion ynghylch cywirdeb egwyddorion gŵr yr *Afr*—amheuon a gynnullwyd yn ofalus oddiwrth amryw o'i ymddygiadau; a chryfhëid hwy hefyd gan y wybodaeth oedd ganddo bellach yn ei feddiant, sef fod gan Rhys fûdd personol, ar gyfrif ei ferch, yn achos fyr efeilliaid. Gan hyny yr oedd yn bur dawedog. Nid oedd mwyach ychwaith yn cael ei boeni gan y dolur hwnw o gyfrinach i'w chadw, tra ar yr un pryd eisieu ei dadguddio, nes ei gwneyd yn faich anhawdd ei dwyn; gan fod y cyfreithiwr hwnw o Lundain wedi gwrandaw yn astud ar bob smic o honi, a'i thrafod yn fanwl ac ystyrbwyll. Holodd Rhys lawer arno, ar draws ac ar hŷd, ynghylch y modd yr oedd yr Arian Mawr yn dyfod ymlaen; ond yr holl ateb a gafodd ganddo ydoedd fod pethau yn edrych yn lled obeithiol, ond ei fod yn ofni os gallai eu cael i'w hiawn berchenog, y byddai raid ei ymofyn, os gwir a glywsai, o'r America. Synodd Rhys yn fawr at hyn,—syndod yn gymysgedig, yr oedd yn hawdd canfod, â chryn lawer o siomedigaeth.

Ni soniasom ddim hyd yn hyn am Elsbeth Rhys, gwraig yr *Afr* a John Rhys. Wel, nid oedd dim neillduol yn ngolwg Elsbeth. Ar y mwyaf trwynsur, bèr o gorff, cwta ei hymadrodd, prudd ei hysbryd, marwaidd ei llygad, ac araf ei symudiad, oedd Elsbeth; ond os oedd ganddi dop go symol, credai pawb a'i hadwaenai fod ganddi waelod pur dda. Ei rhinwedd mawr, a'r hyn a bàrai iddi ymffrostio ynddo, ydoedd y ffaith na byddai byth yn cario ond un gwyneb dan ei bonnet. Yr oedd yn gâs ganddi bob dyn dau wynebog ond John Rhys; ac ar bwnc y gwyneb-dwbl y byddai John a hithau yn syrthio allan bob amser. Yr oedd ei ystrywiau ef efo carwriaeth Jemima Sophia yn peri llawer o flinder meddwl iddi.

"Pe baech chwi yn gadael i natur gael ei ffordd ei hun, John," ebai hi yn fynych, "arbedai lawer o drafferth i chwi eich hun ac o boen i minnau; yn lle hyny, cynllwyn yr ydych chwi yn ddiddiwedd, a rhedeg yn erbyn Rhagluniaeth a gwaith y Brenin mawr. Ddaw dim ond drwg o waith fel hyny."

"Wel, wel, Elsbeth," ebai yntau, "dyna chwi yn dechreu rhygnu ar yr hen dant gwichlyd yna eto. 'Does yr un dyn yn Llanllonydd llai dau-wynebog na fi, 'rw'yn siwr;" a'i ddau wyneb ffugurol yr un pryd i'w gweled mor amlwg ag oedd ei un gwyneb naturiol; "ac ni fyddai

yn arw o beth i mi beidio edrych ar ol bywioliaeth y plant, yn enwedig ein hunig eneth."

"Yr ydych chwi yr un fath gyda phobpeth, John," ebai Elsbeth, "a 'does ond melldith yn dilyn eich holl gynllwynion. Gadewch i amgylchiadau gael eu ffordd eu hunain, a pheidiwch a cheisio eu gŵyrdroi."

Brochai John yn arwinol dan yr athrawiaeth hon, ac yr oedd pregeth o eiddo ei wraig ar y pwnc hwn yn cael mwy o effaith arno na phregeth neb arall yn yr holl fyd crwn; ac yn hyn nid oedd yn wahanol i liaws o wŷr parchus eraill.

"'Rydach chwi yn siarad yn ynfyd, Elsbeth," ebai ef; "mae bechgyn y *Ddraig* yn debyg o dd'od yn werth llawer byd o eiddo; ac os daw yr Arian Mawr yna iddynt (ac y mae pawb sydd yn gwybod yn eu cylch yn siwr o hyny), mi fydd Ifan a John ymhlith byddigions cyfoethoca'r wlad, ac mi fydd teuluoedd eu gwragedd hwy yn fonddigions hefyd."

"Twt; Arian Mawr, wir! mi ddaw rheiny pan ddaw cywion gwyddau yn Nghalan Gauaf; ond paham y darfu i chwi berswadio yr eneth, a phaham y darfu i'r eneth fod mor wirion a chymeryd ei pherswadio genych, i wrthod un er mwyn y llall? Yr wyf yn methu dirnad na dyfeisio beth allai fod eich amcan i'ch dau?—yn tynu pobl yn mhenau eu gilydd, ac yn gyru bachgen glandeg i ffwrdd o'r wlad."

"Ond Ifan ydyw'r henaf o'r ddau, ac felly efe ydyw'r aer; o'r hyn lleiaf dyna ydyw fy marn i," ebai John Rhys, a'i lais yn toddi yn raddol o'r sarug i'r esboniadol.

"'Rydach chwi, fel arfer, yn camgymeryd, ynte, John Rhys; yn camgymeryd fel arfer, John; mae yn ofynol cael dyn call a gwybodus i wneyd ystrywiwr da; ac nid ydych chwi yn un o'r ddau. Os coeliwch chwi fi, John Jones ydyw'r hynaf o'r bechgyn."

"Wel, pwy sydd yn dyweyd hyny heblaw chwi, Elsbeth? Ac nid yŵ eich tystiolaeth chwi, 'does bosibl, yn ddigon yn erbyn tystiolaeth plwyf cyfan."

"Pwy ydyw'r plwyf cyfan, John? Chwychwi eich hun, a neb arall," ebai'r bublicanes. "Ond tystiolaeth eu mam, a Modlen y fydfaeth ydoedd mai John ydyw'r hynaf; pe byddai hyny yn rhywbeth i ni. Pa beth ydyw hyny i ni?"

"Y mae yn bwysig iawn i ni, Elsbeth," ebai'r gŵr, gan ail frochi; "ond peidiwch chwi ag yngan gair eto ar y mater yn nghlyw yr un glust. Y mae'n bryd i ni gychwyn i'r gwely."

Ond yr oedd yno glust yn clywed yr holl ymddyddan hwn, a chôf wrth fôn y glust hono a drysorai y cyfan yn ofalus; ac yn llywodraethu y côf hwnw yr oedd barn bwyllus. Hywel Puw oedd perchen y synwyrau a nodwyd: canys yr oedd Hywel yn credu yn ngwirionedd yr hen ddïareb, "Nid twyll twyllo twyllwr," ac yn ei rhoddi ar waith yn yr amgylchiad hwn trwy glustfeinio ar glustfeiniwr. Trôdd yr hyn a glywodd drosodd a throsodd yn ei feddwl lawer gwaith, cyn llwyddo i hudo cwsg i ddyfod a chau ei amrantau y noson hono; ond penderfynodd hyn, pa fodd bynag, cyn cysgu,—mai melldith i un o'r ddau fachgen a fuasai'r Arian Mawr, a Jemima Sophia a'i thad yn berthynasau agos iddo; ac o ganlyniad, mai ei ddyledswydd ef ydoedd gwneyd ei oreu o hyny allan i argyhoeddi John Rhys y cyfle cyntaf fod gobaith am gael

yr arian o'r *Chancery* wedi darfod, gan fod yn sicr yn ei feddwl os dybysbyddid y ffynnon y sychid yr afon.

A bore drannoeth, pan oedd y publican drachefn yn pysgota am wybodaeth, fel arferol, efe a'i hatebodd yn oer a didaro ei fod yn ofni fod dolen yn nghadwen y dystiolaeth ar ol, ac os na cheid gafael arni yn fuan, mai yn ofer ac am ddim yr ymdrechodd efe er ys blynyddau i gael yr etifeddiaeth i'r efeilliaid; ac er mwyn argraffu y syniad yn ddyfnach ar feddwl ei wrandawydd, efe a fytheiriodd ochenaid drom. Safodd llygaid y publican fel llygaid delw yn ei ben; glaswŷnodd ei wynebpryd, ac yr oedd yn amlwg fod syndod a siomedigaeth yn ymladd am y llaw uchaf yn ei fynwes. "Felly'n wir!" ebai ef fel pe yn dyoddef tan ergyd o'r parlys.

## PENNOD XIII.

### YSGOTYN.

Ymhen ychydig fisoedd wedi yr ymgom a gymerodd le yn y bennod flaenorol, daeth gŵr ieuanc dyeithr i lettya i'r *Afr*, ac i arolygu brâg tafarnwyr Llanllonydd a'r gymydogaeth, tros y Llywodraeth, yn y cymeriad o *Exciseman*. Sais o Isgoed Celyddon ydoedd, fel y galwai'r hen Gymry y wlad a adwaenir yn bresennol wrth yr enw Scotland, ac i'r Cymry y maent i ddiolch am y ddau enw sydd ar eu gwlad,—onid gwreiddyn y gair Scot ydyw Iscoed? onid o Celyddon y deillia Caledonia? Enw yr Iscoedyn ydoedd Donald MacDonald. Ei neillduolion —neillduolion ei gydgenedl, sef yw y rhai hyny ymhob oes—corff cryf, pryd gwinau iachus, pen a chalon oer, taeogrwydd a hunan-hyder. Telid gwarogaeth bwysig iddo gan y dosbarth Dicsiondafyddol, a geir mewn llawer llàn Cymreig heblaw Llanllonydd, y rhai a dybiont fod dyeithryn all siarad Saesneg yn rhyw hanner duw; ac ymhlith y rhai hyn, y mae yn ddrwg genym orfod rhestru Jemima Sophia Rees. Er eiddigedd poenus i Ifan Jones, gwelai yn lled amlwg fod y rhïan hono yn cario meddwl pur uchel am "Mistar" McDonald, fel yr arferai hi ei alw. Yr oedd rhyw reddf ddirgel oddifewn i Ifan yn dyweyd wrtho hefyd fod John Rhys yn llai croesawus tuag ato er pan ddaethai'r Ysgotyn i'r wlad nag ydoedd cynt, os nad oedd wedi dangos rhyw radd o oerfelgarwch cyn hyny. Yn wir, meddyliai ynddo ei hun na buasai Rhys byth yr un un er ymweliad diweddaf Hywel Puw â'r llàn. Cyn yr ymweliad crybwylledig, gwahoddid Ifan Jones i dreulio ei Suliau yn yr *Afr;* ac os byddai rhai o berthynasau neu gyfeillion y teulu ar ymweliad â hwy, ni wnai dim y tro gan John Rhys ond cael "darpar Jemima," chwedl yntau, i gyfranogi o'r gymdeithas. Teimlai ei fod wedi ei symud o hinsawdd y cyhydedd i ororau pegwn y gogledd; a

thybiai unwaith mai rhyw athrod a ddywedasai'r hen filwr a barasai hyn oll, ac i hedyn gwenwynig a blanasai Puw darddu allan a blaguro ar ddyfodiad yr *exciseman* i fyw tan yr un gronglwyd ag anwylyd ei galon. Ni bu ef ychwaith heb edliw i Jemima fod Mr. McDonald yn ffefryn neillduol gan ŵr a merch yr *Afr*. Gwadai hithau ar y cyntaf y cyhuddiad yn gryf, ond o radd i radd yn wanach, nes yr aeth o'r diwedd yn beth cyffredin yn ei golwg; ac os cymerai sylw o hóno o gwbl, chwarddai yn hanner dirmygus am ben y cyhuddwr. Nid oedd tuedd yn hyn i iachâu ond ychydig ar ddoluriau Ifan, a daeth yntau yn fwy difater ynghylch y rhïan. Cafodd ei serch y fantais yma—cafodd farw yn raddol o'r darfodedigaeth, a'i holl synwyrau ganddo; ac nid ei ysgubo ymaith megys âg ergyd o'r parlys mud. Mae'n wir mai y weithred boenus o farweiddio sydd yn y ddwy oruchwyliaeth; ond dichon fod gan y flaenaf ei manteision ar yr olaf. Pa fodd bynag, daeth ei ymweliadau â'r *Afr* yn anamlach, nes o dipyn i beth ddarfod yn llwyr.

Ond yr hyn a ddwyseiddiai ei deimladau gofidus fwy na dim ydoedd yr adgof am ei ymddygiad angharedig a chreulawn at ei frawd, a gynnyrchwyd yn gyfangwbl trwy anghydwelediad ynghylch un a brofasai ei hun bellach yr annheilyngaf a'r anffyddlonaf o ferched Efa. Hyny a'i trallodai y dydd, ac a gadwai gwsg oddiwrth ei amrantau y nos. Dywed hen air fod "gwaed yn dewach na dwfr;" a hen ddïareb arall a ddywed mai "hawdd cynneu tân ar hen aelwyd." Gwiriodd Ifan y ddwy; yr oedd pob gair câs a ddywedodd ef wrth John, a phob gair tyner a ddywedodd John wrtho yntau, yn llidio ei gydwybod, ac yn ei gnoi yn awr yn ofnadwy. Ond yn ffodus, yr oedd lle i obeithio fod yr un yr ymddygai mor anfrawdol tuag ato eto yn fyw; yn ffodus, er nas gwyddai ef am hyny, attaliasai Peter Prys a'r Hen 'Dderyn i'r cortyn wneyd ei waith ysgeler. Ond pa lanerch o Gyfandir mawr ac anhysbys America a ddewisasai yr hunan-alltud yn fan ei alltudiaeth, nid oedd neb yn Mhrydain yn gwybod; ond yr oedd pob lle i gredu ei fod ar wyneb y tir yno yn rhywle. Yr oedd y wybodaeth a ddaethai Ifan Dafydd gydag ef adref, yn werthfawr, pan yr oedd cymaint prinder gwybodaeth, sef, mai am New Orleans yr hwyliodd o Lerpwl.

"Y mae gobaith," ebai ef, "hyd oni chyhoeddir ei farwolaeth yn y papyr newydd; yn wir, y mae gobaith er hyny; canys nid yw papyrau newyddion yn anffaeledig; y mae gobaith hyd oni chlywoch y saer yn ysgriwio'r arch."

Diolch i Dduw am y llusern werthfawr hon a osododd efe yn nghalon dyn i oleuo a dyddanu ei nosweithiau tywyllaf. Hi a bâr i adfyd y presennol adbelydru gwynfyd y dyfodol; hi a lewyrcha wrth erchwyn gwely y claf nes yr anghofio ei lesgedd, ac yr ymddigrifa yn yr amser y byddo'n iach eilwaith. Hi a deifl ei phelydrau ar lŷn cysgod angeu, nes peri i'w ymdeithydd unig gânu ynghanol ei holl beryglon. Gobaith a ariana ymylau y cymylau duaf, ac a nerthodd yr enaid i lawenychu pan oedd y corff yn llosgi ar allor merthyrdod. Hi a saif fel angeles ddihalog ar fedd y sant,—ei bŷs yn gyfeiriedig at y nefoedd; ei llygaid yn sefydlog ar y dwyrain, fel pe yn dysgwyl dyfodiad Mab y dyn; a'r geiriau a lefarodd hi ei hun yn y bymthegfed bennod o lythyr Paul at y Corinthiaid yn dyferu yn barhäus tros ei gwefusau sanctaidd.

## PENNOD XIV.

### YN DYWEYD SUT Y DAETH CYMRO YMLAEN YN AMERICA.

NID oedd gan fywyd mewn tref fawr, boeth, afiach, fel New Orleans, fawr o hudoliaeth i John; ac o ganlyniad, drannoeth ar ol glanio, ymadawodd mewn llong i fyny'r afon fawr Mississippi, ac heb fwriadu aros yn unman o dan bum' cant o filldiroedd o New Orleans beth bynag. Ar y fordaith hon, yr oedd rhai ugeiniau o Negröaid yn cael eu dwyn i gaethwasanaeth, ac ennynodd eu cyflwr gefynog, hanner-noethlymun, a gwir resynus, gydymdeimlad y Cymro ieuanc â hwy i'r byw. Cymharai galedfyd y trueiniaid hyn hefo yr hyn a alwai yn galedfyd yr aethai efe trwyddo, a gwelai fod yr olaf yn ddim ac yn llai na dim. Pe gwasgesid gofidiau blwyddyn o'i eiddo ef, ni buasai yn gwneyd gofid awr un o honynt hwy. Anerchwyd ef amryw weithiau gan y gyrwyr creulawn yn gyfeillgar, ac fel atebiad bu agos iddo eu taro fwy nag unwaith. Gwelai y caethion gydymdeimlad yn nghil ei lygad, ond ni feiddient siarad âg ef ond trwy arwyddion ac awgrymiadau; a chafodd yntau rybudd gan awdurdodau y llong i beidio cymeryd sylw o'r genfaint. Ond yr oedd yn eu plith hen ŵr a lodes fach,—taid ac wyres,—a golwg mor dorcalonus ar yr hen ŵr, ac mor adfydus ar y lodes fach, fel nas gallai John beidio wylo wrth edrych arnynt. Ambell dro, gallent lwyddo i lechian o olwg y gyrwyr i ryw gongl anghyhoedd, lle y cusanent eu gilydd, ac y wylent fel rhai ar ddarfod am danynt; ond gwae hwy os delid hwy yn yr arddangosiadau hyny o serch. Fflangellid eu cyrff duon yn wrymiau, a phrinheid eu hymborth prin. "Prynwch ni, Massa ifanc; O! prynwch ni," ebai'r hen ŵr wrth John Jones, un diwrnod.

"Beth wnaf fi â chwi?" ebai'r Cymro.

"Nid wyf mor hen ag y meddyliwch wrth fy ngolwg. Gallaf wneyd diwrnod o waith cystal â'r un dyn ar fwrdd y llong yma; ac y mae'r lodes yn un ffel, gall, dda; O, prynwch ni! Edrychwch ar ein cleisiau, a'n gwaed, a'n dagrau; cymerwch drugaredd arnom; a bydd Duw yn siwr o'ch bendithio."

Yr oedd areithyddiaeth brofiadol yr hen ŵr mor gryf, fel y penderfynodd John gydsynio â'i gais, doed a ddelo. Aeth at y perchenog, a gofynodd iddo beth oedd pris y ddau. Cafodd hwnw yn ddyn llariaidd, annhebyg iawn i farsiandwr mewn cnawd dynol—tebycach i un o fugeiliaid mynydd Hiraethog; atebodd yntau yn rhadlawn, nad oedd yr hen ŵr werth fawr, fod ei ddyddiau gweithio bron ar ben; ac y byddai ei farwolaeth ef, pa bryd bynag y cymerai le, yn angeu i'r lodes. "Chwi a'u cewch," ebai ef, "am ddeugain dolar; a bydd yn dda genyf gael ymadael â hwy am hyny." "Mi a'u prynaf," ebai'r llanc, ac aeth yn fargen rhyngddynt yn y fan. Dattodwyd eu gefynau oddiarnynt, syrthiodd yr hen Negro ar ei liniau o flaen ei feistr newydd gan ddiolch iddo, a'i ddwylaw ymhleth, am gymeryd trugaredd arno, a'r eneth ydoedd gan anwyled ganddo a'i einioes ei hun.

Ond pa beth i'w wneyd â'i gyfoeth newydd a ddyrysai ei feddwl bellach; canys er iddo erfyn ar y ddau gymeryd eu rhyddid oddiar ei law, ni fynent hwy wrando ar y cynnygiad. "Massa tirion," ebai'r hen

ŵr, "beth wnawn ni yn rhydd? Ni fyddwn farw o newyn yn rhydd, fel y buasem farw o greulondeb mewn caethiwed. Peidiwch a'n gollwng yn rhydd, peidiwch a'n gadael; ni a wnawn unpeth i chwi i dalu am ein cadw."

Yn ei benbleth, ymgynghorodd â'r marsiandwr, eu diweddar berchenog, ac yntau a annogodd ein cyfaill i gymeryd ffarm fechan i fyny'r afon, a chadw y ddau yn ei wasanaeth. "Gall yr hen ŵr," ebai ef, "weithio am dipyn hwyrach eto, a daw y lodes yn wasanaethgar yn fuan."

Yr oedd hwn yn gynnyg dyeithr i'r Cymro, a gwrthryfelai ei natur yn enbyd, ar y cyntaf, yn erbyn y sefyllfa o berchenog caethion, am greulonderau pa rai y darllenasai gydag arswyd pan yn blentyn. Ond beth oedd i'w wneyd? Yr oedd Rhagluniaeth fel pe buasai wedi ei osod yn y sefyllfa yn annysgwyliadwy iddo ef. Os bwriai y ddau greadur hyn ymaith, hwyrach i farw gan wall-ymgeledd, byddai eu gwaed ar ei ben; ac fe ddichon nad oedd yr hanesion a ddarllenasai am eu blinderau a'u gorthrymderau, a'r creulondeb y dywedid sydd yn angenrheidiol i lywodraethu caethion, ond chwedlau ofer; ffeithiau, hwyrach, wedi eu gorliwio a'u gŵyrdroi i ddybenion neillduol. "Yr wyf yn meddwl," ebai ef wrtho ei hun, "mai cymeryd ffarm fyddai goreu, a chymeryd pobpeth i ystyriaeth, os gallaf gael un am bris rhesymol, a chadw y trueiniaid hyn, gan eu gadael at eu rhyddid i ymadael pa bryd y mynont, a thrwy hyny, gydsynio â chais yr hen ŵr, heb dreisio fy nghydwybod fy hun."

O awr y penderfyniad hwn, hyd yr awr pan laniodd y llong ymhen ei thaith, ciliodd yr unigedd dwys, a ddilynasai John er ys llawer mis bellach, yn hollol; ac yn lle y tawedogrwydd hwnw a'i nodweddai yn nechreu y fordaith, daeth yn un o'r teithwyr mwyaf siriol a siaradus ar y bwrdd. Ymholai â'r capten am natur gwaith ffarmio yn y wlad hono; pris y tir; ansawdd y tir; ynghyda'r rhagolygon am lwyddiant mewn anturiaeth o'r fath; a rhoes y swyddog bob cyfarwyddyd yn ei feddiant iddo. Chwannegodd fod llwyddiant dyn yn dibynu, ar lànau'r Mississippi, cystal ag ar làn pob afon arall yn y byd, ar iddo fod yn ddyn sobr, darbodus, a gofalus. Tarawodd wrth ddyn hefyd ar y llestr a chanddo ffarm o'r fath a ddymunai ar osod; a threfnwyd fod John Jones i'w weled, ac os byddai wrth ei fodd, ei chymeryd. Cafodd lïaws o awgrymiadau, a fuont o fûdd mawr iddo rhagllaw, gan amryw o'i gyd-deithwyr; canys daeth yn ffefryn cyffredinol yn eu plith. Hoffent ei bryd hardd, a'i ymddygiad wyneb agored; ac yr oedd ei ddull mawrfrydig yn prynu y ddau gaeth, er eu mwyn eu hunain yn unig, er mewn ystyr fasnachol yn weithred ffôl, eto yr oedd cymaint o ddyngarwch yn cael ei arddangos ynddi, fel yr edrychid ar y llanc a'i amcan gydag edmygedd.

Wedi glanio, a dodi ei "gaethion" mewn llettŷ parchus, ac nid mewn hofelau budron fel moch, yn ol yr arfer gyffredin, efe a aeth i edrych y ffarm; ac heb ond ychydig betrusder, cymerodd hi. Yr oedd yn ddau can' acr o faint; ond cafodd fod yr arian oedd ganddo eto yn aros yn ddigon i gyfarfod bob gofynion am flwyddyn beth bynag. Prynodd bobpeth fel y safai yn y lle, yn cynnwys tuag ugain o gaethion, o bob oed a rhyw; a thalodd am y cyfan dros bum' cant o bunnau o'n harian ni. Y diwrnod y daeth i feddiant o'r ffarm, galwodd ar

y caethion ynghyd, a dywedodd wrthynt eu bod yn rhyddion—y gallent ymadael un ac oll y diwrnod hwnw os mynent; ond os dewisent yn hytrach aros gydag ef, yr ymddygai fel dyn tuag atynt, ac y caent bob breintiau fel gweision a morwynion cyflog. Atebasant oll âg un llais mai gydag ef yr arosent. Dywedodd yntau wrthynt na chymerai eu hateb hyd fore drannoeth; ac y caent yn y cyfamser gyfleusdra i feddwl yn ddifrifol ar y cynnygiad; ac mai nid gair i'w ddyweyd yn fyrbwyll ydoedd ateb o'r fath. Wylasant yn hidl gan lawenydd, a meddylient fod y nefoedd wedi danfon angel yn feistr iddynt; ac erbyn bore drannoeth, nid oedd dim cyfnewidiad wedi cymeryd lle yn eu penderfyniad; atebasant mai ei eiddo ef oeddynt, ac, os gwelai yn dda, y dymunent fyw a marw yn ei wasanaeth. Yna dygodd yntau y fflangell a'r gefynau, a llosgodd hwynt ger bron eu llygaid.

"Dyna," ebai ef, "ddiwedd ar yr offerynau yna; os bydd i un o honoch gamymddwyn yn fy ngwasanaeth i, ni bydd y rhai yna na'u cyffelyb i'ch cosbi; eich cosbedigaeth, os iawn y gair, fydd eich gorfodi i ymadael; ac o hyn allan, gellwch bwrcasu eich rhyddid y pryd y mynoch efo cam ymddygiad. Ystyr cam ymddygiad yn fy ngeirlyfr i ydyw anonestrwydd.ac anwiredd. Bydd i chwi roesaw calon i wneyd a fynoch â'ch amser eich hunain—deuddeg awr o'r pedair ar hugain—dyna yr amser yn fy ngwlad i: ac y mae i chwi ryddid i addoli yn y lle a'r dull a fynoch."

Tòrasant mewn crechwen o longyfarchiad iddo; eiddunasant y warogaeth lwyraf i'w wasanaeth; canys yr oedd cyfraith cariad yn gorwedd yn esmwyth ar eu gwarau, er ei bod mor anmhlygadwy a chyfraith gorfod a phastwn. Wedi cael pethau dipyn i drefn, nolodd yr hen ŵr a'i wyres i'r lle, a dechreuodd ar ddyledswyddau ei swyddogaeth newydd a dyeithr, gyda'r difrifoldeb a'r gwrês hwnw a nodwedda Gymro o'r iawn ryw, pa le bynag y byddo. Llwyddodd ei amgylchiadau bydol yn ystod y flwyddyn gyntaf ddengwaith mwy na'i ddysgwyliadau uchaf. Yr oedd pobpeth y dodai ei law arno yn troi yn aur tani. Gweithiai ei Negroäid gymaint arall a chaethion eraill yn y gymydogaeth, ac yr oedd cysgod cilwg yn llygad eu meistr yn fwy cosp yn eu golwg na phe derbyniasent ugain fflangelliad. Trôdd yr hen ŵr, a brynasai ar fwrdd y llong, allan yn gaffaeliad gwirioneddol—yn gymeriad dilys, gonest, tebyg i F'ewyrth Twm, a anfarwolwyd gan Mrs. Beecher Stowe; a daeth y lodes fach yn drysor fel llawforwyn eirwir, hylaw, a darbodus yn y tŷ. Yr oedd ei alwedigaethau llïosog yn llyncu ei feddwl mor lwyr, fel mai anfynych y cai hamdden i feddwl am Lanllonydd; ond pa bryd yr hedai adgof tua'r fan, dygai faddeuant tan ei hasgell i bawb yno, heb eithrio John Rhys a'i ferch; ac Ifan. Lledodd clod y gŵr ieuanc trwy y wlad oddiamgylch fel amaethwr call a llwyddiannus; ac er fod pobl yn edrych ar y rhyddid a ganiatäi i'w Negröaid fel newydd-beth peryglus ar y cyntaf, gwelsant fod y fath lwyddiant yn ei ddilyn, fel nas gallent attal oddiwrtho y parch a haeddai. Dewiswyd ef yn ynad heddwch, ac attolygwyd yn daer arno ymgeisio am aelodaeth yn senedd y dalaeth; ond buasai yr olaf yn hawlio gormod o'i amser, fel pe yr etholesid ef, yr hyn hefyd oedd yn ammheus ar gyfrif ei syniadau ar gaethiwed, ni buasai modd iddo wneyd cyfiawnder â'r swydd ac â'i ddyledswyddau personol gartref. Yr oedd yr haul yn tywynu yn ddysglaer ar babell John Jones.

# PENNOD XV.

## LLONGDDRYLLIAD.

Y TRO y clustfeiniodd Hywel Puw, ac y gwrandawodd ar yr ymgom rhwng John Rhys ac Elsbeth ei wraig, oedd y tro olaf iddo lettŷa yn yr *Afr;* ac o hyny allan, yn ystod ei arosiad yn Llanllonydd, gwnai ei gartref yn y *Ddraig;* a daeth Ifan Jones ac yntau yn gyfeillion calon. Efe a osododd o flaen y gŵr ieuanc, nid yr oll, ond llawer iawn, o'r hyn a wyddai am yr Arian Mawr. Dywedai wrtho yn ddiweniaith mai John oedd yr hynaf, ac felly mai John oedd yr aer; o'r hyn lleiaf, mai dyna ei syniad cadarn ef ar ol chwilio ac ymofyn llawer; ac fod yn rhaid dyfod o hyd i John, neu gael prawf o'i farwolaeth, cyn y gellid symud cam pellach yn yr achos.

"Buasai yn dda iawn genyf ei weled," ebai Ifan, "ac ni byddai yn ormod genyf fyned i'r America er mwyn ei weled."

"Mae yn rhaid ei gael," ebai Puw, "neu adael y cyfoeth anferth hwn yn y man y mae."

"Beth ydyw gwerth yr ystâd, tybed?" ebai Ifan.

"Hanner miliwn, medden' nhw," ebai Puw.

"Hanner miliwn! digon i dori y llywodraeth i fyny," ebai'r llanc mewn syndod.

"Na, bydd digon o arian yn aros yn y *Chancery* wed'yn i dalu chwarter y ddyled wladol—yn gorwedd yno, mewn cymhariaeth yn farw; a chynifer o drueiniaid hyd y byd yn wir etifeddion i lawer o honynt; ond nad ydynt erioed wedi ymofyn am danynt—hwyrach erioed wedi breuddwydio fod y fath gyfoeth ar eu cyfer. Yr ystadau yn dadfeilio, a'r tai yn myn'd a'u penau ynddyn', tra y mae eu meddianwyr heb yr un geiniog ar eu helw, ac yn byw mewn bythynod ag y mae'r tai dadfeiliedig yn balasau mewn cymhariaeth iddynt. Ond sut y ceir John? Pwy â i chwilio am dano?"

"Pwy â i chwilio am dano ond ei frawd ei hun?" ebai Ifan.

"Pur dda. Ond cynta' bo'r goreu yr eir. Pa bryd?"

"Yfory nesaf," ebai Ifan, gyda pharodrwydd ag oedd yn sŷnu Puw; canys nis gwyddai yr olaf fod ymadael â Llanllonydd yn ddymuniad ei galon er ys hir amser. Aeth y ddau at Mr. Duncombe, er mwyn ymgynghori a chael ei gydsyniad, a rhagdrefnu pethau yn y *Ddraig*, yn ei absennoldeb. Ar y cyntaf, nid oedd yr hen foneddwr yn foddlawn; awgrymai mai Puw fuasai y goreu i'r gwaith; ac ofnai yr âi masnach y gwesttŷ â'i ben dano, os na cheid rhywun cyfrifol i edrych ar ei ol. Cynnygiodd Ifan fod i Hywel Puw gymeryd yr arolygiaeth angenrheidiol; ac felly yn y diwedd y penderfynwyd.

Cychwynodd Ifan i'w daith hir bore drannoeth, heb i neb yn y Làln wybod, ond yr offeiriad, y clochydd, a'r *sexton*—a'r ddau olaf a ddaethant i yfed lwc dda iddo i'r *Ddraig* y noson hono; a chyn pen deufis yr oedd Ifan wedi glànio yn America, ond nid yn New Orleans. O'r amser y cychwynodd y llong o Liverpool, bu mewn brwydr barhäus â'r gwynt; a phan ddaeth tymhestl ar ei gwarthaf, a hi eto bum' cant o filldiroedd o ben ei mordaith, aeth yn ddrylliau yn nghanol môr

terfysglyd. Boddwyd mwy na hanner yr ymfudwyr a'r dwylaw ar ei bwrdd; a'r rhai a achubwyd, a achubwyd megys trwy wyrth, heb arbed dim o'r eiddynt oddieithr yr ychydig ddillad oedd am danynt. Diangasant yn y cychod, ac o'r cychod hyny nid oes hanes ond am un a gyrhaeddodd byth i dir, ac yn y cŵch hwnw yr oedd Ifan. Saith niwrnod y buont yn ymladd â'r gwynt a'r tònau, heb ond ychydig ymborth; yn sylldremu ymhob cyfeiriad am long, a dim ond yr eigion yn brochi o'u deutu. Aethant trwy galedfyd dirfawr, yn enwedig i ddyn ieuanc fel Ifan, a ddygesid i fyny yn foethus; yn yfed dwfr hallt, ac yn eistedd yn yr un ystum am càn hired o amser. O'r diwedd, daeth llong i'r golwg, yr hon a ganfu eu harwydd o gyfyngder, ac wedi dynesu atynt, codwyd hwynt oll ar ei bwrdd, a dygwyd hwy ganddi i dir yn Boston. Cawsant bob ymgeledd a charedigrwydd mewn sefydliad a ddarparesid gan ddyngarwyr yr hen dref Buritanaidd ar gyfer trueiniaid wedi eu llongddryllio; a than yr ymgeledd hwnw daethant yn fuan yn alluog i ymladd eu ffordd yn y byd.

Ond y mae yn haws dychymygu na desgrifio cyflwr truenus ein cyfaill pan ddaeth allan o'r ymgeledd-dŷ. Yr oedd mewn gwlad ddyeithr, heb geiniog ar ei elw, canys aethai ei gîst a'i arian i lawr gyda'r llestr anffodus. Cymerasai dri mis, o leiaf, i lythyr fyned i, ac i ateb ddyfod o, Lanllonydd; ac aethai y tri mis hyny yn ofer, gan nas gallai ef, yn y cyfamser, ymlid yr amcan oedd ganddo mewn golwg; ac oddiar amryw resymau nis gallai feddwl ychwaith am dreulio tri mis yn segur. Penderfynodd ymofyn am waith mewn swyddfa i ysgrifenu, ond er ymdrechu yn dêg, methodd yn glir a llwyddo,—yr oedd gormod o glarcod eisoes yn y ddinas. Trôdd ei sylw yn nesaf at weithio ei *bassage* i New Orleans; ac yn ffodus, cafodd long a phrinder dwylaw arni yn cychwyn i'r porthladd hwnw ymhen diwrnod neu ddau. Cyrhaeddodd yno â chyrn ar ei ddwylaw; y rhai, pe gwelsai ei gyfeillion yn Llanllonydd, a barasai gymaint syndod iddynt a phe gwelsent gyrn ar ei ben. Ond yr oedd ei galon yn llawen, er fod ei logell yn wâg, a'i gefn yn llwm; a dechreuodd ar ei waith yn ddioed o chwilio, a defnyddio cyffelybiaeth werinol, am nodwydd mewn tâs wair. Clywodd fod John Jones mewn cŵr anghysbell o'r dref, ac aeth yno ar ei union, heb dòri ei gythlwng; a chafodd flaenbrawf o anhawsder na feddyliasai o'r blaen am dano. Yr oedd mwy nag un John Jones; ac nid hwnw oedd y John Jones y chwiliai ef am dano. Danfonodd hwnw ef at un arall o'r un enw mewn cŵr arall i'r dref, a hwnw at un arall, a'r un arall at un arall drachefn, nes yr oedd wedi gweled deg o honynt cyn pen y pedair awr ar hugain; a dim un yn fab y *Ddraig* o Lanllonydd yn Ngwynedd. Byddai ambell un yn sarug, a'r lleill yn dirion wrtho; yr oedd rhai o honynt yn hen bobl fethiantus, a dau yn Negröaid càn ddued a'r glöyn. Chwarddodd yn ngwyneb un Negro wrth synied am y drychfeddwl fod y fath ddernyn o eboni yn frawd iddo ef, a bu agos i hwnw osod ei liw arno efo ei droed. Penderfynodd mai anfuddiol chwilio ymhellach yn y dref am dano; a bu yn holi am ddyddiau ymhlith gwybodusion y lle os gwyddent am rywun o ddesgrifiad John a làniasai yn y ddinas hono bedair blynedd yn ol; ond ni chai na siw na miw o gyfarwyddyd gan undyn. Tarawodd i'w feddwl yr ymholai yn y tolldŷ; a'r holl wybodaeth a gafodd yno ydoedd fod un John Jones,

brodor o Wynedd, wedi glànio, ac wedi myned i fyny yr afon yn y llong a'r llong. Cyfarwyddwyd ef i swyddfa y llong hono yn y dref, ac yno yr aeth gyda phob ffrwst. Buont yn hir ac yn ystyfnig iawn cyn caniatâu iddo ryddid i chwilio eu llyfrau; a phan y cafwyd hyny, bu yntau yn hir iawn cyn cael trywydd ar yr enw; a phan y cafodd ef, nid oedd dim sicrwydd nad Negro oedd hwnw drachefn, ac y troisai ei holl ymchwil am dano yn siwrnai seuthig. Pa fodd bynag, dywedai y llyfr mai mewn lle o'r enw *Woody Creek*, yr oedd hwnw wedi glànio; a thuag yno y trôdd Ifan ei wyneb. Yr oedd yn hawdd troi gwyneb tua'r fan, ond yn dipyn anhawddach dodi troed i lawr ar ei ddaear. Nid oedd dim am dani ond gweithio er mwyn cynnull ychydig arian; a chwilio am waith, a gweithio y bu am wythnosau heb fod y llogell nemawr llawnach. Ond o'r diwedd, goresgynodd yr anhawsder hwn, cafodd wythnos gyflawn o waith, a chychwynodd y prydnawn Sadwrn am *Woody Creek*, yr hwn a gyrhaeddodd fore ddydd Llun. Dau fis a dreuliodd efe yn crwydro'r wlad am ugeiniau o filldiroedd oddiamgylch y lle hwnw, gan oddef adfyd dirfawr—yn cysgu'r nos, fynychaf, yn yr awyr agored, ac heb brofi ond ychydig ymborth am ddyddiau lawer. Buasai yn well ganddo farw o newyn na gofyn am damaid o fara—derbyniodd garedigrwydd lawer tro, ond yn ddiofyn—yr oedd ei ysbryd yn rhy falch i gardota.

Un diwrnod, yn ystod ei grwydriadau, daeth yn wlaw trwm arno, a daeth at efail gôf ar ochr ei ffordd, lle y gwelai amryw lanciau amaethwyr yn dysgwyl am bedoli eu ceffylau, ac eraill o honynt yn dysgwyl hindda. Trôdd yntau atynt i ymochel y gwlaw, a chan feddwl hefyd y byddai yn gyfleusdra rhagorol i holi am ryw wybodaeth ynghylch gwrthddrych ei ymchwiliad.

"A ŵyr un o honoch chwi am ddyn ieuanc o'r enw John Jones yn byw ffordd yma?" ebai ef, gan anerch y cwmni yn gyffredinol.

Gwyddai amryw o honynt am ddyn neu ddau o'r enw hwnw; ond pa fath ddyn ydyw, ac o ba le y daeth i'r wlad hon? gofynent.

"O Ogledd Cymru y daeth i'r wlad hon, tua phedair blynedd yn ol; ac y mae, o ran maint, llun, a phryd, yn debyg i mi, canys yr ydym yn efeilliaid; a byddai pobl yn methu dyweyd y gwahaniaeth rhyngom pan oeddym yn blant."

Atebodd un llanc fod yno ŵr boneddig o Gymro o'r enw yn byw tua phymtheg milldir tu hwnt i'w gartref ef; ei fod yn cadw ffarm; ond ei fod yn ieuengach dyn o ddeng mlynedd na'r sawl a ddywedai ei fod yn gyd-efaill âg ef. "Er hyny," ebai ef, "fe allai eich bod yn frodyr—yr ydych yn ddigon tebyg o ran maint, a llun, ac y mae eich llygaid yr un ffunud."

Yn marn Ifan yr oedd y trywydd hwn yn werth ei ddilyn, er fod deng milldir ar hugain o'i flaen, gan fod y llanc yn byw bymtheg milldir o'r efail. Cyrhaeddasant gartref y llanc ar ol machlud haul, ac yr oedd yn rhaid i Ifan aros yno am y nos hono; ond ymadawodd cyn dydd drannoeth, gan fod ei galon ar dân am weled sylweddoliad ei ddysgwyliadau. Nid gwaith dibwys ydyw cerdded pymtheg milldir o ffordd mewn gwlad ddyeithr, a llwybr diarffordd yn fynych, heb undyn byw yn agos i ofyn am gyfarwyddyd. Pa fodd bynag cyn i'r haul fyned tros y gorwel cafodd ei hun o flaen ffermdŷ—palasdŷ yn hytrach—a'i galon

yn curo gan bryder tra y curai yntau y drŵs efo llaw grynedig. Daeth morwynig ddu i'r drŵs—yr wyres fach y soniasom am dani; gofynodd iddi os oedd Mr. Jones adref, ac atebodd hithau ei fod, ac y deuai ato yn union. Ac ymhen ychydig fynydau dyma Mr. Jones yn dyfod, *y* John Jones y chwiliasai gymaint am dano. Adwaenodd Ifan John yn y fan, er ei fod wedi tewychu, melynu, a heneiddio tipyn; ond nid adwaenai John Ifan; yr oedd y llongddrylliad a'r adfydau a ddyoddefasai yn ystod ei ymchwiliadau wedi gadael eu hôl arno, ac wedi gwỳnu ei wallt a rhychu ei wyneb. Deallodd Ifan nad oedd Mr. Jones yn ei adnabod, a thybiodd mai gwell herian ychydig âg ef.

"Ydych chwi yn d'od o Gymru, syr?" ebai ef yn Gymraeg wrtho.

"Ydwyf," ebai Mr. Jones.

"O Ogledd Cymru, syr?"

"Ië," atebai Mr. Jones.

"Rywle o ardal Llanllonydd?"

"O Lanllonydd; o ganol Llanllonydd," ebai Mr. Jones, gan edrych yn ddyfal yn ngwyneb ei holwr. Gyda hyn, cododd Ifan ei lygaid, ac adwaenodd John ef yn y fan. Nid oedd amser i lefaru mwy; syrthiodd y ddau ar yddfau eu gilydd gan ymgusanu. Parodd eu harddangosiad o lawenydd wrth weled eu gilydd ddychryn trwy y tŷ; rhedodd y lodes ddu ymhlith eraill i'r fan, ac ysgrechai yn arswydus, gan feddwl fod y dyn dyeithr yn lladd ei meistr, ac nid oedd y llygad-dystion eraill nemawr callach na hithau. Eglurodd John iddynt pan y daeth ato ei hun, mai ei unig frawd oedd y dyeithrddyn; rhoddwyd gwisg drwsiadus am dano, a dangosai y Negröaid iddo barch diderfyn, y rhai a'i galwent yn eu dull syml hwy yn "Massa Jones Benwỳn," er mwyn gwahaniaethu rhyngddo a John Jones.

Cymerodd i Ifan rai dyddiau i egluro hanes ei daith, ei hanffodion, hanes Hywel Puw a'r Arian Mawr, hanes Jemima Sophia Rees a'r *Exciseman;* ac i argyhoeddi ei frawd mai ei ddyledswydd ydoedd dychwelyd gynted fyth ag y gallai i Gymru. Cymerodd rai misoedd wedi hyny i John Jones drefnu ei eiddo, gosod ei ffarm, a gollwng ei Negröaid o un i un yn rhydd—yr oedd yr hen ŵr, taid y lodes, eisoes wedi ei ollwng yn rhydd gan angeu; ac am y lodes ei hun, penderfynai ei dwyn hi, ar ei chais daer, gydag ef i Gymru. Ond pan osodwyd y ffarm, ac y rhyddhâwyd y bobl dduon, a swm da o arian yn meddiant bob un, cychwynodd y ddau efell yn nghyfeiriad Cymru, a chyrhaeddasant Lanllonydd ymhen deunaw mis i'r diwrnod o'r amser y cychwynasai Ifan i America. Yr oedd y cyfreithiwr wedi gadael gair ar iddynt brysuro i Lundain ar eu dychweliad heb goll amser; a chan fod cadwen y dystiolaeth wedi ei chyfanu yn ddifwlch, gan Hywel Puw yn benaf, ni bu nemawr drafferth mewn cael yr ystâd a'r arian i'w hiawn berchenogion.

## PENNOD XVI.

Mawr oedd y llawenydd yn y Llàn cysglyd pan ddychwelodd dau o'i blant anwylaf wedi absennoldeb o ychydig flynyddau, yn enwedig pan

ddeallwyd eu bod yn wŷr boneddig o ran cyfoeth; fod dau efell y *Ddraig* yn werth hanner miliwn o bunnau cyd-rhyngddynt. Parai dyfodiad gymaint swm i ardal amaethyddol chwanegiad mawr at ei chyfoeth, a chai pawb rhyw fûdd oddiwrtho; ac y mae hunan-elw yn weithredydd cryf yn y meddwl. Yr oedd yno hefyd ddosbarth a lawenychent yn nychweliad y gwŷr ieuainc oddiar egwyddor lai hunangar—yr oeddynt hwy yn ymfalchio bob amser wrth weled lwc yn dilyn "hogiau'r Llàn;" ac wrth gwrs, yr oedd yno gyfeillion, a deimlent yn falch o'u gweled, hyd yn nôd pe daethent adref yn eu carpiau. Yn un o'r tri dosbarth nid oedd John Rhys. Am Miss Rees, yr oedd hi er ys rhai blynyddau yn Mrs. MacDonald, er cryn lawenydd i Hywel Puw, ac wedi gadael y wlad na wyddai neb yn iawn i ba le. Ni edrychodd yr *Afr* erioed mor waraidd ac yswilgar a'r diwrnod y cenid y clychau ac y cyhwfenid llummanau i groesawu "bechgyn y Ddraig" yn ol; ac yr oedd golwg lipa ar John ei hun. Adgofiai Elsbeth iddo ei haml rybuddion. "'Roeddwn i yn dyweyd, John," ebai hi, "'does dim daioni yn dilyn neb a geisio ddichellu yn erbyn Rhagluniaeth. Gadewch i Ragluniaeth gael ei llwybr a'i hamser ei hun, meddaf fi bob amser; ac fe ddylai y wers hon eich dysgu chwithau i ddyweyd yr un peth. 'Rydych chwi yn darfod, ddyn, wrth ben eich traed. Mae eich dillad yn ormod i chwi o'r hanner; ond mi ddywedais i mai fel hyn y tro'i pethau." "Ydach chwi yn dyweyd,—ydach chwi yn dyweyd, pan ddaw pethau yn groes i ddysgwyliad," ebai Rhys; a chafodd dwtsh o gûr yn ei ben a'i gorfododd i gadw i mewn yn ei ystafell am rai wythnosau, heb weled neb ond ei gyfeillion mwyaf mynwesol. Ac y mae'r hanes hwn yn ei adael gyda'i deimladau siomedig, a'i ysbryd sûr, i dreiglo ymlaen ar afon amser.

Ymhen ychydig ddyddiau wedi i'r ddau Feistr Jones gyrhaedd adref (rhaid i ni bellach eu galw yn Feistri, gan eu bod yn ddynion barfog, ac arianog), cymerodd dygwyddiad, neu yn hytrach seremoni, bychan le, digon dibwys i'r byd yn gyffredinol, ond pur bwysig i'r ddau a gymerent ran flaenllaw ynddo, sef prïodas Peter Prys â Chatrin Hughes, penforwyn y *Ddraig.* Rhyw bâru yn mis Hydref ydoedd, gan fod y ddau wedi pasio amryw o geryg milldiroedd bywyd ar ol eu hanner cant oed. Pa fodd bynag, "yr oeddynt yn ddigon hen i wybod beth oeddynt yn ei wneyd," fel y dywedai yr Hen 'Dderyn; a chan eu bod yn adnabyddus iawn, os nad yn barchus iawn, penderfynwyd cael prïodas y byddai sôn am dani am flynyddau. Rhoddodd y Meistri Jones orchymyn fod yr holl ddarpariadau i fod o'r fath oreu, ac nad arbedid dim traul er dathlu prïodas eu hen gydnabod y clochydd, a'u hen wasanaethyddes Catrin. Cafwyd y deisen brïodas o Gaer, tan gamp,—fawr, frith, tô o siwgr gwyn toddedig trosti, a modrwy o aur pur yn rhywle yn ei chanol. Ac wedi sôn llawer am y diwrnod, efe a ddaeth yn ei dro. Yr oedd Mr. Prys wedi ymbincio fel llanc ieuanc, wedi îro ei wallt a'r plât oedd yn y canol, a chanddo am dano *dress coat* danlli newydd, a barai iddo edrych fel corfran mewn gwasgod wen; a'r brïodferch hithau yn ei gwisg o'r un lliw ag eira unnos, yr hyn a barai i chwi feddwl am bren afalau tan ei flodau yn mis Tachwedd. Cafwyd gwas a morwyn prïodas o'r iawn ryw—nid oeddynt neb amgen Ifan Jones a Miss Duncombe, merch ieuanc, foneddig, ddifalch, a charedig fel ei thad; a John Jones oedd yn rhoi y brïodasferch wrth yr allor. Rhwymwyd y cwlwm gan Mr. Duncombe,

nid oedd neb arall cyfaddas yn marn y prïodfab; ac yr oedd Hywel Puw hefyd, fel arolygydd y dathliad, yn llawn ŷni a llafur i ddwyn pobpeth ymlaen yn anrhydeddus. Am yr Hen 'Dderyn, yr oedd ef yn rhwym am y diwrnod wrth yr unig wrthddrychau allent daflu gwir urddas, yn ei farn ef, ar yr amgylchiad, sef y clychau. Y clochdy oedd ei le prïodol ef y diwrnod hwnw. Buasai iddo ef ymgymysgu â'r cwmni prïodasol, a throsglwyddo y clychau i ddwylaw anghelfydd, yn annoethineb anfaddeuol; ac yn y clochdy yr arosodd trwy y dydd yn sturmantu y pedair clôch nes yw yn syndod nad aethant yn ddrylliau; heb ymattal gymaint ag unwaith oddigerth i dori ei gythlwng neu ei syched. "Sut yr oedd efe yn gallu cânu pedair clôch ar unwaith?" ebai rhywun. "Sgiâm," chwedl yntau. Cortyn wrth dafod pob un;—un cortyn ymhob llaw, ac un cortyn am bob troed; ac yntau yn rhoddi ei gorff trwy yr ystumiau rhyfeddaf,—yr oedd fel dyn ar y *treadmill.*

Anfuddiol a fyddai i ni sôn am yr arlwy prïodasol, wrth ba un yr eisteddodd yr holl gwmni, heb eithrio Mr. Duncombe a'i ferch, na'r Negröes, yr hon a eisteddai yn ochr y brïodferch, nes peri i wisg Catrin Prys (bellach) ymddangos yn wynach, ac i blentyn Ham edrych yn dduach nag erioed, yr hon o hyn allan oedd i gymeryd lle y wraig ieuanc yn arolygiaeth forwynol y *Ddraig.* Yr oedd y *Ddraig* am y diwrnod hwnw yn dŷ agored, trwy orchymyn y perchenog, a mawr a galarus y manteision a gymerwyd ar hyny gan farusion y Llàn. Penwyd fod neithior i gael ei chynnal yn yr hwyr, nid i ymloddesta a meddwi, ond i ymfwynhâu. Cymerwyd y gadair gan Mr. Hywel Puw, a chan nad oedd cânu clychau llawen-chwedl prïodas yn weddus wedi machlud haul, yr oedd yr Hen 'Dderyn at ei ryddid i ymuno. Traddodwyd llïaws mawr o anerchiadau, yfwyd amryw lwnc-destynau, a chânwyd amryw gerddi. Deisyfwyd ar yr Hen 'Dderyn roddi cân, ei gân Seisnig, "*Dance y thumbkin, dance,*"—cân ragorol ar gyfrif ei Saesoneg rhyfedd o enau yr Hen 'Dderyn; ond ymesgusodai trwy ddyweyd ei fod ef wedi bod yn cânu trwy'r dydd—yn cânu'r "clychau."

"Wel," ebai Mr. John Jones, "os na châni di, Nicodemus, rhaid i ti adrodd dy hanes yn yr *hearse.*"

"Ar goreu, Mr. Jones, ar goreu," ebai yntau, gan sefyll ar ei draed a bwrw un llygad i'r llawr a'r llall i'r nenfwd, "os yw pawb yn foddlon, dyma i chwi hanes

YR HEN 'DDERYN MEWN HEARSE.

"MAE llawer byd o flynyddau er hyny. Claddu twrne o'r llàn yma yr oedden' ni mewn lle o'r enw Llysfaen, heb fod ymhell o Abergele. Yr oedd tua dwsin o honom ni yn alarwyr huriedig a dagrau crocodiles yn ein llygaid, wedi ein cyflogi i helpu gyda'r gwaith, ac i golli gymaint fyth ag a fedrem o ddagrau. Ond yr oedd yr awyr yn gwneyd y gwaith olaf trosom yn bur effeithiol—yn ddagrau breision wedi eu rhewi yn genllysg. Cychwynem o Lanllonydd am bedwar o'r gloch y boreu yn nyfnder y gauaf, a boreu mawr oedd y boreu hwnw, canys heblaw cenllysg, ac ôdwlaw fferllyd, yr oedd hi yn wynt cryf hefyd. Ni wyddwn i yn y byd sut i gerdded trwy'r dryghin, gyda fy un cyfaill ar ddeg, yr ugain milldir a throsodd oedd genym o'n blaenau. Nid hyd y daith a ofnem, ond gerwindeb yr hîn. Beth bynag, mi darewais wrth fy sgiâm.

Rhoddem yr arch yn yr *hearse* wrth oleu canwyllau; a chyda fod hyny o oruchwyliaeth wedi ei chyflawni, daeth hyrddiad o wynt a diffoddodd yr holl ganwyllau; neidiais innau mewn winciad llygad i mewn at yr arch. Yr oedd pawb yn methu dirnad i ba le yr aethwn, a'r farn gyffredin ydoedd fy mod innau wedi diffodd hefyd; tra y meddyliai eraill mai wedi llithro i gael rhywbeth i'm dyn oddifewn yr oeddwn. Wedi dysgwyl a chwilio cryn lawer am danaf, penderfynasant gychwyn, gan ddyweyd wrth eu gilydd, y deuwn o hyd iddynt os nad oedd damwain canwyll wedi fy nghyfarfod. Yr oedd y cenllysg yn curo tô fy niddosle yn ddidrugaredd, a'r gwynt yn rhuo yn uwch na thrwst carnau y meirch ac olwynion y cerbyd, ac yn uwch bron na chwynion yr un ar ddeg, y rhai a glywn yn dyweyd cyn cyrhaedd ond ychydig filldiroedd ar eu taith eu bod yn wlyb dyferol at eu crwyn. Am ysbaid, yr oedd hyn yn peri i mi deimlo yn fwy clyd; ond o radd i radd dechreuais deimlo fod gan fy sefyllfa innau ei hanfanteision,—ei *rhy;* ac "nid da rhy o ddim," fel y dywed yr hen ddïareb, onidê Mr. Cadeirydd. Os oeddynt hwy oddiallan yn rhy oerion, yr oeddwn innau oddifewn yn rhy boeth; os oeddynt hwy yn wlybion, yr oeddwn innau yn chwysu. O'r diwedd cyrhaeddasom Abergele, lle yr arosodd yr orymdaith am rai mynydau, a chlywn fy nghyd-alarwyr yn galw ar eu tad, yr hwn nid yw yn y nefoedd, yn dyst nad aent yr un cam pellach; ac yno yr arosasant. Aethom ymlaen, sef, yr ychydig foneddigion oedd mewn cerbyd clyd ar eu penau eu hunain, gyrwyr y ddau gerbyd, a minnau; ac yr oeddwn yn methu dirnad sut yr oedd fy nghaban mor boeth, a'r hîn mor oer. Deallais ar ol hyny, nad oedd yr un chwâ o awyr iach yn dyfod ataf ond trwy dwll clô bychan yn nghauad yr *hearse.* Pa fodd bynag, dysgais yn ieuanc mai 'y goreu o ddau ddrwg ydyw y lleia';' a glynais yn fy lle. Ond yr oedd hi yn boeth ofnadsen yno hefyd; mi a dynais fy nghôt, ac a dynais fy ngwasgod, ac a ddattodais fy nghadach, ond myn'd yn boethach, boethach, yr oeddwn i o hyd. Mi feddyliais wed'yn y buasai mygyn yn gwneyd llês i mi; ond bu agos i hwnw fy lladd yn farw gorn, a bu'n hywyr glâs i mi ddiffodd y *tân.* O'r diwedd, cyrhaeddasom Landdulas, lle y safodd yr orymdaith, er mwyn tŷnu yr arch o'r *hearse* a'i chario ar ysgwyddau'r galarwyr i fyny yr allt i Lysfaen. Yr oedd deuddeg o ddynion o'r ardal hono wedi eu llogi i helpu gwŷr Llanllonydd yn y gwaith o gludo'r arch. Aeth y boneddigion yn y cerbyd ymlaen yn araf dêg; a hwyliodd gwŷr Llysfaen i dŷnu'r arch allan. Tua wyth o'r gloch y bore oedd hi erbyn hyn ar y diwrnod. 'Diaist i,' ebai fi, 'er poethed ydw'i, mi fyna' dipyn o ddifyrwch ar gôst y frawdoliaeth hon;' a gafaelais mewn stapal oedd ar ddrws yr *hearse* oddifewn gan ei thŷnu ataf. Dyna lle yr oeddynt hwythau yn troi ac yn troi yr handlen, ac yn methu'n glir faes a chael gan y drŵs agor. 'Corff beth ydyw hwn?' medden' nhw. 'Corff twrne,' ebai rhywun mwy gwybodus na'i gilydd yn eu plith. Llanwodd y wybodaeth mai twrne oedd oddifewn eu calonau â dychryn; meddylient ei fod wedi codi a chloi ei hunan i mewn, gan fod pobl yn credu nad oes dim pendraw ar ystrywiau twrneiod. Ac wedi eu hir boenydio fel hyn, gollyngais y drŵs yn drwp am eu penau, a pha beth a welent yn nglasiad y bore ond y bôd bychan digrifol hwnw a elwir Nicodemus Dansi, yr hwn sydd yn cael yr anrhydedd o'ch anerch yn awr, heb yr

un gôt, heb yr un wasgod, heb yr un het, a phwt o getyn bychan yn ei ben, yn eistedd ar arch twrne. Wel, 'feddyliodd yr un o honynt, ac ni feddyliasai yr un o honoch chwithau, 'rwy'n meddwl, nad y diafol oeddwn i, wedi dyfod i gymeryd meddiant personol o'i eiddo; a gwadnodd y deuddeg hi nerth y carnau tuag Abergele. Chwarddais innau yn galonog am ychydig fynydau am ben fy nyfais; ond ystyriais wedi hyny sut y ceid y corff i fyny'r allt; a rhedais nerth fy heglau fel yr oeddwn ar eu holau, gan waeddi arnynt i dd'od yn ol. Troisant drach eu cefnau, a phan welsant trwy gipedrychiad y fath un oeddwn, gwadnasant hi yn gethinach nag o'r blaen. Fe aeth pedwar o honynt trwy wrych drain nad aethai yr un tarw trwyddo, gan ei gwneyd hi am y môr; fe ffôdd pedwar arall i un o'r ogofäau hyny sydd uwchlaw Tanyrogo, ac yno y cafwyd hwy, ymhellach ar y diwrnod, yn llechu fel llygod mawr; a chafwyd y pedwar arall wedi ymguddio dan y gwelyau mewn gwesttŷ yn nhref Abergele. A dyna i chwi hanes fy nhaith i mewn *hearse*. Os nad yw yn brïodol i'r amgylchiad, rhowch y bai wrth ddrŵs Mr. Jones."

Curwyd dwylaw, curwyd traed, a churwyd y byrddau, dywedwyd "Rhagorol iawn," ac ni wyddai Peter Prys am ysbaid pa un yn iawn i'w edmygu fwyaf, ai donioldeb yr Hen 'Dderyn, ynte y wên foddhäus a eisteddai ar wynebpryd ei brïodferch. A therfynodd y neithior, pawb mewn natur dda, pawb yn ewyllysio'r goreu i'w gilydd, ac yn enwedig i Mr. a Mrs. Prys.

Y mae ein gwaith ni bellach ar ben. Ond dylem hysbysu i'r ddau Feistr Jones, wedi myned yn gyfoethog, ymddwyn fel boneddigion, yr hyn nid yw yn digwydd bob amser gyda pherchenogion eiddo caffaeledig; iddynt waddoli Hywel Puw â gwaddol hael, a thrwy hyny wneyd boneddwr o'r hwn a wnaethai foneddigion o honynt hwythau—nid yw hyny chwaith yn dygwydd bob amser; iddynt godi Ysbyttŷ hardd yn eu Llàn genedigol, a'i waddoli yn hardd hefyd; iddynt ofalu na bu yr Hen 'Dderyn mewn eisieu dim hyd nes cyrhaeddodd yntau y "tŷ" a ddarparasai gynifer o weithiau i eraill; iddynt ddyfod yn fuan ymhlith yr aelodau mwyaf anrhydeddus o gymdeithas Llanllonydd. Ac felly, yn ngeiriau teitl un o chwareuon y prif-fardd Seisonig, "*All's well that ends well.*"

[SYLW.—Y mae y personau y sonir am danynt yn y Rhamant flaenorol yn gymeriadau dilys; y dygwyddiadau a gofnodir wedi cymeryd lle yn ystod yr oes hon; ac yr oedd yr hynaf o'r hen arferion a groniclir mewn bri ddeng mlynedd ar hugain yn ol. Hwyrach y dywedir y dylasem fod wedi llunio dychymygion synfawr fel ystlys chwedlau, yn hytrach na benthyca o faes dihysbydd natur; ond pa beth bynag ydyw y sawl a syniai felly, gellir dyweyd gwirionedd nacäol am dano, "Nid yw yn feirniad." Os dywedir ein bod wedi cloddio rhai o'n defnyddiau allan o haen go isel, atebwn, mai "Po ddyfnaf yr haen caletaf y gàreg." Ein hamcan ydoedd gosod o flaen y darllenydd arwyneb i'r nodweddiad Cymreig nad oes ond ychydig sylw wedi ei dalu iddo hyd yn hyn.—YR AWDWR.]

# MANYLDEB DEDDFAU NATUR.

There lives and works
A soul in all things, and that soul is God.
The beauties of the wilderness are His,
That make so gay the solitary place,
Where no eye sees them ; and the fairer forms
That cultivation glories in are His.
He sets the bright procession on its way,
And marshals all the order of the year.

COWPER.

NID rhyfedd, ar ryw ystyriaeth, i'r athronwyr cyntaf dybied mai pedair onglog ydoedd ein byd ni, oblegid byddai hyny, i raddau, yn gyson â'r ffaith fod pob bodolaeth y gwyddom ni am dano, oddigerth Duw, yn gorwedd rhwng erchwynion Amser a Lle. Mae y rhai hyn fel dwy ffordd yn croesi eu gilydd, a hwynt-hwy ydyw ein safon i fesur pobpeth daearol; gan, os bodola peth o gwbl, rhaid iddo wneyd hyny mewn *lle* penodol, ar *amser* penodol. Wrth yr un safon hefyd y rhaid i ni farnu y deddfau a osodwyd i grëadigaeth amser. Nis gellir amgyffred Amser a Lle ynddynt eu hunain; ond trwy gyfrwng yr Haul a phethau eraill hysbysa y meddwl ni o dreigliad y cyntaf, ac y mae terfynau ein daear yn ein gorfodi i gydnabod bodolaeth yr olaf. Wedi ceisio dangos beth ydys yn ei feddwl wrth "Natur," ac yna wrth y geiriau "Deddfau Natur," ymdrechwn ddangos eu manyldeb trwy dystiolaeth Amser a Lle, ar wahân, ac yn eu mynych gydgyfarfyddiad.

Mynych iawn wrth edrych ar ddarlun, neu wrth wrando siaradwr cyhoeddus, neu wrth sylwi ar ambell hen Gymro, y dywedir, "Mor naturiol ydyw;" a derbynir y geiriau bob amser fel arwydd o gymeradwyaeth, ac yn aml o edmygedd a chanmoliaeth. Beth ynte ydyw "naturiol?" Gallem ateb mewn gwahanol ffyrdd. Dywed un, fe allai, fod y darlun yn gosod allan yn gywir a manwl yr hyn a amcana; fod y siaradwr yn rheoli ei lais a'i ysgogiadau fel y byddont fwyaf gweddus i'w fater, i'w berson, a'r man y lleferir ynddo; ac fod yr hen Gymro yn union y cymeriad syml ac anrhydeddus y credai dyn ei fod oddiwrth yr olwg arno. Dywed ambell un, "Ni fuasai yn bosibl bod yn well," ac ond odid nad dyma y goreu. Pan wneir peth yn naturiol, yr ydym yn barod i addef ei fod yn ateb i'w ddyben, fel nad oes angen am, ac nad yw yn bosibl cael, dim yn rhagorach. Teimlwn barch a hoffder tuag at y naturiol fel rhywbeth o'r mwyaf syml a dylanwadol. I gael golwg gliriach eto ar y mater, rhaid gorphen y frawddeg, Mor naturiol:—"Mae y llong yn symud ar y dwfr mor naturiol â'r *alarch*." "Mae y darlun

yna o'r march mor naturiol a phe bae *yn fyw.*" "Mae Mr. Jones yn ysgolaig gwych, ac yn bur gyfoethog, ond mae mor naturiol yn ei gymdeithas a *phlentyn bach.*" Prin yr ydym yn teimlo nerth a phriodoldeb geiriau o'r fath hyd nes y ceisiwn eu troi i'r gwrthwyneb; "mae yr alarch yn nofio mor naturiol â'r llong;" "mae y march mor naturiol a'r darlun;" a'r "plentyn bach mor naturiol ag ysgolaig cyfoethog." Teimlwn ein bod yn myned yn erbyn synwyr cyffredin wrth siarad fel hyn, ac yn sarhâu yr alarch a'r march. Eto ceir ambell i fardd yn tybied ei fod yn pentyru gogoniant ar y doldir o amgylch godrau y bryn wrth ei ddesgrifio fel

Yn gorwedd fel *carpedau* fyrdd
Yn wyrdd yn *mharlwr* natur.

Nid ydym byth yn meddu syniadau eglur am wrthddrych na lle os nad ydym yn gweled y llinell derfyn rhyngddo a phob gwrthddrych neu le gwahanol. Dyna ein hamcan yn y sylwadau uchod, dal dau ddosbarth ar gyfer eu gilydd nes gweled fod gwahaniaeth dirfawr rhyngddynt. Trethwn amynedd y darllenydd unwaith ymhellach fel y caffom syniad eglur am Natur. Siaredir mewn llyfrau ar farddoniaeth Seisonig am "*Spenserian Stanza*" ac am "*Miltonic Spirit;*" a cheisia crachfeirniaid yn fynych ddangos fod gwrthddrych eu hysgrifau a'u cenfigen yn ceisio efelychu y *Spenserian Stanza* neu y *Miltonic Spirit.* Gŵyr llawer mai un o nodweddion Spenser oedd iddo farddoni yn y pennillion naw llinell, a gŵyr ychwaneg fod ysbryd gwrol, beiddgar, ac eto o'r gradd uchaf o foesoldeb, yn nodweddu barddoniaeth Milton, ac yn ei wahaniaethu am oes y byd oddiwrth bob bardd arall. Wele ynte ddau yn sefyll ar wahân oddiwrth ysgrifenwyr eraill, yn rhinwedd rhyw ragoriaeth neu ragoriaethau neillduol. Gosododd y ddau eu delw ar un peth nas dilëir mohoni tra y pery yr iaith Saesoneg. Felly hefyd y mae rhywun neu rywbeth a elwir "Natur" wedi gosod ei delw ar bethau o'n hamgylch, ac y mae y ddelw hono fel penadur yn sefyll ar wahân oddiwrth pobpeth arall yn ei symledd, ei harddwch, a'i gogoniant. Perthyna addurn penodol i bob rhan o honi, a'r *compliment* mwyaf i waith dyn ydyw dywedyd ei fod yn debyg i waith "Natur." Mŷn rhai mai trefn yn unig sydd yma, a hono wedi tarddu a thyfu o annhrefn a diddymdra. Yn groes i hanesyddiaeth, i brofiad, i reswm, ac i ysgrythyr, dygant y perffaith o'r anmherffaith, trefn o annhrefn; bwriant beth glân allan o beth aflan. Mŷn eraill mai amlygiad ydyw o allu mawr Bôd a'i hanfod ynddo ei hunan, ac fod y gallu hwnw yn gweithredu yn ol deddfau a osodwyd iddo gan ddoethineb cynghor ewyllys y Bôd hwnw ei hunan. Ond nid oes yr un gallu yn gweithredu heb fod yn unol â deddfau neillduol, pa un bynag a ydyw yn ymwybodol o hyny ai nad ydyw; ac nid oes yr un gallu yn meddu cynifer o ddeddfau, a'r rhai hyny mor amlwg â Natur. Os ydym ni yn gweled pethau amddifad o ewyllys a phenderfyniad yn dilyn deddfau neillduol yn eu dadblygiad a'u tyfiant, rhaid i ni gredu fod rhyw allu goruwch iddynt hwy wedi trefnu iddynt weithredu yn unol â'r deddfau hyny; ac ni bydd ein gwaith ni yn ceisio profi manyldeb deddfau natur ond cam tuag at brofi manyldeb gofal a goruwchlywodraeth Awdwr Natur. Ond beth ydyw manyldeb? Mae yn amlwg fod y gair yn dyfod o'r gair *mân,* ac y mae sôn am fanyldeb

deddfau Natur yn golygu y lle a'r sylw a roddir i bethau bychain yn nhrefn natur. Pan y gwelwn ganlyniadau pwysig cymeryd un peth bychan yn lle y llall, megys dyferyn o *strychnine* yn lle dyferyn o *turpentine*, gwelwn hefyd reswm digonol dros fanyldeb y deddfau. Pe tan yr Hen Oruchwyliaeth y gwelid yr offeiriad mewn gwisgoedd aberthu, ac yn sefyll yn y man prïodol i'r gwaith, a chyda'r arfau prïodol, a phe buasai i'r offeiriad ar ol derbyn yr oen, ar yr awr brïodol, ommedd aberthu, o herwydd iddo ganfod rhyw anaf ar yr anifail, penderfynid fod deddfau aberthu yn bur fanwl. Yr oedd yno fanylder lle, manyldeb amser, a manyldeb mewn pobpeth. Ambell waith arbenigrwydd neillduol ar *le* a osodir; bryd arall ar *amser;* ond fynychaf lawer dangosid manyldeb trwy ofalu am *amser* a *lle*. Ceir ambell ddyn yn fanwl am i'w lyfrau fod yn eu lleoedd prïodol, tra na ofala gymaint a osodir hwy felly cyn ynte ar ol boreufwyd, neu rywbryd arall. Mae genym gymydog tra gofalus am ddestlusrwydd ei ardd, ond yn bur ddiofal gyda'i amser. O'r ochr arall, ceir ambell un yn gofalu am amser, ar draul esgeuluso lleoedd pethau. Yn y dosbarth hwn gellir nodi y rhai sydd yn meddwl llawer o godi yn yr hâf i wylio codiad haul, a'r gauaf i wylio amser ymddangosiad cyntaf goleuni yn nhŷ cymydog. Gofalant am gyfodi ar awr benodol a boreuol, ac heb ganddynt yr un gorchwyl neillduol mewn golwg. Dywedir y llyncir pob meddwl mawr a gwreiddiol gan un ai amser ai lle; ac fod y naill neu y llall wedi argraffu ei ehangder ei hun ar feddwl y dyn. Ond beth bynag am wirionedd y dywediad, gwelir yn aml feddyliau lled fychain yn gorofalu am y naill ar draul y llall, a chysur y rhai fyddo yn byw gyda hwynt. Ond gwell esiampl o fanyldeb gwirioneddol ydyw gofal am amser a lle. Clywir gwas yn dyweyd weithiau am feistr, "Ac os na bydd y ceffylau wrth yr aradr erbyn wyth o'r gloch, gwae ni;" neu forwyn am ei meistres, "Ac os na bydd y moch wedi eu bwydo, a'r llestri godro wedi eu golchi cyn naw o'r gloch, ni cheir heddwch y gweddill o'r diwrnod hwnw." Rhinwedd, bid siwr, ydyw y manyldeb yn y meistr a'r feistres; ond, arwydd o ddiffyg iddynt ambell waith fethu gweled rheswm mewn oedi pan y byddai achos yn galw am hyny. Yn y trefydd gellir gweled llawer un yn gofalu am amser a lle. Gwelir hwy ar gongl yr un heol yr un mynyd ar yr awrlais bob dydd; ac fe allai, pe gallem ond anghofio y dysgwyl dybryd gawsom rai troion yn y *stations*, y gallem nodi y *train* fel peth sydd yn ceisio bod yn bur fanwl gydag amser a lle. Ein hamcan wrth fanylu ar hyn ydyw agor llwybr naturiol i safleoedd neillduol, o ba rai y gallwn weled yn eglur fanyldeb deddfau natur. Ac y mae un gradd uwch eto o fanyldeb, ac nis gallwn gael gwell enw arno na "rheoleidddra afreolaidd." Fe allai na buasem yn meddwl am hwn o gwbl, oni bae am ei amlygrwydd mewn seryddiaeth, yn yr hon gangen o wybodaeth y cawn esiamplau neillduol o fanyldeb deddfau, a hyny ar raddfa fwy ëang nag yn un man arall. Pe wrth wylio dyn y canfyddem ei fod yn gofalu am fod gyda'i orchwyl ddydd Llun am 9 o'r gloch, ddydd Mawrth 5 mynyd yn gynnarach, ddydd Mercher 5 mynyd yn ddiweddarach, ddydd Iau 10 mynyd yn gynnarach, ddydd Gwener 10 mynyd yn ddiweddarach, buasem yn ei ystyried yn ddyn manwl ei symudiadau; ond pe caem fod ganddo orchwyl gwahanol mewn lle gwahanol bob dydd, ac eto ei fod yn gofalu am yr amser yn y drefn a nodwyd, buasem

yn ei ystyried yn fwy manwl drachefn; ac yn fwy o lawer felly pe cymerem y dyddiau yn flynyddoedd, a'r mynydau yn wythnosau neu ddyddiau. Beth ddywedir ynte am gamrau breision y ddaear, yr hon bob rhyw nifer, nid o oriau, ond o flynyddoedd, sydd yn dyfod yn ol i'w sefyllfa neillduol; ac am y planedau aruthrol eu maintioli, y rhai er symud ar eu hechelydd eu hunain, ac hefyd o amgylch yr haul, sydd eto yn gofalu am y lleoedd prïodol ar eu hamserau neillduol? Mae symudiadau mwyaf rheolaidd dyn yn ddarostyngedig i amgylchiadau hwnt i'w lywodraeth ef ei hun, megys iechyd a bywyd; ac er ei fod yn fanwl ac yn ffyddlon i'w addewid tra y gall, eto gellir yn fynych gael siomedigaeth ynddo. Ond y cyfryw ydyw cywirdeb deddfau y ddaear, y planedau, a'r haul, fel y gellir hysbysu eu safleoedd fil o flynyddoedd ôl a blaen; a'r fath ydyw manyldeb deddfau natur yn eu gweithrediadau, fel wrth blanu yr hedyn y gellir hysbysu boreu ymddangosiad y blodeuyn, a'i ffurf, a'i liw, a'i faintioli; ac wrth sylwi ar ddyfnder bedd bychan y gronyn gwenith, y gellir rhaghysbysu blaguriad yr eginyn byw a gwyrddlas, ïe, a natur y sylwedd mwyaf mewnol yn mrîg y dywysen addfed, pan wedi bod am ddyddiau lawer yn chwareu â'r gwynt a'r gwlaw, ac wedi bod yn ymborthi ar y pridd, ar yr awyr, ar oleuni a gwrês yr haul, ac ar wlith tyner nosweithiau hyfryd hâf.

Gan mai ffeithiau ydyw y pethau egluraf a chadarnaf, a chan mai trwyddynt hwy y canfyddodd dyn ddeddfau Natur, ceisiwn yn awr nodi amryw o honynt, a gwneyd ychydig o sylwadau arnynt; a cheir maes ehangach, ynghyda gwell trefn i wneuthur hyn trwy ranu y grëadigaeth yn ddosbarthiadau, yn ol gwahanol ganghenau gwybodaeth. Felly sylwir arnynt yn y drefn ganlynol:—Fferylliaeth, Athroniaeth Naturiol, Seryddiaeth, Llysieuaeth, a Mildraeth, neu *Zoology*.

Gwelir ein bod yn gadael allan Ddaeareg: ein rheswm dros hyny ydyw y cynnwysa Fferylliaeth yr hyn oll fuasai yn angenrheidiol ei ysgrifenu ar Ddaeareg. Mae pob haen o'r hen ddaear wedi ei osod yn ei wely gan wahanol ddeddfau Natur. Ceir ei chreigiau yn dywodfaen neu wenithfaen trwy ddeddfau attyniad; a'i gwelyau glô wedi eu ffurfio trwy farwolaeth a dadansoddiad llysiau a choedydd. Pan ffurfiwyd yr *Old Red Sandstone*, yr oedd y dyfroedd yn lliwiedig â haiarn wedi ei ddadansoddi, yn ol deddfau Fferylliaeth; a thrwy dalu y sylw manylaf i ddeddfau Natur yn unig y ceir esboniad boddhäol ar sefyllfa bresennol pethau.

### FFERYLLIAETH *(Chemistry)*.

Ceisiwn yn awr brofi ein testun trwy engreifftiau o feusydd ëang a dyddorol Fferylliaeth.

Pe bae ysbryd da neu ddrwg yn ehedeg o amgylch y belen ddaearol, mae yn debyg nas gwelai lawer o amrywiaeth ynddi ar y cyntaf. Canfyddai dipyn o afreoleidd-dra mewn ffurf, a gwelai wahaniaeth rhwng tir a môr. Bu amser pryd y credai ei phreswylwyr mai rhyw ychydig o elfenau gyfansoddent y ddaear. Ond buom yn ymddifyru rai troion wrth ddychymygu pa fodd yr edrychai un o'r cynddiluwiaid, neu yr ysbryd uchod, pe cawsai dalu ymweliad âg ambell i weithfa yn ein gwlad, lle y cawsai weled pob math o nwyddau a phob math o liwiau wedi eu tŷnu o grombil y ddaear, sydd yn ymddangos mor dlodaidd ei llaid a'i chèryg.

Buasai y cynddiluwiad yn prysuro tua gwlad ei dadau mor gyflym, fel ag i anghofio mwy na hanner yr hyn a welsai; a buasai yr ysbryd yn gadael y mellt a'r dreigiau o'r tu ol, a thrwy ei brysurdeb a'i olwg synedig yn creu cryn gynhwrf yn ngorsaf ddiweddaf ei daith. Buasai yn dechreu hysbysu fel y mae dynion yn tynu allan adnoddau o'r ddaear ac yn eu dadansoddi, fel y tyna y gwneuthurwr oriawr oddiwrth ei gilydd; neu yn eu cyfansoddi fel y gesyd y gwneuthurwr wahanol ranau yr oriawr ynghyd. Mae dyn wedi cael allan fod tros driugain o elfenau syml yn y ddaear, a pha bryd bynag y gwelir dwy o'r rhai hyn wedi ymgydio yn eu gilydd, gwnant hyny mewn ufudd-dod i *ddeddf neillduol.* Ac nid yn unig rhaid i ddeddf weithredu ymhob amgylchiad o'r fath, ond mewn trefn i brofi ein testun i foddlonrwydd, rhaid i'r *un* ddeddf, dan yr un amgylchiadau, weithredu bob amser yr un fath, a hyny yn ystod yr un amser, ac ymhob lle ar y ddaear yn gymhwys yr un modd. Wele esiamplau ynte o ychydig ddeddfau sydd yn rhoddi bod i gyrff cyfansawdd, ac hefyd o ddeddfau dadansoddiad.

Rhaid i ni gofio na wna pob dwy elfen ddygir at eu gilydd ymgymysgu. Yr oedd y bedwaredd frenhiniaeth yn mreuddwyd Nebuchodonosor o ran yn gref ac o ran yn wan, a dangosid hyny trwy undeb haiarn a phridd. Er fod y rhai hyn mewn cysylltiad â'u gilydd, eto nid oedd *undeb* rhyngddynt. Ond pan y cymer undeb fferyllol le, ymuna gwahanol ranau y naill elfen â'r llall, a hyny yn ngrym deddf yr hon sydd yn gweithredu o'r ddeutu. Gall *oxygen* a *hydrogen* fod gyda eu gilydd yn yr un llestr, ond heb *ymuno.* Ond pe yr anfonid gwreichionen o wefr-beiriant i'r llestr, ymunent ar unwaith a ffurfient ddwfr. Erbyn hyn mae deddfau wedi eu canfod yn ol pa rai y rhaid cael pwysau neu fesur penodol o'r naill elfen cyn yr ymuna á phwysau neu fesur penodol o elfen arall i ffurfio corff cyfansawdd. Ceir yr un corff cyfansawdd, ymha ran bynag o'r byd y byddo, nid yn unig yn meddu yr un elfenau, ac yn amddifad o bob elfen arall, ond yn meddu yr un cymesuredd o'r gwahanol elfenau bob amser. Ceir dwfr bob amser yn cynnwys *oxygen* a *hydrogen* yn Môr y Dê fel Môr y Gogledd, yn Llŷn Superior fel Llŷn Tegid, yn y Danube fel yn y Dyfrdwy. Cynnwysa halen cyffredin *chlorine* a *sodium* bob amser; a cheir *sulphur* a *mercury* ymhob *vermilion;* ac y mae marmor yn ddïeithriad yn cynnwys *carbonic acid* a chalch. Llawer manylach ydyw y ddeddf hon na chydwybodau gwerthwyr tê a choffi y wlad hon. "Aml iawn yr ydym yn cael mwy o bethau am ein harian nag ydym yn ei ddysgwyl," fel y dywedai Gwyddel â gwên ar ei wyneb, pan ganfyddodd gyw yn yr ŵy oedd newydd ei brynu fel ŵy *fresh.* Ond y ddeddf neillduol gyntaf geir mewn cyfansoddiad dwy elfen yw hon:

1. Mae elfenau syml bob amser yn ymuno mewn cymesuredd o ran pwysau. Nid yn unig ceir *oxygen* a *hydrogen* mewn dwfr, ond ceir bob amser 8 o *oxygen* ar gyfer 1 o *hydrogen.* Mewn halen cyffredin ceir nid yn unig *chlorine* a *sodium,* ond 35½ o'r cyntaf ar gyfer pob 33 o'r diweddaf. Ymhob *vermilion* rhaid fod 16 o *sulphur* ar gyfer bob 100 o arian byw. Ac os na cheir y corff cyfansawdd yn meddu y cymesuredd prïodol i wneyd un peth, rhaid mai rhywbeth arall ydyw. Dyma ddeddf, ynte, yn ymestyn o ran ei gweithrediad o begwn i begwn, ac o ddwyrain i orllewin, ac yn gywir yn y dyferyn dwfr fel yn y môr, yn y

tywodyn fel yn y graig. Dyma y gonestrwydd a'r cywirdeb osododd Awdwr natur yn nghyfansoddiad ei helfenau. "Paham nad ewch i *shop* Mr. T. i brynu *coffee*," medd un wraig wrth y llall, "mae efe yn rhoddi yr un faint o *chicory* ymhob pwys yn union; un manwl iawn yw ef." Ond ni fu yr un meddyg erioed wrth gymysgu ei feddyginiaeth mor fanwl ag y mae natur. Pan y caiff y daearegwr ddarn o farmor, gall, wedi ei bwyso, nid yn unig ddyweyd pa elfenau sydd ynddo, ond hefyd pa fesur o'r naill a'r llall; a phan yn gwneyd *vermilion*, nid tywallt tipyn o *mercury*, ac yna ychydig *sulphur*, a gwylio y lliw, ac yna ychwanegu tipyn o'r cyntaf drachefn, fel ambell un gyda thê a brechdan, wna y fferyllydd, ond mesur 100 o *mercury* ac 16 o *sulphur*, a chaiff *vermilion* yn y fan, mewn ufudd-dod i hen ddeddf fanwl a diysgog natur.

2. Os ymuna cymesuredd penodol o un elfen â chymesuredd penodol o ddwy eraill, ymuna y ddwy hyny â'u gilydd yn ol y cymesuredd yr ymunant â'r gyntaf. Os gwnaiff 16 o *sulphur* ymuno âg 8 o *oxygen*, ac os gwnaiff 8 o *oxygen* ymuno âg 28 o haiarn, yna ymuna 16 o *sulphur* âg 28 o haiarn. Mewn geiriau eraill, pe bae A yn gyfaill neillduol i B, a phe bai C hefyd yn gyfaill neillduol i B, yna buasai A ac C yn sicr o wneyd cyfeillion mynwesol. Fel rheol i gyfeillgarwch, anfynych y mae hyn yn wirionedd ymysg dynion; ond gyda fferylliaeth, os ydyw 8 o *oxygen* yn hoffi cymdeithas 16 o *sulphur*, ac hefyd 28 o haiarn, yna mae 16 o *sulphur* yn gyfeilllion ymlynol a serchog i 28 o haiarn. Gellir rhoddi gwêdd arall arni trwy ei geirio yn wahanol, i ddysgu gwers i ddynion: "Yr hyn ydyw dwy elfen i'w gilydd, hyny ydynt i drydedd elfen." Yr hyn ydyw y ddau gyfaill i'w gilydd, hyny ydynt i bob dyn ddaw i'w cyfeillach. Dyma y gonestrwydd a'r symledd argraffodd y Goruchaf ar elfenau meirwon natur.

3. Os nad y mesur lleiaf o un elfen all ymuno, yna rhaid mai *multiple* o hwnw ydyw. Os nad 8 o *oxygen* geir yn y cyfansoddiad o *oxygen* a *nitrogen*, yna rhaid mai 16, neu 24, neu 32, neu 40, &c. I ddangos y ddeddf hon yn fŷr, gwasanaetha y rhestr ganlynol:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Proloxide of Nitrogen | = | Nitrogen 14, | Oxygen 8. |
| Binoxide " | = | " 14, | " 16. |
| Nitrous Acid | = | Nitrogen 14, | Oxygen 24. |
| Hiponitric Acid | = | " 14, | " 32. |
| Nitric Acid | = | " 14, | " 40. |

Gwelir wrth y rhestr uchod na cheir yn yr un corff cyfansawdd o *oxygen* a 14 o *nitrogen* unrhyw fesur o'r cyntaf rhwng 8 ac 16, neu 16 a 24, &c. Yn awr, beth feddylid o wraig, yr hon, pan yn y *shop* yn ymofyn nwyddau, bob amser a brynai 16 o binau ar gyfer pob 6 nodwydd; neu 2 bwys o siwgr ar gyfer hanner pwys o dê, oni ystyrid hi yn bur fanwl nid yn unig yn y *shop*, ond gyda'r gwnïadwaith a'r ymborth gartref? Ond beth pe deallai y masnachydd fod y wraig bob amser, os na chymerai 16 o binau, yn cymeryd 32, neu 48, neu 64, gyda 6 nodwydd; ac os na chymerai 2 bwys o siwgr, y cymerai 4, neu 6, neu 8, neu 10, ac y byddai, o ganlyniad, yn trefnu yr ymborth gartref i ddefnyddio y cyfartaledd uchod o siwgr a thê, ai ni chyfrifai y wraig

yn orfanwl? Eto dyma fanyldeb deddfau cyffredin natur; a'r rheswm mawr dros eglurdeb y llinell derfyn rhwng cynifer o amrywiol bethau. O na ellid cael hyn yn ein pulpudau; 3 o ras ar gyfer 2 o ymenydd, a ¼ o ariangarwch a hunanoldeb; neu 5 o ras ar gyfer 4 o ddysg, a ½ o fydolrwydd!

4. Ceidw pob elfen ei phwysau, wedi ymuno âg elfenau eraill fel o'r blaen. Rhyw ddeddf yn dangos annibyniaeth prydferth mewn natur ydyw hon. Anfynych y gwelir pwyllgor eisteddfodol na chrefyddol y dyddiau hyn na cheir un aelod yn colli ei farn, os nad ei leferydd, mor gynted ag y mae yn mhresennoldeb ei gyd-bwyllgorwyr. Llawer gwraig, ysywaeth, yn ddigon difeddwl, adawodd ei barn wrth riniog yr eglwys, pan yr ymunodd mewn glân brïodas â'i harglwydd; a llawer dyn, ond odid, a ganfyddodd fod barn y wraig wedi llyncu a gorchuddio ei farn ei hunan fel *shawl*, ond a fethodd ei chael byth yn ol i'w phwysau cyntefig. Pan yr aiff yr amaethwr rhyddfrydol at ei feistr tir, cyll yr elfen ryddfrydol rywsut, ac nid oes yn yr ymddyddan ond pwysau y farn geidwadol yn unig. Pe dilynem elfenau natur yn ein cymdeithas â'n gilydd, nid elai y tlawd yn fûd yn ngwydd pendefig, ac ni ŵyrai y bwthynwr ei farn yn mhalas y brenin. Os dyry y fferyllydd 4 mesur o *oxygen* a 32 o *hydrogen* i ffurfio dwfr, bydd y cyfan yn 36; a phryd bynag y dymuna ysgar y rhai hyn oddiwrth eu gilydd, caiff y 4 o'r naill a'r 32 o'r llall yn ol, fel talent y gwas anfuddiol gynt, heb fod yn fwy na llai. Pe ceid hyn ymhob cymdeithas, diddymid *gambling tables* y byd ar unwaith.

Nodwn yn awr esiampl neu ddwy i ddangos fod elfenau natur yn eu symudiadau fel milwyr yn ymfyddino i'r frwydr; ac fel y ceir pob milwr yn cadw ei amcan ei hunan mewn golwg, ac yn cyrchu at ei nôd, tra y ceir miloedd o'i amgylch yn cyrchu at yr eiddynt hwythau, felly hefyd ceir elfenau difywyd natur, hyd yn nôd pan ynghanol ffrwydriad pylor, neu ystorm daranllyd y *nitro glycerine*, yn dilyn eu deddf ac yn ymlonyddu mewn tawelwch cymdeithasol gyda'r elfenau hoffusaf ganddynt. Cymerer un esiampl. Pe buasai arnom eisieu *protoxide of nitrogen*, rhaid rhoddi *nitric acid* ac *ammonia* gyda'u gilydd; yna ceir *nitrate of ammonia*. Rhodder hwn mewn llestr i'w boethi, a cheir dau sylwedd, —*nitrous oxide*, a dwfr. Fel hyn y gellir esbonio y cyfnewidiad. Mae *nitrate of ammonia* yn cynnwys *nitric acid* ac *ammonia*. Cynnwysa *ammonia* 1 o *nitrogen*, 4 o *hydrogen*, ac 1 o *oxygen*. Pan y poethir hwynt, aiff 4 o'r *hydrogen* yn yr *ammonia* at 4 o *oxygen*, 3 o ba rai ddaeth o'r *nitric acid*, ac 1 o'r *ammonia*, a cheir pedwar o ddwfr. Mae yn weddill 2 o *oxygen* a 2 o *nitrogen*, y naill oddiwrth y *nitric acid*, a'r llall o'r *ammonia*. Ymuna y rhai hyn, a cheir 2 o *protoxide of nitrogen*. Yn y cyfnewidiad uchod, ynghanol llestr berwedig, gadawa 8 o *oxygen* 32 o'u cymdeithion, trwy attyniad 14 o *nitrogen*. Gwna 8 arall y gyffelyb weithred, tra y canfyddir fod y 24 gweddilledig wedi ymranu yn dri 8, ac, fel y Benjaminiaid gynt, wele bob un yn dwyn ymaith un o *hydrogen* i ffurfio dwfr. Ond tra y cymer y chwalu a'r prïodi uchod le, y mae 1 o'r *hydrogen* ac 8 o'r *oxygen* oedd yn yr *ammonia* yn parhâu yn ffyddlawn i'w gilydd, ac er yr holl drychineb yn aros yn dawel gyda'u gilydd o fewn cylch modrwyog dyferyn prydferth o ddwfr tryloew. Nid oeddynt wedi dychryn na newid gwêdd, ni ddarfu iddynt gychwyn ffoi ac ail

ddechreu ymgofleidio; ond arosasant yn ddigyffro yn nghwlwm deddf natur. Y cyfryw ydyw cywirdeb yr elfenau i'w deddfau, fel y gall y fferyllydd, pan yn tywallt cymysgedd i'r crochan, os bydd yn ei ddeall, sefyll fel dewin uwch ei ben a gorchymyn i bethau neillduol ddyfod allan, a deuant yn union fel y rhagfynega; byddant mor ufudd a gweision y pendefig hwnw a ddaeth at y Gwaredwr. Carem nodi un peth cywrain eto mewn fferylliaeth sydd yn awgrymu manyldeb dauddyblyg yn ngweithrediadau deddfau natur; ond o'r hyn y ceir engreifftiau mewn iaith. Dywedir yn y Bibl, "Y gŵyr a wneir yn uniawn;" ac y mae llawer hen Gymro wedi awgrymu wrth ddarllen, mai y fendith a addewir ydyw gwneyd y *gŵyr* yn onest a chyfiawn. Ond gwyddys mai *cam* ydyw ystyr y "*gŵyr*" yma. Wele, ynte, ddau air yn meddu yr un llythyrenau, ond yn meddu ystyr hollol wahanol. Tardda y naill o'r gair *gŵr*, Lladin *vir*, a'r llall o'r Lladin *curvus*. Gwahaniaeth tarddiad, ynte, a bâr wahaniaeth ystyr. Pwy fuasai yn meddwl mai yr un peth ydyw *gum* a siwgr? ac eto nid yn unig yr un elfenau a'u cyfansoddant, ond ceir yr un cymesuredd o'r rhai hyny. Cawn gymhariaeth eto mewn iaith. Nid yn unig tardda y siwgr o'r *cane*, a'r *gum* o'r pren Arabaidd, ond gellir hefyd roddi esboniad arall ar y gwahaniaeth. Yr un llythyrenau geir mewn *sawl* a *salw*, *tri* a *tir*, *cnau* a *cânu*, &c; ond y mae ystyr pur wahanol iddynt. Gwahaniaeth trefn felly sydd yn rhoddi cyfrif am wahaniaeth ystyr. Felly y tybir hefyd mai gwahaniaeth yn nhrefn cymysgedd yr elfenau sydd mewn *gum* a *siwgr*, mewn *oil of turpentine*, ac *oil of bergamotte*, ac *oil of lemons*, neu *oil of caraway*. Ai nid mewn ufudd-dod i ddeddf, rhy gywrain i lygad dyn allu ei chanfod eto, y gwna y *cane* siwgr o'r un elfenau ag y gwna y *gum Arabic gum*? y naill wedi gwneyd yn *fara* yr hyn a wnaeth y llall yn *araf*; un wedi gwneyd yn *fawr* yr hyn a wnaeth y llall yn *farw*. Y mae hyn yn sicr, mai yr un elfenau sydd mewn siwgr a *gum*, ac mai yr un cymesuredd o'r elfenau hyny a geir yn y naill a'r llall, ac na welir y *cane* byth yn dwyn *gum*, na'r pren Arabaidd yn dwyn siwgr. Ond nis gellir bod yn sicr o ddim ychwaneg. Y mae llygad dyn yn gallu gweled manyldeb mawr yn ngweithrediadau deddfau natur, ond gellir casglu y rhaid i'r glust ddynol fod fil teneuach, a'r llygad yn fil mwy treiddgar, i allu canfod y manyldeb mwyaf.

Wele ni wedi bwrw golwg dros Fferylliaeth, ac ond prin wedi cyffwrdd â'r maes sydd mor gyfoethog o wersi i ddynion, ac yn meddu cyflawnder dihysbydd i ddigoni y meddwl mwyaf cywrain. Y maes hwn, yn anad un arall, sydd yn ein dwyn yn agos i gredu dysgeidiaeth Olldduwiaeth. Ond fel y dywedai athronydd enwog, mai yr athrawiaeth fwyaf arwynebol a ddygai ei pherchenog i anffyddiaeth, ond y parai athrawiaeth ddyfnach i ddyn ddychwelyd mewn ofn a gwyleidd-dra at Dduw pawb oll, felly hefyd yma; ar y cyntaf, pâr yr amrywiaeth diderfyn i ddyn feddwl y rhaid fod Duw ymhob elfen, ac fod pob deddf fechan, o herwydd ei chywreinrwydd a'i manyldeb, yn brif ddeddf i'w Duw ei hun; ond pan yr ystyriom yr unoliaeth prydferth, a'r cydgordiad perffaith sydd o'n hamgylch yn yr holl ddeddfau, a'u gwasanaethgarwch y naill i'r llall,—yr îsraddol bob amser i'r uwchraddol,—yr ydym yn gorfod dychwel yn ol i Undod, ac at Dad pob peth, a syrthio o'i flaen Ef, yr hwn sydd "ryfedd yn ei gyngor ac ardderchog yn ei

waith." Rhaid i ni gyfaddef gyda syndod uwchben yr undeb gogoneddus sydd yn teyrnasu ynghanol yr amrywiaeth, fel llawenydd ynghanol dychryn, "Hyn hefyd a ddaeth oddiwrth Arglwydd y lluoedd."

### ATHRONIAETH NATURIOL.

Yn ol deddfau y gangen hon yr ydym yn cyflawni ein gorchwylion dyddiol, ac y mae yn sỳn meddwl yr anwybodaeth dybryd sydd yn bodoli ynghylch eu gweithrediadau. Ceir y saer, y gôf, a'r amaethwr yn defnyddio amryw offerynau, ac yn wir, yn eu gwneyd, heb erioed ddeall *paham* y maent yn gweithio, na meddwl pa un o ddeddfau natur sydd yn cael ei dilyn yn ngwneuthuriad y peiriant. Yr ydym yn credu pe ceid ysgolion digon effeithiol i ddwyn y lliaws i ddeall llyfrau gwyddonol, y darllenai y werin fwy ar Athroniaeth Naturiol na dim arall. Cyfuna y difyrus, y buddiol, a'r ymarferol, uwchlaw yr un gangen arall; a dilynir y difyrus yn rhy fynych pan nad oes cystal rheswm dros wneyd hyny a'i fuddioldeb. Byddai efrydiaeth o'r gangen hon, nid yn unig yn fuddiol i ddeall peirianau a'u hegwyddorion, ond hefyd i ddyrchafu a choethi meddyliau, ac hefyd i grefyddoli y meddwl, trwy ei ddwyn i weled bychander dyn a mawredd Duw. Llyfr natur ydyw, ac ni raid darllen ond ychydig ar hwn a'r Bibl, na welid mai yr un ydyw Awdwr y naill a'r llall. Deddfau y meddwl dynol ynghyda'i holl agweddau ydynt y pethau anhawddaf eu deall, ac eto ceir yn y Bibl esboniad ar ei holl ddirgelion. Deddfau Natur ydynt y pethau anhawddaf eu dilyn yn eu manyldeb; eto wrth eu dyfal efrydu canfyddir llawer o honynt. Rhenir Athroniaeth naturiol yn ol y pynciau yr ymdrinir â hwynt, a chan fod y rhai hyny yn lliosog ni cheisir yn y traethawd hwn ond profi ein testun trwy nodi esiampl neu ddwy o fanyldeb deddfau natur mewn tri neu bedwar o'r pynciau.

*Dysgyrchiad* (Gravity). Yr hyn sydd wedi ei brofi er ys llawer dydd, a'r hyn sydd yn cael ei brofi trwy yr holl fyd bob awr ydyw "*Universal Gravitation.*" Yn ngrym y ddeddf hon y mae pobpeth ar ni chynnelir i fyny gan ryw allu yn syrthio tua'r ddaear. Ond mae y ddeddf hon, o ddechreu i ddiwedd ei gweithrediad, yn cynnwys deddfau eraill, nifer y rhai sydd yn dibynu ar faintioli yr hyn a syrthia, ac ar yr uchder o ba un y cwymp. Un o'r cyfryw ddeddfau a ddaw gyntaf i'r amlwg ydyw, Fod perthynas anghyfnewidiol rhwng pwysau a maintioli pobpeth. A'r hyn sydd yn peri fod pwysau ymhob peth ydyw attyniad y ddaear, felly dibyna grym yr attyniad yn y lle cyntaf ar faintioli y corff a attynir. Ond daw deddf arall i weithredu ar wrthddrychau fyddont yn syrthio. Yn yr eiliad gyntaf o'i gwymp syrth gwrthddrych yn ol cyflymdra arbenig, ond erbyn diwedd yr ail eiliad bydd y cyflymder yn fwy, ac yn fwy drachefn erbyn diwedd y drydedd eiliad. Buasem yn meddwl wrth edrych ar ambell beth yn disgyn mai yn "*helter skelter*," heb reol yn y byd, y cymerai y disgyniad le; ond nid oes yr un corff yn syrthio, pa faint bynag fyddo ei uchder, nad ydyw yn dilyn deddf mor fanwl â'r cerddor wrth gyfansoddi anthem. Gosodwn yma esiampl o'r hyn gymer le yn nghwymp unrhyw beth: ceidw pob deddf ei lle yn ofalus er fod lliosogiad y gwahanol bethau heb fod yn ol yr un cymesuredd, nac yn dibynu ar eu gilydd. Meddylier fod un pwys

yn cychwyn i waered, a'i fod yn disgyn yn ol milldir y fynyd yn ystod yr eiliad gyntaf, bydd ar ddiwedd yr eiliad yn disgyn yn ol dwy filldir y fynyd; ac os gelwir yr holl ddisgyniad yn ystod yr eiliad gyntaf yn *un,* ceir y ffigyrau fel y canlyn yn yr ail eiliad: syrthia dair milldir yn yr ail eiliad, bydd ar ei diwedd yn disgyn yn ol 4 milldir, a bydd felly ar ddiweddyr ail eiliad wedi disgyn y pellder o bedwar; a cheir cynnydd yn ol yr un rheol ar ddiwedd y drydedd eiliad. Gwelir felly fod pob corff, nid yn unig yn cwympo yn ol deddf y disgyn, ond hefyd yn cyflymu yn ol deddfau neillduol yn ystod pob eiliad o'r cwymp, ac hefyd yn ennill mewn pwysau yn rheolaidd. Ceir golwg fanylach ar y ddeddf hon wrth edrych arni yn gorchfygu rhwystrau, fel y ceir gwell mantais i weled doethineb a gwroldeb y milwr yn mhresennoldeb ei elynion. Tybier bod dyn yn taflu careg neu yn saethu bwled; pa fodd y gweithredai y ddaear ac attyniad ar hwn? Ceidw y deddfau eu manyldeb hyd yn nôd yn ngwyneb gallu gwrthwynebol, nid trwy ei orchfygu ar unwaith, ond yn araf a dystaw, eto yn gwbl benderfynol. Tynir ef tua'r ddaear yn ol deddfau penodol, a desgrifia y gareg bob amser lwybr a fyddo yn rhan o'r un cylch; sef rhyw ran o *parabola*—cylch o ffurf wŷ. Gan nad pa un ai yn isel ai yn uchel y cyfeirir y gareg, mae yn sicr bob amser o redeg ar hyd rhyw ran o'r *parabola,* a dibyna pa ran fydd ar gyfeiriad cychwyniad y gareg. Os yn uchel y teflir y gareg, y rhan sydd debyg i ben meinaf yr ŵy a ddesgrifir; os yn weddol, tebycach i ochr yr ŵy fydd y llwybr. Gwelir ynte bob peth a deflir i'r awyr yn ufuddhâu i ddeddfau penodol, ac yn desgrifio yr un math o lwybr bob amser. Pe yr anfonid bachgen bob dydd am dro ar un o *Prairies* America, nis gallai yn anfwriadol deithio yr un llwybr yn hollol bob amser; ond pe yr anfonid 6 neu 8 o fechgyn, heb yn wybod i'w gilydd, byddent yn annhebycach drachefn o deithio llwybr o'r un ffurf. Eto dyma yr hyn a wneir gan wrthddrychau deillion y greadigaeth ddifywyd pan yr anfonir hwynt ar neges i'r awyr ddiderfyn; a hyny o herwydd cysondeb y ddeddf osodwyd iddynt.

Gellir gweled deddf arall hefyd yn cadw ei gweithrediad yn berffaith. Aiff mwy o fater i'r ffurf gron na'r un arall, yn ol yr arwynebedd. Cymer dwfr neu wlybwr y ffurf hon yn ngrym deddf attyniad. Cymerir mantais ar y ddeddf hon i wneyd *hail shots.* Toddir y plwm a gollyngir ef i lawr yn doddedig trwy ogr o uchder mawr; ar y ffordd i waered ymffurfia y plwm yn ronynau crynion, y rhai a ddisgynant wedi llwyr galedu. Gwelir y ddeddf hon mewn gweithrediad yn aml, megys mewn arian byw wedi ei dywallt ar bapyr; yn y gwlaw wrth ddisgyn; ac yn mherlau dysglaer y gwlith ar godiad haul; ac mor brydferth, a ffyddlon, a pherffaith ydyw y ddeddf hon, fel ei gwelwyd yn gweithredu ar ruddiau Creawdwr y bydoedd, ac yn ffurfio deigryn pur uwchben bedd cyfaill Duw. O ddeddfau beiddgar natur,—chwi yn unig feiddiai addurno eich Creawdwr, a chwi yn unig allodd beri i'r Hwn a ragorai ar ddeng mil ymddangos yn hawddgarach i feibion dynion! Duw yn unig allai drefnu i beth mor fawr ymddangos mewn peth mor fach, peth mor ddirgel mewn peth mor syml—cydymdeimlad y Dwyfol mewn deigryn dynol. Yn awr, i ddyfod a'r deddfau uchod yn nes atom, beth feddylid o ddyn, yr hwn wrth fyned i'w daith, a gerddai yn ol cyflymder penodol yr awr gyntaf, yna yn gyflymach yr ail, ac yn fwy cyflym dra-

chefn y drydedd, a'r hwn a gyflymai yn ol deddf neillduol. Ychwaneger hefyd, ei fod naill ai yn trymhâu ai yn ysgafnhâu bob milldir yn ol deddf neillduol. Rhaid eto ddychymygu ei fod yn cario ei ddwylaw a'i freichiau ar lêd yn y dechreu, ac yn eu gollwng i lawr yn raddol yn ol deddf benodol. Ystyrid y fath ddyn yn hynod ei arferion, ac yn dra gorfanwl ei ymddygiadau. Ond ni fyddai hyn ond darlun gwan o ddeddfau caethion a diysgog natur.

*Peirianwaith.* Cawn yma lïaws o ddeddfau na raid ond yn unig eu nodi, er mwyn dangos eu manyldeb trwy eu rhif, a thrwy weithrediad cywrain pob un. Y ddeddf gyntaf ydyw yr un sydd yn codi o egwyddor *cyd-bwysedd*, yn ol yr hon y gwneir clorianau, &c. Rhaid i hŷd y breichiau o bob tu i'r hyn sydd yn eu cynnal *(fulcrum)*, fod yn cyfateb o ran eu mesur i'r pwysau wrth y ddau ben. Os bydd un peth yn 5 pwys a'r llall yn 3, yna, i fantoli, rhaid i un fraich fod yn 3 troedfedd os ydyw y llall yn 5 troedfedd. Gweithreda y ddeddf hon yn berffaith gywir dros yr holl fyd. Esiampl arall hollol wahanol, ond yn dilyn yr un egwyddor, ydyw *capstan* y morwr, a'r wasg gaws. Gyda'r blaenaf wrth godi yr angor o'r dyfnder, mewn trefn i nerthu y dynion i gydbwyso yr angor, rhaid i hanner traws-fesur yr echel feddu yr un cymesuredd i hanner traws-fesur y cylch ddesgrifir gan y *levers*, a nerth y dynion i bwysau yr angor; a cheidw y ddeddf hon mewn gweithrediad yn fanwl ymhob amgylchiad. Gyda nifer penodol o *pulleys*, dyweder 3, gall dyn godi ei bwysau deirgwaith, am fod y cortyn yn amgylchynu y tri *pulley*. Felly ond gwybod nerth dyn a'r pwysau i'w gyfodi, gellid ar unwaith dyweyd pa sawl *pulley* fyddai yn angenrheidiol. Gyda'r cŷn, y *wedge*, rhaid i'r nerth fod mewn cyferbyniad i'r gwrthwynebiad yn ol ½ lled cefn y *wedge* i'w hŷd. Gwelir yn yr oll o'r uchod y cyfryw ddeddfau yn gweithredu fel na raid petruso wrth wneuthur y peirianau o berthynas i'w gwaith. Mae y ddeddf bob amser yn sicr o weithio yr un modd. Llawer a ysgrifenwyd am yr "ysgriw," nid yn unig fel peiriant defnyddiol, ond fel rhywbeth ofnadwy a gorthrymus mewn byd ac eglwys. Beth yw prïodoldeb y gair i osod allan orthrwm nis gwyddom, os nad am mai *screws* a ddefnyddid i raddol ddirdynu trueiniaid y chwil-lysoedd Pabaidd. Fodd bynag am hyny, mae manyldeb deddf yr ysgriw yn werth sylw. Beth, tybed, raid fod nerth braich y llances o forwyn i godi y wasg gaws, neu nerth braich gwyliedydd pont yr aber, neu y porthladd, i symud y bont? Hyd yn nôd yma, gwelir deddf, a hono yn myned rhwng dwy edau yr ysgriw. Wele hi! Rhaid i'r pwysau gyfodir feddu yr un cyfartaledd i'r nerth a arferir, ag a fedd traws-fesur y cylch a ddesgrifia llaw y trôwr i'r pellder rhwng dwy edau yr ysgriw. Os bydd ¼ modfedd rhwng y ddwy edau, ac os medd y cylch a ddesgrifia llaw y gweithiwr 3 troedfedd o dryfesur, yna gall dyn gyfodi gyda'r ysgriw (36 × 4) 144 gymaint â'i nerth; neu gymaint 144 o weithiau ag a allai heb yr offeryn. Yn wir, fel rheol yn y byd yma, po fwyaf o bethau bychain ellir roddi i weithio, mwyaf y gwaith. Nid morfilod sydd yn gwneyd ynysoedd—ond y *Coral Insect* bychan ac eiddil. Difa'r cnŵd y mae'r pethau mawrion.

Wrth fyned heibio, cymerwn esiampl o *Awyriaeth*. Gwelwn wrth wasgu awyr, y ddeddf a ganlyn ar unwaith. Po fwyaf y pwysau, lleiaf oll gymer yr awyr o le, a lleihâ yr awyr yn union yn ol fel y trymhâ y

pwysau. Gwelir gyda'r *barometer* fod y ddeddf hon yn gweithredu bob amser trwy yr holl fyd. Cynnalia awyr gyffredin golofn 30 o fodfeddi o uchder o arian byw; ond os esgynir gyda'r *barometer* fel ag i leihâu pwysau yr awyr, daw y golofn arian byw yn îs, o herwydd fod yr awyr yn wanach. Ond yma daw deddf arall i'r amlwg, sef, fod yr awyr yn teneuo ac yn ysgafnhâu yn ol fel yr esgynir. Wedi deall y deddfau hyn, gellir yn hawdd ddyweyd uchder mynydd yn ol sefyllfa yr arian byw yn y *barometer*. Nid ydyw y deddfau un amser yn anghywir. Yr egwyddorion hyn arweiniasant i wneuthuriad awyr-fadau, o herwydd canfyddwyd yn union os oedd pethau trymach yn suddo mewn awyr, yr esgynai pethau ysgafnach; a chan fod *hydrogen* yn saith ysgafnach na'r awyr, gwelwyd yr esgynai awyrfâd llawn o *hydrogen* yn hwylus. Digon hyn fe allai ar awyriaeth. Nid pob dyn sydd yn cynnyddu mewn gwybodaeth yn ol ei fanteision, nac yn farbariad yn ol ei anfanteision; ac mae yn debyg mai yr un bwysau ydyw darn o'r fraich a darn o goes dyn, os byddant yr un faint; ond medd yr awyr ei deddfau ei hun—mwyaf y pwysau, lleiaf y lle, ac uchaf yr esgynir, ysgafnaf ei ceir.

*Sŵn.* Cynhwrf yn yr awyr ydyw achos sŵn. Cymer y symudiadau le yn dònau, ac y mae i bob tòn ei lled neillduol, a'i hamser neillduol i deithio pellder penodol. Yn awr, mae yn bur amlwg nid yn unig fod yr un sŵn yn teithio bob amser yn ol yr un cyflymder dan y cyffelyb amgylchiadau, ond hefyd fod pob sŵn yn cyd-deithio. Pe na fuasai hyn yn bod buasai cânu corawl o'i wrando encyd o ffordd yn anghydgord annyoddefol. Nid yn unig deuai y *bass* neu yr *alto* yn gyntaf, ond deuai yr ail nodyn o'r *bass* yr un amser a'r cyntaf o'r *tenor*, a dinystrid pob gobaith am gydgord hyfryd cerddoriaeth. Wrth swnio seinfforch achosir y sŵn gan symudiadau y fforch yn yr awyr, a chyflymaf y symudiadau, uchaf y sŵn. Ond mae pob cyfres o symudiadau o'r un natur, yn meddu tònau o'r un lêd, a sŵn o'r un uchder. Dengys hyn fodolaeth deddfau neillduol, ond gwelwn fanylach deddfau wrth ystyried y cyfrwng trwy ba un y trosglwyddir sŵn. Rheolir y trosglwyddiad nid yn unig gan gyflymder symudiadau y fforch, a thewder neu deneuder yr awyr, ond hefyd gan wrês yr awyr. Fel rheol, teithia sŵn 1118 troedfedd y foment, ond ar gyfer codiad neu ostyngiad o un gradd mewn gwrês, teithia yn arafach neu gyflymach o droedfedd y foment. Bydd y sŵn yn uwch pan y bydd yr awyr yn dewach, ac yn îs pan yn ysgafnach. Yn awr beth feddylid o ddyn wrth deithio a gerddai bob amser yn ol y cyflymdra y cychwynasai? Buasai hyn dipyn yn fanwl. Ond beth pe rhoisai gamrau yn aml neu yn araf yn ol teneudra yr awyr? Buasai yn dangos gradd bellach o fanyldeb. Ond beth pe yr arafai neu y cyflymai ei gerddediad hefyd yn ol gwrês y dydd, gan ofalu teithio llai o 20 llath yr awr am bob gradd yn ychwaneg o wrês? Ond y cyfryw ydyw manyldeb deddfau sŵn; mae efe mor *fastidions* a hyn yn ei symudiadau. Pan wneir sŵn gan linynau, ceir deddf yn ol pa un y gwneir sŵn yn ol hŷd y llinyn. Os torir llinyn yn ei hanner, bydd symudiadau y llinyn gymaint arall yn gyflymach. Byraf y llinyn, mynychaf fydd y symudiadau; a cheir cyfnewidiad o wythawd cyfan mewn hanner llinyn; felly ceir tònau symudiad y "*doh*" cyffredin yn hŵy o gymaint arall nag eiddo y "*doh*" agosaf ato. Y cyfryw ydyw trefniad rhyfedd a manyldeb cywrain deddfau sŵn; ac o gydgyfarfydd-

iad cynifer o ddeddfau cywrain y tardda un o'r pethau ddyry fwyaf o bleser i ddyn, sef cerddoriaeth a chân. Heb y rhai hyn ni fuasai y byd yma ond pruddglwyfus ar y goreu, ac fe allai na fuasai y nefoedd nemawr well. Yn y byd yma rhyw fendith a adäwyd i gofio dedwyddwch Paradwys ydyw. Yn y byd a ddaw, cyfyngir y fendith i'r nefoedd, lle y bydd yn ffurf benodol ar addoliad hyfryd y Baradwys fry.

*Goleuni.* Dan y penawd hwn gallwn edrych ar y deddfau a lywodraethant gyfuniad a gwahaniad pelydrau goleuni, ac a'u dadansoddant. Y ddeddf gyntaf geir ydyw fod pelydrau goleuni yn llinellau unionsyth; gwelir hyn ar unwaith wrth sylwi ar gysgod. Os crwn fydd y gwrthddrych, crwn fydd y cysgod; os dyn fydd y gwrthddrych, yna llun y corff dynol fydd y cysgod. Dyma un ddeddf i belydrau goleuni deithio, ond nid ydynt yn cadw at y ddeddf hon bob amser; o herwydd gŵyrant yn gyffredin wrth basio o'r naill haen o awyr i haen arall. Gwelir rhywbeth tebyg i hyn wrth roddi ffòn union yn y dwfr—ymddengys fel pe wedi tòri. Ond tòrir y pelydrau yn ol deddfau neillduol. Cyfrifem y dyn hwnw yn un lled fanwl a chywrain, yr hwn a ofalai am gerdded ar ei union ymhob cae, pe bae yn gŵyro tipyn wrth fyned dros y clawdd; ond pe ceid ei fod yn symud i'r ddê ddwy lath ar ben bob clawdd, byddai yn fwy mànwl fyth; eithr pe symudai yn ol cnŵd y maes a groesai, neu ydoedd ar groesi, a phe rheolai faint y symudiad wrth natur y cnŵd,—llathen i wair, dwy i haidd, tair i geirch, a phedair i wenith, byddai yn ŵr manwl iawn yn wir. Ond dyma yr hyn a wna pelydrau goleuni, ïe, ychwaneg. Pe symudai y dyn yn ol trymder y cnŵd, buasai yn fwy manwl drachefn; pe symudai lathen i groesi gwair pedair tunell yr erw, a dwy i groesi gwair chwe' tunell, &c., byddai yn orfanwl; ond dyma fanyldeb y pelydryn. Byddys yn barod i ofyn paham y ceir gwell goleuni yn agos at y ganwyll nag ymhell oddiwrthi? Yn ateb i hyn ceir deddf, "Gwanhâ y goleuni yn ol lliosogiad y pellder iddo ei hun." Pe bae dyn ddwy lath oddiwrth y ganwyll, ac yn derbyn 16 pelydr o oleuni, yna pe bae 4 llath, 4 pelydr dderbyniai. Dyblodd ei bellder, a chafodd *square root* y goleuni a dderbyniai. Cymer hyn le am fod pelydrau goleuni y ganwyll yn ymwasgaru. Ond nid ymwasgarant yn ddireol, fel cynifer o ddefaid, o wartheg, neu o ddynion; ond ymwasgarant bob amser yn ol yr un ddeddf, a dibyna hono ar y pellder o ffynnonell y goleuni. Y ddeddf nesaf ydyw un a ddilynir yn ngwneuthuriad drychau, sef deddf adlewyrchiad goleuni. Pan y disgyn pelydr ar arwynebedd gloew neu ddysglaer, adlewyrchir ef yn ol gyda'r un ongl rhyngddo a'r adlewyrchydd ag oedd wrth daro yn ei erbyn, yr hyn a osodir allan gan y *formula,* "Angle of incidence is always equal to the angle of reflection." Pe baid yn adlewyrchu y pelydr ugain o weithiau ol a blaen, cadwai at ei ddeddf. Lled ryfedd fyddai gweled dyn neu ddafad yn cerdded at wal ac yn dychwelyd, gan adael y wal yn yr un ongl ag yr aethai ati; ond ceir y pelydr goleuni bob amser yn gwneyd hyn. Ceir esiampl dda o adlewyrchiad yn y *looking glass.* Gyda hwn ceir y cysgod bob amser yr un pellder tu ol, ag ydyw y dyn y tu blaen i'r *glass.* Ond gwelwn fanyldeb mwy wrth edrych i wydr fyddo yn rhan o *sphere,* ac yn gauedig neu agored. Er mor rhyfedd ac annaturiol ydyw y darlun, ffurfir ef yn ol deddfau penodol. Mae i bob *sphere* dryfesur penodol. Yn awr, "os bydd y gwrthddrych yn nês i'r

gwydr na hanner y tryfesur, bydd y cysgod yn llai; ond os ymhellach, bydd yn fwy." Gadäwn y goleuni wedi nodi un ffaith sydd yn cytodi oddiar duedd elfenau y pelydr i gymeryd eu plygu. Cymerer pelydr a thafler ef ar *prism;* dosrenir ef ar unwaith yn saith o liwiau. Ceir saith, a dim ond saith bob amser; ceir yr un lliw yn uchaf a'r un yn isaf, a phob un yn yr un drefn bob amser. Tafler eto y saith liw yn ol ar *prism* arall, ac ânt yn ol yn un pelydr o oleuni pur. Gwahenir y lliwiau yn ol eu tuedd i gymeryd eu troi o'u llwybr; ond gofala pob un am ei le ei hun, ac am gymeryd ei blygu bob amser yn ei ongl ei hun. Beth pe, wrth ollwng darn o haiarn ar wydr, y rhenid ef yn saith hoelen, ac y gorweddai y rhai hyny yn ol eu maintioli a'u ffurf mewn gwahanol gyfeiriadau; a beth pe byddai iddynt, wrth gael eu taflu drachefn ar wydr arall, ail ymuno a ffurfio yr haiarn cyntaf? Mwy rhyfedd fyddai gweled yr haiarn yn ymranu yn *wahanol* feteloedd, ac yn gorwedd bob amser yn yr un drefn—aur, arian, prês, &c., a'r rhai hyn drachefn yn myned yn haiarn yn ol. Ond dyma ryfeddod y *prism*, ac y mae yn ddyledus i fanyldeb deddf *refraction.* Gwelir y ddeddf yn gweithredu wrth edrych trwy wydr llaith ar y lleuad, neu unrhyw oleuni arall; a gwelir hi yn addurniadau gwydr ein tai a'n palasau y dyddiau presennol; ac arddelodd y Goruchaf hi fel ei eiddo ei hun pan ei cymerodd i selio ei gyfammod yn y cwmwl. Gall y Brenin mawr wneyd y cwmwl mwyaf bygythiol yn swynol i edrych arno.

*Magnetiaeth a Thrydaniaeth.* Dwfn ydyw y dyddordeb a deimlir yn y byd anweledig, ac y mae unrhyw brawf o'i fodolaeth yn dra swynol i'r meddwl, er yn peri braw ac arswyd i fynwes pob dyn. Elfenau anweledig ydyw *magnetism* ac *electricity,* ond y mae meddwl beiddgar dyn wedi eu hargyhoeddi na wiw iddynt gymeryd arnynt nad elfenau yn perthyn i'r byd materawl ydynt, er eu bod hwy eu hunain yn anweledig. Mae teimlad dyn yn adnabod Duw pan mae ei reswm yn pallu, ac y mae rhyw fath o reddf neu deimlad corfforol yn galluogi dyn i weled ymhellach na'r llygaid naturiol. Pe gwelem ddau fôd o fyd yr ysbrydoedd un noswaith, ac un yn cynnyg ei law ddeheu i law ddeheu y llall, a'r ddau ar hyny yn rhedeg oddiwrth eu gilydd; ond pan y byddai y naill yn estyn ei law aswy i ddeheulaw y llall, y ddau yn ysgwyd dwylaw, ac yn ymgofleidio yn serchog, buasem yn prïodoli ar y mwyaf o rodres a manylrwydd i'r byd a'r bodau ysbrydol. Ond dyma un o ddeddfau amlycaf *magnetism.* Tra yr attynir rhan o un *magnet* gan ail *magnet,* gwrthodir y rhan arall. Ceir ambell foneddiges mewn cymdeithas yn rhoddi ond un bŷs neu ddau yn unig i'w hysgwyd i ddyn tuag at yr hwn y teimla yn oeraidd, tra y rhoisai ddwy ddeheulaw i arall, pe meddai ddwy i'w rhoddi. Felly hefyd y *magnet,* tra yr ymddyga yn oeraidd i bellhâu y naill, agoshá at y llall. Tebyg iawn ydynt i'r ddau ryw—meibion a merched. Ceir y meibion yn bur barod i gymdeithasu â'r merched ieuainc, tra nad ydynt yn gofalu fawr am gymdeithas eu gilydd; a cheir y merched yn dra hoff o gwmni y bechgyn, tra mai gwell ganddynt i ferched eraill gadw yn lled bell. Mae y rheol fel greddf. Felly y ceir gyda *magnetism* ac *electricity.* Ymbellhâ hwn bob amser oddiwrth ei gydryw, tra yr ymwasga at y rhyw cyferbyniol. Gwelir manyldeb rhodresgar y ddau fath yma o *magnetism* wrth daflu *magnet* i ganol *filings* haiarn. Ymgasgla y rhai'n o amgylch dau ben y

*magnet*, a chydiant ynddi âg un pen, tra yr ymsythant tuag allan fel pigau draenog Erbyn edrych, gwelir fod magnetiaeth y *filing* lleiaf a distadlaf wedi ei ranu, fel yn y *magnet*, a'i fod fel blawd yn y pwn, hanner ymhob pen. Beth pe buasai y melinydd wedi malu ½ sachaid o haidd, a ½ o geirch, ac yn eu gosod yn gymysgedig mewn un sach, ac yna yn gosod haidd neu geirch wrth un pen? Tipyn o syndod wedi agoryd y sach barai gweled y blawd haidd oll yn un pen, a'r blawd ceirch yn y pen arall mewn unigedd henlancyddol. Ond dyma y cyfnewidiad rhyfedd gymer le mewn magnetiaeth; ïe, hyd yn nôd yn y llwchyn lleiaf fel yn y darn haiarn. Yn wir, yr ydym yn gorfod aros mewn syndod uwchben y ffaith, pan yr ydys yn deall nad ydyw yr ychydig fagnetiaeth ag y gwyddom ni am ei effeithiau ond rhyw ychydig bach bach o'r *currents* enfawr o hóno sydd yn rhedeg bron o begwn i begwn. Pen deheuol un *fagnet* a gofleidia ben gogleddol y llall, ac a wrthoda y pen deheuol. A gwelir nodwydd fach gywrain y morwr bob amser yn gosod ei hunan i orwedd gydag un pen bron tua'r gogledd a'r llall bron tua'r deheu; nid yw byth yn methu. Na, yr ydym yn camgymeryd; o herwydd os bydd haiarn neu ryw fetel yn meddu attyniad, yn agos ati, newidia ei chyfeiriad mewn ufudd-dod i allu cryfach o herwydd ei agosrwydd. Ond dan yr un amgylchiadau, gweithreda bob amser yr un modd. Ni ddysgodd forwriaeth na seryddiaeth erioed, ond er hyny, pan o olwg pegwn y gogledd ac ymhell o Fôr y Dê, pan ar ganol y cefnfor, heb seren na lloer i'w harwain, mae mor sicr o'i deddf ag ydyw y môr o lenwi a threio.

Gydag *electricity* ceir manylion tebyg. Pe cymerid darn o wydr a phe tŷnid gwlanen ol a blaen ar hyd-ddo, byddai ynddo attyniad cryf at ddarnau o bapyr, corc, a phlŷf. Pe dygid dau gorcyn wedi eu crogi ar linyn at y gwydr, trosglwyddid iddynt rywbeth, yn rhinwedd yr hwn nid yn unig y diangent rhag eu gilydd, ond rhag y gwydr hefyd. Pe bae dyn dan y frech wèn, a dau eraill wedi ei chael oddiwrtho, mae yn debyg y cadwai y ddau, nid yn unig oddiwrth y dyn cyntaf, ond oddiwrth eu gilydd hefyd. Felly bob amser y gwna trydan gyda'r pethau uchod. Yr un trydan sydd yn yr oll a ddiangant rhag eu gilydd, ond pan y dygir dau drydan gwahanol ynghyd, rhuthrant ar unwaith i fynwes eu gilydd; a byddai y cyfarfyddiad mor wresog fel y gwelid gwreichionen fach, yr hon eto a ddengys fwy o fanyldeb, o herwydd tra y dyry un math wreichionen gôch, dyry un arall un lâs. Manyldeb y ddeddf welir yma; ond gwelir hi ar raddfa ehangach yn y dreigiau a'r mellt, a gall dyn ddyweyd wrth liw y rhai hyny pa fath drydan sydd yn y cwmwl sy'n hofran uwchben. Mae yn debyg fod yma ddeddf rhy fanol i lygaid dyn ei chanfod. Nid oedd y siaced wahanol i Joseph ond arwydd gweledig fod rhywbeth gwahanol yn mynwes Jacob tuag ato ef, ac fod hyny yn cyfodi o herwydd gwahaniaeth yn mynwes bur Joseph. Yr ydym ni yn *gweled* manyldeb mawr, ond ar yr un pryd yn gorfod teimlo nad ydym yn gweled yr hanner sydd yn bod. Rhaid i ni yn awr adael y maes hwn, fel gadael rhodfa hyfryd, wrth gerdded yr hon y cawsom lawer o bleser, a'r pleser hwnw yn fwy o herwydd cwmni rhai a welai ymhellach na ni, ac a eglurent bethau anhawdd eu deall.

John Owen M. A. Criccieth

# MEISTRI MOODY A SANKEY.

Mewn amseroedd pan y mae coegddigrifwch yn cael ei ystyried yr un peth ag athrylith, gallu i lwydo y dwfr yn cael ei dderbyn fel prawf diammheuol o ddysgeidiaeth,—pan y mae afrwyddineb yn cael ei ystyried yn fawredd, musgrellni yn urddas, a ffûg, yn ei wahanol agweddau o drwst a diddymdra, dillad a gwegi, yn llwyddo i ddyfod yn boblogaidd, y mae yn dra chysurus a hyfrydol cyfarfod âg ambell ddyn weithiau yn ymddangos o ddifrif. Y mae cymaint o wahaniaeth rhwng y cyfryw ddyn â phob math a desgrifiad arall o ddyn, fel mai hollol naturiol iddo ar ei ymddangosiad cyntaf, grëu cryn lawer o gyffro. Y mae yn naturiol hefyd i'r cyffro hwnw gynnyrchu anfoddlonrwydd, ac mewn amser, yn enwedig os bydd y dyn yn llwyddo, y mae yr anfoddlonrwydd yn ymffurfio yn genfigen, cenfigen yn tori allan mewn gwawd a dirmyg, ac yntau yn cael ei hunan, bron yn ddiarwybod iddo, wedi ei amgylchu ar bob llaw gan bobl yn ammheu ei deilyngdod, ac yn cymeryd eu rhyddid i feirniadu, gyda llymdra a manylrwydd, gywirdeb a gonestrwydd ei amcanion. Nid ydyw hon ond y driniaeth y gellir ei dysgwyl yn anocheladwy gan bob dyn sydd yn cyflawni yn gywirach a ffyddlonach unrhyw waith y mae ei gymydogion eisoes yn tybied eu bod hwy yn ei wneuthur gyda chywirdeb a ffyddlondeb digonol. Y mae Hanesiaeth Naturiol yn rhoddi ar ddeall i ni mai gorchwyl anhawdd iawn ydyw attal cŵn i gyfarth, gan fod eu sefyllfa feddyliol, ynghyda thymer eu hysbryd, yn eu cymhell i hyny; yr unig ystyriaeth gysurus ydyw, fod profiad y ddynoliaeth trwy yr oesoedd, gyda yr un amlygrwydd penderfynol, wedi cyrhaedd sicrwydd mai nid lleidr ydyw pob un y cyfarthant arno. Y mae y mwyafrif mawr o'r hil ddynol, hyd yma, wedi bod yn dra gofalus, ac, yn wir, wedi dangos talent a medrusrwydd mawr i flino ac i boeni pawb sydd yn ceisio gwneyd llês iddynt, ac wedi bod bob amser yn hynod haelionus a llaw-agored mewn dirmyg a difrïaeth tuag at bawb sydd yn dangos yr awydd lleiaf am fod yn gymwynaswyr iddynt. Nid yw hyn, ar un cyfrif, yn beth y dylem sŷnu ato; oblegid y mae yr ymdeimlad o'n dyledswydd i wneuthur daioni yn argyhoeddiad mor ddwfn a naturiol yn ein mynwesau, fel y mae ein gwaith yn esgeuluso hyny yn cynnyrchu ynom anesmwythyd ac annedwyddwch, ac fod ein cydwybod, er ein gwaethaf, y mae yn wir, yn tystio wrthym fod gwaith unrhyw ddyn arall yn ymdaflu gorff ac enaid i'r hyn y mae ef yn credu ei fod wedi ei alw iddo, yn adlewyrchu mewn modd anffafriol ar ein seguryd a'n diffrwythdra ni ein hunain. Dyma y rheswm mai pobl heb ganddynt unrhyw amcanion neillduol eu hunain i ymestyn atynt sydd yn gyffredin yn fwyaf blaenllaw i feirniadu a chondemnio

amcanion pobl eraill. Y mae yn afreidiol cydnabod fod hyn yn beth drwg a niweidiol iawn o ran ei effeithiau; gan ei fod yn achosi yn barhäus gymaint o flinder ac anhapusrwydd; ar yr un pryd, y mae, ynddo ei hunan, yn cynnwys prawf amlwg o rywbeth cysurus a gobeithiol. Y mae rhyw fath o ddrygau yn perthyn i gymdeithas wareiddiedig, a hyd yn nôd i gymdeithas grefyddol, sydd yn tarddu yn naturiol o'r rhagoriaethau sydd ynddi—y maent yn effeithiau yr hyn sydd wedi myned heibio, ac yn argoelion calonogol gyda golwg ar yr amser sydd i ddyfod. Gellir dyweyd felly am y mater dan sylw. Y mae yn profi nad ydyw y ddynoliaeth wedi dirywio, nac yn debyg o ddirywio yn anfeddyginiaethol; ac er y dichon fod ei chydwybod yn galed, eto ei bod yn meddu cydwybod o ryw fath, ac nad ydyw y gydwybod hono hyd yma wedi ei serio â haiarn poeth; ond fod yn bosibl cyrhaedd ati, a chynnyrchu aflonyddwch ynddi trwy ryw foddion neu gilydd. Yr unig beth sydd yn rhyfedd, ac yn ddiammheu yn hollol annealladwy i laweroedd, ydyw fod y dyn a ddichon fod yn cael ei anrhydeddu â'r cyfryw driniaethau, yn parhâu i fyned ymlaen yn ei ymdrechion canmoladwy i wneuthur daioni, heb ffyrnigo, a digio yn anfaddeuol wrth bawb a phobpeth o'i gwmpas, gan benderfynu gadael llonydd i'r byd rwyfo ei ŵch ei hun, neu foddi ynddo, os dewisa hyny yn well. Y mae genym ddigon o engreifftiau yn ein mysg ein hunain o ddynion da yn dyoddef yn ddystaw a thawel, am flynyddoedd, lawer o fryntni ac atgasrwydd, erlidigaeth a gwrthwynebiad, ac er hyny yn parhâu yn ffyddiog a gweithgar ynghanol y cwbl; ac, fel y mae yn digwydd weithiau, i Ragluniaeth ac amgylchiadau ddwyn oddiamgylch amser eu goruchafiaeth, eto, nid ydynt yn ymffrostio nac yn ymorfoleddu; ond yn myned ymlaen ar unwaith i dynu y byd yn eu penau trwy geisio gwneuthur ychwaneg o lês iddo. Bron na ellid ammheu weithiau a ydynt yn feddiannol ar deimladau cyffredin dynoliaeth anmherffaith. Oni bae fod Un arall wedi bod yn byw am dymmor yn y byd hwn, a bod genym dystiolaeth sicr am dano, pan ddifenwyd na ddifenwodd drachefn, a phan ddyoddefodd na fygythiodd, buasem mewn perygl o fyned i gredu fod y fath ymddygiad yn afresymol i'r eithaf, a bod eu holl wroldeb yn tarddu oddiar eu diffyg teimlad, a'u dyfalbarhâd yn ddim amgen nag ystyfnigrwydd, ac yn enwedig fod eu tynerwch a'u tiriondeb ynghanol y cwbl, a thuag at bawb, yn tarddu yn uniongyrchol oddiar ymwybyddiaeth fod eu cleddyfau wedi rhydu, ac nad oes ganddynt hwythau bellach ddim i'w wneyd ond cario eu penau yn eu dwylaw, a bod yn ddiolchgar iawn am drugareddau bychain. Yn wir, gellid barnu eu bod, i ryw raddau, yn teimlo felly. Ysbryd annealladwy tu hwnt i bob peth i'r byd hunanol, anniolchgar, ydyw ysbryd gwneuthur ddaioni. Heblaw ymdrechu yn galed âg anhawsderau, y mae hefyd yn galluogi ei berchen i ddyoddef llawer; ac er ymdrechu a dyoddef, y mae yn teimlo yn llawen a siriol ei fod yn cael un math o ryddid gan ddyn, na chaniatâd gan ei Feistr mawr, i geisio gwneyd unrhyw beth o gwbl. I ddyn wedi ei feddiannu gan yr ysbryd hwn, nid yw llid ei elynion, na gwên ammheus a maleisus ei gyfeillion, ond pethau dibwys i'r eithaf. Y mae cyflawni ei ddyledswyddau ei hunan yn fater bywyd iddo ef, ac o ganlyniad nid oes ganddo nac amser na hamdden i gusanu pob gofid a'i cyferfydd, nac i gadw yn ofalus yn ei logell, hyd amser cyfaddas, bob dirmyg a sarhâd a deflir arno.

Y mae yn debyg nad oes neb yn y blynyddoedd diweddaf hyn, wedi bod yn wrthddrychau beirniadaeth fwy didrugaredd, a dirmyg mwy creulawn, gan ryw ddosbarth o bersonau, na Mri. Moody a Sankey, yr Efengylwyr Americanaidd. Yn ystod eu harosiad yn Liverpool ychydig amser yn ol, y mae yn sŷn meddwl mai prin y caent lonydd i gerdded yr heol. Yr oedd Gwyddelod, a thafarnwyr, a Phabyddion, ynghyda llawer eraill y gallesid yn rhesymol ddysgwyl iddynt ymddwyn yn dra gwahanol, yn eu gwrthwynebu gyda gwrhydri a dewrder anghyffredin; a'r gwrthwynebiad hwnw, yn benaf, yn tori allan mewn cabledd, a difrïaeth, a chelwydd, yn unig ei fod yn cael ei ganlyn gan amlygiad diamwys o zêl dros y gwirionedd, ac ymlyniad ffyddlawn, diysgog, wrth hen arferion a sefydliadau parchus. Yr oedd y tafarnwyr mewn modd neillduol yn teimlo fod ein Cristionogaeth a'n crefydd mewn perygl mawr. Y mae yn hysbys eu bod hwy fel rheol yn ddosbarth o bobl hynod uniawngred, heblaw eu bod yn gyffredin yn dangos gofal mawr am burdeb athrawiaeth. Yr oedd yn amlwg i bawb eu bod yn teimlo yn ddwys iawn dros anrhydedd y weinidogaeth, ymysg pob enwad, ac yn ystyried fod eu tref hwy, yn anad yr un dref yn y byd, yn meddu sêr oeddynt yn alluog i adlewyrchu yn effeithiol ar ei thrigolion oleuni yr efengyl, heb fyned i fenthyca llewyrch canwyllau Americanaidd; y rhai mewn gwirionedd, nid oeddynt ond math o *ignis fatuus*, yn amcanu yn bwrpasol at arwain y miloedd ar gyfeiliorn. Heblaw hyny, nis gellir dyweyd fod y nifer lïosocaf o aelodau mwyaf parchus cymdeithas, nid yn unig yn Liverpool, ond yn y deyrnas yn gyffredinol, yn teimlo ond ychydig iawn yn fwy ffafriol iddynt. Ac ymhellach, y mae yn ymddangos fod cannoedd o'r rhai oedd yn mynychu eu cyfarfodydd yn teimlo yn flin, ac yn annedwydd, am eu bod yn llwyddo mor dda, ac yn foddion mor amlwg i wneuthur cymaint o lês i eneidiau pobl. Nid yw hyn mewn un modd yn anghyson â chymeriad cyffredin dynoliaeth yn ei sefyllfa bresennol o anaddfedrwydd. Y mae pawb sydd yn adnabod ei hunan i ryw raddau, yn deall yn burion fod yn haws iddo garu ei elynion, ond iddynt hwy gadw mewn pellder prïodol, a pheidio croesi ei lwybr ond mor anfynych ag y gallant, nag ydyw iddo wir lawenychu yn nghysur, a llwyddiant, a phoblogrwydd ei gyfeillion. Rhyfedd ydoedd gweled ambell un, yn ol pob ymddangosiad wedi derbyn mwynhâd mawr yn ystod y gwasanaeth gyda Mri. Moody a Sankey, mor fuan ag y deuai allan o'r adeilad, yn ymostwng i gyfaddef, ei fod ef "*bron a chael ei orchfygu*" ganddynt; ond er hyny, yn myned ymlaen i amlygu ei farn, nad oedd ef yn canfod ond ychydig nerth, na goleuni, na medrusrwydd, yn eu cyflawniadau—yn unig fod yno rywbeth na wyddai ef ddim yn iawn pa beth; heb feddwl fe allai mai yn y *rhywbeth* hwnw yr oedd yr holl ddirgelwch yn gynnwysedig. Y mae yn debyg mai yr adolygiad mwyaf têg, mewn rhyw ystyr, a ymddangosodd yn Lloegr, ar y gwŷr hynod hyn, oedd ysgrif a gyhoeddwyd amser yn ol yn y *Saturday Review*. Yr unig gam yr oedd ysgrifenydd yr erthygl hono yn ei wneyd â hwy oedd, ei fod yn gadael allan o ystyriaeth y *rhywbeth* crybwylledig. Ac y mae yn amlwg ar unwaith, ei fod trwy hyny, yn gwneuthur cam dybryd â hwy. Os nad oedd ganddo allu i ddeall, a gwroldeb i gydnabod, a digon o degwch i roddi ei le priodol ei hun i'r *rhywbeth* hwnw, y mae yn rhaid nad oedd ganddo nac achos na hawl i

sôn am danynt o gwbl. Y mae yn amlwg fod athroniaeth yn methu cyrhaedd ei hamcan, ac o ganlyniad yn syrthio yn fỳr o foddloni ein cywreinrwydd ninnau, pan yn ceisio esbonio yr achosion o ymddangosiadau neillduol, ac ar ol darfod, yn gorfod troi atom a dyweyd, mai dyna y cwbl, heblaw *rhywbeth* arall ag y mae hi yn analluog i gael gafael arno, nac i ffurfio unrhyw syniad pa beth ydyw. Fel y mae wedi dygwydd, yn fwyaf ffodus i'n byd ni trwy yr oesoedd, pan y byddai, yn nghyflawnder ei ddoethineb, yn nghywirdeb ei gredo, ac yn helaethrwydd ac amledd ei sefydliadau, wedi llwyddo i süo ei hunan i gysgu yn nhiriogaeth hûd a lledrith ysbrydol, ac mewn canlyniad, wedi dwyn ei hunan i berygl o gael tori ei wddf, ac o gael ei ysbeilio o bob peth ag oedd yn werthfawr iddo, deuai yn amlwg ar unwaith fod Rhywun wedi darparu *rhywbeth* iddo syrthio yn ol arno. Y mae yn wybyddus hefyd fod ymddangosiad y gallu hwn bob amser yn cael ei hynodi, ymysg pethau eraill, mwy i'r pwrpas, gan gyffro a dychryn anghyffredin ymysg pob dosbarth o ddylluanod ac adar y nos. Nis gwyddom a oedd llawer o dafarnwyr na Gwyddelod yn Jerusalem ar ddydd y Pentecost; ond y mae yn eithaf hysbys fod yno boblogaeth hynod lân yn ei golwg ei hun, cenedl o grefyddwyr hynod ofalus am burdeb athrawiaeth, a swyddogaeth yn gafael yn dỳn iawn mewn hen sefydliadau. Yr oedd yno hefyd nifer o bysgodwyr syml, anllythyrenog, a lleferydd ambell un o honynt yn ei gyhuddo—fel yr eiddo Mr. Moody—acen Galileaidd i'r eithaf ganddo. Yr oedd y pysgodwyr crybwylledig yn cymeryd yr hyfdra i bregethu yr efengyl i'r miloedd pobl oedd yn cyrchu i wrando arnynt, ac y mae lle cryf i gasglu eu bod yn pregethu yn hyawdl, yn wresog, yn gyfeiriol iawn, ac yn dra argyhoeddiadol—mewn gair, yr oeddynt hwy eu hunain yn gwneyd eu goreu, ac yr oedd yno *rywbeth* arall heblaw hyny. Trwy drugaredd *y mae rhywbeth* yn bod, ac y mae yr amrywiol brofion a gafwyd eisoes o'i effeithiau yn cyflwyno sicrwydd fod gwaith mawr i gael ei wneyd ar ein byd ni cyn y diwedd, a bod Rhywun wedi meddwl gwneyd mwy o honom ni nag yr ydym ni erioed wedi feddwl nac amcanu wneyd o honom ein hunain. Hon yw yr addewid sydd "wedi ei gadael." Y mae wedi ei gadael er y dechreu, ac yn parhâu i aros yma trwy yr oesoedd. Pan y mae cyfundebau cryfion a gyfodwyd yn bwrpasol i ledaenu gwybodaeth am dani ymysg dynion, wedi tyfu, addfedu, ac adfeilio, y mae yr addewid ei hunan yn aros eto. Y mae yn bosibl hefyd i ambell sefydliad parchus yn y dyddiau hyn, sydd yn ymostwng i gymeryd achos Iesu Grist o dan ei amddiffyniad, ac yn teimlo yn gysurus wrth feddwl fod dynolryw o dan rwymau iddo am gynnal Cristionogaeth i fyny, a'i chadw rhag anrhaith a difrod trwy ynfydrwydd a gelyniaeth ddiras gwallgofiaid, penboethiaid, ac Americaniaid, y mae yn bosibl fod y cyfryw sefydliadau, gan barchusrwydd ac eiddilwch, gan bydredd ac urddas, yn graddol falurio o'r golwg; ond ar yr un pryd, y mae yn gysurus meddwl y bydd yn rhaid iddynt hwythau adael yr addewid ar ol. Addewid wedi ei gadael ydyw hon mewn modd neillduol. Beth bynag arall sydd i fod yn y byd hwn o hyn i ddiwedd amser, y mae hon yn sicr o fod yma. Y mae fel gwenithen fechan yn cynnwys llawer ynddi ei hunan. Y mae yn cynnwys holl elfenau hanfodol bywioliaeth i fyrddiynau o ddynion; ac ar y cyfrif hwnw, yn cynnwys rheswm cryf dros i ninnau edrych ymlaen gyda hyder a gobaith i dywyllwch ac ansicrwydd yr oesoedd dyfodol.

Oni bae fod beirniadu yn cael edrych arno yn gyffredin yr un peth a chondemnio, buasem ar unwaith yn teimlo yn rhydd i wneyd hyny gyda y Mri. Moody a Sankey. Y mae rhywbeth yn eu dull o fyned trwy eu holl gyflawniadau, ac ymhob peth a berthyn iddynt, sydd mewn modd anwrthwynebol, ymron, yn gwahodd beirniadaeth; a chan fod pawb o honom yn cael ein geni yn feirniaid, naturiol iawn i ni ydyw rhoddi pob rhyddid a chwareu têg i'r gallu hwnw sydd mor gynhwynol yn ein natur. Y mae yn dra thebyg fod miloedd lawer yn myned i wrando arnynt, am y waith gyntaf, yn unig gyda yr amcan o feirniadu, ac oblegid hyny, y mae y diwygwyr yn cael eu gosod o dan fath o angenrheidrwydd i orchfygu rhan fawr o'r gynnulleidfa bob tro. Y mae hyn yn wahanol iawn i sefyllfa pethau yn ystod rhai diwygiadau mawrion a gafwyd yn Nghymru, pan yr oedd tymher ac agwedd ysbryd y cynnulleidfäoedd yn ffafriol, a thrwy hyny yn ei wneuthur yn beth hawdd, mewn cymhariaeth, i osod argraff ddaionus ar eu meddyliau. Yn annibynol ar bob ysbrydoliaeth oddiuchod, nid yw y moddion yn y diwygiad presennol ond syml, a'r offerynau, ar lawer golwg, ond cyffredin, ac eithrio yn unig dalent gerddorol Mr. Sankey. Ar yr un pryd, y mae yn rhaid i ni gadw mewn cof hefyd, nad ydyw cyrn hyrddod, ynddynt eu hunain, ond offerynau pur gyffredin. Yr anhawsdra mawr ydyw cael dyn i deimlo yn foddlawn i fód yn gorn hwrdd, heb un amser gael ei flino gan awydd ymestyn ac ymsythu hyd nes y bydd yn udgorn. Y mae Mri. Moody a Sankey yn gafael yn eu gwaith yn hollol ddirodres, ac yn ei gyflawni gyda phenderfyniad ac ỳni sydd yn argyhoeddi pawb eu bod yn bwriadu myned trwyddo goreu y gallant; heb un amser fradychu y gradd lleiaf o ofn a phryder am y canlyniadau. Y mae hyn yn beth mawr i ddechreu, oblegid os bydd dyn yn gallu ymddangos yn rhydd, cysurus, a hunanfeddiannol, y mae y gynnulleidfa ar unwaith yn cael ei hennill i ymddiried ynddo, a thrwy hyny yn dyfod i dalu sylw manwl i'w ymadroddion. Nid yw y gwŷr hyn yn dangos dim ofn nac arswyd y miloedd pobl sydd, er ys oriau, hwyrach, yn dysgwyl eu gweled yn dyfod i fyny i'r esgynlawr. Y maent yn eu hwynebu yn hollol naturiol a digyffro. Ar yr un pryd, nid oes dim yn eu hymddangosiad yn arwyddo eu bod yn hòni dim o gwbl gyda golwg arnynt eu hunain. Y mae eu holl hòniadau yn dal cysylltiad â'r neb sydd wedi eu hanfon. Ar ei ran Ef, a throsto Ef, y maent yn hòni pethau mawrion. Y mae yn rhaid cyfaddef nad yw cyfansoddiad y bregeth i'w edmygu ar un cyfrif; yn hytrach i'r gwrthwyneb, y mae yn gyffredin yn ddiffygiol mewn llawer o bethau, sydd bob amser yn cael eu hystyried yn bwysig. Gall fod ynddi lawer o bethau anmherthynasol, amryw ymadroddion isel, fe allai, ac ambell chwedl yn cael ei hadrodd, fydd mor adnabyddus i bawb nes y bydd bron yn ddiflas clywed y pregethwr yn dechreu arni. Dichon hefyd ei fod yn defnyddio ambell gyffelybiaeth i egluro pethau nad ydyw yn perthyn dim i'r mater sydd ganddo mewn llaw, nac yn debyg o daflu ond ychydig oleuni arno pe byddai yn perthyn; ond er hyny, rywfodd, y mae sylw y gynnulleidfa yn cael ei hennill bron heb yn wybod iddi, a phawb yn dyfod i deimlo fod rhywbeth yn yr holl bethau a ddywedir sydd yn brïodol anghyffredin iddynt hwy. Calon y pregethwr sydd yn dyfod i'r golwg yn hytrach na'i feddwl, ac mewn canlyniad y mae yr

argraff a gynnyrchir ganddo yn llai ffafriol iddo ef ei hun nag i ddylanwad bendithiol y gwirionedd sydd yn cael ei ddysgu. Y mae y pregethwr yn gallu ymguddio o'r golwg, yn nghysgod yr hyn a ddywedir ganddo; ac y mae yn afreidiol ychwanegu fod hyn yn beth pwysig, gan mai i'r graddau y mae dyn yn gallu gwneuthur hyny, y mae yn bosibl iddo allu pregethu o gwbl. Nid oes dim yn llais Mr. Moody ag sydd yn ffafriol; ond yn unig fod rhyw ỳni a gwrês mawr i'w deimlo yn ei holl ymadroddion. Yn wir, y mae yn ddiffygiol yn y peth cyntaf sydd yn angenrheidiol tuag at fod yn areithiwr medrus, sef, meistrolaeth a llywodraeth sicr ar ei lais. Y mae ei lais ef yn dianc weithiau o'i gyrhaedd, a hyny yn peri ei fod yn myned i siarad yn gyflymach ac i floeddio yn uwch; nid bloeddiadau hirllaes na thrystfawr, ond bloeddiadau uchel, cyflym, sydyn, a metelaidd, nes peri i ddyn deimlo weithiau fel pe byddai mewn *foundry*. Ac odid fawr pan y bydd wedi myned felly, na ddealla y pregethwr ei hunan na wna hyny mo'r tro, ac y daw i derfyniad swta, gan droi yn lled ddiseremoni at ei gyfaill, a gorchymyn iddo gânu, ac ymddangos fel dyn yn argyhoeddedig ei fod heb gyrhaedd ei amcan fel y dymunai y tro hwnw, ond ar yr un pryd yn benderfynol o ail gynnyg y cyfleusdra cyntaf. Y mae yn rhaid cydnabod fod ganddo ddawn i siarad, dawn siarad yr un fath ag y gellir dyweyd fod clôch yn meddu dawn siarad wrth ei hysgwyd. Y mae ganddo allu anghyffredin i ddyweyd geiriau, gyda chyflymdra a bywiogrwydd mawr; ond y mae hyny mewn gwirionedd yn troi yn fwy o anfantais na dim arall i'r hyn a ddywedir gario argraff brïodol ar y gwrandäwyr. Nis gellir dyweyd ei fod yn hyawdl, nac yn swynol, nac mewn un modd yn ddyddorol, oni bae ein bod yn gorfod teimlo fod ganddo genadwri i'w thraethu, a'i fod wedi ymddangos ger ein bron o bwrpas i wneuthur hyny. Ni ddeil ei lais gymhariaeth am fynyd â'r eiddo y nifer lïosocaf o bregethwyr Cymru, heb sôn dim am feistriaid y gynnulleidfa. Nid oedd dim yn fwy hynod na'r gwahaniaeth mawr rhwng llais Mr. Moody â'r eiddo gweinidog Cymreig y cafwyd cyfleusdra i wrando arno, ymysg amryw eraill, yn yr un adeilad ag a feddiennid yn flaenorol gan Mri. Moody a Sankey. Yr oedd yntau, y mae yn wir, yn bloeddio; ond rywfodd nid oedd ei lais yn bloeddio, ac er hyny yr oedd i'w glywed yn eglur ymhob rhan o'r adeilad ëang. Yr oedd i'w glywed yn y tô, ar hyd yr orielau, yn y ffenestri—ymhob cŵr yn ddiwahaniaeth, heb fod neb yn ei deimlo yn dyfod o un man mwy neillduol na'i gilydd, er fod y siaradwr yn amlwg i bawb, a llygaid pawb yn sefydlog arno. Wrth fyned allan ar ganol yr anerchiad yr oedd y llais i w glywed o dan y meinciau, fel pe buasai yn dyrchafu o'r ddaear, a hyny mor glir, mor wastad, y tònau yn canlyn eu gilydd mor reolaidd, ac yn toddi i'w gilydd mor esmwyth, nes yr oedd yn rhaid teimlo fod rhyw swyn annealladwy yn perthyn iddo. Yr oedd y llais i'w glywed yn sibrwd y tu ol i'r drysau, yn ehedeg o amgylch y buarth, ac yn curo, yn ddystaw y mae yn wir, ond yn hollol eglur, yn erbyn muriau yr adeiladau mawrion oedd ger llaw. Mewn cymhariaeth i'r llais hwn, nid oedd llais Mr. Moody yn yr un ystafell, ond fel sŵn "*a thousand tinkers mending pots.*" Er hyny y mae ef yn deall ei hunan yn dda—y mae yn deall ei lais yn dda, er nas gall gyflawni gwrhydri gydag ef. Y mae yn amlwg hefyd ei fod yn deall y ddynoliaeth yn dda, ac y mae yn dra thebyg fod hyny yn tarddu yn

benaf o'i adnabyddiaeth o hono ei hunan. Pan yr ydym ni yn myned yn ddyeithriaid i ni ein hunain, y mae pawb arall o'n hamgylch yn dyfod yn ddyeithriaid annealladwy i ni. Y mae y dyn sydd yn ymddyddan llawer â'i galon, ac yn tewi, ar yr un pryd yn dal cymundeb uniongyrchol âg ysbryd y teulu dynol, ac y mae hyny yn y diwedd yn dyfod bron i'r un peth a dal cymundeb â Duw; oblegid mai trwyddom ni ein hunain, yn gyffredin, y mae y Goruchaf yn gwneyd yr argraffiadau dyfnaf a mwyaf arosol ar ein meddyliau.

Dylid chwanegu mai gwêdd ddyngarol, yn benaf, sydd ar bregethau Mr. Moody, ac mai ysbryd dyngarol ydyw y teimlad cyntaf a gynnyrchir trwyddynt. Os nad ydym yn camgymeryd, dyngarwch Iesu Grist ydyw yr elfen neillduol y rhoddir mwyaf o arbenigrwydd iddi. Y mae rhywbeth digon swynol mewn sôn am yr Iesu fel *"our big Brother,"* er hyny y mae yn llawn gwell genym ni yr hen ddull,—"Fy Arglwydd a'm Duw." Y mae dynion hollol ddigrefydd, wrth wrando Mr. Moody, wedi teimlo rhyw awydd angerddol, annealladwy, am wneuthur rhyw ddaioni i rywun yn rhywle, ac, yn wir, i bawb ymhob man; ac yn yr engreifftiau hyny, nis gellir yn rhesymol ddal allan fod eu gwaith yn tarddu oddiar ffydd, na'u llafur yn tarddu oddiar gariad. Nid yw hyn yn cael ei nodi gyda'r amcan o'i ddal i fyny fel diffyg, ond yn unig fel nodwedd wahaniaethol yr addysg a gyfrenir. Y mae yn amlwg i bawb fod dyngarwch yn rhywbeth dwyfol o ran ei darddiad a'i amcan. Y mae hefyd yn allu rhagorol i feithrin ysbryd ymdrechgar a hunan-ymwadol, heblaw ei fod yn gymhwysder uniongyrchol mewn dysgawdwr crefyddol tuag at ennill ffafr y lliaws. Ar yr un pryd, y mae gwêdd arall ar bregethu yr efengyl, na ddylid ar un cyfrif ei hesgeuluso; oblegid mai dyma y wêdd uchaf, ac, yn y pen draw, y fwyaf diogel, ac hyd yn nôd y fwyaf effeithiol; sef dal i fyny, nid llês dyn yn gymaint ag urddas a gogoniant Duw, yn gystal a'i ddaioni a'i drugaredd anfeidrol. Fel rheol, ar ochr Duw y mae y gweinidog i sefyll—dros Dduw yn y pethau tuag at ddyn. Nid oes ond Un yn unig wedi ei osod dros ddyn yn y pethau tuag at Dduw. Pell oddiwrthym a fyddo awgrymu fod Mr. Moody yn dysgu dim i'r bobl sydd yn sawru o Babyddiaeth na defodaeth o un math, er fod ymadrodd fel, *"I just pointed her out to Jesus,"* yn ymddangos braidd yn swyddogol hefyd. Ac y mae yn rhaid cyfaddef mai tuedd at ryw fath o ddefodaeth sydd yn cael ei gynnyrchu yn meddyliau llawer gan ei bregethau; yn enwedig felly pe gweithid y cyfryw argraffiadau i fyny i'w canlyniadau naturiol eu hunain. Ar yr un pryd, paham y rhaid i ni ofni na chwyno dim o herwydd hyn? Onid gwaith yr eglwysi a ddylai fod ymgeleddu a dysgu y dychweledigion yn fanylach yn ngwirioneddau mawrion yr iachawdwriaeth? Nid yw eu bod ar y cyntaf yn teimlo fod byw yn dduwiol yn beth hawdd, yn gwneuthur yn anmhosibl iddynt mewn amser ddyfod i ddeall yr anhawsdra, ac yn sicr, mewn canlyniad i hyny, ddyfod i bwyso mwy ar allu cryfach y tu allan iddynt eu hunain. Yr hyn sydd yn werthfawr iawn ydyw yr ysbryd gwaith sydd yn cael ei gynnyrchu; ac y mae hon yn elfen bwysig iawn mewn bywyd crefyddol. Y mae hefyd yn elfen nad oes odid yr un adfywiad crefyddol a gafwyd yn Nghymru, hyd yma, wedi bod yn foddion i roddi ond ychydig amlygrwydd iddi, ar ol cyfodiad Methodistiaeth yn y wlad. Ein syniad ni, fynychaf, am fyw yn dduwiol

ydyw credu yn Nghrist, ac yn enwedig *mwynhau* moddion gras ac ordinhadau yr efengyl; a hyny yn rhy aml, fe ddichon, heb ond rhy ychydig o ymgais i droi y pethau hyn i ryw ddyben ymarferol, mewn ymroddiad a gweithgarwch dros achos Iesu Grist. Y mae yn bosibl i grefyddwyr fyned i deimlo eu bod yn gwneyd iawn am bob peth, ac yn talu am bob peth trwy weddïo ar Dduw. Fel canlyniad holl ddarpariaeth yr efengyl, holl ras a chariad, holl dynerwch a gofal y Goruchaf, nid ydym yn cael golwg ar ddim ond hwy eu hunain. Onid ydym NI yma, yn byw yn weddaidd, ac yn cael mwynhâd a hyfrydwch mawr, yn y bendithion tymmorol ac ysbrydol sydd yn ein meddiant? Nid ydynt yn gweled fod ond ychydig rwymau arnynt i droi y cyfoeth gwerthfawr hwn yn fûdd ac yn elw ysbrydol i eraill o'u hamgylch. Y mae yn bosibl fod ambell un yn cael rhyw fath o fwynhâd wrth weddïo sydd yn tarddu oddiar afiechyd yn ei feddwl ef ei hunan, yn hytrach nag oddiar adnabyddiaeth deilwng o Dduw, a chymdeithas bersonol â Iesu Grist. Y mae yn anmhosibl rhoddi lle rhy uchel i weddi fel moddion meithriniad a chynnaliaeth y bywyd ysbrydol; ond ar yr un pryd, dylem gofio fod yn hawddach bod yn ddefodol a ffurfiol mewn gweddi nag mewn gwaith; ac, rywfodd, am ryw resymau sydd yn tarddu yn gwbl o'n hanmherffeithrwydd ni ein hunain, y mae yn anhawdd genym roddi arbenigrwydd neillduol i'r naill heb fod mewn perygl o esgeuluso y llall. Y mae hyn yn cael ei brofi gan effeithiau y diwygiad mawr a gafwyd bymtheng mlynedd yn ol. Yr oedd llawer mwy o *fwynhâd* yn cael ei deimlo y pryd hwnw nag oedd o waith yn cael ei gyflawni. Ac yr oedd y mwynhâd hwnw yn cael ei deimlo yn benaf mewn gweddi. Yr oedd y lliaws, yn enwedig yr ieuenctyd, yn ymddangos yn cael rhyw olwg hynod ar ddaioni a thrugaredd yr Arglwydd, ac yr oeddynt yn cael hyfrydwch mawr wrth sôn ac adrodd am danynt. Er hyny, y mae yr un mor hysbys mai dyna y tô mwyaf dilafur o holl aelodau yr eglwysi yn ystod y blynyddoedd diweddaf, Dyma y dosbarth mwyaf dilafur am wybodaeth o'r Bibl, ac am bob gwybodaeth fuddiol arall, yn gystal a mwyaf anmharod i gymeryd rhan yn nygiad ymlaen yr achos mawr yn ei holl gysylltiadau. Y fendith fwyaf a gafodd Cymru yn yr ymweliad hwnw, oedd, iddo fod yn foddion i ddwyn i mewn i'r eglwysi gannoedd lawer o hen wrandäwyr cyson, bucheddol, ag oeddynt trwy y blynyddau heb fod ymhell o deyrnas nefoedd, ond eto yn methu tori y ddadl. Y mae y rhan fwyaf o lawer o honynt hwy ag sydd eto yn fyw, yn aelodau defnyddiol a gweithgar o'r eglwysi ar hŷd a llêd y wlad. Am y dosbarth ieuengaf, yr ydym yn ofni fod y mwyafrif anferth o honynt hwy wedi myned ar gyfeiliorn, ac yr ydym yn credu ein bod yn gywir wrth ddyweyd, er nad ydym yn barod i roddi rheswm dros hyny, fod cannoedd lawer o honynt wedi marw. Gallem roddi ystadegau ar hyn, am lawer o ardaloedd gwledig, a fuasent yn ddigon i sŷnu undyn; ond ymattaliwn. Gall personau sydd yn adnabod eu gwahanol ardaloedd yn dda, gymeryd hamdden i ymofyn pa nifer o bobl ieuainc a ddychwelwyd at grefydd yn ystod y diwygiad, ac hefyd pa nifer o bobl ieuainc oedd yn yr eglwysi ar y pryd—wedi eu magu ynddynt; gan gymharu hanes crefydd y naill ddosbarth â'r llall, yn gystal â'u holl amgylchiadau eraill, mewn blynyddoedd diweddarach. Peth peryglus iawn yw i ddyn gael ei oleuo unwaith, a phrofi y rhôdd nefol, a daionus air Duw, a nerthoedd y byd

a ddaw, os bydd iddo ar ol hyny *syrthio ymaith!* Y mae yn ddiddadl y cyflwr mwyaf anobeithiol o bob cyflwr. Yr unig ddïogelwch rhag syrthio ymaith, ydyw, fod y mwynhâd a broffesir yn Nghrist, yn tòri allan mewn gweithgarwch dros Grist. Ond yr oedd pob math o waith yn ddychryn i'r rhan fwyaf o'r dosbarth y cyfeirir ato. Yr oedd hyd yn nôd eu hannog i wyliadwriaeth a gofal, rhag colli tir eu hunain, ac yn enwedig yr awgrymiad lleiaf fod yn bosibl i'w zêl oeri a'u brwdfrydedd liniaru ychydig mewn amser, yn drosedd anfaddeuol yn eu herbyn. Elfen werthfawr anmhrisiadwy, gan hyny, yn y diwygiad presennol ydyw yr ysbryd gwaith sydd yn cael ei gynnyrchu trwyddo. Y mae unrhyw ddyn a fyddo yn llawn ysbryd gwaith, yn sicr o gael ei fendithio gan yr Arglwydd, ac o ddyfod yn Gristion gwerthfawr a defnyddiol cyn hir iawn. Y mae gweled ieuenctyd, er y dichon eu bod heb ond ychydig wybodaeth o athrawiaethau yr efengyl, ac heb ond adnabyddiaeth anmherffaith o fawrion bethau yr iachawdwriaeth, ac, mewn llawer o engreifftiau, heb ganddynt ond dealldwriaeth anghywir am danynt eu hunain—eto, y mae eu gweled yn llawn awydd am gael rhywbeth i'w wneuthur, gyda rhyw ran o achos ein Harglwydd Iesu Grist, yn weledigaeth brydferth i'r eithaf. Mae yn debyg na bu erioed yn Lloegr fwy o bobl yn barod i gadw drŵs tŷ eu Duw nag sydd yn bresennol,—yn barod i wneuthur unrhyw beth, hyd yn nôd y gwaith lleiaf, distadlaf, os tybiant y bydd hyny o ryw ennill i'r achos. Ac y mae yn amlwg mai dyma yr ysbryd yr ydym yn gyffredin yn ddiffygiol ynddo, ysbryd hunanaberthiad ac ymroddiad cyfangwbl i wasanaeth ein Hiachawdwr mawr.

Nid ychydig o feio sydd wedi bod ar Mri. Moody a Sankey oblegid eu duwinyddiaeth. Teimlir gan lawer, nid yn gymaint eu bod yn dysgu duwinyddiaeth afiach, ond yn hytrach, nad ydynt yn dysgu ond ychydig iawn o dduwinyddiaeth o gwbl. Yr ydym yn rhy barod i anghofio mai pur ychydig o dduwinyddiaeth oedd yn mhregeth Ioan, er fod Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen, yn myned allan ato ef; a mwy na'u bod yn cyrchu i'w wrando, yr oeddynt hefyd yn edifarhâu ac yn cyffesu eu pechodau. Y mae yn bosibl fod ein syniad ni yn gyfeiliornus gyda golwg ar y swm neillduol o dduwinyddiaeth y byddai yn fuddiol ei gael i mewn i gyfansoddiad y bregeth. Pa fodd bynag, yn mhregethau Mr. Moody y mae duwinyddiaeth yn cael ei wneuthur yn amlwg, trwy ei fod, i raddau mawr, yn cael ei adael allan. Nid bob amser y mae meddwl y testun yn cael ei wneyd yn hysbys, ac weithiau gellir cael pregeth ganddo o'r naill ben i'r llall heb ynddi ond ychydig arwyddion ei fod yn gwybod beth yw meddwl y testun. Y mae yr hymnau a genir eto, yn fwy amddifad fyth o dduwinyddiaeth, oddieithr ychydig o'r rhai goreu o honynt. Y maent yn wahanol iawn i gyfansoddiadau W. Williams ac Ann Griffiths, ynghyd â'r eiddo llawer eraill o emynwyr Cymru. Mewn gwirionedd, y mae y cyhuddiad o fod yn Americanaidd yn gyhuddiad hollol dêg yn erbyn yr hymnau. Y mae dyweyd eu bod yn Americanaidd, yn cynnwys ar unwaith bob diffyg sydd ynddynt, yn gystal hefyd a phob rhinwedd sydd ynddynt. Y mae yn perthyn iddynt ryw swyn a newydd-deb, a hyd yn nôd lledneisrwydd mawr; ond eto, y maent yn amwys ac anmhenderfynol. Dichon i ymadrodd fod yn ein dênu, ac yn ein boddio yn anghyffredin ar y pryd, yr hwn erbyn ei ystyried yn fanylach, sydd yn

ddiffygiol mewn synwyr, neu o leiaf fod ei synwyr, a'i ystyr, mor anhawdd eu canfod, nes y gallwn deimlo yn sicr nad ydynt erioed wedi tywynu ar feddwl prin un o bob cant o'r rhai a ddichon fod yn cael blâs mawr wrth eu cânu. Er i ddarn o bennill fod yn ddeniadol a phrydferth, y mae yn rhaid fod ei deilyngdod barddonol, ac yn enwedig ei werth fel moddion i gynnyrchu defosiwn ac addoliad yn yr enaid, yn lled fychan, os rhaid i ddyn ymresymu am ddeng mynyd, er mwyn cael allan ei ystyr a'i gynnwys, ac y mae yn amlwg y rhaid fod ei deilyngdod yn ymddangos yn llai fyth, os, ar ol cael ei ystyr, y canfyddir na bydd yn appelio ond yn unig at deimlau goreu dynoliaeth annychweledig. Gellir dyweyd mai dyma nodwedd neillduol nifer mawr o hymnau Mr. Sankey; ac y mae hyny yn ddïau yn rhoddi cyfrif am eu poblogrwydd, ac am y cymhwysder sydd ynddynt i gario dylanwad uniongyrchol ar feddwl y llïaws. Nid ydynt yn amcanu at ddysgu gwirionedd, ac nid oes ynddynt duedd i argraffu ar y meddwl wirioneddau ag sydd eisoes yn wybyddus. Er hyny, fel moddion i gyrhaedd teimlad y llïaws, y maent yn werthfawr iawn; tra y maent yn hynod ddiffygiol fel moddion dyddanwch i feddwl y cristion, neu fel cyfrwng cymundeb rhwng ei enaid â phethau ysbrydol. Yr unig elfen ddyddorol mewn cysylltiad â hwy ydyw, pan y mae miloedd o bobl wedi ymgasglu at eu gilydd, fod y naill yn eu cânu i'r *llall*, ac yn ddiammheu yn gobeithio y bydd iddynt effeithio arno; pan yr ydym yn canfod fod yr hymnau goreu a feddwn ni yn yr iaith Gymraeg, naill ai yn ymson duwiolfrydig yn mhrofiad personol y saint, neu yn amlygiad o'u teimladau tuag at Dduw.

Y mae yn rhaid cydnabod hefyd mai nid priodol iawn ydyw y broffes o *sicrwydd* sydd yn cael ei chymhell yn y pregethau, ac yn cael ei chario allan mor ddifloesgni gan lïaws mawr o'r dychweledigion. Y mae yn hyn rywbeth sydd yn hynod ddymunol, ar yr olwg gyntaf; ond y mae yn rhaid cofio ei fod yn groes iawn i deimlad cyffredin y saint ymhob oes, hyd yma. Pan y mae hen grefyddwyr, nad oes ond ychydig le i ammheu eu duwioldeb, yn ngostyngeiddrwydd eu calon, yn cyfaddef fod clywed rhai dynion ieuainc yn dyweyd eu profiad, yn peri iddynt ammheu eu hunain, a hyd yn nôd fyned i deimlo yn galed ac annuwiol, y mae lle i feddwl y rhaid fod yr eglwys trwy yr oesoedd wedi camddeall y Bibl, neu fod ei haelodau wedi bod yn hynod amddifad o deimlo effeithiau naturiol a phrïodol ei wirioneddau. Yn hytrach na chymeryd yn ganiatäol y naill na'r llall o'r pethau hyn, mwy dïogel a fyddai ammheu y sicrwydd crybwylledig, er y gall hyny fod yn drosedd mawr yn erbyn llawer. Y mae yn ddiddadl fod yn bosibl i ddyn sydd yn byw yn dduwiol iawn deimlo ar adegau ryw fath o sicrwydd; ond y mae yn rhaid cofio mai *sicrwydd gobaith* ydyw. Ni ddymunem ar un cyfrif awgrymu mai peth bychan, dibwys, ydyw sicrwydd gobaith; ond y mae, er hyny, yn dra gwahanol o ran ei natur a'i effeithiau, i'r sicrwydd y teimla llawer eu bod yn ei feddu y dyddiau hyn. Nid sicrwydd dyn wedi codi tocyn i fyned i'r nefoedd ydyw sicrwydd gobaith. Nid sicrwydd dyn yn gwybod, ond sicrwydd dyn yn credu, sicrwydd dyn yn ymddiried, ac o ganlyniad yn *gobeithio* yn barhäus yn haeddiant un arall,—sicrwydd pechadur mawr yn teimlo nad oes dim rhyngddo â'r gwaethaf ond gobaith y bydd i'r Arglwydd gymeryd trugaredd arno. Nid oes yn perthyn i sicrwydd gobaith un math o ryfyg nac anystyriaeth. Nid yw ei berchen yn

dibrisio y byd hwn yn ei le ei hunan, ac nid yw yn cael ei ddyrchafu uwchlaw ofn angeu Y dynion mwyaf duwiolfrydig, yn gyffredin, ydyw y dynion y mae dychrynfeydd marwolaeth yn poeni ac yn arswydo mwyaf arnynt yn ystod eu bywyd. A phan ddaw yr awr ddiweddaf, nid oes ganddynt ond dysgwyl y rhoddir iddynt ffydd i gredu, a nerth i obeithio, yr un fath a chynt, ac y bydd i'r Hwn a aeth o'u blaen i barotöi lle iddynt, yn ol ei addewid, ddyfod drachefn, a'u cymeryd ato ei hun. Tra y pery undeb rhwng enaid â chorff dyn, y mae angeu ac yntau yn rhwym o fod yn elynion anghymmodlawn i'w gilydd. Gan hyny nid yw clywed dyn wedi "*cael gafael ar Iesu Grist dair wythnos yn ol,*" yn herio angeu, ac yn gofyn gwaethaf y diafol, yn profi dim ond naill ai fod afiechyd yn ei ysbryd, neu dywyllwch mawr yn ei feddwl. Gyda golwg ar y diafol, er mai gelyn ydyw i ni, y mae pob dyn ystyriol yn rhwym o deimlo rhyw fath o barch iddo Mae lle i gasglu fod Michael, yr archangel, wrth ymresymu â'r diafol ynghylch corff Moses, yn cymeryd cryn ofal pa fodd i lefaru wrtho, ac yn hytrach na dyweyd dim yn ddirmygus, nac yn sarhäus wrtho, y mae yn tori yr ymddyddan i fyny gyda y geiriau, "Cerydded yr Arglwydd dydi." Er y dichon nad yw y pennill canlynol o eiddo y bardd Ysgotaidd yn gywir, eto y mae yn brydferth, yn garedig, ac yn fawrfrydig iawn; ac y mae yn rhaid fod rhyw ddiffyg pwysig yn nghrefydd unrhyw ddyn a feddyliai yn llai, ac yn îs o'r awdwr am ei gyfansoddi:—

But, fare you weel auld Nickie-ben !
Oh, wad ye tak a thought and men' !
Ye aiblins might—I dinna ken—
    Still hae a stake—
I'm wae to think upo' yon den,
    Even for your sake !

Y mae tybied fod tuedd mewn crefydd hefyd i ddysgu pobl i redeg y byd hwn i lawr ymhob ystyr, ac yn ei holl gysylltiadau, yn rhwym o fod yn gamgymeriad amlwg. Y mae crefydd wir yn effeithio yn hollol i'r gwrthwyneb. Y mae y byd hwn, ar y cyfan, yn fyd lled dda, a'i gymeryd at ei gilydd. Y mae ar bob cyfrif y byd goreu i ni, hyd nes y deuwn yn gymhwys i fyd gwell. Y mae ei ddaioni a'i fendithion yn bethau nad oes neb a ddichon eu rhoddi i ni ond Duw ei hunan yn unig. Hefyd nid yw ei breswylwyr mor ddrwg ag y mŷn ambell un genym gredu eu bod; heblaw eu bod yn gwella, ac yn diwygio rhyw gymaint bob blwyddyn. Y maent bellach wedi dechreu gwella yn sefydlog er ys tua deunaw cant o flynyddoedd, ac y mae genym bob sicrwydd mai i wella y maent yn barhäus o hyn i'r diwedd. Hyd yn nôd yn bresennol, y mae yn eu mysg lawer iawn o ddaioni, a llawer iawn o dynerwch a charedigrwydd, yn enwedig ac ystyried eu bod oll yn llafurio o dan yr anfanteision dirfawr sydd yn effeithiau clefyd mor anaele ag ydyw pechod a llygredigaeth. A chymeryd pob peth i ystyriaeth, nid oes gan neb o honom achos i gwyno llawer rhag y byd hwn. Hefyd y mae yn hysbys i bawb sydd wedi sylwi ond ychydig, mai y dynion mwyaf bydol a chybyddlyd sydd, fel rheol, yn achwyn mwyaf ar y byd hwn yn eu gweddïau, ac yn diolch leiaf am ei fendithion, ac yn ddiddadl, yn mwynhâu lleiaf arnynt wrth fyned ymlaen. Peth mawr ydyw fod cref-

ydd dyn yn cynnyrchu sirioldeb gobeithiol yn ei ysbryd, ac yn ei alluogi i fyned "ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen;" yn hytrach na'i fod yn treulio ei amser i bensynu, ac i ymofidio. Ac y mae yn ymddangos braidd yn rhyfedd, mai dyna effeithiau uniongyrchol y sicrwydd y rhoddir cymaint o bwys arno, ac y daugosir cymaint o awydd am ei gyrhaedd; yr hyn sydd yn myned ymhell iawn tuag at brofi nad ydyw yn sicrwydd mewn gwirionedd. O'n rhan ein hunain, y mae yn llawer gwell genym ni obaith. Mae rhywbeth ysgafn, cysurus, mewn gobaith; heblaw ei fod yn rhywbeth cyfaddas iawn i'n hamgylchiadau ni yn y fuchedd bresennol. Nid oes achos i neb ddigaloni os ydyw yn gallu gobeithio yn iawn, gobeithio yn gywir—gobeithio yn berffaith, am y gras a ddygir iddo yn nadguddiad Iesu Grist.

Y mae yn ymddangos mai yr hyn sydd yn bwysig i ni ydyw cael allan pa bethau sydd yn cael eu dwyn i'r amlwg yn y diwygiad presennol y byddai yn fuddiol i ni dalu sylw iddynt, gyda yr amcan o'u cymhwyso at ddygiad ymlaen y gwaith mawr yn ein mysg ein hunain. Y mae pob ymweliad o eiddo yr Ysbryd Glân yn dwyn i'r amlwg ryw foddion neu offerynoliaeth ddynol, sydd yn gyffredin yn profi yn fanteisiol iawn i'r eglwys am flynyddoedd ar ol hyny. Y diwygiad cyntaf y mae genym hanes am dano, ydyw y diwygiad a gymerodd le yn nyddiau Seth, pan y "dechreuwyd galw ar enw yr Arglwydd." Yr hyn a olygir wrth ddechreu galw ar enw yr Arglwydd ydyw, mai y pryd hwnw y dechreuwyd ffurfio gwasanaethwyr Duw yn gymundeb neillduol, ar wahan oddiwrth y byd annuwiol, ac y gwelwyd am y waith gyntaf yr angenrheidrwydd am ddyfod allan o'u canol hwy ac ymddidoli, a thrwy hyny roddi ar ddeall i bawb o hyny allan, fod y saint yn bobl i "breswylio eu hunain." Felly hefyd y canfyddir am bob diwygiad a gafwyd o ddyddiau Seth hyd yma. Y mae wedi bod yn foddion i roddi arfau newyddion yn nwylaw yr eglwys, sydd yn fanteisiol iawn i'w chysur ei hunan, a hefyd i'w defnyddioldeb gyda golwg ar y gwaith a gyflawnir ganddi ar y byd annuwiol. Ac yn ddiddadl y mae yr ymweliad presennol wedi rhoddi arbenigrwydd mawr i rai pethau, y rhai, os bydd iddynt gael eu dwyn i arferiad cyffredinol, a allant droi yn fanteisiol iawn i bobl yr Argwydd ymhob man. Yr anhawsdra mawr ydyw ein cael ni yn ddigon llygadog i ddefnyddio yn unig y pethau hyny a wnant wir lês i ni. Y mae yn ymddangos na byddai yn fuddiol i ni fel cenedl gael ychwaneg o bregethu fel yr eiddo Mr. Moody. Yr ydym eisoes yn perchen pethau gwell na'r pethau goreu sydd ynddo; ac yr ydym hefyd wedi cael gormod o'r pethau gwaelaf, yn enwedig mewn amseroedd pan nad oedd goleuni a nerth neillduol yn canlyn pregethiad y gair. Y mae yn bosibl i bregeth o duedd *declamatory* fod yn rymus iawn weithiau—y fwyaf grymus, fe allai, o bob pregeth, os bydd yr Arglwydd ei hunan mewn modd amlwg yn sefyll ar ddeheulaw y pregethwr; ond mewn amseroedd marwaidd, pan y mae awdurdod y pregethwr heb fod yn cael ei deimlo mor ddiammheuol, y mae yr hyn sydd yn nerth mawr iddo mewn adeg arall yn ymddangos yn wendid. Gyda golwg eto ar y llinellau goreu sydd yn perthyn i ddull Mr. Moody o bregethu, yr ydym wedi cael ein breintio trwy y blynyddoedd â'r pethau hyny mewn modd llawer mwy grymus, er nad ydoedd bob amser, fe allai, mor effeithiol. Nid yw y *dylanwad* sydd yn cael ei

deimlo o dan ei weinidogaeth yn werth ei gymharu am foment â'r hyn a deimlir beunydd yn Nghymru mewn odfa gyffredin boreu Sabbath; ond y mae yr *effaith* yn llawer iawn mwy; y mae y Saeson yn edifarhâu ac yn cyffesu eu pechodau, a'r Cymry yn rhy fynych yn myned ymaith, ac yn ebrwydd yn mygu yr argyhoeddiadau hyny; neu, yn wir, yn gwneuthur yr hyn sydd braidd yn fwy gresynol—yn myned adref dan ganmol y bregeth, ac adrodd darnau o hóni, heb feddwl dim o gwbl am wneyd yr hyn yr annogir ato ynddi. Ai tybed fod yn bosibl i genedl o bobl fyned yn foethus wrth wrando pregethu da? Y mae lle i ofni fod y fath beth a hyny yn ddichonadwy. Wedi yr holl siarad a'r beirniadu, y canmol a'r condemnio ar bregethwyr a phregethu, y mae y Bibl yn rhoddi ar ddeall fod gwrando da yn llawer mwy pwysig i'r byd na phregethu da; ac nid oes ammheuaeth pe ceid y naill, na chanfyddem ar unwaith ein bod, i raddau lled gyffredinol, eisoes yn perchen y llall. Y mae genym esiamplau o bregethau perffaith yn y Testament Newydd, ac y mae yn amlwg eu bod yn arddangos y llymder mwyaf mewn chwaeth, yn gystal a'r manylrwydd mwyaf llednais mewn ymadroddion. Er hyny nid ydynt yn amddifad o nerth, nac mewn un modd yn anghyfeiriol a dibwynt. Y mae tuedd mewn rhyw fath o bobl i fyned i feddwl fod yn anmhosibl i neb bregethu yn iawn, nac amcanu at hyny, os na bydd yn ceisio gwneuthur yn debyg i Mr. Moody. Camgymeriad arall lled gyffredin ydyw ystyried fod yn anmhosibl bod yn onest heb fod yn erwin, ac mai y ffordd unionaf i brofi ein bod o ddifrif ydyw trwy fod yn gwbl ddibris o bawb a phob peth o'n hamgylch. Y mae yn rhaid cofio hefyd fod yn anmhosibl i ymadroddion isel a dichwaeth ychwanegu dim, yn y pen draw, at urddas a pharch y weinidogaeth. Gall hyny, hwyrach, wneyd dyn yn boblogaidd; ond y mae yn gysurus meddwl fod dau fath o boblogrwydd yn bod, fel y mae dau fath o bob peth arall. Ond yn bresennol, gallai fod yn fuddiol enwi ychydig o bethau, sydd wedi eu dwyn i sylw yn y diwygiad hwn, y gallai fod yn wasanaethgar iawn i eglwysi Iesu Grist, pe y telid mwy o sylw iddynt, a phe y dygid hwy i arferiad mwy cyffredinol.

Y mae yn ddiammheu mai un achos amlwg o'u llwyddiant, yn nesaf at fendith y Nefoedd, ydyw eu hymroddiad hwy eu hunain i'r gwaith mawr y maent wedi gafael ynddo. Y maent yn foddlawn i fod yr hyn ydynt, heb un ymgais at fod yn ddim byd arall. Y mae hyn yn beth llawer mwy anhawdd nag y gellid tybied ar yr olwg gyntaf. Peth anhawdd ydyw i ddyn allu cyflawni y gwaith neillduol sydd yn ei gyrhaedd, yn ei ddull a chyda ei fedr ei hunan, heb un amser deimlo cenfigen nac uchelgais yn ei boeni, ac yn ei anhwyluso. Dichon fod sefyllfa cymdeithas yn ein mysg ni yn peri fod yr anhawsdra hwn yn cael ei deimlo yn fwy, ac yn peri ei fod yn ffurfio attalfa fwy effeithiol fyth ar ffordd llwyddiant y gwaith. Y mae y fath ysfa beirniadu yr offerynau mewn pobl, nes fod perygl i hyny effeithio yn niweidiol, mewn amser, ar yr offerynau eu hunain. Afresymol iawn ydyw condemnio bwyell am nad yw yn tòri mor llym ac mor ddestlus ag y mae ellyn yn tòri. A thra y mawrygir cymaint ar waith prydferth cywrain yr ellyn miniog, y mae yn anhawdd cael neb yn foddlawn i gyflawni gwaith bwyell, os gall rywfodd ymestyn at rywbeth arall. Pechod mawr ydyw i ddyn ddyweyd wrth ei Wneuthurwr, "Paham y'm gwnaethost fel hyn? neu, y mae

dy weithredoedd heb ddwylaw iddynt." Ond ar yr un pryd y mae yn bechod ag y mae y temtasiynau iddo yn aml iawn, ac yn gyffredin iawn, heblaw eu bod yn cael eu meithrin gan ysbryd a chyfeiriad tueddiadau naturiol sydd yn perthyn i'r ddynoliaeth o'r dechreu. Nid rhyfedd, gan hyny, fod yn anhawdd i ddyn anghofio ei hunan yn y gwaith y mae yn ceisio ei gyflawni, a bod yn gwbl ddiystyr o bawb arall; gan deimlo mai ei beth penaf ydyw dwyn oddiamgylch lwyddiant sicr yr amcanion sydd ganddo mewn golwg.

Ymhellach, y mae Mri. Moody a Sankey yn ymddangos yn gwneyd y *cwbl am ddim*. Elfen bwysig yn nghrefydd llawer ydyw y costau. Ond yn ol pob ymddangosiad nid yw y gwŷr uchod o dan rwymau i ŷru neb ymaith oblegid y costau. Y maent yn sefyll o flaen eu cynnulleidfa fel angelion Duw. Prin y gŵyr ond ychydig o ba le y maent yn dyfod, nac i ba le y maent yn myned, ac am ddim a ellir brofi yn wahanol, i olwg llawer, y mae yn rhaid eu bod yn byw trwy fwyta bara angelion. Y mae llawer cais wedi cael ei wneuthur, er pan y maent yn y wlad hon, i brofi eu bod yn gwneuthur elw dirfawr oddiwrth eu llafur; ond y mae y cwbl wedi troi allan yn fethiant; a'r rhan fwyaf yn teimlo fod cwestiwn yr arian yn aros yn gymaint o ddirgelwch iddynt hwy ag erioed, os nad ydyw yn myned yn fwy felly yn barhäus. Y mae yn ddiammheu fod mantais fawr yn hyn. Y mae gorfod dyfod â'r weinidogaeth yn barhäus o flaen y bobl i ofyn am arian at ei chynnal yn sicr o fod yn achos o niwed iddi, yn hytrach na dim arall. Pe gosodai yr eglwysi ymysg pob enwad y weinidogaeth ar dir boddhäol, fel na byddo yn angenrheidiol iddi fyw ar drugaredd ac elusen, lle y dylai gael cyfiawnder, y mae yn ammheus iawn genym na chaem ddiwygiad lled gyffredinol, a hyny yn bur fuan. Ac y mae yn anhawdd gweled paham na ellid gwneyd hyny heb lawer o ymdrech nac anhawsdra. Mewn adeg fel hon, pan y mae yn bosibl i ddyn, mewn oes fèr, gasglu hanner miliwn o bunnau wrth wneyd *matches*, fel y cafwyd prawf yn ddiweddar, y mae yn canlyn yn lled naturiol y dylai dyn arall gael cyflog gweddol am bregethu yr efengyl. Fel y mae pethau yn bresennol, y mae yr angenrheidrwydd parhäus am arian i ddwyn y gwaith ymlaen, yn cyfansoddi anhawsdra mawr ar ffordd llwyddiant y gwaith. Y mae hyn yn tarddu nid oddiar fod dim niwed yn y peth ei hunan; ond oddiar anmharodrwydd mawr pobl yn gyffredin i'w ddeall, a'i gydnabod yn deilwng. Y mae eisieu gwneyd rhywbeth mwy tuag at ddwyn y gwaith ymlaen na chanmol, a dal i fyny ogoniant a nerth yr egwyddor wirfoddol. Y mae yn debyg mai nid pawb sydd yn deall mai Scotland, yn anad yr un wlad, sydd, hyd yma, wedi gwneyd fwyaf trwy yr egwyddor wirfoddol, ac eto mai y Scotiaid, o bawb, ydyw y bobl sydd yn credu ac yn ymddiried lleiaf ynddi. Y mae yr *egwyddor*, yn burion; yr unig anhawsdra ydyw cael y wlad yn gyffredinol i'w rhoddi mewn gweithrediad.

Elfen arall yn nghyfarfodydd Mri. Moody a Sankey, ag sydd yn ddïau yn fanteisiol iawn i'w llwyddiant, ydyw y drefn a'r manylrwydd a ddangosir ganddynt wrth ddwyn y gwasanaeth ymlaen. Dichon eu bod hwy, mewn rhai amgylchiadau, yn myned yn rhy bell gyda hyn. Y mae gwaeddi "*time up*," ar ddyn a fyddo yn gweddïo, yn ymddangos yn bur debyg i gario y peth yn rhy bell. Ar yr un pryd yr ydym yn gwybod yn burion y niwed mawr sydd yn cael ei wneuthur trwy hir weddïo,—y

tlymder, a'r musgrellni, a'r marweidd dra, sydd yn cael ei ddwyn i mewn i'r cyfarfod gweddi. Mwy niweidiol fyth ydyw y diffyg amcan a ganfyddir yn fynych yn ein gweddïau. Dylid ymdrechu gael y gwasanaeth yn fŷr, yn fywiog, yn unffurf, a phob amser i'r pwrpas. Ai tybed fod sôn yn rhywle, heblaw yn Nghymru, am y fath beth a "*dawn gweddi?*" Y mae y fath beth ynddo ei hunan yn afresymoldeb hollol, yn enwedig yn yr ystyr y defnyddir yr ymadrodd yn gyffredin yn ein mysg ni. Defnyddir ef i olygu fod dyn yn meddu gallu i fod yn hyawdl, yn ddoniol, ac yn hwyliog, ac mewn canlyniad, yn effeithiol ar y *gwrandäwyr*,—yn alluog i wneuthur sylwadau, i ddefnyddio cyffelybiaethau, ac i ddyweyd drychfeddyliau newyddion, fyddo yn sŷnu, ac yn effeithio ar eraill o'i amgylch. Y mae yn brofedigaeth fawr i ddyn felly anghofio mai â Duw y mae yn siarad, a thrwy hyny golli pob teimlad o'r parchedigaeth sanctaidd, a'r ymostyngiad duwiolfrydig, mewn enaid a chydwybod, sydd yn weddus i bechadur ger bron ei Farnwr mawr. Heblaw hyny, y mae yn ddiammheu y byddai yn hawddach cael ieuenctyd ein heglwysi i arfer gweddïo yn gyhoeddus, pe byddai wedi dyfod yn deimlad cyffredinol na byddai yn un dianrhydedd arnynt roddi i fyny ymhen dau fynyd neu dri; yn hytrach na pharhâu am ddeg neu bymtheg mynyd. Yr un modd y gellir dyweyd am bob rhan o'r gwasanaeth; byddai amrywiaeth a bywiogrwydd yn ddiwygiad gwerthfawr. Yn y cyfarfod gweddi gyda Mri. Moody a Sankey, yr ydym yn cael y pethau hyn. Yn gyffredin y mae chwech neu wyth, neu hwyrach, ddeg o frodyr yn gweddïo, amryw dônau yn cael eu cânu, annerchiad neu ddau yn cael ei draddodi, a'r cwbl mewn ysbaid awr o amser. Nid yw y bregeth mor fèr. Y mae argraff ar feddwl llawer ei bod yn fèr iawn; ond mewn gwirionedd nid ydyw felly fel rheol. Y mae yn amrywio yn gyffredin o drichwarter awr i awr o amser. Nid yw hyn o un pwys ynddo ei hunan, yn unig fod llawer o bobl i'w cael sydd yn ystyried mai yr unig fendith sydd i'w dysgwyl trwy yr ymweliad hwn ydyw dysgu pawb i bregethu yn fŷrach, ac i floeddio yn uwch. Gan fod hŷd pregeth yn fater y ceisir ei benderfynu i'r eiliad gan eraill yn y dyddiau hyn, gadawn ef yn y fan yna.

Yn y cyfarfodydd hyn, y mae lle amlwg iawn yn cael ei roddi i'r cânu, a'r canlyniad ydyw fod gwasanaeth mawr yn cael ei gyflawni drwyddo. Nid yw yn ymddangos fod yr eglwys eto, wedi deall yn brïodol y fath offeryn grymus er llwyddiant teyrnas y Gwaredwr ydyw cerddoriaeth. Y mae Mr. Sankey wedi dangos fod yn bosibl gwneyd yr *unawd* yn gyfrwng rhagorol i addoli, ac i arwain defosiwn y gynnulleidfa. Y mae efe yn cânu yn ardderchog; mwy na hyny, y mae yn angelaidd. Y mae yn gallu taflu ei holl enaid i'r gwaith, ac y mae hyd yn nôd ychydig seiniau a wneir ganddo yn gwefreiddio pawb o'i amgylch. Y mae yn fwy na thebyg mai nid dïogel a fyddai i neb arall geisio gwneyd fel y mae efe yn gwneyd, er hyny, byddai yn dda iawn pe byddai ei esiampl ef yn dwyn yr eglwysi i gredu y gellid gwneyd llawer mwy trwy gerddoriaeth gysegredig nag sydd wedi cael ei wneuthur hyd yma.

Byddai yn deimlad cysurus iawn i'r saint ymhob man, ac i bawb sydd wedi bod trwy y blynyddoedd yn llafurio gyda phob achos da, pe y gallent gredu—yr hyn sydd yn sicr o fod yn wirionedd—eu bod hwythau wedi bod a rhyw law mewn dwyn oddiamgylch y diwygiad hwn. Mae

yn rhaid fod rhyw rai wedi bod yn llafurio am amser hir i barotöi y wlad i dderbyn yr ymweliad; ac yn ei amser da ei hunan dyma yr Arglwydd yn cyfodi, ac yn cymhwyso offerynau cyfaddas i gario gwaith y diwygiad ymlaen; ac oblegid hyny, caiff yr hwn sydd yn hâu, a'r hwn sydd yn medi, ryw ddiwrnod, lawenychu ynghyd.

---

## CREIGIAU GWALIA.

Y GOFYNIAD cyntaf o barthed i Ddaeareg, fel pob gwyddor arall, yw, Beth yw ei hamcan, at ba beth y cyrcha? Nis gellir ateb yr holiad hwn drwy ddadansoddi y gair Daeareg, onidê golygai wybodaeth, neu ymdriniaeth am y ddaear. Fe welir ar unwaith fod y darnodiad hwn yn rhy anmhenodol; canys y mae a fyno Daearyddiaeth, a gwyddorau eraill, â'r ddaear yn y naill ffordd a'r llall. Y gwirionedd yw mai gwaith anhawdd iawn yw darnodi gwyddorau naturiol—yn fwy felly, fe ddichon, nag unrhyw gangen arall o wybodaeth. Ond nid yw yn anmhosibl. Er ein bod yn derfynol ein cynneddfau a'n cyrhaeddiadau, ac y gall, mewn canlyniad, ryw ddarganfyddiad newydd gyfnewid ein darnodiadau o amryw wyddorau, eto gan fod ein dirnadaeth am ffeithiau naturiol, a'n dosbarthiad o honynt, yn dibynu cymaint ar ddeddfau y meddwl ag a wnânt ar y ffeithiau eu hunain, y mae yn bosibl i ddyn ffurfio darnodiadau têg o wyddorau naturiol. Gan fod deffinio ein termau, a nodi ein terfynau yn bwysig, er mor anhawdd, rhaid i ni ei anturio. DAEAREG YDYW HANES Y DDAEAR. Nid gwyddor y creigiau ydyw, mwy nag y mae archadailadaeth yn gynnwysedig mewn naddu cèryg, neu gerddoriaeth mewn curo amser neu bricio nodau. Y mae gymaint uwchlaw gwybodaeth am greigiau a chèryg, ag yw barddoniaeth uwchlaw mydryddiaeth, neu hyawdledd uwchlaw siarad. Gallwn fod yn gynnefin â ffeithiau Daeareg, ac eto heb feddu un ddirnadaeth am y wyddor. Nid yw ffeithiau yn fwy o wyddor nag yw ithion mater yn gyrff byw nes eu hermigeiddio a'u bywhâu gan feddwl. Amcan darnodi gwyddor yw crynhoi ein gwybodaeth bresennol o hóni, a mynegu ei hamcan mewn un drychfeddwl, ac mewn canlyniad gyfeirio ein sylw at y fan lle y rhaid gwneyd darganfyddiadau pellach. Heb hyn, nis gallai darganfyddiadau gwyddorol gael eu gwneyd o gwbl. Gadewid dyn i ymbalfalu dan ei ddwylaw, ac i faglu yn ddamweiniol ar draws ambell ffaith newydd fel dall. Yr ydym yn dyweyd ynte, mai amcan mawr terfynol Daeareg ydyw olrhain hanes y ddaear. Bywgraffiaeth yw hanes personau; Hanesiaeth brïodol ydyw adroddiad am gymdeithas, cenedloedd a theyrnasoedd; a Daeareg yw hanes y ddaear. Nid yw Fferylliaeth yn hanes; nid yw Seryddiaeth yn hanes.

Y mae Darwin yn ceisio trawsffurfio Llysieuaeth a Milodiaeth yn hanes; ond y mae Daeareg felly yn hanfodol, a phe amgen, nis meddai unrhyw unoliaeth, a phrin y gellid ei hystyried yn wyddor o gwbl.

Fel pob peth crëedig, y mae y byd bychan hwn yn myned drwy gyfnewidiadau parhäus, ac amcan Daeareg yw olrhain yn ol y gyfres anferth o gyfnewidiadau yr aeth y ddaear eisoes drwyddynt; a dyna'r paham ei gelwir yn hanes. Wrth gwrs, nid yw yr hyn a ddarganfyddwyd o barthed iddi eto ond ychydig. Gwyddom ychydig am grawen neu grystyn y bellen ddaearol, a hyny yn bur anmherffaith. Nid ydym yn dyweyd fod ein gwybodaeth yn ansicr. Y mae egwyddorion mawrion y wyddor eisoes wedi eu sefydlu, ac mor gadarn ag y gall unrhyw wybodaeth ddynol fod. Y maent yn llawn mor safadwy ag egwyddorion athroniaeth neu dduwinyddiaeth wyddorol, neu hanesiaeth gyffredinol. Cadwer hynyna mwen côf, oblegid y mae rhai pobl yn cyfarth ar Ddaeareg, fel pe na byddai amgen pentwr o ddychymygion disail. Rhaid addef er hyny fod genym rai gwladychwyr wedi ymsefydlu ar derfynau ein gwyddor, y rhai a ymhyfrydant mewn damcaniaethu, ac a ddygant warthrudd anhaeddedig ar Ddaeareg. Dyn mawr a da oedd Hugh Miller, ac y mae ei weithiau yn dra difyrus i'w darllen; ond nid daearegydd syml oedd efe, ac ychydig o gysylltiad sydd rhwng rhai o'i lyfrau â Daeareg fel gwyddor. Dyna efe ar un llaw. Dyn mawr a da arall yw Darwin; ond arweiniodd ei ddamcaniaethau ef i gyfeiriad hollol wahanol oddiwrth Miller, ac nid oes a fyno ei weithiau yntau â Daeareg mwy na'r llall. De la Beche, Murchison, Sedgwick, Jukes, a Ramsay, ydyw cynnrychiolwyr gwirioneddol y wyddor; ac fe ddeil eu gwaith hwy ar ol i holl gestyll awyrol ein damcaniaethwyr difyr ddiflanu.

Caniatäer i ni eto ddyweyd gair neu ddau ar y ffordd o efrydu Daeareg, a pha foddion a ddefnyddia ein gwyddor er cyrhaedd ei chasgliadau, gan y bydd hyny hefyd yn cynnorthwyo i ffurfio syniad cywirach am ei theithi. Wrth gwrs, rhaid iddi deithio ar hyd llwybr cyfosiad *(induction)*, fel yr holl wyddorau anianyddol eraill. Nis gall wneyd arbrofion fel Fferylliaeth; ond rhaid iddi sylwi ar yr arbrofion mawreddog a gyflwynir gan natur yn ei chyfnewidiadau parhäus. Gwaith cyntaf y daearegydd yw gosod i lawr sylfaen dda, fel pob saer maen call. I'r dyben hwnw, â allan i'r meusydd a'r mynyddoedd, ac ar lêd i wledydd tramor. Sylwa ar ffeithiau, a dosbartha hwynt, tyna fapiau a thrydoriadau *(sections)*, a ffurfia gywreinfa o'r gwelurion *(specimens)* a ddarganfydda. Dyna a wnaeth *surveyors* daearegol y llywodraeth, ac eraill a enwyd uchod na buont yn gweithio dan y llywodraeth. Ond nid yw hyn oll ddim ond gwaith rhagbarotöawl. Rhaid i ryw feddwl galluog esbonio y ffeithiau, a dadgan y deddfau a'u llywodraethant. Dyna y gwaith a'i gwna yn wyddor. Y mae enw Lyell yn adnabyddus trwy y byd, ac iawn yr haeddodd efe ei enwogrwydd. Efe, yn yr ystyr uchaf, yw tad Daeareg fel gwyddor. Troediodd yn ddiweddar ar diriogaeth anniogel anturfrydiaeth *(speculation)*, ond yn ei *Principles of Geology* gosododd i lawr ddeddfau y wyddor. Gwaith tra phwysig a dyddorol ydyw y llyfr hwnw, a dylai pob dysgybl ei efrydu yn ofalus a thrwyadl. Er na chynnwysa lawer o'r hyn a ystyrir yn gyffredin fel gwybodaeth ddaearegol, y mae fel egwyddor ac allwedd i'r cwbl.

Cymhwysa at Ddaeareg yr egwyddor o ymresymu oddiwrth y gwybyddus at yr anwybyddus, ac o'r presennol at y gorphenol. Dyma yr hyn a ddywed yr awdwr mewn effaith:—Rhoddwch i mi holl ddefnyddiau y creigiau, holl elfenau mater, holl fŵnuron *(minerals)* y bellen ddaearol, gyda'r gwynt a'r gwlaw, yr afonydd, y llanw, y rhedlifoedd *(currents)* a'r tymhestloedd, yr eira, y rhew, y tân, a'r bywyd sydd yn awr yn y byd, ac mi ddangosaf i chwi pa fodd y crëwyd y byd. Dyna yr hyn yr ymgymerodd y gŵr mawr hwn a'i wneyd yn ei lyfr ardderchog a eilw "*Yr Egwyddorion,*" ac y mae wedi llwyddo i gyflawni y gwaith mawr hwn yn y fath fodd fel na raid byth ei wneuthur drosodd drachefn.

Fe wel y darllenydd, gan hyny, mai allwedd Daeareg yw y chwyldröadau a weithir allan yn awr o'n cwmpas. Nis gellir byth amgyffred y wyddor trwy yn unig ddysgu enwau y ffurfiadau, eu nodweddion a'u holyniad. Rhaid gwybod am y galluoedd a'r gweithredyddion a ddylanwadasant ar y defnyddiau i'w dwyn i'w sefyllfa bresennol; ac nis gellir byth gael y rheiny allan, onis byddir yn gydnabyddus â'r cyfnewidiadau a gynnyrchir yn awr ar wyneb y ddaear, ac â'r galluoedd a'r cysylltiadau a gynnyrchant ac a lywodraethant y cyfryw gyfnewidiadau.

Ond y mae un elfen eto yn eisiau yn nghyfansoddiad ein gwyddor. Rhaid fod rhyw gyfaledd *(analogy)* rhwng meddwl dyn a deddfau natur. Y mae dyn yn medru ffurfio cyfosiadd *(induction);* gall fyned tu hwnt i'w brofiad ac ymresymu oddiwrth y gorphenol i'r dyfodol, ac o'r presennol i'r gorphenol. Y mae cyfaledd perffaith rhwng deddfau meddwl a deddfau natur; o ganlyniad, rhaid un ai mai dadblygiad o fater yw meddwl, neu y mae meddwl yn llywodraethu mater; gadawn i'r darllenydd benderfynu pa un, gyda'r ymddiried llwyraf yn ei farn. Yn awr, gan fod cyfosiad yn beth dichonadwy, y mae Daeareg yn galluogi dyn i benderfynu cwestiynau o barthed i diriogaethau ac oesoedd annirnadwy bell, gyda'r un sicrwydd a phe gwelsai hwynt ger bron ei lygaid. Yn y goleuni hwn, buasem yn darnodi Daeareg, fel hanes gweithrediad dibaid y Crëawdwr ar ddefnyddiau y ddaear.

Ystyriwn eto y ffordd y dylid ymchwilio i'r gangen hon o wybodaeth. Y gofyniad yw:—Pa fodd y gall dyn byrhoedlog ddarganfod ac olrhain hanes gweithrediadau a ddygwyd ymlaen drwy oesoedd dirif? Tybiwch fod Adda, neu yn iaith achyddol y dyddiau hyn, Ap Epa, neu *Monkeyson,* (canys ni phenderfynwyd eto pa un ai Cymro ynte Sais oedd ein cyndad cyffredin,)—wedi cofnodi yr hyn a welsai yn dygwydd yn ei ddyddiau ef; a thybiwch fod pob un o'i olafiaid hefyd yn croniclo a welsai yntau; ni ffurfiasai y cyfan ond prin y tudalen olaf o'r gyfrol drwchus a gynnwysa hanes y grëadigaeth. Ond yn ffodus, neu yn hytrach yn rhagluniaethol, nid ydym ni yn dibynu ar y fath gofnodion anmherffaith a diymddiried. Fe allai i'r darllenydd glywed am wrêsfesuryddion, a nŵy-fesuryddion hunan-gofnodol *(self-registering).* Felly y mae y ddaear, yn gyffelyb offeryn hunan-gofnodol; ond yn anfeidrol fwy cyflawn a pherffaith nag unrhyw offeryn a wneir gan gelfyddyd. Dymunai Job fod i'w eiriau gael eu cerfio ar y graig; ond nid oedd yno le i'r fath arysgrifau personol. Yr oedd creigiau y ddaear eisoes wedi eu gorchuddio gan gofnodion gogoneddus y grëadigaeth. Croniclir yn ofalus bob gweithred grëadigol, a chofnodir holl gyfnewidiadau a chwyldroadau y ddaear yn ofalus a chywir ar dudalenau y llyfr careg anferth yma; a gorchwyl y daeareg-

ydd yw darllen yn ofalus, ac esbonio yn ffyddlawn yr hyn a ysgrifenwyd ynddo. Ond nid gwaith hawdd yw hyn ar un cyfrif. Y mae yr iaith yn ddyeithr, a'r wyddor yn hen. Modd bynag, yn rhagluniaethol, y mae allwedd i'r naill a'r llall, ac fel y darllenwyd arysgrifau cŷnffurf Assyria, trwy gymhorth arysgrifau dwyieithog, ac ieithyddiaeth gymharol, felly hefyd y cyfieithwyd cofnodion y creigiau drwy gyfrwng gweithrediadau diweddar natur, a thrwy sylwi ar yr hyn a gymer le yn awr ar wyneb y ddaear. Esbonir cyfansoddiad y creigiau gan berthynas bresennol elfenau mater â'u gilydd, fel eu heglurir gan Fferylliaeth; oblegid ẏ mae galluoedd a deddfau natur yn sefydlog, tra y mae pob peth arall yn cyfnewid; esbonir gwaddodiad ac olyniad yr haenau gan ddeddfau anianyddol, y rhai o hyd a gynnyrchant ddarwelion newyddion; esbonir yr afreoleiddiwch ymddangosiadol gan y galluoedd dinystriol a ddirdynant natur weithiau eto; ac esbonir y gweddillion ermigawl *(organized)* a orweddant yn gladdedig mewn rhai creigiau, gan ffurfiau cyffelyb sydd yn awr yn byw ac yn marw ar wyneb y ddaear. Trwy gyfatebiaeth y presennol a'r gorphenol yn unig y mae y gorphenol yn ddealledig o gwbl i ni, a'r syniad yma am gyfnewidiad diorphwys, yn cael ei gynnyrchu gan ddeddfau sefydlog, a eglurodd Lyell ac a weithiodd allan mor ardderchog yn ei *Principles.*

Y mae yn canlyn oddiwrth hyn, mai y peth cyntaf sydd gan Ddaearegydd i'w wneyd, yw myned allan, ac archwilio yn ofalus gyflwr presennol y creigiau. Rhaid iddo ymweled â chloddfëydd, a sylwi ar glogwyni a chlegyr, a phob math o drydoriad o'r haenau, pa un bynag ai naturiol ai celfyddydol. Rhaid iddo droswelio *(survey)* yr arwyneb, penderfynu natur yr haenau, mesur gogwyddiadau a rhediadau, darganfod balciau neu ddadgymaliadau, ac wed'yn tŷnu planiau a thrydoriadau o'r gwahanol ffurfiadau creigiol, fel y bodolant yn bresennol. Cyn y gall wneyd hyn gofyna iddo gymhwyso a dysgyblu ei hunan yn drwyadl. Nid yn unig dylai ddarllen y llyfrau goreu ar y wyddor, ac ymweled âg amguddfëydd a chasgliadau o welurion *(specimens)*; ond rhaid iddo hefyd wasanaethu ei brentisiaeth mewn gwaith ymarferol. Rhaid iddo ddysgu sylwi yn fanwl, a meithrin yn ddyfal y gelfyddyd o weled. Cynnysgaedded ei hun â morthwyl daearegol, yr hwn a ddylai fod yn debycach i erfyn y saer maen, nag i ordd yr arwerthwr, neu gafel y Prif Demlydd. Gall gweithiwr da wneyd unrhyw beth ymron gyda'i forthwyl, a dyna yr unig offeryn anhebgorol ag y rhaid i'r Daearegydd wrtho.

Gan ein bod bellach, i ryw raddau, wedi parotöi ein hunain at y gwaith, awn ymlaen i gymhwyso ein hegwyddorion at wneuthuriad a hanes daearegol Gwalia. Ein gwlad anwyl ni, o barthed i'w daeareg, yw un o'r gwledydd pwysicaf yn y byd. Yma gan mwyaf, y gweithiwyd allan y ddwy gyfundrefn fawr o greigiau, y Silwriaidd a'r Cambriaidd, gan y ddau ŵr enwog Murchison a Sedgwick. Y maent ill dau wedi eu symud o'r byd creigiog hwn, ond gadawsant ar eu hôl lyfrau ac enwau a barhânt ac a berchir tra y deil y creigiau wrth eu gilydd. Daddyrysodd Sedgwick ffurfiadau cymhlethog Gogledd Cymru; ac olrheiniodd Murchison adeilwaith symlach y Deheubarth. Nid anturiwn, yn bresennol, benderfynu pa un o'r ddau a wnaeth fwyaf dros y wyddor, ond boddlonwn i'w gosod ochr yn ochr ar binacl uchaf enwogrwydd, ac i lesoli ein hunain drwy drysori ac efrydu eu cyfrolau anfarwol,—*Palæozoic Rocks* y naill, a *Siluria* y llall.

Fe ŵyr ein darllenwyr oll, fod Cymru yn cael ei therfynu i'r Gogledd ac i'r Dê gan ddwy sîr neillduol,—Môn a Penfro. Y mae y ddwy sîr hyn yn hynod debyg mewn amryw neillduolion. Nid oes ynddynt dollbyrth, na choed, na gwrychoedd; gorchuddir tô y tai â chymrwd, a gelwir trigolion y ddwy yn *fôch*. Ond fe allai mai y tebygolrwydd mwyaf rhyngddynt yw eu cyfansoddiad daearegol. Cynnwysa y ddwy yr holl brif haenau, o'r Ithfaen i fyny at y Tywodfaen Côch Newydd, ac felly y mae naill a'r llall o honynt ynddi ei hun, mewn ystyr ddaearegol, yn Gymru fechan, neu o'r bron, yn fyd bychan. Dadblygir rhai ffurfiadau o greigiau, mae yn wir, yn well mewn parthau eraill o Gymru, gan mai prin yw y creigiau Cambriaidd yn Mhenfro; a'r Silwriaidd,—yn enwedig y Silwriaidd Uchaf,—yn Môn. Y mae Aberteifi yn hollol i'r gwrthwyneb. Gorchuddir y cyfan o'r sîr hono gan greigiau Silwriaidd Isaf, gan mwyaf o'r un oed a gwelyau y Bala, ond heb gynnwys balciau mawrion, neu unrhyw ddarwelion *(phenomena)* daearegol nodedig eraill. Y mae Môn a Phenfro, o ganlyniad, yn llawer rhagorach fel meusydd ymchwiliad ac efrydiaeth ddaearegol; ond diau yr ymgysura trigolion talentog y siroedd eraill eu bod hwy yn cynnyrchu dynion ac nid cèryg.

Y mae un math nodedig o graig, yr ithfaen, nad yw i'w chael o gwbl yn Nghymru, oddigerth yn y ddwy sîr derfynol a nodwyd. Nid hawdd yw cael gwelurion o greigiau tânol o unrhyw fath yn Ngheredigion, heblaw ychydig gèryg mân ar y traeth, wedi eu cludo yno gan y môr, a rhai trolfeini *(boulders)* ar y tir, wedi eu cludo o barthau pellenig gan y rhew-redlifoedd *(ice-drift)*. Ar y llaw arall, yn Meirion ac Arfon, ynghyda rhanau helaeth o Fôn a Phenfro, cyfarfyddir â chreigiau ac esgeiriau anferth o risgraig *(trap)*, gwyrddfaen *(greenstone)*, a maesfaen *(felstone)*. Ond yn y ddwy sîr a enwyd olaf yn unig y ceir y gwir ithfaen. Ystyrir y graig hon gan y cyffredin yn wahanol i'r holl greigiau tânol eraill. Tybir yn gyffredin i'r lleill a enwyd gael eu cynnyrchu gan losgfalau *(volcanoes)* enfawr, gan mwyaf yn ystod y cyfnod Silwriaidd Isaf. Tybia rhai mai yn gyffelyb y dygwyd yr ithfaen i fôd, yn y cyfnod Cambriaidd, tra y myntumia eraill drachefn, oddiwrth fod gwythi o ithfaen yn ymwthio weithiau rhwng haenau y creigiau Silwriaidd Isaf, y rhaid eu bod o'r un oedran a'r ffurfiadau tânol eraill. Gan adael heibio, gan hyny, yn awr y pynciau dadleuol hyn, mabwysiadwn yn bresennol yr olwg gyffredin, mai yr ithfaen yw y graig gysefin, a'r sylfaen, ar yr hon y gorphwysa y lleill oll. Yn y ddwy sîr uchod, gan hyny, y deuwn o hyd i sylfeini y Dywysogaeth, a chawn fod yr hen arwyddair yn wirionedd mewn ystyr ddaearegol o leiaf,—"Môn, mam Cymru."

Y mae holl greigiau Gwalia, o ganlyniad, yn gorwedd mewn cafn dwfn ac anwastad, cydrhwng ei deupen eithaf, fel y darluniwyd uchod, ac a derfynir ar un ochr, i'r Dwyrain, gan hen graig y Longmynd, yn Sir Amwythig, tra y mae Basfôr Aberteifi wedi llyncu i fyny pa greigiau bynag a derfynent ein gwlad tua'r Gorllewin. Rhaid fod ffurf y cafn anferth hwn yn dra anwastad, a'i ddyfnder yn bur anghyfartal yn ei wahanol ranau. Y mae yno dwll anferth mewn un man yn Môn, yr hwn sydd, o leiaf, yn ddeng milldir o ddyfnder unionsyth, ac a orchuddir gan forfa corsiog Malltraeth. Bashâ yn gyflym yn nghyfeiriad Llangefni, ar un llaw, yn gystal a thua chulfôr y Menai, ar y llaw

arall. Wedi i ni ei olrhain i fyny i Fangor a Llanberis, nid yw ei ddyfnder dros ddwy filldir. Yn nghyfeiriad y Dê a'r Dwyrain dyfnhâ drachefn, a thuag ardal Ffestiniog y mae tua phum' milldir o ddyfnder. Yna yr ydym yn cyrhaedd gwrthgefn *(anticlinal)* mawr Meirionydd, yn Nhrawsfynydd, lle y mae y dyfnder yn lleihâu drachefn i tua dwy neu dair milldir. Dyfnhâ drachefn i tua phum' milldir yn ardal y Bala, ac ymdòna oddiyno i'r Deheu tua Cheredigion, heb amrywio rhyw lawer yn ngrâdd ei ymsuddiad. Ond pan gyrhaeddom ranau gogledd-orllewinol Penfro, ymddengys yr ithfaen eto ar y wyneb, fel y sylwyd o'r blaen. Rhaid cadw mewn côf, modd bynag, fod y cafn, a siarad yn gyffredinol, yn llawer dyfnach tua'r dwyrain nag ar y glànau; a'r lle y mae y creigiau ithfaenol ddyfnaf yn Nghymru yw tua Phenybont a Phontfaen, yn mro Morganwg. Y maent yno tua deuddeng milldir islaw yr arwyneb presennol.

Ond, er mwyn cael lle clir i weithio arno, gadewch i ni arllwys cynnwysiad creigiol y cafn anferth hwn i waelod Basfôr Aberteifi. Byddai hyn, wrth gwrs, yn fwy nag y gallai unrhyw beiriannwr ei wneyd yn weithredol, ond gall y dychymyg gyflawni unrhyw gamp o'r fath. Yn awr, dymchwelwn Greigiau Gwalia yn raddol, sîr ar ol sîr. Dyna Fôn yn ngwaelod yr eigion; dilyna Sir Gaernarfon, gyda'r Wyddfa yn neidio a'i chrîb yn isaf; yna yr Aran a'r Arenig, a'u gwreiddiau i fyny, yn llamu dros ben Cader Idris Gawr, gan ei llusgo hithau ar eu hol; dyna Pumlumon eto yn myned, gan ddymchwel Ceredigion ar ei ffordd; yna Bànau Brýcheiniog a Chaerfyrddin; ac yn olaf, mynyddoedd Preseli, gan godi sir Benfro yn gyfan o'r gwraidd. Dyna yr holl grugiau creigiau anferth wedi eu claddu yn eigion y môr, o'r lle y daethant ar y cyntaf. Yn awr, gorwedda seiliau Ithfaenol Gwalia yn noeth ger bron ein llygaid. Ymddangosant yn bur gedyrn, ond yn anwastad a garw. Rhaid i ni lyfnhâu ychydig ar y gwaelodion, yn enwedig y rhai a gynnyrchwyd yn ystod ffurfiad y creigiau a gladdasom yn y môr. Yna y mae genym ddyffryn enfawr o ithfaen, yn geuol ac anwastad, tua 150 o filldiroedd o hŷd, wrth 60 o lêd, ac mewn dyfnder yn amrywio o 12 milldir i ddim. Ond yna dygwydda yr hyn nas dysgwyliasom. Rhuthra y môr mawr i mewn gyda ffyrnigrwydd ofnadwy, a llanwa i fyny ein cafn hyd ei ymylon. Gadewch i ni ystyried mai dyna gyflwr Cymru ryw hanner miliwn o oesau yn ol, ac yna ymdrechu dilyn hanes daearegol ein gwlad drwy ei holl chwyldröadau hyd yr amser presennol.

Fel pob môr arall, bydd y môr Gwaliaidd dychymygol hwn yn agored i weithrediad gwyntoedd a llanw, a chynhyrfir ef gan dymhestloedd ffrochwylltion. Gýrir ei ddyfroedd yn erbyn ei lànau creigiog, a disodla ei dònau yn raddol y clogwyni ithfaenol, nes iddynt ddymchwel drosodd i'r môr, i gael eu malurio a'u rholio gan y cerhynt, a'u malu yn dywod a chlai mân gan y dyfroedd. Gwaddodir y sylwedd maluriedig, a lledaenir ef dros y gwaelod, ac ymgasgla yntau yn raddol, nes mewn rhan lenwi gwaelod y basfôr. Bydd y cerhynt a'r dygyfor hefyd yn dwyn defnyddiau o bell, heblaw cludo peth ymaith i lenwi môr arall; tra y bydd yr afonydd a'r llifogydd yn cario i lawr ddefnyddiau eraill o'r mynyddoedd arfordirol. Yn nghwrs amser, neu yn hytrach dragywyddoldeb, pentyrir troedfedd ar droedfedd, a llathen ar lathen, o'r gwaddodion hyn, y naill ar y llall, nes o'r diwedd mesur ei drŵch mewn

milldiroedd. Tybiwn fod tua thair milldir o'r dyfnder wedi ei lanw i fyny gan y gwaddod. Byddwn wed'yn wedi cyrhaedd cyfnod pwysig yn hanes ein gwlad. Hyd yn hyn, nid oedd dim llôsgfalau na daeargrynfäau mawrion wedi tori allan; ond yn fuan wed'yn dechreuodd gweithrediad folcanaidd ar raddfa fawreddog. Hyd yn hyn nid oedd na phlanhigyn na chrëadur byw wedi gwneyd ei ymddangosiad ar y tir nac yn y môr. Pa hŷd y tybiech i'r cyfnod hwn o lonyddwch, y teyrnasiad angeu yma, barhâu? Y mae mewn gwirionedd yn annichonadwy gwneuthur unrhyw gyfrifiad rhesymol, gan fod amgylchiadau a thelerau y brofeb, a'r gweithredyddion a gynnyrchent y gwahanol gyfnewidiadau bron yn hollol anhysbys i ni; ac felly nid oes genym unrhyw osodiad o ymddiried i weithredu oddiwrtho. Ond gadewch i ni dybio fod tua throedfedd o sylweddau yn cael eu gwaddodi ar yr Ithfaen bob blwyddyn. Yna gan fod trwch yr haenau Cambriaidd yn cael ei ddyfalu tua thair milltir unionsyth, yn ol y tŷb osodiadau hyn, byddai cyfnod ffurfiad y creigiau Cambriaidd mawrion tua 15,000 o flynyddoedd. Y tebygolrwydd, modd bynag, yw ei fod yn ymestyn dros amser llawer meithach. Gelwir y cyfnod anferth hwn yr *Azoic*, yr hyn a olyga "amddifad o fywyd," gan mai y ddamcaniaeth a dderbynir yn gyffredin yw nad oedd y gallu dyeithriol hwn, *bywyd*, eto wedi ei ddwyn i'r byd.

Y ffurfiad hwn, yr hwn a adnabyddir yn gyffredin fel y creigiau Cambriaidd, neu yn ol eu hesboniwr gwreiddiol, Sedgwick, y *Cambriaidd Isaf*, a ddadblygir yn ardderchog mewn amryw ranau o Fôn,—ar y cyfan gorchuddia y rhan helaethaf o'r ynys. Rheda o Gaergybi, bron yn hollol ar draws i Amlwch, ac ar ol eu tori gan Ithfaen a chreigiau Silwriaidd Isaf, gwnant eu hymddangosiad wed'yn tua Llangefni. Ffurfiant deithi neillduol yn naeareg Arfon, gan gynnwys cloddfëydd llechi byd-enwog Bangor a Llanberis. Yn Meirion eto, gorchuddiant y wlad rhwng y Mawddach a'r Traethbychan, o'r Abermaw i Faentwrog, ac o'r Ganllwyd i Harlech. Diffrwyth yn y cyffredin yw y pridd a ffurfir o'u malurion hwy, yn gystal a'r Ithfaen, fel y cydnabyddir yn rhwydd gan y neb sydd yn gydnabyddus â'r cymydogaethau uchod. Lle y cyfarfyddir hwy nesaf yw mewn dwy lanerch gyfyng gerllaw Tyddewi, ac yno cyflenwasant ran fawr o'r defnyddiau yn adeiladwaith yr hen Eglwys Gadeiriol ardderchog.

Yn yr holl leoedd hyn nid oes braidd ddim olion eglur a diymwad o fodolaeth bywyd; ni ddarganfyddwyd dim cloddolion *(fossils)* o'u mewn. Y mae, er hyny, yn bosibl fod bywyd mewn cyflawnder yn bodoli yn ystod y cyfnod hirfaith hwnw, ac hyd yn nôd cyn ei ddechreuad; ond nis gallwn siarad yn bendant, lle nad oes profion wedi eu cael. Tybia rhai fod y galluoedd anianyddol a fferyllol, a fu yn gweithredu yn ddibaid ar y creigiau hyn, wedi llwyr ddilëu holl olion bywyd. Y mae hyn yn berffaith ddichonadwy, ac hefyd yn debygol, canys y mae yn y creigiau eu hunain brofion eglur o alluoedd nerthol yn gweithredu arnynt. Canys os sylwir ar yr haenau Cambriaidd a ddeuant i'r golwg o gylch Caergybi a Llanfechell, gwelir eu bod wedi eu crebychu a'u crychu i fyny yn y modd rhyfeddaf, gan ryw ddirwasgiad ochrol anferthol a wthiai yn eu herbyn. Dyma yw eu cyflwr hefyd mewn llawer ardal arall lle y cyfarfyddir â hwy.

Ond y mae rhai ffeithiau pendant, a dueddant i brofi bodolaeth rhyw

fath o fywyd yn ystod y cyfnod Cambriaidd. Y mae yno greigiau mawrion o galchfaen gyntefig yn Môn, yn ymestyn o fasiôr y Wylfa, heibio i Gemmaes a Llanbadrig hyd Lanlleiana. Ystyrir hwn gan rai fel prawf diymmod o fodolaeth cyflawnder o ffurfiau bywydol. Yn y Galchfaen Fynyddig, a ffurfiadau eraill diweddarach, y mae yr ymddangosiadau yn profi yn eglur iddynt gael eu ffurfio bron yn hollol o blîsg a chregyn anifeiliaid byw. Cesglir gan hyny, gan rai, fod pob Calchfaen, o ba oed bynag, wedi ei chynnyrchu gan ermigolion morawl, ac o ganlyniad, yn ol y ddamcaniaeth hon, rhaid fod y moroedd Cambriaidd yn heigiol o fywyd, er fod creigiau Cambriaidd Gwalia wedi ffaelu a chadw y gweddillion mewn ffurf gyfan. Y mae creigiau Laurentiaidd Canada, fodd bynag, y rhai a ystyrir yn gyfoesolion i rai creigiau yn Scotland, ac yn hŷn hyd yn nôd na'r Cambriaidd, wedi ein cynysgaeddu âg un rhywogaeth o sylwedd ermigol—yr *Ezoon Canadense* bydenwog, gwelur o'r hwn sydd yn cael ei ddangos yn Nghywreinfa Liverpool. Mor bell ag y mae ein profion personol yn cyrhaedd, rhaid fod y bywyd a fodolai yn y cyfnod boreu hwn o ermigiad isel iawn, os nad yn brin mewn swm a rhifedi. Ond rhaid i ni adael yr ymdrafodaeth hon yn awr, a'r cwbl y beiddiwn ei ddyweyd mewn perthynas i Walia wên yw, fod cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle y pryd hwnw yn ansawdd y creigiau, yn eu perthynasau â'u gilydd, ac yn enwedig yn eu cynnwysion cloddolaidd. Felly gadewch i ni ddychwelyd at drefn eu gwaddodiad.

Cyfrifa Sedgwick fod holl drwch yr haenau Silwriaidd Isaf yn bum' milldir. Y fath barhâd annirnadwy o amser y rhaid iddi gymeryd i grynhöi, drwy y gweithrediadau araf a ddarluniwyd uchod, y fath grynswth anferth o fater! Y mae genym, fodd bynag, rai seiliau i gredu fod y gweithrediadau yn cael eu cario ymlaen erbyn hyn yn gyflymach nag o'r blaen. Yr oedd rhai o'r ffynnonellau o'r rhai y ceid y defnyddiau i adeiladu yr haenau yn feddalach na'r Ithfaen cysefin, canys rhaid fod llawer o'r creigiau Silwriaidd wedi eu ffurfio o falurion creigiau hŷnach, y dosbarth Cambriaidd, y rhai y gellid eu treulio ymaith yn llawer cyflymach. Mae yn debygol fod mwy o weithrediad llosgfalaidd hefyd, yn gwasgaru lafa a lludw dros diriogaethau eang, ac yr oedd yr ermigion *(organisms)* a boblogent y moroedd yn cynorthwyo yn fawr i gasglu y defnyddiau. Y mae genym yn y Bala ddau wely lludw, a chreigiau anferth o risfaen, a maesfaen, wedi eu bwrw i fyny yn ddiau gan ryw losgfal ganolog, a safai mewn rhyw ran o Fâsfôr Ceredigion. Rhaid fod y mynydd llôsg hwn yn enfawr ei faintioli a'i allu, gan iddo orchuddio arwyneb y tir, a gwaelod y môr gyda dyblygion tewion o fater toddedig, a llenwi yr holl awyr â llaid a lludw. Cyfarfyddwn âg arwyddion o'i weithrediad ymron ymhob rhan o Gymru. Gallwn felly gasglu yn naturiol nad oedd Vesuvius ac Etna, nac hyd yn nôd Hecla, ond bychan o'u cymharu âg ef. Rhaid ei fod o leiaf yn bum' milldir o uchder, hyny yw, mor uchel a phinaclau uchaf yr Alpau; a rhaid ei fod wedi chwalu dinystr a ffagliad echydrus am gan' milldir o amgylch ei odrau. Y mae copa y Wyddfa yn orchuddiedig gan ei ludw haenedig; cyfansoddir Cader Idris gan mwyaf o'i lafa, a'r un modd y ddwy Arenig, a'r ddwy Aran, y Moelwyn, a'r Mannod; a gorchuddia ei gynnyrchion ran helaeth o barthau gogledd-orllewinol Sir Benfro.

Eto, o barthed i weddillion a chynnyrchion anifeiliaid, cyfansodda y rhai hyn ddogn go bwysig o'r haenau Silwriaidd. Yn y llorlechi Singulaidd, yr hon yw yr adran isaf o'r ffurfiad Silwriaidd, yn nghymydogaethau Llanfachreth, ar y Migneint, ac o amgylch Porthmadog, ffurfia cregyn bychain, teneuon, duon, y *Singulellæ,* dafelli go dewion yn y creigiau; ac o amgylch y Bala llenwir llawer o'r haenau gan *Othes Elegantulæ,* a chregyn ac ermigion eraill. Y mae genym hefyd yn nghymydogaeth y Bala dair ruban gwahanol o galchfaen. Dadorchuddir yr isaf yn agos i Blaenlliw, wrth droed yr Arenig, tua naw milldir o'r dref. Nid yw hwn yn cynnwys dim cloddolion gweladwy, er fod y creigiau o'i gwmpas yn bur llawn o weddillion ermigaidd. Cyfansoddir y ddalen nesaf, yr hon a adnabyddir fel Calchfaen y Bala, bron yn hollol gan gregyn tòredig, trilabediaid *(trilobites)*, cyrsbysg *(encrinites)*, a gwylar *(coral)*. Ceir darnau o'r graig hon ryw chwarter milltir i'r gogledd o'r Bala, a rheda heibio Moel Emoel, a thrwy Gwm Dwydorth, i Gadair Dinmael; tra ar yr ochr arall, i'r Dê-ddwyrain cychwyna islaw Rhiwaedog, a dilyna ael y Berwyn, nes croesi wrth Fwlch y Groes i Fowddu, a rhedeg yr ochr arall i'r Berwyn i lawr i Lansantffraid Glŷn Ceiriog. Yna, gorwedda y trydydd llafn, yr hwn sydd o gyfansoddiad nodedig a dyddorol, ymhellach i'r Dê-ddwyrain, yn y pellder o bum' milldir, ac y mae yn agos i derfyn uchaf y Silwriaidd Isaf. Gelwir hwn yn Galchfaen Hirnant, ac y mae yn gyfoethog mewn cloddolion. Ystyrir y rhai hyn, fel yr holl galchfeini eraill, yn gynnyrchion gwahanol meddalogion *(mollusks)*, crestogion *(crustacea)*, a gwylar *(polyps)*. Gan gymeryd yr holl bethau hyn i'r cyfrif, gallwn ystyried ddarfod ffurfio y creigiau Silwriaidd Isaf mewn cyfnod cyfartal i'r tair milldir creigiau Cambriaidd. Gwnai hyny, yn ol yr amcangyfrif o droedfedd o sylwedd bob blwyddyn, rywbeth tua deugain mil o flynyddoedd. Dyry hyn i ni ryw ddirnadaeth am dragywyddoldeb y Crëawdwr, yr hwn a weithredodd yr holl bethau hyn yn ol cynghor ei ewyllys ddwyfol.

Ond y mae genym ni eto filldir neu ddwy o'r Silwriaidd Uchaf i roddi cyfrif am danynt, heblaw tros filldir o'r Hen Dywodfaen Côch, Calch Mynyddig, Meusydd Glô, a Thywodfaen Côch Newydd, y rhai a orchuddiant ranbarthau ëang yn Ngwalia. Rhaid i ni, fodd bynag, gyfyngu ein hunain yn yr ysgrif hon i'r ddau ddosbarth a ffurfiadau Silwriaidd, y rhai a ddadblygwyd mor ardderchog yn Nghymru, ac a wnaethant ein gwlad yn dir clasurol am byth i holl ddaearegwyr y byd. Yn awr, er fod yr Uchaf yn wahanol oddiwrth yr Isaf mewn amryw neillduolion, eto gwaddodwyd yr haenau o dan amgylchiadau lled gyffelyb. Yr oedd gweithrediad llosgfalaidd yn ddïau yn llawer llai, a'r ffurfiau anifeilaidd yn fwy llïosog. Gallai i'r filldir hon o graig Silwriaidd Uchaf gymeryd deng mil o flynyddoedd i'w gwaddodi. Wedi ychwanegu hyn at y deugain mil a dreuliwyd ar y creigiau Cambriaidd a Silwriaidd Isaf, cawn hanner can' mil o flynyddoedd fel yr amser anghenrheidiol i lenwi â chraig ein bâsfôr o ddeng milldir o ddyfnder unionsyth hyd o fewn milldir i'r arwyneb.

Ar ol gorphen y gwaith anferth hwn o waddodiad, dygwyd i weithredu ar y rhan yma o grawen y ddaear ryw alluoedd arswydus, y rhai a ysgytiasant, a rwygasant, ac a chwilfriwiasant y dyblygion tewion a chaled o graig, fel pe na buasent ond cynifer o ddalenau papyr, neu

ddysglau pridd. Yr oedd yn debyg, fel pe rhuthrai tarw gwyllt i ystorfa potiau. Gadäwyd creigiau Ceredigion yn lled gyfan, a llonydd; ond tòrwyd y rhai o amgylch y Bala, ag sydd yn agos o'r un oedran, ymhob cyfeiriad; yr hyn, mae yn debyg, yw un fantais o fod yn agos i'r gwrthgefn mawr yn Meirion. Y mae yr haenau wedi eu codi ar eu hymylon ymhob ongl, ac ymhob cyfeiriad ar y cwmpawd. Yn agos i Lanfyllin y mae llanerch lle y mae yr haenau yn berffaith unionsyth, ac mewn un man ymddangosant fel pe wedi eu trosi, a'u dymchwel o'r tu arall i fyny.

Ystyriai yr hen ddaearegwyr i'r gweithrediad hwn gael ei ddwyn oddiamgylch yn ddisymwth a threisiol. Dangosodd awduron mwy diweddar, yn cael eu harwain gan Lyell, y gallai mai graddol a digynhwrf ydoedd. Ymddengys oddiwrth bob ymddangosiad iddo barhâu am amser maith, canys y mae yn cyrhaedd trwy yr Hen Dywodfaen Côch a'r Calchfaen Mynyddig. Fel engraifft o'r holltau anferthol sydd yn nghrystyn y ddaear, neu yn hytrach yn llawr ein gwlad, olrheiniwn un naturiol a phwysig, yr hwn sydd yn ymddangos hefyd fel un o'r rhai diweddaraf. Y mae yn cychwyn yn rhywle gerllaw Brymbo, yn Sir Ddinbych, lle y gorchuddir ef gan y Meusydd Glô. Oddiyno rheda mewn cyfeiriad Gorllewinol, heibio Bryneglwys, lle y gŵyra ychydig yn fwy i'r Dê, pasia heibio Corwen a Llandderfel, yn sŷth trwy ganol Llŷn Tegid, tros y Garneddwen, heibio Cader Idris, trwy lŷn Tàlyllŷn, ac i lawr i Dowyn, lle y plymia o dan y môr. Yn Nhowyn, cyfrifir fod y symudiad tua 13,000 troedfedd; pan yr olrheiniwn ef i'r Garneddwen, lleihâ hyd 11,000 troedfedd; ac wrth y Bala nid yw ond tua 5,000 troedfedd. Oddiwrth y ffeithiau, y ffigyrau, a'r mesuriadau hyn, yr ydym yn casglu i ddyrchafiad gymeryd lle ar yr ochr Ddêorllewinol i'r balc gerllaw Towyn, cyfartal i uchder y Wyddfa bedair gwaith; a bu y Berwyn, gerllaw i'r Llŷn Tegid, dair gwaith gan uched ag yw Aran Fowddwy yn bresennol. Rhaid fod yr ysgogiad anferth yma wedi ei gynnyrchu gan ryw allu dyrchafol aruthr; ond wedi y cwbl, nid yw ond un o lawer o gannoedd, a redant ymhob cyfeiriad ar draws Gogledd Cymru. Felly, ar derfyn y cyfnod Silwriaidd, ac yn neillduol ar ddechreu y ffurfiad carboniferaidd, neu lobair, yr oedd arwyneb y wlad yn llawer iawn mwy afreolaidd ac anwastad, nag yw hyd yn nôd yn awr. Holltid hi ymhob cyfeiriad gan ddiffwysydd aruthrol; yr oedd iddi glogwyni unionsyth, amryw filoedd o droedfeddi o uchder; a mynyddoedd clogyrnog, disathr, annringadwy, mor uched a Mont Blanc. Rhaid fod y golygfëydd yn fawreddog, gwyllt, ac arswydus; ond nid oedd yno un bôd rhesymol i'w mwynhâu. Na feddyliwch, er hyny fod yr arddangosiad ysblenydd yn ofer. Y Daearegydd heddyw, sydd yn dringo y mynyddoedd henafol hyn, ac yn sylwi ar y crugiau anferth o greigiau noethion. Y mae Daeareg yn debyg i deithio; teithio mewn amser yw, ac nid mewn lle, i sylwi ar ryfeddodau oesoedd pellenig, yn lle mwynhâu prydferthion gwledydd pell.

Nis gallwn ddyweyd pa hyd y parhäodd y cyflwr hwn ar bethau, ond y mae yn eglur nad ydoedd gwlad fel yr hon y ceisiasom ei darlunio yn brïodol drigle i ddyn. Felly er mwyn ei pharotöi a'i chymhwyso i'n henafiaid, cychwynwyd cyfres arall o weithrediadau. Suddwyd yr holl wlad o dan y môr. Gorchuddid y cribau uchaf gan y tònau. Ar ol

bod felly o dan ddwfr am dymmor, dechreuodd ysgogiad gwrthwynebol, a dyrchafwyd y tir yn raddol, fel y plaeniai tònau cynddeiriog y môr, gyda chynnorthwy gweithredyddion dinystriol eraill, ddalenau olynol o'r arwyneb, nes o'r diwedd ei adfer drachefn i'w ffurf wastad, a'i droi yn anialwch noethlwm o graig a thywod. Annichonadwy yw synied am hŷd yr amser gofynol i'r fath blaeniad anferth. Rhaid ei fod wedi cymeryd miloedd lawer o flynyddoedd; ond dylem gofio nad yw mil o flynyddoedd yn ei olwg Ef ond megys un dydd.

Er hyny rhaid cadw mewn côf, er mwyn ffurfio syniad clir am barhâd y gweithrediadau daearegol, y gall fod y ddau weithrediad, sef cwniad *(upheaval)* a threuliad, yn myned ymlaen yr un pryd. Yr unig beth y gall cyfosiad oddiwrth ffeithiau gwybyddus ein dysgu yw, ddarfod symud ymaith y crugiau anferth uchod o greigiau, un ai trwy dreuliad dyfrol, neu dreuliad awyrol, neu mewn rhan gan y naill a'r llall. Yr oedd y plaeniad hwn mor drylwyr yn ei effeithiau, fel nas gadäwyd ond ychydig arwyddion o'r cwniad yn aros. Fe'u dilëwyd bron yn hollol gan y môr a'r awyr; gan weithredyddion gallofyddol *(mechanical)* a fferyllol. Gadawsant arwynebedd y wlad yn bur wastad. Yr unig drumiau a adäwyd oedd y rhai a ddygwyddent fod yn orchuddiedig gan greigiau tânol celyd, fel y rhai a welir eto yn yr Aran, Arenig, y Wyddfa, a mynyddoedd Preseli. Gwrthsafodd y rhai hyn weithrediad maluriol y tònau, ac amddiffynasant yr haenau meddalach a orweddent odditanynt. Nis gwastadhäwyd ond ychydig o'r diffwys dyfnaf ychwaith trwy naddiad ac ysglodeniad uniongyrchol, ond llanwyd hwy i fyny gan y malurion a gludid o'r mynyddoedd cyfagos. Y mae hyn yn wirionedd am ddyffryn Towyn, a'r gwaelod a lenwir gan y Llŷn Tegid. Llanwyd yr agenau hyn i fyny â thywod a chlai, ac fe allai mai dyna y ffaith hefyd o barth i'r balc sydd yn rhedeg i fyny ddyffryn y Dyfi. Fe lanwyd Dyffryn Clwyd, yr hwn sydd i gryn raddau yn ddyffryn treuliadol (hyny yw, wedi ei gafnio allan o'r graig fyw drwy weithrediad dwfr), a Thywodfaen Côch Newydd, wedi ei haenu yn rheolaidd. Y tywodfaen hwn, trwy ei liw, a roddodd enw i'r trefi Rhuthyn a Rhuddlan, y rhai a olygant *côch*. Os esgynwch i ben bwlch uchel, fel Bwlch y Groes, fe welwch fod penau y mynyddoedd, yn nghyfeiriad Sir Drefaldwyn a Cheredigion, yn ymddangos o'r un uchder, ac mai hen lyfal *(level)* yr holl wlad ydyw hwnw, fel y gadäwyd hi ar ol cyfnod y treuliad mawr. Ymddengys y dyffrynoedd a'r cymoedd fel rhychau culion, wedi eu haredig mewn cyfeiriadau amrywiol trwy arwynebedd llyfn y gwastadedd henafol. Ymdrechwn, bellach, gyfrif am rai dyffrynoedd diweddar.

Yn bur debygol, nid arosodd tir Cymru yn hir dan y dwfr ar ol ei wastadhâu, onide fe waddodasid ffurfiadau eraill arnynt mwy diweddar, megys y *Lias* a'r *Oolite*, oddiar y creigiau *Palæozoic*, o'r rhai ni feddwn unrhyw olion, oddigerth mewn ychydig lànerchi cyfyngedig yn Morganwg. Y tebygolrwydd yw ddarfod gosod y tir o dan weithrediad dyrchafol arall. Codwyd yr holl wlad yn sŷth i fyny o'r dwfr, ac ymddangosai y llyfal cyffredin tua 5,000 troedfedd uwchlaw arwyneb y môr. Y canlyniad oedd i'r hinsawdd fyned yn oer erwinol, a llenwid y wlad gan iafonau *(glaciers)* aruthrol, y rhai a lanwent y cymoedd, ac a lithrent i lawr lethrau y mynyddoedd. Cafniodd yr iafonau hyn, drwy symudiadau llithrol i lawr, ac o herwydd eu pwysau enfawr, y

dyffrynoedd allan o'r arwyneb, gan eu parhäus ledu a'u dyfnhâu. Nid yn unig gwnaed hyn yn y manau lle y llanwesid holltau yn y creigiau gan lifglai *(alluvium)* meddal, ond rhychwyd a chafniwyd allan hyd yn nôd y creigiau durfing eu hunain. Yr oedd yr iafonau hyn fel erydr anferthol yn rhwygo i fyny yr haenau caledion, yn aredig y wyneb, ac yn rhychu i ddyfnder mawr y creigiau caletaf. Y mae olion o honynt yn parhâu eto, bron ymhob rhan o Walia. Y maent yn neillduol eglur yn nghymydogaeth y Bala, o Benygarth, ar un ochr, hyd Moelygarnedd, ar y llall. Gellir eu canfod hefyd ar y mynyddoedd rhwng Penmachno a Dolwyddelan, ac yn gyffredinol o amgylch y Wyddfa. Y mae wyneb y creigiau yn y lleoedd uchod yn fynych wedi ei gaboli fel gwydr, ac wedi ei grafu, ei gripio, a'i rychu wed'yn, ac megys ei gerfio yn y modd mwyaf meistrolgar. Dyma, gan hyny, yw y gweithredyddion neu offerynau a ffurfiasant lawer o'n dyffrynoedd presennol; ond nid y cwbl. Fe ffurfiwyd amryw o honynt, yn enwedig y rhai a orweddant yn y creigiau ieuangaidd a meddal, yn neillduol yn y Deheubarth, a'r rhai nas dangosant unrhyw arwyddion o gaboliad a rhychiad,—fe'u ffurfiwyd, meddaf, yn raddol, drwy weithrediad gwastadol ein cyfundrefn ddyfrol bresennol.

Ar ol i'r rhew, yn y ffurf o iafonau, orphen ei waith, yr oedd ganddo orchwyl arall i'w gyflawni yn y ffurf o rew-ynysoedd *(icebergs)*. Gostyngodd y tir drachefn, nes nad oedd dim ond copäau y mynyddoedd uchaf yn y golwg, fel ynysoedd bychain creigiog yn nghanol y weilgi. Parhai yr hinsawdd er hyny yn oer, gan fod y cerhynt, yn y cyffredin, o'r Gogledd-ddwyrain i'r Dê-orllewin. Cludent gyda hwy ddarnau mawrion o gèryg, gan eu gosod i lawr weithiau yn y lleoedd mwyaf annhebyg. Y mae un crug mawr yn agos i Gapel Cefndwygraig, ar grib uchel bryn serth, lle na feddyliasai neb ond rhew-ynys am ei osod. Cawsom mewn cloddfa dywod, yn agos i Groesoswallt, ddarnau o Ithfaen Aberdeen, ag y rhaid eu bod wedi eu cludo gan y rhew yr holl ffordd o Scotland, ac wedi eu rholio wedi hyny gan y tònau. Gellir gweled y sylwedd a ddygwyd gan y cerhynt, yn nhymmor y rhedlifoedd, ymhob man. Gorchuddia Waun y Bala i ddyfnder mawr, ac y mae hyd yn nôd fryniau fel Moel Emoel wedi eu crynhâu, eu treillio, a'u haddurno ganddo.

Wele ni yn awr wedi olrhain hanes ffurfiad ein gwlad drwy oesoedd dirif. Wrth gwrs, y mae ein golygiad drosto yn dra rhwydd ac anmherffaith, ond fe allai y gall fod yn wasanaethgar i ddangos amcan Daeareg, fel y dangosir hi yn y ffeithiau a gyflwynir i'n sylw o amgylch ein cartrefi.

Rev John Peters. Bala. F.R.G.S. (Ioan Pedr)

# YR ATHRAWIAETH O DRAGYWYDDOL GOSP.

AIL ERTHYGL.

*Everlasting Punishment and Modern Speculation.* By the Rev. WILLIAM REID, Lothian Road Presbyterian Church, Edinburgh. Edinburgh: Oliphant & Co.

*The Doctrine of Eternal Punishment vindicated against Recent Attacks. A Tractate.* By the Rev. PROFESSOR WATTS, D.D., Assembly College, Belfast. Belfast: Mullan.

*Life in Christ only.* By EDWARD WHITE. London: Clarke & Co.

*Life and Death: a Reply to Certain Statements of Mr. Spurgeon, Mr. Rogers, and Dr. Angus.* By EDWARD WHITE, Author of "Life in Christ only." London: Elliot Stock.

*The Perishing Soul: or the Scriptural Doctrine of the Destruction of Sinners, with a View of Ancient Jewish Opinion and Christian Belief during the First and Second Centuries.* By J. M. DENNISTON, M.A.

*The Second Death and the Restitution of all Things, with some Preliminary Remarks on the Nature and Inspiration of Holy Scripture. A Letter to a Friend.* By ANDREW JUKES.

YN ein herthygl flaenorol ar y mater pwysig hwn, wrth sylwi ar y ddamcaniaeth o ADFERIAD CYFFREDINOL ymofynem i'r ystyriaethau a ddygir ymlaen fel *rhesymau* o blaid y cyfryw olygiad. Ac yr ydym yn meddwl nad ydyw yn ormod i ni hòni ein bod, a dyweyd y lleiaf, wedi eu cael yn annigonol i ymgynnal dan y pwysau a osodir arnynt wrth geisio adeiladu y dybiaeth am derfyn felly i'r "llid a fydd."

Ond wedi y cyfan, mae yn rhaid i'n golygiadau ar y fath fater a hwn, sydd mor gwbl yn bwnc dadguddiad, sefyll neu syrthio yn ol a ddywed y Gair mewn perthynas iddynt. Ac fe addefa pawb, fel y dywedai Foster, fod iaith y Bibl ar hyn yn "ofnadwy o gref." A ydyw yn bosibl esbonio ymaith gryfder mawr y tystiolaethau lliosog a geir ar y mater yma yn y Llyfr Dwyfol yn y fath fodd ag i ganiatâu y *posiblrwydd* o adferiad; ac yn enwedig a oes rhyw eiriau o'i fewn y gellid gyda rhyw reswm eu golygu fel yn *awgrymu* y fath beth? Y mae dynion wedi ymdrechu profi y naill a'r llall o'r gosodiadau hyn allan o'r Bibl; ac y mae yn dêg i ni ymofyn i ba raddau y maent wedi llwyddo i wneyd hyny. Bid sicr, nid oes unrhyw syniad, pa mor wyllt bynag y gallo fod, wedi ymgynnyg i feddyliau dynion, nad ydyw y Bibl wedi cael ei lusgo i'r llŷs, a'i orfodi i roddi tystiolaeth o'i blaid. "Dyma y llyf, ymha un y mae pawb yn chwilio am eu golygiadau neillduol eu hunainr ac—yn eu cael!" Yr un pryd, ni ddylai hyny lanw ein meddwl â rhagfarn yn erbyn golygiadau ar faterion pwysig y proffesir eu dwyn y nlaen fel ffrwyth efrydiaeth o'r Ysgrythyrau, neu yr hònir fod yr Ysgrythyrau yn ffafriol iddynt. Er hyny y mae ein profiad yn ein

dysgu i fod yn wagelog pan y mae y golygiadau a argymhellir arnom yn myned yn groes i'r hyn sydd yn ymddangos i feddylwyr pwyllog yr oesoedd fel ystyr amlwg y Gair; ac yn y fath amgylchiad y mae genym hawl i fynu boddlonrwydd yn y rhesymau â pha rai y mae y cyfryw olygiadau yn cael eu hattegu.

1. I geisio profi fod terfynolrwydd y gospedigaeth yn bosibl, fe wneir llawer o'r ffaith nad ydyw y geiriau yn yr Hen Destament a'r Newydd a gyfieithir "tragywyddol," bob amser yn golygu parhâd diddiwedd. Mae yn amlwg fod y geiriau hyny mewn amryw fanau yn golygu cyfnod terfynol. Gelwir y cyfammod a gadarnhäodd Duw âg Abraham a'i hâd (Gen. xvii. 7) yn "gyfammod tragywyddol." Addewir gwlad Canaan i hiliogaeth Abraham (Gen. xlviii. 4) yn "etifeddiaeth dragywyddol." Sonia Jacob (Gen. xlix. 26) am "fryniau tragywyddoldeb," wrth yr hyn y golygai yr un peth a Habacuc pan yn sôn (iii. 6) am y "bryniau tragywyddol." Addewir y bydd eu heneiniad i Aaron a'i feibion (Exod. xl. 15) "yn offeiriadaeth dragywyddol trwy eu cenedlaethau." Dangosir y gwaharddiad i feibion Israel fwyta gwêr a gwaed (Lef. iii. 17) fel "deddf dragywyddol drwy eu cenhedlaethau." Gofyna Jeremiah (xv. 18) "Paham y mae fy nolur i yn dragywyddol?" A defnyddir y gair yn gyffelyb mewn cysylltiadau eraill, ac o angenrheidrwydd fel yn golygu parhâd sydd yn amlwg derfynol. Ac oddiwrth y fath ddefnydd o'r gair gofynir, Paham y rhaid i ni gymeryd yr ystyr o barhâd annherfynol pan gysylltir ef â chosp y drygionus? Nid ydym ni yn gweled fod yn bosibl rhoddi atebiad tecach i'r cwestiwn yma nag a roddir gan Moses Stuart (*Exegetical Essays*, p. 136): "Y mae yn wir y gellir defnyddio y geiriau i ddangos cyfnod sydd yn ei natur yn amserol; ond wed'yn mae yn amlwg ddigon yn y cyfryw amgylchiadau eu bod yn cael eu defnyddio i wneyd *y dadganiad cryfaf o barhâd a oddef natur yr achos;* ac fe'u dewisir i'r cyfryw amcan am eu bod yn naturiol yn arwyddocâu parhâd *diddiwedd.*" Mae yn eglur fod geiriau, yn llythyrenol, yn arwyddocâu parhâd diddiwedd, ac fel y cyfryw fe'u defnyddir yn barhäus am y Duw mawr, am fendithion yr iachawdwriaeth, ac am wynfyd y saint. Ac ni olygid fod perygl i bobl gael eu camarwain gan y defnydd hyf a wneid o eiriau annherfynol eu hystyr, pan gysylltid hwy â phethau nad oedd modd camgymeryd am eu terfynolrwydd. "Myfi a ddywedais, Duwiau ydyw chwi," meddai y Salmydd (lxxxii. 6); ac fe elwid felly, meddai yr Iesu (Ioan x. 35) y bobl "at y rhai y daeth gair Duw;" a oedd perygl oddiwrth hyny i feibion Israel feddwl eu bod yn rhywbeth amgen na dynion? Neu am fod y gair mawr yna yn cael ei ddefnyddio am farwolion y llwch, a fuasai unrhyw berygl iddynt, pan welent yr un gair yn cael ei ddefnyddio am Jehofah, fyned i benderfynu ei fod Ef yn gwbl yr un fath â hwy eu hunain? Yr un modd, nid oedd perygl i neb gael ei gamarwain pan gysylltid y gair "tragywyddol" â phethau nad oedd yn bosibl iddynt o ran eu natur, fod felly, tra mae y gair, yn brïodol, yn cael ei ddefnyddio am yr Hwn sydd "o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Ond y mae dyn wedi ei wneyd ar ddelw Duw. Y mae efe o ran natur a rhagorfraint wedi ei ddyrchafu i urddas yn ei berthynas â'r Anfeidrol nad ydyw yn perthyn i'r un crëadur arall. Ac fel y mae yn cael ei adferu ar y ddelw hono, fe ddangosir ei fod hefyd yn cyfranogi o'i fywyd

Ef, ac yn cael gorphwys yn dragywyddol yn ei gariad. Pa mor gryfion bynag ydyw y geiriau a ddefnyddir i ddangos parhâd diddiwedd Jehofah, fe ddefnyddir yr un geiriau, ac yn yr un dull, i ddangos parhâd diddiwedd y bywyd y mae ei bobl yn fwynhâu ynddo. Mae y gair *αἰών*, yr hwn yn y gwahanol ddulliau o'i ddefnyddio a arferir mor fynych am Dduw ac am Grist, fel yn "fendigedig yn oes oesoedd," i "deyrnasu yn dragywydd," &c., yn cael ei ddefnyddio naw o weithiau i ddangos gwŷnfyd diddarfod y saint; ac y mae yr ansoddair *αἰώνιος*, "tragywyddol," yn cael ei ddefnyddio i'r un amcan unarddeg a deugain o weithiau. Ond mae yr un geiriau, ac yn yr un dull, yn cael eu defnyddio hefyd i ddangos parhâd cosp yr annuwiol. Yr ydym yn cael *αἰών* ddim llai na phymtheg o weithiau yn cael ei ddefnyddio i'r amcan yma, ac *αἰώνιος* saith o weithiau. Ac nid yn unig mae yr un geiriau yn cael eu defnyddio i ddangos parhâd y gwŷnfyd a'r trueni, ond y mae y naill dynged dragywyddol yn cael ei chyferbynu â'r dynged dragywyddol arall, a hyny yn y fath fodd ag i wneyd yn anmhosibl eu cymeryd ond fel o'r un parhâd. "Y rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol; ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol." Beïa Mr. Maurice y cyfieithwyr Seisonig am roddi y gair *eternal* yn y naill adran o'r adnod uchod, a'r gair *everlasting* yn y llall, am mai yr un gair Groeg, *αἰώνιος*, a geir yn y ddau le. Da genym weled yr un gŵr, er ei fod yntau yn ymgroesi yn ddirfawr rhag y syniad o dragywyddol gosp, yn beïo rhodres Syr J. Stephen yn y fan yma, yr hwn a sylwai fod yr Iesu yn siarad y geiriau yn y Syriaeg, a'u bod yn cael eu hadrodd yn y Groeg, ac na wyddys yn y byd pa eiriau a ddefnyddiodd Efe yn yr iaith hono! Yn ol hyny, nid oes genym sail i gredu yn nilysrwydd yr un o eiriau y Gwaredwr. Na; pa nerth bynag sydd mewn iaith i drosglwyddo meddyliau, gallwn benderfynu yn ngeiriau Stuart:—"Y mae yn canlyn yn gwbl eglur a diammheuol, *os nad ydyw yr Ysgrythyrau yn sicrhâu cospedigaeth* DRAGYWYDDOL *y drygionus, nid ydynt ychwaith yn sicrhâu dedwyddwch* TRAGYWYDDOL *y cyfiawn, na* THRAGYWYDDOL *ogoniant a bodolaeth y Duwdod.* Mae y naill yr un mor sicr a'r llall. Maent wedi eu gosod yn yr un clorian. Rhaid eu profi yr un modd. Ac os rhoddwn y naill i fyny, mae yn rhaid i ni, mewn trefn i fod yn gyson, roddi y llall i fyny hefyd."

Ond er fod Mr. Maurice yn llym ar y cyfieithwyr Seisonig am ddefnyddio geiriau gwahanol yn Mat. xxv. 46, lle nad oes ond yr un gair yn y gwreiddiol, ac felly roddi achlysur i gasglu y gallai fod y naill barhâd yn gwahaniaethu oddiwrth y llall, ac er ei fod yn hollol anghymeradwyo tybiaeth ffôl Syr J. Stephen am ansicrwydd ystyr y geiriau Syriaeg a ddefnyddiai y Gwaredwr, y mae yntau, gan deimlo fod yr adnod yn ei hystyr amlwg yn dysgu athrawiaeth sydd yn anghymeradwy ganddo, yn cymeryd trafferth i chwilio am ystyr i'r gair *αἰώνιος* a fyddo yn debyg o leddfu rywfaint ar boenusrwydd yr ystyriaeth o gospedigaeth dragywyddol. "Pa bryd bynag," meddai, (*Theological Essays*, 2nd. ed., p. 447), "y mae y gair *tragywyddol* yn cael ei ddefnyddio yn y Testament Newydd, fe ddylai yn gyntaf, yn holl reolau rheswm, gael ei ystyried mewn cyfeiriad at Dduw. Rhaid i'r defnyddiad o hono, pan yn cael ei gymhwyso ato Ef, benderfynu pob defnyddiad arall o hono. * * Pa fodd y cariwn allan y rheol hon? A ddywedwn fod tragywyddol yn golygu mewn cyfeiriad at Dduw, bod heb ddechreu na diwedd? Pa

fodd gan hyny y gallwn osod yr ystyr yna i dragywyddol pan y llefarwn am wynfyd neu drueni dyn? A ydyw hwnw heb ddechreu yn gystal a heb ddiwedd?" A phenderfyna efe *nad* ydyw y gair tragywyddol, pan yn cael ei ddefnyddio am Dduw, yn arwyddo bod heb ddechreu na diwedd, ac am hyny nad arwydda pan yn cael ei ddefnyddio am gospedigaeth ei bod heb ddechreu na diwedd. Barna Mr. Maurice nad oes a fyno tragywyddoldeb, yn ei berthynas â Duw, âg amser neu barhâd; ac am hyny nid oes a fyno yn ei berthynas â bywyd, neu gospedigaeth, âg amser neu barhâd. Bywyd tragywyddol a olyga bywyd ynddo Ef yr hwn sydd dragywyddol; marwolaeth dragywyddol a arwydda colli y bywyd hwnw. "Yr ydwyf fi yn rhwym o gredu mai y bywyd tragywyddol i ba un yr â y cyfiawn ydyw yr adnabyddiaeth hono o Dduw yr hon *sydd* fywyd tragywyddol; yr ydwyf yn rhwym o gredu mai y gospedigaeth dragywyddol i ba un yr â y rhai ar y llaw aswy, ydyw y golled am y bywyd tragywyddol hwnw—a elwir mewn màn arall yn 'farwolaeth dragywyddol.'" Drachefn: "Tynu ein meddyliau oddiar yr amserol, a'u gosod ar y tragywyddol, ydyw amcan yr ymwneyd Dwyfol â ni. Mor beryglus dwyn y syniad o barhâd i air o ba un y mae Crist yn fwriadol wedi ei gau allan o hono. 'Hyn yw y bywyd tragywyddol, adnabod Duw.' Canys beth ynte ydyw marwolaeth dragywyddol, ond bod heb Dduw? Y bywyd tragywyddol ydyw adnabod ei gariad Ef, y gallu i garu; y gospedigaeth dragywyddol ydyw colli y gallu yna i adnabod ei gariad, yr anallu i garu; nis gall damnedigaeth fwy oddiweddyd neb. Y mae cenhedloedd wedi myned dan y ddedfryd ofnadwy o golli pob, neu ymron bob, teimlad o Dduw—o gael eu rhoddi i fyny i wasanaeth cythreuliaid, ac eto y maent wedi codi allan o'r cyflwr hwnw."

Yr ydym yn gwbl foddlawn i astudio yn gyntaf ystyr y gair hwn fel y mae yn cael ei ddefnyddio mewn perthynas i Dduw. Ond beth all fod yn y *gair*, hyd yn nôd yn y cysylltiad hwnw, ar wahân oddiwrth barhâd annherfynol? Mae yn wir y rhaid fod mawredd a gogoniant anfeidrol ynddo Ef fel y Brenin tragywyddol, yr Hwn yn ei gyflawnder dihysbydd ei Hunan sydd uwchlaw pob parhâd, ei oes yn oes yr holl oesoedd, yn Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb. Ond yn y fath ymadroddion â'r rhai hyn, y ffordd a gymerir i osod ar ein meddwl argraff o'i anfeidrol fawredd ydyw ein dwyn i ymdeimlo â'r ffaith o'i dragywyddol barhâd. Ni elwir ein sylw ond yn anfynych at ei dragywyddoldeb ar wahân oddiwrth ei allu, a'i fawredd, a'i ogoniant; ond fe ddangosir y pethau hyn ynddo Ef yn llawer mwy gogoneddus yn gymaint a'u bod yn perthyn yn hanfodol i'r Hwn sydd uwchlaw pob terfynau o ran amser, yn gystal ag o ran lle,—yn "Dduw tragywyddoldeb." Drachefn, yr ydym yn hollol foddlawn i gymeryd yr ystyr sydd i'r gair tragywyddol yn ei berthynas â'r Hwn yn unig sydd yn brïodol felly, fel ystyr arweiniol y gair ymhob defnydd arall a wneir o hóno. Ond y mae "holl reolau rheswm" yn sicr yn galw arnom i'w ddefnyddio mewn ystyr cyfatebol i *natur* y pethau y cymhwysir ef atynt. Ac fel pwnc o ffaith, er fod y gair yn brïodol yn arwyddo bod heb ddechreu na diwedd, yr ydym yn cael ei fod wedi ei ddefnyddio droion am bethau ag yr oedd dechreu *a* diwedd iddynt. Ac nid oedd perygl i neb gael eu camarwain trwy hyny. Yr oedd dechreu y pethau—cyfammod Duw âg

Abraham, Canaan yn etifeddiaeth i'w hâd, gosodiadau y ddeddf seremoniol, parhâd y mynyddoedd, &c., yn amlwg i bawb; ac er fod eu parhâd i ymestyn i bellder mawr, ac i bob pwrpas ymarferol gyda golwg ar gymhwysiad y gair atynt ar y pryd, i fod yn dragywyddol, eto yr oedd yr un mor amlwg nad oeddynt i barhâu yn ddiddiwedd. Ac fel y mae y geiriau sydd yn brïodol yn golygu parhâd heb na dechreu na diwedd, yn cael eu defnyddio am bethau sydd a dechreu *a* diwedd iddynt, yr un modd y maent yn cael eu defnyddio am bethau y *mae* dechreu iddynt, ond *nad* oes diwedd. Y mae dechreu wedi bod i deyrnasiad Crist fel Cyfryngwr; ond bellach, "Efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd, ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd." "Iddo Ef y byddo gogoniant yn oes oesoedd." Y mae gogoniant mynegol Duw o angenrheidrwydd â dechreu wedi bod iddo; ond y mae i barhâu o hyn allan yn oes oesoedd. A phaham nad all fod yr un geiriau pan ddefnyddir hwynt am ddyn, yr hwn yr un modd y mae dechreu wedi bod iddo, yn gwbl gymhwys, pan yn prïodoli iddo yr unig dragywyddoldeb ag y mae yn bosibl iddo *ef* feddu, sef y diddiwedd? A thrachefn, yr ydym yn dwfn gydymdeimlo a gwaith Mr. Maurice yn galw sylw at hanfod y bywyd tragywyddol, fel y mae yn cael ei wneyd i fyny o'r adnabyddiaeth o Dduw, a'r gallu i'w garu; ac mae yn sicr fod amddifadrwydd o'r adnabyddiaeth hono yn farwolaeth, yn wir mai dyna ydyw marwolaeth. Mae y golygiad mai bywyd yn Nuw, yr Hwn sydd dragywyddol, ydyw y bywyd tragywyddol, yn arddunol iawn. Ond y mae arddansoddiaeth Mr. Maurice wrth ei ddyrchafu yn gwbl uwchlaw yr ystyriaeth o barhâd, yn ei osod yn rhy uchel i ymwybodolrwydd meidrol allu ymaflyd ynddo. Nid ymddengys fod yn bosibl i greadur gyfranogi yn gymaint o ogoniant yr YDWYF tragywyddol fel ag i ymgodi uwchlaw y telerau hyny yn ei fodolaeth a benderfynir gan amser neu barhâd, mwy nag y gall hanfodi oddieithr mewn lle. Fel y dywed Mansel *(Man's Conception of Eternity. An examination of Mr. Maurice's theory of a fixed state out of time, in a Letter to the Rev. J. L. Bernays, M.A.)*, "Ymddengys ei fod yn anghyson â holl amcan Dadguddiad, a'i gymeryd ar ei ochr ddynol—ar wahân oddiwrth holl ddyben gwirioneddau ymarferol; ymddengys ei fod yn anghydweddol â'r syniad am y bywyd nesaf fel parhâd a dadblygiad o'r presennol, neu am y bywyd presennol fel dysgyblaeth a pharotöad i'r nesaf, i gredu y bydd ein hymwybodolrwydd dyfodol yn annibynol ar ddeddf olyniad. Ymddengys, ymhellach, er nad allwn farnu yn brïodol am hyn, fod hyny yn anghydweddol â'r syniad am ddealldwriaeth meidrol o gwbl, hyd yn nôd un a fyddo yn berffaith ei natur, neu am sefyllfa o lwyddiant a gwybodaeth gynnyddol. Ymddengys fel gosod syniad nacäol am un cadarnhäol; cyfnewid y dysgwyliad bywiog a'r blaenbrawf o ddyfodol bywiol gwirioneddol, am yr ymsyniad anmhenodol a diystyr o ryw sefyllfa bosibl o fodolaeth dan delerau nad allwn arddangos i ni ein hunain o ymwybodolrwydd dynol a phersonoliaeth ddynol." I'r Anfeidrol nid ydyw tragywyddoldeb ond *nunc stans*, yn awr digyfnewid, presennol parhäus; iddo Ef nid ydyw y terfynolrwydd a olygir mewn amser yn bosibl. Ond pa fodd y gellir codi dyn i sefyllfa felly? Mae y syniad athronyddol yma y mae Mr. Maurice yn gwneyd cymaint o hono, mae yn amlwg, yn llawer rhy nwyfrëaidd i farwolion allu ymaflyd ynddo, ac y mae yn berffaith sicr fod gwrandäwyr Crist ar y pryd a gagendor

mawr rhyngddynt âg ef. Pe gellid sefydlu y fath olygiad â hwn, mae yn debyg y byddai iddo leddfu rhywfaint ar boenusrwydd y syniad am gospedigaeth yr annuwiol trwy ei daflu yn y syniad arddansoddol am dragywyddoldeb mor bell i'r anmhenodol fel ag i'w wneyd, i bob dyben ymarferol, ymron yn ddim. Ond ai nid ydoedd Mr. Maurice yn gweled fod tragywyddoldeb y gospedigaeth, hyd yn nôd yn ei ystyr ef ei hunan, yn ei gwneyd yn *ddigyfnewid,* ac felly o *barhâd diddarfod?* Nid ydyw yn bosibl i fywyd yn y Tragywyddol byth ddyfod yn farwolaeth; ac y mae yr un mor anmhosibl i farwolaeth y tu allan i'r Tragywyddol, ddyfod byth yn fywyd. Y mae Mr. Maurice felly yn cael ei lanio drachefn yn yr un man ag y cymerasai y fath ddirfawr drafferth er ceisio ei osgöi, ac y mae tragywyddoldeb, yn y gosp yn gystal ag yn y gwynfyd, yn dyfod y peth y mae meddwl y byd bob amser wedi ei gymeryd, sef, parhâd diddiwedd. Y mae efe gyda phrïodoldeb mawr yn canmol Athanasius am iddo yn y ddadl âg Arius mewn perthynas i genhedliad y Mab, fynu fod y cenhedliad hwnw yn dragywyddol, ac felly heb fod dechreuad yn bosibl iddo. Y mae Dr. Candlish *(Theological Essays)* yn dra deheuig yn troi ei ryfel yn ei erbyn ef ei hunan trwy ofyn paham nad yw y gospedigaeth, sydd yr un modd yn dragywyddol, yr un modd hefyd heb ddiwedd iddi? Ac heblaw hyn oll, mae yn ymddangos yn bur amlwg fod Mr. Maurice wedi syrthio i amryfusedd ag y mae tuedd neillduol ynddo i gamarwain, trwy gymeryd mai yr un peth ydyw y bywyd neu y farwolaeth sydd yn aros dynion yn y fuchedd dragywyddol, â'r hyn sydd ganddynt eisoes yma yn yr adnabyddiaeth neu y diffyg adnabyddiaeth o Dduw. Mae yn sicr mai hanfod y bywyd tragywyddol yn enaid dyn ydyw adnabod Duw, fel y dywed y Gwaredwr, Ioan xvii. 3. Ond pe dyna fyddai y cwbl, ni fyddai dim nefoedd nac uffern i ddyn ond sydd yn hanfodi yn ei ysbryd ef ei hunan, yn ol ei adnabyddiaeth neu ei ddiffyg adnabyddiaeth o Dduw. Ac yn ol hyn, ni fyddai yn anhawdd sefydlu y syniad arddansoddol am ei dragywyddoldeb yn y naill a'r llall, ac edrych yn lled ddibris ar y drychfeddwl o barhâd. Ond er mor fawr ydyw y mewnol mewn dyn, yr ydym yn gweled fod y Goruchaf wedi darparu allanol hefyd ar ei gyfer, ac fod ei ddedwyddwch neu ei drueni, i fesur mawr iawn, yn ymddibynu ar gyfaddasrwydd neu anghyfaddasrwydd y naill i'r llall. Mae yn wir mai y mewnol ydyw y pwysicaf. Mae y dyn sydd yn meddu defnyddiau dedwyddwch ynddo ei hun, tra yn mwynhâu yn fwy na neb arall ddedwyddwch ei amgylchiadau, ar yr un pryd yn gallu ymgodi i fesur mawr uwchlaw amgylchiadau,—yn "gorfoleddu" hyd yn nôd "mewn gorthrymderau;" ond y mae y dyn sydd yn druenus ynddo ei hunan, tra y mae ei drueni yn cael ei berffeithio gan amgylchiadau gwrthwynebus, ar yr un pryd yn meddu cymaint o wenwyn o'i fewn fel ag i wneyd yn anmhosibl iddo sugno mwynhâd o'r amgylchiadau mwyaf cysurus. Mae yn amlwg er hyny fod yr eithaf mewn mwynhâd a thrueni yn cymeryd lle pan mae yr hyn sydd oddiallan a'r hyn sydd oddifewn yn gyfaddas y naill i'r llall. Yr ydym yn gweled mai felly y mae pethau yn y byd hwn, ac y mae genym bob lle i feddwl mai felly yn arbenig y bydd yn y byd a ddaw, lle y byddwn wedi cyrhaeddyd yr ystâd sefydlog hono ar fodolaeth nad ydyw ein heinioes yma ond ymestyniad ati ac ymbarotöad ar ei chyfer. Ac felly y dywedir yn hanes y dedfrydiad mawr,—"A'r rhai hyn a ânt i

gospedigaeth dragywyddol; ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol." Faint bynag o farwolaeth sydd eisoes yn natur yr annuwiol, fel y mae heb adnabod a charu Duw, y mae, ar ol y ddedfryd ofnadwy, *yn myned i farwolaeth,* ac y mae hono yn farwolaeth dragywyddol. Pe na fyddai ei golledigaeth yn y byd arall yn ddim ond parhâd o'r diffyg adnabyddiaeth o Dduw ag oedd yn farwolaeth iddo eisoes yn y byd hwn, ni fyddai ystyr o gwbl yn y bygythion mawrion am ddinystr dan y "llid a fydd;" ond mae yn amlwg ei fod yn cael ei fwrw y pryd hwnw i ystâd o drueni digymysg, mewn rhyw le ofnadwy a elwir uffern, ac mai dyna yr "ail farwolaeth." A'r un modd y mae y cyfiawn, pa mor lawn bynag a fyddo eisoes o'r bywyd mawr sydd yn yr adnabyddiaeth o Dduw, *yn myned i fywyd* yn ngogoniant a llawenydd ei bresennoldeb fydd yn berffeithiad ar ei ddedwyddwch yn dragywyddol. Heblaw y cymhwysder mewnol fydd yn y naill i wynfyd ac yn y llall i drueni, fe fydd y naill a'r llall y pryd hyny yn cael eu gosod mewn amgylchiadau a fydd yn ffafriol i berffeithiad eithaf eu cyflwr, pa un bynag ai mewn bywyd ai mewn cospedigaeth. A pha sicrhâd bynag a roddir i'r saint am dragywyddoldeb eu gwynfyd—ac fe rydd yr Anfeidrol yr un sicrhâd am hyny ag am dragywyddoldeb ei hanfod Ef ei hunan—y mae yr un sicrhâd, yn llythyrenol, yn cael ei roddi am barhâd diddiwedd cospedigaeth ei elynion.

Yn wir, pa mor fawr bynag oedd ymdrech Mr. Maurice i sefydlu y golygiad y cyfeiriwyd ato, ac er iddo ddyoddef llawer o herwydd ei ymlyniad wrtho, nid ydyw yn anhawdd gweled ei fod yn ei goleddu, nid am ei fod yn teimlo fod cymaint o gadernid ynddo, ond am ei fod yn awyddus i gael rhyw ymwared i'w deimlad rhag y syniad o fod trueni mor fawr yn aros cynifer o'i gyd-ddynion. Yr oedd efe ei hun, beth bynag am rai o'i ddysgyblion, ymhell o fod wedi cyrhaedd boddlonrwydd ar y mater hwn. Yn y nawfed o'i erthyglau ffydd, neu reolau i'w haeriadau ar y mater, penderfyna "beidio dyweyd y bydd i bawb o angenrheidrwydd gael eu cyfodi o dragywyddol farwolaeth, am nad ydwyf yn gwybod." Eto am i Deon Mansel ddyweyd yn ei *Bampton Lectures,* "Yn erbyn hyn fe ddadleuir nad all pechod byth fod yn fuddugoliaethus yn erbyn Duw. Fel pe byddai holl ddirgelwch anwiredd yn gynnwysedig yn y gair *byth,*"—y mae yn cael ei orchfygu gan ddirfawr ddychryn, ac yn galw y paragraph hwnw "y mwyaf ofnadwy ymron a ddarllenodd mewn ysgrifenydd Cristionogol erioed." "Yr oeddwn," meddai, "yn myned i ddechreu sylwi ar y geiriau. Yr oeddwn yn ceisio dyweyd wrthych pa argraff a wnaethant arnaf. Nid allaf. Nid allaf ond dyweyd, 'Os ydynt yn wir, gadewch i ni losgi ein Biblau, gadewch i ni ddyweyd wrth ein cydwladwyr nad ydyw ing a chwys gwaedlyd Crist, ei groes a'i ddyoddefaint, ei farwolaeth a'i gladdedigaeth, ei adgyfodiad a'i esgyniad, yn arwyddocâu dim. * * * Yr wyf yn credu os collwn y gobaith yna [o adferiad pob peth] yn gwbl, nad aroswn yn mhwynt Mr. Mansel; byddwn yn sicr y *rhaid* i ddrygioni deyrnasu yn oes oesoedd, y *rhaid* iddo yru allan bob peth sydd yn wrthwynebol iddo. Ni a'th foliannwn di, O Ddiafol, ni a'th gydnabyddwn di yn Arglwydd. A'r rhai a ddaliant eto yr argyhoeddiad fod Crist wedi dyfod i'r byd, a sylweddolant freuddwyd ofnadwy Jean Paul. Hwy a dybiant mai ei genadwri i ddynion ydoedd, 'Blant, *nid* oes genych Dad.'" Dywed yn

un o'i lythyrau at Dr. Jelf, "Yr ydwyf yn gwybod oddiwrth eiriau pendant yr Ysgrythyr fod 'Duw yn ewyllysio fod pob dyn yn gadwedig.' Yr ydwyf yn gwybod hefyd fod gan ewyllys dyn allu arswydus i wrthsefyll yr ewyllys yma o eiddo Duw. Pa mor bell y dichon y gallu yna fyned, ni feiddiaf ofyn i mi fy hun. Y mae yn anoddyn i ba un nid allaf edrych. Rhaid i mi gredu y bydd i ewyllys Duw mewn rhyw ffordd fuddugoliaethu; pa fodd, nid wyf yn gwybod." Casglai Jelf yn naturiol oddiwrth y geiriau uchod ei fod yn golygu, "Y *modd* nid ydwyf yn hòni ddarganfod, ond o'r *ffaith* yr wyf yn sicr, y bydd i ewyllys Duw fod pob dyn yn gadwedig ryw ffordd fuddugoliaethu." Ac eto sicrhëir Dr. Jelf gan yr awdwr fod y cyfryw ddadganiad o'i olygiad yn "neillduol bell oddiwrth y gwirionedd, mor agos ag y gallai fod y gwrthwyneb iddo." Er cymaint ei awydd i benderfynu y bydd gogoniant Duw yn y diwedd yn llewyrchu ar grëadigaeth allan o ba un y bydd pob pechod wedi ei ddilëu, y mae yn foddlawn i benderfynu, fel y peth eithaf, wedi y cyfan, y gall ddyfod iddo,—"Yr ydwyf yn sicr y bydd i drefn adferedig gael ei chario allan gan lawn fuddugoliaeth ewyllys gariadlawn Duw. Pa fodd y gallai hyny gymeryd lle tra y bo un ewyllys wrthryfelgar yn aros yn y grëadigaeth, nid allaf ddyweyd, er nad yw yn perthyn i mi ddyweyd ei fod yn anmhosibl." Fe welir nad ydyw ei Adferiad yn y diwedd yn dyfod ond ymron i'r un peth ag eiddo y duwinyddion y mae efe o bell mor ddifloesgni yn gondemnio. Mae yn sicr y bydd ewyllys gariadlawn y Bendigedig yn cael ei chario allan yn gyflawn, "fel y byddo Duw oll yn oll;" ond am ddim a ŵyr Mr. Maurice, fe all fod hyny yn berffaith gydsafol â bodolaeth ewyllysiau gwrthryfelgar o fewn ei deyrnas i barhâu, ac â chaethiwed yr ewyllysiau hyny mewn carchar o ba un na ddeuant allan yn dragywyddol. Y mae hyn, ar ol yr holl ymryson i gyd, yr un peth a rhoddi y ddadl i fyny. Nid oes dim yn aros ond y *teimlad o wrthwynebrwydd at athrawiaeth ag y byddai yn dda gan ddyn allu ei hanghredu.* Ac mewn Dadguddiad sydd drwyddo yn wrthdystiad mor bendant yn erbyn "cîg a gwaed," ac y mae ei athrawiaethau mwyaf sylfaenol wedi bod trwy yr oesoedd yn ffôl-bethau gan ddoethineb y byd hwn, nid ydyw yn rhyfedd os ydyw yr athrawiaeth o gospedigaeth dragywyddol yn cael ei hanghymeradwyo ganddo yr un modd.

2. Ond heblaw dangos fod adferiad cyffredinol *yn bosibl*, fel y golygir fod yr ymadroddion y cyfeiriwyd atynt yn gwneyd, fe gredir hefyd fod amryw eiriau yn y Bibl sydd yn *awgrymu yn bur glir y bydd y fath beth yn cymeryd lle.* Ar y rhai hyn, wedi y cwbl, y rhaid i'r ddadl orphwys. Beth bynag am y terfynolrwydd a allo fod, mewn rhai amgylchiadau amlwg, i ystyr y gair tragywyddol, a beth bynag am ein damcaniaethau o berthynas i dragywyddoldeb ac egwyddorion llywodraeth Duw, cyn y mae unrhyw reswm i ni, yn wyneb cynifer o dystiolaethau cryfion iawn i'r gwrthwyneb, benderfynu y bydd adferiad i'r rhai a fwrir i'r carchar mawr, mae yn rhaid i ni, allan o'r Gair sanctaidd ei hunan, gael rhyw foddlonrwydd pur ddibetrus i ymorphwys arno. Nid ydym yn sicr a fuasai astudiaeth syml o'r Gair ei hunan yn awgrymu peth felly i feddwl neb; ond y mae dynion, wrth gymeryd y syniad yma *at* y Gair, wedi cael eu tueddu i feddwl fod amryw ymadroddion ynddo sydd yn ffafriol i adferiad cyffredinol. Yr ydym ninnau yn rhwym o

ystyried yr ymadroddion hyny drosom ein hunain, cyn penderfynu y byddent yn ein cyfiawnhâu wrth dderbyn y cyfryw olygiad.

Y mae dosbarth o eiriau sydd yn dangos yr helaethrwydd anfeidrol sydd yn yr iawn. Y mae Oen Duw "yn tŷnu ymaith bechodau y byd." Y mae Efe, "trwy ras Duw, wedi profi marwolaeth dros bob dyn." Y mae wedi "ei roddi ei hun yn bridwerth dros bawb." "Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni, ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd." "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i ddamnio y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo ef." Fe gesglir oddiwrth yr ymadroddion hyn, a'u cyffelyb, y rhaid y bydd pob dyn yn y diwedd yn gadwedig. Mae yn ddiammheu fod yr iawn yn anfeidrol, ac ar ei bwys fe gyhoeddir yn yr efengyl iachawdwriaeth gyflawn i holl ddynolryw. Ond heb sôn yn bresennol am ddim arall, onid ydyw yr un trefniad Dwyfol ag a osododd y tragywyddol Fab i fod yn iawn, wedi trefnu hefyd mai trwy *gredu* ynddo, ac felly yn unig, y mae dynion yn cael eu bywyd yn ei angeu? "Yr hwn sydd yn credu ynddo Ef, ni ddemnir; eithr yr hwn nid yw yn credu, a ddamniwyd eisoes; o herwydd na chredodd yn enw uniganedig Fab Duw." Yr oedd llawer yn gommedd ei dderbyn, ond "cynifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredant yn ei enw ef." "Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll yn yr un modd." "Ac megys y dyrchafodd Moses y sarff yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn; fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Mae darpariaeth gyflawn yn y swper mawr ar gyfer yr oll a wahoddir iddo, ond am y rhai a wrthodant y gwahoddiad grasol, nid oes gan yr Hwn a wnaeth y ddarpariaeth ond dyweyd, "Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, na chaiff yr un o'r gwŷr hyny a wahoddwyd, brofi o'm swper i." Yn nammeg priodas mab y brenin (Mat. xxii.), y mae y gwahoddedigion, heblaw gwrthod caredigrwydd y brenin, yn dal ei weision, ac yn eu hanmharchu, ac yn eu lladd. "A phan glybu y brenin, efe a llidiodd, ac a ddanfonodd ei luoedd, ac a ddinystriodd y lleiddiaid hyny, ac a losgodd eu dinas hwynt." Pa mor gyflawn bynag ydyw darpariaeth yr efengyl, mae yn amlwg nad ydyw yn bosibl iddi, mwy na rhyw ddarpariaeth arall, fod o unrhyw fûdd ond i'r rhai a'i derbynio; ïe, y mae mawredd y ddarpariaeth, pan y mae dynion yn mŷnu ei gwrthod, yn cael ei ddangos fel yn trymhâu yn ofnadwy eu trueni. "A hon yw y ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni."

Y mae y Bibl yn dangos fod Adda a Christ yn bencyfammodwyr, ac fel y mae marwolaeth wedi dyfod trwy y naill, fod bywyd yn dyfod trwy y llall; ac oddiwrth eiriau a ddefnyddir i ddangos cyffredinolrwydd y cyfranogiad, fe hònir y rhaid fod y bywyd yn ogyfled â'r farwolaeth, ac am hyny nad all y bydd neb yn golledig. Cyfeirir at yr ymadroddion a geir yn Rhuf. v. a 1 Cor. xv. Yn y lle cyntaf, dangosir "nad megys y camwedd, felly mae y dawn hefyd. Canys os trwy gamwedd un y bu feirw llawer; mwy o lawer yr amlhäodd gras Duw, a'r dawn trwy ras

yr un dyn Iesu Grist i laweroedd." Ac "megys trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad, felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhâd bywyd." A "lle yr amlhäodd pechod, y rhagor-amlhäodd gras." Ac yn yr ail le, fe ddywedir, "Canys megys yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywhëir pawb." Hònir oddiwrth y cyferbyniad a wneir yn y geiriau uchod rhwng y "llawer" a'r "llaweroedd," y "pob dyn" a'r "pob dyn," yr "amlhâu" a'r "rhagor-amlhâu," y "pawb" a'r "pawb," nad oes ammheuaeth na fydd *pawb* yn y diwedd yn gyfranogion o'r bywyd, fel y maent wrth natur yn gyfranogion o'r farwolaeth. Os felly paham y sonir am y farwolaeth yn y Gair, ac yn enwedig mewn dull mor ofnadwy o fygythiol; a phaham yn neillduol y gosodid y fath arbenigrwydd ar ei thragywyddoldeb? Beth bynag all fod ystyr y geiriau uchod, rhaid prophwydo arnynt "yn ol cysondeb y ffydd," a chael eu gwirionedd hwy yn gyson â gwirioneddau mawrion eraill y Dadguddiad. Ond nid ydyw yn anhawdd oddiwrthynt hwy eu hunain i ni eu cael felly. Mae y rhai a gynnrychiolir gan Adda oll wedi myned dan farwolaeth; mae y rhai a gynnrychiolir gan Grist oll wedi dyfod yn etifeddion bywyd. Ond pwy yw y rhai a gynnrychiolir gan Grist yn Rhuf. v.? Pwy hefyd ond y rhai sydd yn credu ynddo, y rhai a ddesgrifir yn yr adnod gyntaf "wedi eu cyfiawnhâu trwy ffydd," ac yn meddu heddwch tuag at Dduw, ac o hyny ymlaen fel yn "gorfoleddu mewn gorthrymderau," ac yn "gorfoleddu yn Nuw," wedi eu "cymmodi âg ef," a'i gariad "wedi ei dywallt ar led yn eu calonau trwy yr Ysbryd Glân yr hwn a roddwyd iddynt?" Yn adn. 17eg, y rhai "sydd yn derbyn lliosowgrwydd o ras ac o ddawn cyfiawnder" ydynt. A chan deimlo nad oedd perygl i neb gamgymeryd ei feddwl, â yr apostol ymlaen yn yr 18fed adnod i wneyd y cyferbyniad rhwng pob dyn Adda, a phob dyn Crist, ac i ddangos tra-rhagoriaeth y gras sydd yn dwyn bywyd ar y farn sydd yn dwyn marwolaeth. Ac am y gair yn 1 Cor. xv. 22, am bawb yn cael eu bywhâu yn Nghrist, onid yw yr adnod ganlynol (y 23ain) yn ddigon i esbonio at bwy y cyfeiria?—"Eithr pob un yn ei drefn ei hun; y blaenffrwyth yw Crist, wedi hyny y rhai ydynt eiddo Crist yn ei ddyfodiad ef." Y pawb a fywhëir yn Nghrist ydyw y rhai sydd yn *eiddo Crist*. Mae ymadroddion cyffredinol yn cael eu defnyddio yn barhäus mewn ystyr gyfyngedig; ond am y geiriau uchod, nid yn unig y mae athrawiaeth y Bibl yn gyffredin yn dangos eu bod i'w cymeryd mewn ystyr neillduol, ond y mae eu cyd-destynau yn penderfynu yn amlwg yr ystyr ymha un y mynid i ni eu cymeryd.

Fe olygir fod geiriau yn dysgu adferiad cyffredinol yn uniongyrchol. Megys Act. iii. 21: "Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob peth, y rhai a ddywedodd Duw trwy enau ei sanctaidd brophwydi erioed." Mae y geiriau "adferiad pob peth" yn dra chyfleus i'w cymeryd i fyny ar eu pen eu hunain, a rhoddi iddynt yr ystyr a fyddo yn cyd-daro â ffansi y darllenydd. Ond adferiad pob peth "y rhai a ddywedodd Duw trwy enau ei sanctaidd brophwydi erioed" ydyw adferiad yr adnod. Y mae y prophwydi, gyda llymdra neillduol, yn cyhoeddi gwaeau Duw ar ei elynion, ac yn dangos fod ei ddigofaint yn eu herbyn yn llosgi hyd uffern isod; a oes unrhyw awgrym yn cael ei roddi gan un o honynt a allo arwain neb i gasglu y bydd y digofaint hwnw, rywbryd, wedi ei losgi ei hunan allan, ac y bydd gelynion Duw,

yn nheyrnasiad cyffredinol cyfiawnder, yn cael eu derbyn i'w ffafr, yr un modd â'i gyfeillion? Haerir fod "adferiad pob peth" yn anmhosibl, os bydd dim heb ei adferu. Ac eto fe ddefnyddir yr *un gair*, a chan Grist ei hunan, am weinidogaeth Ioan Fedyddiwr. "A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt, Elias yn wir a ddaw yn gyntaf, ac a edfryd bob peth." Yr oedd yr adferiad hwnw, mae yn amlwg, er ei fod i gymeryd i fewn "bob peth," yn gadael llawer iawn o bethau heb eu dwyn i drefn; ac nid ydyw yn anmhosibl y bydd yr adferiad mawr ar orpheniad gwaith y prynedigaeth yn gadael rhyw bethau heb eu hadferu; neu yn hytrach y bydd yn rhan o'r adferiad hwnw fod gan Dduw uffern yn garchar i'w elynion anghymodlawn, yn gystal a nefoedd yn gartref i'w blant. Drachefn fe gymerir fod y geiriau am y "crëadur," yn Rhuf. viii. 19—23, yn dysgu adferiad cyffredinol. Y mae "awyddfryd y crëadur yn dysgwyl am ddadguddiad meibion Duw," y mae "dan obaith y rhyddhëir yntau hefyd o gaethiwed llygredigaeth i ryddid gogoniant plant Duw," ac mewn dysgwyliad a hiraeth am y cyfnewidiad hwn y mae "pob crëadur yn cyd-ocheneidio ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hwn." Fe ddeallir fod y "crëadur" yma yn golygu dynolryw, ac oddiwrth hyny fe gesglir y bydd holl blant dynion yn gadwedig. Fe deimla pawb ag sydd yn meddu rhywfaint o gymhwysder i ffurfio barn ar faterion o'r fath, fod adnodau y "crëadur" yn yr wythfed o'r Rhufeiniaid yn dra anhawdd eu hesbonio, a hyny o herwydd newydd-deb a beiddgarwch y syniad, beth bynag ydyw, sydd yn eu llanw. Ymddengys mai y golygiad y mae esbonwyr goreu y dyddiau hyn yn gogwyddo ymron yn unfryd iddo ydyw, mai yr hyn a olygir wrth y "crëadur" ydyw y grëadigaeth, yn fywydol a difywyd. "Yr ydwyf yn teimlo," ebe Elicott (*Destiny of the Creature*, p. 2), "wrth ddewis y fath destun, fy mod, mewn rhyw radd, yn gosod fy hun yn agored i'r cyhuddiad o ryfyg, ac o ymwthio at bethau nad ydynt wedi eu llawn ddadguddio; eto yn yr achos neillduol hwn, yr ydwyf beth yn hyderus wrth gofio fod holl esbonwyr mwyaf sobr a meddylgar y dyddiau hyn yn amlwg yn cydogwyddo at un eglurhad cyffredin ar yr adran dra dyrys yma. * * Mae hyn yn cael ei ddangos yn bur amlwg gan y ffaith fod Usteri yn y ddau argraffiad olaf o'i *Entwick. d. Paulen. Lehrb.* wedi gweled yn brïodol alw yn ol y farn a ddygid ymlaen yn y tri argraffiad blaenorol fod *κτίσις* (ar ystyr pa un y mae y cwbl yn troi) i gael ei gyfyngu at *ddynolryw.* Fe geir fod golygiadau yr esbonwyr diweddar, Tholuck, Reiche, Rückert, Olshausen, Fritzsche, De Wette, Philippi, Meyer, Alford, oll yn *sylweddol* yr un. Y mae rhai, fel Olshausen, yn estyn cyfeiriad y *κτίσις* braidd yn rhy ëang ('cyfanrwydd y grëadigaeth, *οὐρανὸς καὶ γῆ*, y byd ysbrydol a materol'); y mae eraill, drachefn, fel Fritzsche, mor anmhrïodol yn ei gyfyngu yn unig at y grëadigaeth ddifywyd ('ipsam mundi machinam; cœlos, sidera, æerem, terram'); eto y mae y cydwelediad sylweddol yn ddigon tarawiadol i roddi i'r ymofynydd gryn hyder yn amlinelliad cyffredinol yr eglurhâd a gynnygir gan esbonwyr diweddar." A'r eglurhâd hwnw ydyw, yn ol Meyer, "y cyfan o'r grëadigaeth ddireswm yn fywydol a difywyd;" neu yn ol De Wette, "holl natur ddifywyd a bywydol yn wrthgyferbyniol i ddynolryw." Y mae amryw olygiadau eraill wedi eu cynnyg, ond mae yn debyg mai un o'r hai gwaelaf o'r cyfan ydyw yr un sydd yn cymeryd y "crëadur" fel yn arwyddocâu holl ddynolryw. Pa fodd y gellir dyweyd fod dynol-

ryw wedi eu darostwng i oferedd ac "nid o'u bodd?" Neu eu bod yn "dysgwyl am ddadguddiad meibion Duw?" Neu eu bod yn gobeithio am gael eu "rhyddhâu o gaethiwed llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw?" Ac yn enwedig eu bod, mewn hiraeth am y waredigaeth fawr yma, "yn cydocheneidio ac yn cydofidio hyd y pryd hwn?" Y mae golygiad mor ryfeddol o ammheus, ar destun anhawdd, yn sicr yn sylfaen sydd yn llawer iawn yn rhy wan i adeiladu arni y ddamcaniaeth o adferiad cyffredinol.—Fe sonir (Eph. i. 10.) am i Dduw, "yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, grynhoi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear, ynddo ef;" a thrachefn, (Col. i. 20.), "trwyddo ef gymmodi pob peth âg ef ei hun; trwyddo ef, pa un bynag ai pethau ar y ddaear, ai pethau yn y nefoedd." A dadleuir fod y geiriau hyn yn golygu adferiad cyffredinol. Y mae hyny yn ddyeithr iawn. Mae Eph. i. drwyddi yn sôn am y credinwyr, y rhai sydd yn "ffyddloniaid yn Nghrist Iesu;" wedi eu "hethol" gan Dduw yn Nghrist "cyn seiliad y byd;" "wedi eu rhagluniaethu i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo ei hun, yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ef;" y rhai y mae iddynt "brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau yn ol cyfoeth ei ras ef;" y rhai y bu Duw, trwy Grist, yn "helaeth iddynt yn mhob doethineb a deall, gwedi iddo hysbysu iddynt ddirgelwch ei ewyllys, yn ol ei foddlonrwydd ei hun, yr hon a arfaethasai efe ynddo ei hun;" a hyn oll wedi ei wneyd fel, yn yr oruchwyliaeth hon, cyflawnder yr amseroedd, cyflawnder yr amser, y "gallai grynhöi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear, ynddo ef." A ydyw yr holl ras anfeidrol yma wedi ei ddangos i gredinwyr, fel yr adferid, rywbryd yn nhragywyddoldeb, bob ysbryd coll i fywyd a gwynfyd? "Er dyddiau Origen," ebe Dr. Eadie, "y mae amddiffynwyr adferiad cyffredinol wedi ceisio prawf-destun yn yr ymadrodd hwn. Mae y cyddestun, pa fodd bynag, yn cyfyngu y 'pethau sydd ar y ddaear' i'r cyfryw ag y mae iddynt brynedigaeth trwy ei waed Ef. Nid ydyw dyn anmhrynedig yn cael ei gydnabod. Ond nid ydyw cospedigaeth yr anedifeiriol yn ymyraeth âg unoliaeth llywodraeth Crist. Y mae drygioni wedi colli ei allu i grëu terfysg, canys y mae yn cael ei gospi, ei gyfyngu, a'i ddal fel peth eiddil yn ngafaeliad y Dialydd Hollalluog." Ac fel y dywed Esgob Ellicott, "Mae y testun yma yn aros gyda phwyslais neillduol iawn ar yr—*ynddo Ef*, ar gorphoriad ynddo Ef—pwyslais ag yr ymddengys fod ailadroddiad y geiriau, 'ynddo Ef,' yn cael ei fwriadu yn arbenig i'w ddwyshâu. Ië, nid ymddangosai yn rhyfygus dyweyd, ei fod fel pe buasai yn amcan yr gan Ysbryd Glân i beri i ni deimlo yn bendant, nad ellir yn brïodol ystyried fod effeithiolrwydd cariad gwaredigol yn cyrhaedd at yr hyn sydd y *tu allan* iddo Ef, ac ar *wahân* oddiwrtho, boed farwol neu anfarwol, dynol neu angelaidd." Mae y gair yn Col. i., os yw yn bosibl, yn dysgu hyn yn fwy amlwg fyth.—Dadleuir fod Phil. ii. 10., lle y dangosir fod "pob glin" i blygu i'r Gwaredwr dyrchafedig, "o'r nefolion, a'r daearolion, a than-ddaearolion bethau," yn profi y bydd pawb sydd yn uffern rywbryd yn ymostwng iddo Ef, ac felly yn cael eu cadw. Cyn y gellir profi y fath beth oddiwrth y gair hwn, rhaid dangos nad oes dim plygu glin yn cael ei olygu yn y Bibl ond fel arwydd o ymostyngiad gwirfoddol. Yn Rhuf. xiv. 10—13, fe geir yr ymadrodd mewn ystyr tra gwahanol: "Eithr paham

yr wyt ti yn barnu dy frawd? neu paham yr wyt yn dirmygu dy frawd? canys gosodir ni oll ger bron gorseddfainc Crist. Canys y mae yn ysgrifenedig, Byw wyf fi, medd yr Arglwydd; pob glin a blyga i mi, a phob tafod a gyffesa i Dduw." Ac y mae y defnydd yma a wneir o'r ymadrodd gan Paul, yn ddigon i benderfynu mai dyna yr ystyr sydd iddo hefyd (Esa. xlv. 23) yn yr Hen Destament. Tebyg ydyw y casgliad a dyna Adferwyr oddiwrth Phil. iii. 21: "Yr hwn a gyfnewidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus ef, yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon efe, ïe, ddarostwng pob peth iddo ei hun." "Y mae darostyngiad i Grist," ebe Dr. Hartley, "yn ol arddull ffugyrol prophwydoliaethau y Bibl, yn ddedwyddwch, nid yn unig yn ddarostyngiad trwy orfodaeth, fel yr un i orchfygwr daearol." Sut felly, pan mae y Gair yn llefaru mor amlwg am "osod ei elynion yn droedfainc i'w draed?" Heblaw hyny mae y gair yn cyfeirio yn amlwg at nerthol weithrediad ei "ddichon" mawr Ef.—Y mae Dr. Chauncy *(The Salvation of All Men)* yn ystyried fod y geiriau yn 1 Cor. xv. 24—28, sydd yn dangos y Mab yn rhoddi i fyny y deyrnas i Dduw a'r Tad, fel y byddo Duw oll yn oll, "yn derfynol o honynt eu hunain, pe na buasai yr un testun arall yn y Bibl o gyffelyb ystyr," ar y pwnc o adferiad cyffredinol. Yr ydym ni yn methu gweled pa fodd. Yr hyn a welwn ni yn y geiriau ydyw y bydd y Mab, yn y "diwedd," ar derfyn ei waith mawr Cyfryngol, wedi iddo ddinystrio pob gelyn, hyd yn nôd angeu, "yr olaf," fel yr ydym ni yn edrych arno, a phob peth wedi eu darostwng dan ei draed, hyd yn nôd pechod a'r diafol, a gallu pob pendefigaeth ac awdurdod a nerth i godi unrhyw wrthwynebiad iddo wedi ei dragywyddol ddilëu,—y bydd Efe y pryd hyny yn "rhoddi i fyny," hyny yw, yn cyflwyno, yn adferu y deyrnas i Dduw a'r Tad,—yn ei chyflwyno iddo Ef ar ol holl chwalfa ofnadwy pechod, yn deyrnas adferedig, ac o hyny allan yn cydfwynhâu gyda'r Tad y frenhiniaeth arni, fel y byddo yr oll o Dduw yn dragywyddol ogoneddus yn yr oll o'i weithredoedd. Ond yr ydym yn cael lle amlwg i gasglu, pan y bydd y pethau mawrion hyn oll wedi cymeryd lle, y bydd holl elynion yr Iesu wedi eu gosod dan ei draed, yn gystal ag y bydd y cynhauaf mawr o eneidiau sanctaidd, o ba un y mae efe yn flaenffrwyth, wedi ei ddïogelu i'r bywyd tragywyddol.

Fe olygir hefyd fod rhai geiriau yn y Bibl yn rhoddi ar ddeall y bydd pechaduriaid, wedi iddynt ddyoddef digon, yn cael eu rhyddhâu. Felly y cymerir Mat. v. 25, "Yn wir meddaf i ti, Ni ddeui di allan oddiyno, hyd oni thalech y ffyrling eithaf." Dywedir fod y gair yma yn awgrymu fod amser pan y bydd y dyledwr yn cael ei ollwng yn rhydd. Mae y difrifwch mawr â pha un y lleferir y geiriau yn awgrymu yn amlycach o lawer y bydd carchariad y dyn a ballo gyttuno â'i wrthwynebydd yn un parhäus; a'r un modd, yn ystyr ddyfnaf y geiriau, y bydd trueni pechaduriaid anedifeiriol mewn byd arall yn dragywyddol. Pa bryd y gallant fod wedi talu yr hatling eithaf? Mae yn amlwg nad all fod unrhyw haeddiant yn nyoddefiadau y damnedigion a all glirio eu dyled; ac am hyny nid oes dim i ddysgwyl am dano ond carchariad parhäus. Ac fe sonir, 1 Cor. iii. 15, am fod "yn gadwedig trwy dân," oddiwrth yr hyn y cesglir y bydd adferiad cyffredinol, ar ol rhyw gymaint o dân, dyweder yn y purdan. Y mae y tân y sonir am dano yn y geiriau hyn

yn rhywbeth sydd i brofi "gwaith" pob dyn gyda chrefydd,—y gwaith, pa fath bynag ydyw, a oruwchadeiledir ar Iesu Grist fel sylfaen. Y mae rhyw "ddydd" i'r tân hwn, i'r prawf a osodir ar lafur crefyddol dynion; "y dydd a'i dengys." Pa ddydd? Fe allai yma, fel mewn manau eraill, "dydd profedigaeth," sydd yn dyfod i gyfarfod dynion y naill wêdd neu y llall yn ffordd rhagluniaeth; neu, fel y deallir yn gyffredin yn yr Ysgrythyrau, dydd y farn. Mae yn bosibl y bydd tân y prawf yn dinystrio "gwaith" dyn, er iddo ef ei hun fod yn gadwedig; ond os bydd efe ei hun yn gadwedig, "eto felly megys trwy dân." Pan ddinystrir ei waith, fe fydd ei fywyd hefyd mewn perygl; ond er y cwbl fe dybir y bydd ei fywyd yn ddïogel. Ond yn ol y deongliad dan sylw fe olygir, yn groes i bob tystiolaeth Ysgrythyrol, y bydd rhyw ddydd i brofi ar ol dydd y farn; ac i brofi dynion fyddant eu hunain wedi dianc, er fod eu gwaith wedi ei losgi!

Mae yn ddrwg genym weled yn yr holl ymdrechion uchod i brofi adferiad cyffredinol allan o'r Ysgrythyrau, mor ryfeddol o ddiystyr ydyw y rhai a geisiant sefydlu y golygiad hwn o gyd-destynau yr ymadroddion a ddyfynant, yn gystal ag o rediad cyffredin yr Ysgrythyrau. Ymffrostiant yn ddirfawr mewn gonestrwydd beirniadol, a rhwymant ni yn gildyn, pan y mae hyny yn ateb eu dyben, wrth eiriadaeth eu dyfyniadau. Ond pwy a oddefai i neb gymeryd brawddegau yma a thraw, dyweder o ysgrifeniadau Plato, heb dalu un sylw i'w cysylltiadau, ac yn hollol ddiystyr o amcan cyffredinol ei holl athroniaeth, gan osod allan rhyw ddamcaniaethau gwylltion y gellid ystumio y brawddegau hyny i fod yn ffafriol iddynt, fel cyfundrefn athronyddol Plato? Ac yn enwedig, pa fodd y goddefid i ddynion a wnelent ynfydrwydd o'r fath, rodresu eu hymffrost ar oesoedd o efrydwyr goreu yr athronydd fel rhai wedi eu rhwymo, yn ol ei gymhariaeth enwog ef ei hun, yn nhywyllwch yr ogof, ac heb ddirnad ond nesaf peth i ddim am y gwersi y byddant wedi rhoddi eu heinioes i'w hastudio? Ac eto felly y mae yr Adferwyr yn gwneyd â'r Ysgrythyrau sanctaidd, ac felly â'r dynion galluocaf a phuraf trwy yr oesoedd sydd wedi cysegru eu holl ymadferthoedd i geisio cael allan eu hystyr. Fel y crybwyllasom yn ein herthygl flaenorol, nid ydyw y Parch. Edward White yn credu mewn cospedigaeth ddiddarfod; y mae efe yn un o amddiffynwyr galluocaf y ddamcaniaeth o Ddifodiad; ond eto dyma yr olwg a gymer efe ar ddull yr Adferwyr o esbonio yr Ysgrythyrau:—"Tybier fod Gweithred Seneddol yn dosranu tiroedd neillduol rhwng mil o bobl, yn dechreu gyda dadganiad cyffredinol o ewyllys da at yr holl gwmni a nodir i'r gwaddoliad, ac o ddymuniad ac amcan difrifol ar ran y Frenhines a'r Senedd am raniad cyfartal rhwng yr holl fil; ond yn rhagddarbod yn benodol, mewn geiriau yn cael eu hailadrodd drachefn a thrachefn, os byddai i neb o honynt gyflawni lladrad neu lofruddiaeth, neu anufuddhâu i'r Dirprwywyr fo wedi eu penodi i ranu y tir, y byddai iddynt, wedi eu cael yn euog, gael eu hamddifadu o'u cyfranau o'r eiddo, a'u cau allan a'u tori ymaith byth rhag cael rhan o'r tir. Beth a feddyliem o ddadleuydd a ddefnyddid gan y cyfryw ddrwgweithredwyr euog-farnedig pe sylfaenai ei ddadl, mewn cyngaws yn erbyn y Dirprwywyr, ar iaith glir a chynnwysfawr ymadroddion cyffredinol y Weithred, a amlygent y bwriad o ddosbarthiad cyfartal, ac a broffesent yr un ewyllys da yn y Senedd at bob un o'r mil?

Pe sylfaenai ddadl ar y ffaith fod y Frenhines yn caru ei holl ddeiliaid yn gyfartal, ac am hyny yn ddiammheuol ei bod yn amcanu i'r da a'r drwg yr un modd gyfranogi yn y dosraniad, fe wnai barnwyr a rheithwyr fy̆r waith gyda'r fath ddadl. Hwy gyfeirient at y rhag-ammod oedd wedi cael ei ddadgan drachefn a thrachefn, ac at y prawf o ddrygioni y troseddwyr; a hwy a yrent yr erlynydd ymaith gyda chostau, a chyda cherydd haeddiannol am ei hyfdra. Yn awr y mae dadleuydd yr erlynydd yma yn gywir yn cynnrychioli y Cyffredinolwyr. Y maent yn cymeryd y dadganiadau clir am gariad Duw tuag at ddynion, am ei amcanion grasol Ef tuag at bob dyn yn Nghrist, ac yn hy̆f yn dwyn ymlaen y dadganiadau hyn i gau allan y rhag-ammod oedd, yr un mor glir, wedi ei ailadrodd gannoedd o weithiau yn Ngweithred y Prynedigaeth, *na chaiff troseddwyr cildyn fyned i'r nefoedd*—y bydd i bawb fo heb eu haileni *farw, cael eu dyfetha, a chael eu dinystrio yn dragywyddol.* Yn ein barn ni nid oes engraifft fwy arswydol o drais ar eiriau sanctaidd yn hanes y byd. Os ydyw y bygythion hyn o farwolaeth, dinystr corff ac enaid yn uffern, mewn gwirionedd yn arwyddocâu, fel y tybia Mr. Jukes, dynged o ba un y bydd i bechaduriaid oll ddianc i'r nefoedd yn y diwedd, ymddengys nad yw o ddim dyben penffwdanu yn hwy uwch ben Bibl nad ydyw byth yn meddwl yr hyn y mae yn ddywedyd. Bydded i'r ysgrifenwyr hyn ystyried dau lŵ Duw mewn perthynas i Palestina. Fe 'dyngodd iddo ei Hun' y rhoddai y wlad hono i Abraham ac i'w hâd byth. Fe 'dyngodd' hefyd 'iddo ei Hun,' 400 mlynedd wedi hyny (Num. xiv.), na cha'i yr un o'r genhedlaeth oedd wedi gweled ei weithredoedd yn yr Aipht fyned i mewn i'r wlad hono. Yr oedd y naill lŵ yn cyfweddu ac yn esbonio y llall. Nid oedd dim tebyg i drugaredd y tu cefn i'r ail lŵ yna o gauad allan. 'Cwympodd eu celaneddau hwynt yn y diffaethwch.' Nid bygythiad gwâg oedd y 'Fel mai byw fi.' Yr un modd y mae bygythiad pendant o 'gospedigaeth dragywyddol,' o 'farwolaeth,' o 'ddinystr tragywyddol,' i bawb a wrandawant yr Efengyl ac a'i hesgeulusant neu a'i gwrthodant; ac yr ydym yn ystyried fod unrhyw ymyryd â'r fath fygythion yn niweidiol i'r eithaf i ddylanwad crefydd ymhlith dynion. Y mae nid yn unig yn cefnogi gobeithion gau yn y diofal, ac yn eu harwain i anghofio HEDDYW iachawdwriaeth, ond tery wrth wraidd ffydd yn ngwirionedd yr Hollalluog."—*Life in Christ Only, p.* 48, 49.

Yn wir, y prawf cryfaf o wendid y golygiad dan sylw ydyw y diffyg ymddiried a ddangosir ynddo gan y dynion mwyaf galluog a difrifol a dueddwyd i'w gymeryd i fyny. Cawsom yn ein herthygl flaenorol fod Foster yn cydnabod ei fod iddo ef yn ffrwyth argraff ar ei feddwl pan yn ieuanc, yn hytrach nag yn gynnyrch ymchwiliad; a'i fod hefyd yn cydnabod fod iaith yr Ysgrythyr ar y mater yn "ofnadwy o gref;" fod "barn gyffredin, os nad gyffredinol, y duwinyddion yn ei erbyn," a'i "fod yn gwestiwn pwysig, A ydyw yn debyg y byddai cynifer o filoedd o ddynion galluog, dysgedig, hynaws, a duwiol, oll mewn camgymeriad?" Yr ydym wedi dangos yn yr erthygl hon hefyd fod Mr. Maurice, yn enwedig yn eithaf ei addfedrwydd, yn petruso llawer rhag defnyddio geiriau cryfion, pa mor angerddol bynag ei ddymuniad am allu credu fod y golygiad yn gywir; ei fod yn gorfod pledio ei anwybodaeth, a chydnabod na pherthynai iddo ef ddywedyd na fydd buddugoliaeth

gyflawn ewyllys Duw yn anmhosibl, er fod gwrthryfelwyr yn ngharchar o fewn ei lywodraeth. Ebe Syr J. Stephen (*Ecclesiastical Biography,* vol. iii.), "Pwy fu erioed yn myfyrio ar gymeriad Duw, ac ar y goruchwyliaethau Dwyfol fel y maent wedi eu gwneyd yn wybyddus i ni yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, *heb y teimlad llethol o ddirgelwch y tu hwnt i ddesgrifiad pwysig, aruthrol, ac anamgyffredadwy?* Mor ofnadwy ydyw y pwys y mae hanes y Bibl yn roddi i fygythion y Bibl! Y mae ad-daliad wedi ei stampio ar bob tudalen a llinell o'r gyfrol ofnadwy yna; a rhaid i'r hwn nad yw yn canfod yr argraffnod hwn ar y testun sanctaidd, ei ddeongli yn ol rhyw reolau beirniadaeth a wrthodid yn gyffredinol fel yn gwbl eithafol a gwyllt, pe yn cael eu cymhwyso at unrhyw ysgrifen arall." Cydnebydd Olshausen (ar Mat. xii. 31), "nad ellir codi gwrthddadl yn erbyn tragywyddoldeb cospedigaethau ar dir ieithyddol;" ac er y cydnabyddai Tholuck ei fod "o ran pwnc, hyny yw, fel duwinydd, yn cael ei dynu at Gyffredinoliaeth; eto yn feirniadol, hyny yw, fel esboniwr, ni wyddai pa fodd i'w gyfiawnhâu." A phan ofynid iddo gan Dr. Sears o America, yn Llundain, ar adeg cyfarfod y Cynghrair Efengylaidd, Ai nid ydoedd yn cael adnodau o'r Ysgrythyr oedd yn bendant yn sicrhâu cospedigaeth dragywyddol y drygionus? Ei ateb oedd, "Ydwyf, Mat. xxv. 46, a rhai eraill cyffelyb." Bid sicr,

Fools rush on where angels fear to tread;

ond y mae arafwch neillduol gwŷr fel y rhai a enwyd i ddadgan dim tebyg i argyhoeddiad mewn perthynas i ddamcaniaeth y *teimlent* mor ffafriol iddi, yn myned yn dra phell i ddangos y dylem fod yn hynod o ochelgar rhag ymollwng o flaen hyder dysgawdwyr arwynebol gyda dadl sydd mor ryfeddol o wan, ac ar fater sydd o'r fath ddirfawr bwys. Yr ydym yn cofio yn dda ein bod yn gofyn unwaith i ŵr ieuanc yr ymddyddenid âg ef, mewn Cyfarfod Misol yn Machynlleth, fel ymgeisydd am y weinidogaeth, Beth, yn ei fryd ef, oedd dysgeidiaeth y Bibl ar y mater o gospedigaeth yr annuwiol? Tra yr oedd y gŵr ieuanc yn adrodd yn dra phriodol yr adnodau oedd, yn ei farn ef, yn dysgu yn amlwg fod y gospedigaeth yn dragywyddol, clywem y diweddar Barchedig Richard Humphreys, y pryd hyny o Bennal, yn sibrwd rhywbeth yn bur floesg y tu cefn i ni; wedi gofyn i'r henafgwr doeth ac anwyl, oedd y pryd hyny yn tynu yn gyflym tua'r orphwysfa, a fyddai mor fwyn a cheisio adrodd drachefn yr hyn a ddywedasai, atebodd, ychydig yn fwy clir, ond gyda theimlad a drydanai yr holl gyfarfod, "Ni leiciwn i mo'i threio hi, rhag ofn ei bod yn dragywyddol." Rhag ofn ei bod! Y mae yr ystyriaeth ofnadwy yma yn difrifoli y meddyliau mwyaf galluog a phur wrth aros uwchben y fath fater, ar wahân i gryfder y rhesymau yn erbyn terfynolrwydd y gospedigaeth. Ond yn annibynol ar bob teimladau, yr ydym ni yn methu gweled fod dim rheswm yn bosibl o blaid y fath ddamcaniaeth. Cyn y gellir ei sefydlu, rhaid profi fod yn bosibl i ddyn edifarhâu yn y byd arall, wedi iddo gyrhaedd y fath sefydlogrwydd mewn drygioni ag i hen wneuthur ei edifeirwch yn gwbl anobeithiol hyd yn nôd yn y byd hwn; fod dydd gras eto yn parhâu ar ol y sicrwydd eithaf ei fod wedi myned heibio am byth, ac fod gwaredigaeth yn bosibl ar ol i dynged pob dyn gael ei sêlio yn dragywyddol

ddigyfnewid; fod rhyw aberth arall, pan y dywed y Gair "nad oes aberth mwyach wedi ei adael dros bechodau;" ac fod dïangfa i'w chael, pan y dengys y Gwirionedd yn amlwg nad oes mwyach ond "rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr;" fod rhyw ammodau i fygythion Duw am y digofaint sydd ar ddyfod, pan nad ydyw Efe ei hunan wedi rhoddi un awgrym am y fath beth, ond pob sicrhâd eu bod yn gwbl ddiammodol, yn ddi-edifarus, yn ddi-alw yn ol; ac yn olaf, fod modd esbonio ymaith y gospedigaeth ag y mae y geiriau cryfaf sydd yn bosibl yn yr Ysgrythyrau megys yn gruddfan dan anfeidrol lwyth o ystyr wrth ddangos ei mawredd,—yr oedd Mab Duw yn ŵylo wrth weled pechaduriaid Jerusalem ar syrthio iddi,—ïe, na fu yn ormod ganddo Ef ei dyoddef ei Hunan er mwyn i ni gael ein gwaredu rhagddi, ac y bu dan ei phwysau ofnadwy yn chwysu y gwaed yn yr ardd, ac ar Galfaria yn marw!

Dywedasom mai y prif olygiad arall y mae dynion, pan yn ceisio gochel poenusrwydd y syniad o gospedigaeth dragywyddol, wedi teimlo eu meddyliau yn gogwyddo ato ydyw y ddamcaniaeth o Ddifodiad.

Rhaid addef fod amryw ddynion lled enwog y dyddiau hyn yn siarad ac yn ysgrifenu yn bur gryf o blaid y golygiad hwn. Y maent yn deall y bydd y dinystr a fygythir ar bechaduriaid anedifeiriol, yn llythyrenol yn ddifodiad arnynt. Nid ydynt yn cyttuno pa bryd y bydd y difodiad hwnw yn cymeryd lle. Tybia rhai mai yn angeu, a chadarnhânt y golygiad â'r fath adnodau â Preg. ix. 10; Salm cxlvi. 3, 4; Jer. li. 57. Barna eraill y bydd y difodiad hwnw yn cymeryd lle yn union ar ol dydd y farn. Ond ymddengys mai y farn fwyaf gyffredin ydyw y bydd yr anedifeiriol, cyn ei ddifodiad, yn dyoddef cospedigaeth yn uffern yn ol ei weithredoedd, a hyny, fe allai, am gyfnod rhyfeddol o faith. Fe ddadleuir fod y golygiad cyffredin am ddyn fel crëadur anfarwol, ar dir athroniaeth, heb un rheswm o'i blaid, ac ar dir y Bibl, yn gwbl ddisail; mai yn Nghrist yn unig y mae bywyd i bechadur yn bosibl, hyd yn nôd yn yr ystyr o hanfodiad; ac y rhaid fod y geiriau cryfion sydd yn sôn am ei ddinystr i'w cymeryd yn eu hystyr lythyrenol, ac yn golygu difodiad. Mae yn debyg mai y mwyaf amlwg o amddiffynwyr y golygiad hwn yn Mhrydain ydyw y gŵr y cyfeiriasom ato fwy nag unwaith o'r blaen, y Parch. Edward White, gweinidog St. Paul's Chapel, Kentish Town, Llundain. Cawsom ei fod ef yn gohebu â Foster ar y mater yn 1841. Yn 1845 cyhoeddodd lyfr o dan yr enw, *Life in Christ*, ymha un y dadleuai nad oedd dim yn aros dyn allan o Grist ond dinystr, a'r dinystr hwnw yn ddifodiad. Bu y llyfr hwnw yn foddion i argyhoeddi y Parch. Samuel Minton, M.A., a'r Parch. Thomas Davis, M.A., o Roundhay, ac eraill, y rhai erbyn hyn ydynt amddiffynwyr mwyaf blaenllaw y golygiad. Y mae Minton wedi ysgrifenu llyfr ar y pwnc, dan yr enw, *The Glory of Christ in the Creation and Reconciliation of all things*, a Davis un arall, dan yr enw, *Endless Suffering not the Doctrine of Scripture.* Y mae Dr. Joseph Parker hefyd yn amddiffyn y golygiad yn ei lyfr, *Old Truths in new Forms.* Ac heblaw gweithiau eraill allesid enwi, y mae cyhoeddiad misol, *The Rainbow*, dan olygiad Dr. Leask, yn cael ei gyhoeddi i ddadleu y golygiadau hyn. Fe ysgrifenir arnynt i gyhoeddiadau eraill hefyd. Fe ymddangosodd

llyfryn Mr. White, a nodasom uwchben yr erthyglau hyn, *Life in Christ Only*, fel llythyrau yn y *Christian World*, cyn ei gyhoeddi ar wahân; ac y mae llawer o lythyrau eraill hefyd ar yr un mater wedi ymddangos yn y papyr hwnw. Ac y mae yn ddealledig fod Mr. White yn parotöi llyfr mawr yn bresennol, dan gyffelyb enw i'w waith cyntaf, *Life in Christ*, ymha un yr addawa ymdriniaeth ofalus ar yr holl gwestiwn yn ei berthynas â duwinyddiaeth a bywyd cyffredin, ac y symia i fyny wersi ei fywyd ar y mater. Y mae y frawdolioeth sydd yn credu yn y golygiadau hyn hefyd yn hynod o weithgar yn eu hymdrech i ledaenu eu golygiadau trwy draethodau, &c., ac nid ydyw yn ormod ganddynt eu pregethu o'r pulpudau. Y maent yn ymddangos yn argyhoeddedig fod gwirionedd Duw ganddynt, ac yn credu fod ffyddlondeb iddo Ef yn galw arnynt i beidio gosod eu canwyll dan lestr, ond mewn canwyllbren, fel y chwaler o'r eglwys y gaddug y mae drwy yr holl ganrifoedd wedi bod yn eistedd dani. Bid sicr, fe ddangosir difodiad fel rhywbeth tra ofnadwy. Er fod amrywiaeth mawr yn eu golygiadau am dano,—o'r syniad materawl sydd yn ei wneyd yn ddiffoddiad bythol ar fodolaeth dyn yn angeu, i'r syniad y bydd ei fodolaeth yn cael ei dreulio allan yn llythyrenol gan ddyoddefiadau, ac yn enwedig y bydd y pechadur, ar ol dyoddef felly am dymmor o aruthrol feithder am ei anwiredd, o'r diwedd yn cael ei ddinystrio gan Dduw,—eto y maent oll yn ceisio ei osod allan fel peth ofnadwy iawn. Mae yn wir fod difodiad yn beth ag y mae natur yn ymgroesi rhagddo gyda dirfawr ddychryn. Cyfeirir at ymadroddion Milton yn Ngholl Gwŷnfa, llyfr. ii., lle y dangosir gyda'r fath arswyd yr edrychai ysbryd coll ar ddifodiad, hyd yn nôd fel ymwared oddiwrth ddyoddefaint angerddol:—

Sad cure! for who would lose,
Though full of pain, this intellectual being,
Those thoughts that wander through eternity,
To perish rather, swallowed up and lost
In the wide womb of uncreated Night,
Devoid of sense and motion?

Ond y mae yn dêg sylwi fod y geiriau yna yn cael eu gosod gan Milton yn ngenau Belial, yr ysbryd mwyaf dirmygedig yn ei olwg o'r holl gethern. Y mae Moloch, yr hwn, a dyweyd y lleiaf am dano, sydd yn dangos teithi arwraidd, yn llefaru yn wahanol iawn:—

What can be worse
Than to dwell here, driven out from bliss, condemned
In this abhorred deep to utter woe;
Where pain of unextinguishable fire
Must exercise us without hope of end,
The vassals of his anger, when the scourge
Inexorably, and the torturing hour,
Calls us to penance? More destroyed than thus
We should be quite abolished, and expire.
What fear we then? what doubt we to incense
His utmost ire? which to the highth enraged,
Will either quite consume us, and reduce
To nothing this essential—happier far
Than miserable to have eternal being!—&c.

Cyhyd ag y byddo dyn yn gallu gobeithio, y mae difodiad yn beth arswydus iawn yn ei olwg; ond wedi i obaith ddiffodd yn ei fynwes, onid ydyw yn ei geisio? Paham y mae dynion yn eu lladd eu hunain, ond gyda'r amcan o gael ymwared o fodolaeth sydd wedi dyfod iddynt yn faich annyoddefol? Dyweder a ddyweder am ofnadwyaeth y dynged o ddifodiad, mae yn amlwg nad all fod ond ychydig iawn o rym ynddi fel peth i arswydo rhagddo, yn enwedig mewn cymhariaeth i athrawiaeth gyffredinol yr eglwys am gospedigaeth dragywyddol. Yr ydym yn addef ar yr un pryd fod cael y gwirionedd, beth bynag a fyddo, yn llawer mwy pwysig na chael athrawiaeth a baro ddychryn yn mynwesau pechaduriaid, er mor fawr ydyw y lle a roddir i hyny yn y Gair sanctaidd. A'r cwestiwn mawr i ni mewn perthynas i'r golygiadau a amddiffynir gan y Difodwyr neu y Dinystrwyr ydyw, beth a gynnygir i ni fel profion eu gwirionedd? Mae yn wir nad allwn lai na dychryn wrth feddwl am yr effeithiau a gynnyrchid ar y byd pe gellid sefydlu yr athrawiaeth o ddifodiad gelynion Duw. Fe roddai rym yn sicr i eiriau meibion pleser, "Bwytäwn ac yfwn, canys yfory marw yr ydym;" ac ar y wyneb y mae hyny yn peri i ni deimlo yn araf i dderbyn y fath syniad fel un o wirioneddau yr Efengyl. Yr ydym yn cydymdeimlo yn fawr â difrifwch ysbryd Mr. White, a rhai o'i frodyr sydd yn credu y golygiadau hyn; ac yr ydym yn cael profion parhäus fod difrifwch dwfn yn ysbryd dysgawdwr, er heb fod ganddo ond darn o wirionedd, yn llawer iawn mwy pwerus na'r uniongrededd mwyaf perffaith yn nghanol nychdod marweidd-dra. Ond yr ydym yn cael mai anaml iawn y mae neb sydd yn gŵyro oddiwrth wirionedd, er mor ragorol ei amcan a'i ysbryd, yn gallu trosglwyddo i'w ganlynwyr ei bwyll a'i ddifrifwch ei hunan gyda'i olygiadau; a'r canlyniad ydyw fod llithriad ofnadwy yn cymeryd lle, a phethau yn cael eu cyrhaeddyd cyn y diwedd na fuasai neb yn arswydo yn fwy rhagddynt na'r neb y bo ei ddamcaniaethau ef ei hunan wedi bod yn achlysur i arwain iddynt. Er hyn oll nid ydym ni yn pryderu nemawr am ganlyniadau; yr ydym yn berffaith hyderus fod gwirionedd Duw yn abl i gymeryd gofal am dano ei hun, ac fod pob gwirionedd yn gyson â phob gwirionedd arall, ac yn rhwym o gydweithio er cario allan yr amcanion Dwyfol. Eto pan y mae syniadau o'r fath yma yn cael eu cynnyg i ni fel gwirionedd—syniadau sydd trwy yr oesoedd wedi bod ymron yn gwbl ddyeithr i'r eglwys, a syniadau ag y mae yn hawdd gweled y bydd eu heffaith ar feddwl y byd yn andwyol y tu hwnt i ddychymyg,—y mae yn ddiammheu yn ddyledswydd arnom fynu boddlonrwydd yn y gwarantau a ddygir ymlaen fel profion eu dilysrwydd.

Ymddengys mai y "ddwy golofn ganol" ar ba rai yr ymgynnalia y ddamcaniaeth o Ddifodiad, ydyw marwoldeb naturiol dyn ar y naill law, a'r dadganiadau hyny yn y Gair, ar y llaw arall, sydd, meddir, mor ddiamwys yn dangos mai difodiad ydyw yr unig dynged, allan o Grist, all fod yn ei aros yn y byd arall.

1. Y mae yr ysgrifenwyr hyn yn siarad gyda dirfawr ysgorn am yr hyn a olygir gan y byd fel yr athrawiaeth o anfarwoldeb naturiol yr enaid. Ymddengys mai breuddwyd cwbl disail ydyw hyn, nad oes dim athroniaeth deilwng o'r enw a all ei gydnabod am fynyd, na rhith o awdurdod iddo yn yr Ysgrythyrau o gwbl. Os felly y mae y peth, mae yn amlwg

fod dynolryw trwy yr oesoedd wedi bod yn llafurio dan gryn gamgymeriad. Cam neu gymhwys, y mae y grediniaeth yn anfarwoldeb yr enaid wedi cymeryd meddiant helaeth iawn, os nad cyffredinol, o feddyliau dynion. A phrin y mae yn anathronyddol. Mae y ddadl *arddansoddol*, oddiwrth natur yr enaid, yn meddu grym sydd wedi ei deimlo gan lawer o feddylwyr galluog. Mae yn wir nad allwn ddyweyd nad ydyw yn bosibl fod rhyw amgylchiadau, y tu allan i'n profiad ni a thu hwnt i'n dirnadaeth, dan ba rai y gallai y fath beth gymeryd lle a marwolaeth yr enaid; ond gan belled ag y mae ein hadnabyddiaeth ni o farwolaeth yn myned, nid ydyw yn ymddangos fod yn bosibl iddo gyrhaedd yr enaid. Yr un modd y ddadl oddiwrth *ddybenion eithaf*, yr hon a ddengys fod pob peth arall yn cyrhaedd ei berffeithrwydd cyn dechreu adfeilio, ond fod galluoedd meddyliol dyn mor bell o gyrhaedd eu heithaf yn y byd hwn fel y dangosant gyfaddasder at ddadblygiad diderfyn, gan beri i ddynion deimlo nad ydynt, pan yn gorfod marw, mewn gwirionedd ond newydd ddechreu byw. Mae y ddadl oddiwrth *gyfatebiaeth* yn awgrymu yn amlwg iawn y gall, os nad y bydd, dyn fyw ar ol iddo farw. Y mae crëaduriaid o'n hamgylch yn myned trwy gyfnewidiadau mawrion heb golli eu hanfodiad.

Onid oes mewn llindysyn—a'i fèroes,
Wrth farw 'n ei blisgyn,
A chodi mor wych wed'yn,
Eglurhâd goleu ar hyn ?

Ac y mae dyn ei hunan, fel y dengys Butler, yn gor-fyw y cyfnewidiad yn ei enedigaeth, yr hwn mae yn debyg nad all fod nemawr llai na'r un yn angeu; heblaw fod yr addfediad a geir yn fynych ar ei alluoedd, i fyny hyd bwynt marwolaeth, er gwaethaf yr holl anfanteision cysylltiedig â goruchwyliaeth ei ymddattodiad, yn rhagddangos yn bur gryf nad all yr ymddattodiad, pan wedi ei gwblhâu, ddim dinystrio yr hyn nad allai, yn ystod ei gwblhâd, ei anmharu. Y mae braidd yn ffasiynol y dyddiau hyn i wrthod i gyfatebiaeth fwy o allu nag a olygir mewn profi nad yw y peth y cyfeiria ato yn anmhosibl, fel y mae hefyd yn ffasiynol i edrych gyda dibrisdod ar y profion allanol o fod a llywodraeth yr Anfeidrol, fel y dangosir hwynt mewn Duwinyddiaeth Naturiol. Ond wedi i ffasiwn y fynyd fyned heibio y mae greddfau cynhenid y meddwl yn aros; ac fel y dywedai Napoleon I. wrth ei wyddonwyr, pan ar eu mordaith i Syria yr hwtient y drychfeddwl o Grëawdwr, "Y mae hyna yn burion, foneddigion, ond pwy,"—gan gyfeirio â'i law at nefoedd y dwyrain yn ogoneddus gan sêr,—"pwy a wnaeth y rhai hyn?"—yr un modd y mae yn anmhosibl peidio meddwl, pan mae y gweledig oll fel dammeg fawr yn pregethu i ni yr anweledig, nad ydyw awgrymiadau cyfatebiaeth, er yn floesg, yn rhoddi i ni gryn lawer o *sicrhâd* hefyd am y pethau mawrion y dygant eu tystiolaeth iddynt. Mae y ddadl *cosmical* hefyd, sef yr un oddiwrth ehangder a gogoniant y grëadigaeth, a'r syniadau sydd gan ddynion am dani, yn pregethu yn bur amlwg y rhaid fod cartref i ysbryd dyn y tu draw i farwolaeth. Mae y ddadl *ddwyfyddol, theological*, sef yr un oddiwrth gymeriad a pherffeithiau Duw, yn gryfach o lawer. Mae yn dra anghyson meddwl fod y fath Un wedi gwneyd crëadur ar ei lun a'i ddelw ei hunan, ac yn meddu cymhwysder

i dynu ei fwynhâd o hóno, ac heb iddo fwy o barhâd na phryfed y llwch. Ac y mae y ddadl *foesol,* sydd yn codi o galon dyn, yn gryfach o bosibl na'r cyfan. Ar ol i Kant wneyd ymdrech egniol i ddadymchwel holl seiliau y dadleuon eraill, addefai ei fod yn ymdeimlo â grym y ddadl hon, fel y gwnai hefyd â'r ddadl foesol dros fodolaeth Duw. Mae hon yn cymeryd i fewn allu y gydwybod i ymdeimlo â chyfiawnder, ac i gredu y rhaid fod byd arall lle y bydd yn cael ei gario allan ar raddfa llawer ehangach nag a welir yn y byd hwn; y mae hefyd yn cymeryd fod dyheuad yr enaid am berffeithrwydd, a pherffaith wynfyd mewn perffaith rinwedd, yn brawf tra sicr y rhaid fod byd arall ac ystâd anfarwol lle y bydd y pethau hyn yn cael eu cyrhaeddyd. "Yn *ddiammheuol,*" ebe Fichte, "y mae perffaith ddedwyddwch *hefyd y tu draw i'r bedd i'r rhai ydynt yn y byd hwn wedi dechreu ei fwynhâu.*" Mae y Pregethwr (iii. 11) yn dyweyd, "Efe a wnaeth bob peth yn dêg yn ei amser; efe a osododd y byd hefyd yn eu calonau hwynt, fel na allo dyn gael allan y gwaith a wnaeth Duw o'r dechreuad hyd y diwedd." Nid oes ddadl bellach nad ystyr y gair a gyfieithir *byd* yn yr adnod hon ydyw tragywyddoldeb. Mewn Hebraeg diweddarach arwydda, nid yn unig tragywyddoldeb diddechreu a diddiwedd, ond hefyd y byd, fel peth sydd i barhâu yn anmhenodol; ond yr oedd yr ystyr yna yn anadnabyddus i'r ysgrifenwyr sanctaidd. Ystyr y gair gan hyny, fel y dywed Delitzsch *(System of Biblical Psychology, p.* 475*),* ydyw, "Yn natur, h.y., yn nghyfansoddiad cynhenid dyn, y mae y gallu i ymsynio am dragywyddoldeb, yr ymdrech i ymaflyd yn y tragywyddol, yr hiraeth am fywyd tragywyddol. Er nad allwn gasglu oddiwrth hyny fod dyn yn dyfod o dragywyddoldeb, y mae er hyny yn sicr ei fod wedi ei fwriadu i dragywyddoldeb. Mae y casgliad yn anwrthwynebol, yr un modd ag y mae casgliad Descartes oddiwrth y drychfeddwl am Dduw at fodolaeth Duw yn anwrthwynebol. Dyma yr hyn a elwid gan yr henafiaid *argumentum ab appetitu immortalitatis*—y ddadl oddiwrth y dymuniad am anfarwoldeb." Fe ddangosir cryn rodres wrth brofi nad yw yn bosibl fod dyn o angenrheidrwydd yn anfarwol; mai Duw yn unig sydd felly; ac fod yn bechadurus hòni i'r pryfyn yr hyn nad yw yn brïodol ond i Jehofah ei hunan. Ac yn gwbl afreidiol fe ddyfynir o Tatian, "Nid ydyw yr enaid ynddo ei hun yn anfarwol, O Roegiaid;" ac o Justian Ferthyr, "Cyfranoga o fywyd cyhyd ag yr ewyllysia Duw iddo fyw;" ac o Athanasius, "Canys Duw yn unig sydd ganddo anfarwoldeb, ac sydd ei Hun yn anfarwoldeb." Yr ydym yn addef hyn oll; ond y mae yn berffaith bosibl, wedi y cyfan, fod yr enaid, yn ol bwriad Duw, wedi ei wneyd yn anfarwol, ac mewn canlyniad ei fod wrth natur hefyd yn anfarwol. Dyma y cwbl a ddadleuir ar ei ran. Ac mae yn amlwg fod y golygiad ei fod felly wedi ffynu yn y byd yn gyffredinol, ac o'r oesoedd boreuaf. Yr oedd yr hen Aiphtiaid, o blygain y byd, yn credu yn anfarwoldeb yr enaid. Felly y dynion meddylgar oeddynt yn crëu athrawiaeth a chrefyddau India. Felly yr hen Roegiaid a'r Rhufeiniaid. Y gamp yn wir ydyw canfod un adran o'r ddynoliaeth heb fod yn dal y grediniaeth yma. Ac er fod meddylwyr o blith gwahanol genhedloedd wedi dangos llawer o allu yn fynych wrth olrhain seiliau athronyddol y grediniaeth, eto y mae yn amlwg fod ei gafael yn meddwl y byd yn ddyfnach na phob athroniaeth, ac yn meddu arglwyddiaeth fel yr eiddo greddf gynhenid. Daw i fyny â thelerau

celyd deddf Vincentius am yr hyn a ddylid dderbyn fel gwirionedd,—*Quod semper, quod ubique, et quod ab omnibus:* Yr hyn a gredir bob amser, ymhob man, a chan bawb. Nid ydym ni yn gallu amgyffred pa fodd i roddi cyfrif am gyffredinolrwydd y grêd yn anfarwoldeb naturiol yr enaid, ond trwy ei phrïodoli, yn allanol, fel llawer o egwyddorion eraill yn ffydd gyffredinol y byd, i ddadguddiad a wnaed i ddynolryw yn y dechreuad; ac yn dumewnol, i'r teimlad a blanwyd yn yr enaid o ymestyniad at yr etifeddiaeth o anfarwoldeb a ddarparwyd ar ei gyfer. Pa fodd bynag, y mae y grediniaeth yn anfarwoldeb naturiol yr enaid yn ddiammheuol yn y byd, ac y mae ei hesbonio ymaith fel breuddwyd neu ddychymyg ofer yn anmhosibl.

Ond fe hònir yn arbenig nad ydyw y Bibl yn cydnabod yr athrawiaeth yma o gwbl. "Nad ydyw yr athrawiaeth o anfarwoldeb yr enaid," ebe Mr. White *(Life in Christ Only,* p. 15), "yn cael ei dangos yn amlwg unwaith trwy holl gorff yr Ysgrythyrau Iuddewig a Christionogol sydd ffaith am ba un y gall pob darllenydd ei foddloni ei hunan trwy ymchwiliad; ac y mae yn ffaith a ddylasai er ys talm ysgwyd yn ddrylliau y dduwinyddiaeth a seiliwyd ar yr athrawiaeth hono. Os ydyw yr athrawiaeth yn wir fod ysbryd dyn yn ddealldwriaeth anfarwol, yn allu sydd wrth ei naturiaeth i barhâu cyhyd â'r Bôd Angenrheidiol, gallasem yn sicr ddysgwyl canfod o leiaf ryw olion o'r sylfaenol mawr hwn yn yr oesoedd a oleuid gan genadwriaethau parhäus ac uniongyrchol o'r nefoedd. * * Ond dyma yn agos i gant o ysgrifenwyr, trwy ryw ddrwg-dynged ddyeithrol, wedi gadael allan, yn unfryd, bob cyfeiriad at anfarwoldeb yr enaid; dim un adnod o'r Bibl yn cynnwys y dadganiad bỳr hwnw oddiwrth Dduw a fuasai yn terfynu y ddadl am byth. Yn ein dyddiau ni, prin y mae un gwaith crefyddol yn dyfod allan o'r wasg yn gyfeiriedig at ddynion pechadurus, prin y mae cynghor cyhoeddus yn cael ei roddi iddynt, heb arddangosiad llawn a chlir o'r athrawiaeth am anfarwoldeb, o fod nad all farw yn natur dyn, fel sail yr holl oruwchadeiladaeth dduwinyddol. Yn awr, pa fodd yr esboniwn y ffaith hynod nad ydyw yr apostolion na'r prophwydi erioed wedi defnyddio y ddadl hon wrth ymwneyd â'r drygionus,—'Yr ydych yn fodau anfarwol, a rhaid i chwi fyw byth mewn llawenydd neu wae, am hyny edifarhewch!'—dadl ymron o anorchfygol nerth, os ydyw yn wir? Pa fodd, oddieithr trwy benderfynu nad hyn ydoedd eu hathroniaeth, nad oedd yr athrawiaeth hon yn rhan o 'ddoethineb Duw,' a'u bod yn cael eu hattal rhag ei chynnyg i'r byd gan yr Hwn a ddywedodd fod bywyd tragywyddol ei saint yn ddawn ei ras, ac y bydd iddo 'ddyfetha yr holl rai annuwiol.'" A chawn gyflawnder o sylwadau cyffelyb gan ysgrifenwyr eraill o'r un ysgol.

Os ydyw yr iaith hyderus ac anffaeledig yma yn gywir, y mae y ddadl o angenrheidrwydd ar ben. Ond ymddengys i ni ei bod yn dra phell o fod felly. Y mae dynion yn dysgwyl gormod o lawer pan yn hawlio dadganiadau pendant yn y Bibl wedi eu cyfaddasu yn arbenig at ffurfiau neillduol o gyfeiliornad a allent, yn nhreiglad oesoedd, gyfodi yn y byd; ac y mae y ddadl oddiwrth ddystawrwydd yn un nad allwn ymddibynu ond ychydig arni. Beth os oedd yr athrawiaeth o anfarwoldeb yr enaid mor adnabyddus yn y byd, ac yn cael ei chredu mor ddibetrus, fel nad oedd eisieu gwneyd unrhyw ddadganiadau mewn perthynas

iddi? Yr ydym yn gwybod nad ydyw y Bibl yn yngan gair am fodolaeth Duw; er hyny y mae y gwirionedd mawr yma yn cael ei ddeall a'i gymeryd yn ganiatäol fel cynsail yr holl ddadguddiad. Y mae Mr. White yn credu yn athrawiaeth y Drindod mor ddibetrus ag yn modolaeth Duw; ac eto nid oes dim wedi ei ddadgan ar yr athrawiaeth yna ychwaith, er fod yn amlwg ei bod, rhwng yr ysgrifenwyr sanctaidd a'u darllenwyr, yn cael ei chymeryd yn ganiatäol fel gwirionedd diammheuol. Yn wir, yr oedd y gwirioneddau hyn, a rhai eraill cyffelyb, yn cael eu credu gan bawb mor ddibetrus, fel y teimlid y buasai ceisio eu profi, neu hyd yn nôd eu gosod ger bron mewn dadganiadau, yn gwbl ddiangenrhaid. A beth os felly yr ydoedd hefyd gyda golwg ar athrawiaeth anfarwoldeb yr enaid? Yr ydym eisoes wedi cael fod y grediniaeth yma yn ffŷnu yn y byd, a hyny o'r oesoedd boreuaf. Yr ydym hefyd yn cael fod y Bibl drwyddo, er nad yn gwneyd dadganiadau ffurfiol mewn perthynas iddi, eto yn gwneyd peth sydd yn myned lawer pellach fel prawf o'i gwirionedd, sef yn cymeryd ei gwirionedd fel peth dealledig, yr un modd a chyda'r athrawiaethau am y Drindod, ac am fodolaeth Duw. Fe ddengys fod dyn wedi ei wneyd ar ddelw Duw; ac addefir fod anfarwoldeb yn rhan o'r ddelw hono. Ond dadleuir fod dyn wedi colli y ddelw trwy bechu, ac am hyny nad ydyw yn anfarwol mwyach. Ond fe leferir am ddyn fel ar ddelw Duw ar ol iddo bechu. Dyna y rheswm paham yr oedd llofruddiaeth yn bechod i'w gospi, yn ol Gen. ix. 6: "A dywallto waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntau, o herwydd ar ddelw Duw y gwnaeth efe ef." Llefara Iago am yr un peth yn y Testament Newydd hefyd (iii. 9): "Ag ef yr ydym yn bendithio Duw a'r Tad; âg ef hefyd yr ydym yn melldithio dynion, a wnaethpwyd ar lun Duw." A phan sonir am adferiad y ddelw yn Col. iii. 10, ac Eph. iv. 24, y pethau a grybwyllir fel y rhai y mae y saint yn cael eu "crëu" neu eu "hadnewyddu" ynddynt, ydyw y priodoliaethau *moesol*, "gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd." Y mae holl hanfodion *naturiol* y ddelw yn aros, heb eisieu eu crëu na'u hadnewyddu o gwbl, ac yn eu mysg anfarwoldeb. Mae yn wir y dywedir am Dduw (1 Tim. vi. 16), "Yr hwn yn unig sydd ganddo anfarwoldeb." Ond mae yn eglur beth ydyw y meddwl. Y mae anfarwoldeb yn perthyn yn briodol iddo Ef, ac o angenrheidrwydd natur. Ond os dewisodd Efe grëu dyn ar ei ddelw ei hun, beth a'i lluddiai i'w *wneuthur* yntau yn anfarwol? Dywedir hefyd mai Efe yn unig sydd sanctaidd (Dad. xv. 4), ac nad oes neb da ond Duw (Mat. xix. 17); er hyny fe ryngodd bodd iddo wneyd dyn ar y dechreu, heblaw lliaws mawr o grëaduriaid eraill, yn sanctaidd ac yn dda; ac y mae yn nhrefn ei ras yn codi pechaduriaid i ystâd y gellir dyweyd eto eu bod yn sanctaidd, a'u bod yn dda. Yr un modd, er mai gan Dduw yn unig, mewn ystyr briodol, y mae anfarwoldeb, y mae y crëadur yr ymostyngodd Efe i'w wneuthur ar ei lun a'i ddelw ei Hunan, ac felly yn anfarwol, yn un ag y mae anfarwoldeb yn eiddo iddo yntau hefyd. Drachefn, y fath fyd o ystyr ac o ogoniant sydd yn y crybwylliad byr am Enoch, Gen. v. 24: "A rhodiodd Enoch gyda Duw, ac ni welwyd ef; canys Duw a'i cymerodd ef.' Yr oedd yr ystâd anfarwol, a'i gwŷnfyd i gyfaill Duw, mor ddiammheuol amlwg yn meddwl pawb, fel nad oedd eisieu dyweyd dim am y dyfodol i Enoch, ond fod Duw wedi ei gymeryd! Mae y dull y crybwyllir y peth

yn dangos mor *gynefin* i feddwl yr ysgrifenydd oedd y syniad am y fuchedd dragywyddol, fel yn ddiammheu yr oedd yr amgylchiad y cyfeirir ato yn ddirfawr gadarnhâd i gyd-oeswyr Enoch yn eu crediniaeth o'r un gwirionedd. Mae yn ddïau fod yr un peth yn wir am esgyniad Elias hefyd. Ac yr ydym yn cael fod Elias ac Eliseus wedi bod yn foddion i beri i eneidiau dau o fechgyn ieuainc "ddychwelyd" iddynt ar ol eu marwolaeth; ac fod gŵr oedd wedi marw ac yn cael ei gladdu, ond wrth ddyfod i gyffyrddiad âg esgyrn Eliseus, wedi "dadebru a sefyll ar ei draed." Yr oedd yr "ymofyn â'r meirw" hefyd y cyfeirir ato yn Lef. xix. 31, xx. 6, 27; Deut. xviii. 11; 1 Sam. xxviii. 7—14; 2 Bren. xxiii. 24; Esa. xxix. 4, yr hyn oedd yn ffŷnu ymhlith y cenhedloedd, ac yn erbyn yr hyn yr oedd yn rhaid rhoddi i feibion Israel y fath waharddiadau cryfion, yn dangos mor ddiammheuol oedd y grediniaeth yn mharhâd bodolaeth dynion wedi iddynt ymadael â'r fuchedd hon, yn gystal ag yn rhagoriaeth eu gwybodaeth, gan mor angerddol yr awydd a deimlid i ymgynghori â hwynt. Mae yr ymadroddion hynod, "Ti a äi at dy bobl," Gen. xv. 15; "Ac efe a gasglwyd at ei bobl," Gen. xxv. 8, 17; xlix. 29; Num. xx. 24; xxvii. 13; Deut. xxxii. 50; "A gasglwyd at eu tadau," Barn. ii. 10, yn amlwg yn golygu llawer mwy na chladdedigaeth y rhai y sonir am danynt. Defnyddir hwynt fwy nag unwaith am Abraham, am Moses, ac am Aaron, y rhai *ni* chawsant eu claddu yn yr un fan a'u tadau. Ac fel y mae yr apostol yn Heb. xi. yn penderfynu, gan y gallasai y rhai oedd yn "dangos yn eglur eu bod yn ceisio gwlad, gael amser i ddychwelyd i'r wlad o'r hon y daethent allan," y rhaid mai "gwlad well yr oeddynt yn ei chwennych, hyny ydyw, un nefol;" yr un modd rhaid i ninnau benderfynu fod casgliad y patrïarchiaid at eu tadau, pan y mae yn amlwg nad all hyny olygu eu claddedigaeth, yn cyfeirio at eu hymuniad drachefn â'u henafiaid yn y byd anweledig. Yr oedd bywyd y tu draw i angeu yn obaith gwŷnfydedig i'r patriarch Job (xix. 23—27), a hyny yn nyfnder trallodion heb eu bath. "O nad ysgrifenid fy ngeiriau yn awr! O na argreffid hwynt mewn llyfr! O nad ysgrifenid hwynt yn y graig dros byth â phin o haiarn ac â phlwm! Canys mi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y saif yn y diwedd ar y ddaear. Ac er ar ol fy nghroen i bryfed ddyfetha y corff hwn, eto câf weled Duw yn fy nghnawd; yr hwn a gâf fi i mi fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall; er i'm harenau ddarfod ynof." Mae yn wir y ceisir esbonio y geiriau ardderchog hyn fel yn cyfeirio yn unig at ei adferiad daearol; ond y mae y geiriau yn y golygiad yna yn bobpeth ond cymesur. "Pe y byd hwn fuasai y cwbl," ebe Liddon, (*University Sermons*, p. 113,) "yr ydoedd pobpeth wedi colli i Job; yr oedd Duw yn ddyrysbwnc ofnadwy; damwain oedd Dduw; nid oedd Rhagluniaeth ond enw. Ond y mae Job yn nyfnder ei ing yn *gwybod* fod ei Brynwr yn fyw, ac y cai yn ei gnawd weled Duw." Mae ei eiriau yn pen. xiv. 14, "Os bydd gŵr marw, a fydd efe byw drachefn?" wedi cael eu cymeryd fel yn arwyddo ammheuaeth poenus am fywyd y tu draw i angeu; ond nid oes eisiau ond darllen y cyd-destun na welir, er fod adferiad dyn i fywyd daearol fel o'r blaen, yn anobeithiol, eto fod gobaith Job yn sicr am wŷnfyd y sefyllfa ddyfodol. Yn wir, y geiriau nesaf oll ydynt, "Dysgwyliaf holl ddyddiau fy milwriaeth, hyd oni ddelo fy nghyfnewidiad. Gelwi, a myfi a'th atebaf; chwennychi

waith dy ddwylaw." Am lyfr y Salmau, y mae gobaith bywyd anfarwol yn rhedeg drwyddo. Darllener yn neillduol Salmau xvi., xvii., xlix., lxxiii. Yr oedd Dafydd yn teimlo yn sicr y byddai iddo ef fyned at ei faban bach oedd wedi marw, (2 Sam. xii. 23), er na ddychwelai efe ato ef. Y mae ysbryd dyn gan y Pregethwr (iii. 21), "yn esgyn i fyny," yn wahanol i "chwythad anifail yr hwn sydd yn disgyn i waered i'r ddaear;" a thrachefn, pan y "dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu (xii. 7), fe "ddychwel yr ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef." Y mae yn deilwng o sylw hefyd pan y mae yr apostol Paul, yn 1 Cor. xv. 54, 55, yn dadgan ei orfoleddiad buddugoliaethus ar angeu a'r bedd, nad ydyw ond yn dyfynu o ymadroddion Hosea ac Esaiah yn yr Hen Destament. "O law y bedd yr achubaf hwynt; oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt; byddaf angeu i ti, O angeu; byddaf dranc i ti, y bedd; cuddir edifeirwch o'm golwg." "Efe a lwnc angeu mewn buddugoliaeth; a'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb; ac efe a dyn ymaith warthrudd ei bobl oddiar yr holl ddaear; canys yr Arglwydd a'i llefarodd." "Dy feirw a fyddant byw, fel fy nghorff i yr adgyfodant. Deffrôwch, a chenwch, preswylwyr y llwch; canys dy wlith sydd fel gwlith llysiau, a'r ddaear a fwrw y meirw allan." (Hos. xiii. 14; Esa. xxv. 8; xxvi. 19). Ac nid am y *cyfiawn* yn unig y sonir mewn cysylltiad â'r sefyllfa ddyfodol. Yn Esa. xiv. fe ddangosir fod *Sheol,* neu drigfa y rhai ymadawedig yn y byd arall, yn cyfodi i gyfarfod ac i waradwyddo brenin Babylon. "Uffern oddi tanodd a gynhyrfodd o'th achos, i gyfarfod â thi wrth dy ddyfodiad: hi a gyfododd y meirw i ti, sef holl dywysogion y ddaear; cyfododd holl frenhinoedd y cenhedloedd o'u gorseddfäoedd. Y rhai hyny oll a lefarant, ac a ddywedant wrthyt, A wanhâwyd tithau fel ninnau? a aethost ti yn gyffelyb i ni? Disgynwyd dy falchder i'r bedd, a thrwst dy nablau; tanat y taenir pryf, pryfed hefyd a'th döant. Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd, Lusiffer, mab y wawrddydd! pa fodd y'th dorwyd ti i lawr, yr hwn a wanhêaist y cenhedloedd!" Ac y mae y prophwyd Ezeciel (xxxii.) yn siarad am yr Aipht, ac Assur, ac Elam, a Mesech, Tubal, a'u holl liaws, ac Edom a'i brenhinoedd a'i holl dywysogion, a thywysogion y gogledd, a'r holl Sidoniaid, fel wedi "disgyn i'r tir isaf, i'r pwll," "cryfion y cedyrn yn llefaru wrthynt o ganol uffern," yn "gorwedd yn ddienwaededig gyda'r rhai a laddwyd â'r cleddyf, ac yn dwyn eu gwaradwydd gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll." Ac heblaw fod yr ymadroddion uchod a'u cyffelyb yn dangos fod sefyllfa ddyfodol yn aros y drygionus yr un modd â'r rhai cyfiawn, y mae y Gair yn dangos hefyd yn bur amlwg fod ei dynged yntau yn y sefyllfa hono yn *dragywyddol.* Dywed Esaiah (xxxiii. 14), "Pechaduriad a ofnasant yn Sion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr; pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda llosgfëydd tragywyddol?" Paham yr arswydent yn gymaint rhag y "llosgfëydd tragywyddol," os nad oeddynt yn teimlo yn bur sicr y byddent hwy eu hunain, fel hwythau, yn parhâu yn dragywyddol, ac yn gorfod "preswylio" gyda hwynt? Fe ddywed y prophwyd Daniel (xii. 2), "A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffröant, rhai i fywyd tragywyddol, a rhai i warth a dirmyg tragywyddol." Ac y mae genym foddlonrwydd digonol fod yr ymadroddion uchod a'u cyffelyb, sydd mor amlwg yn dangos crediniaeth mewn anfarwoldeb, yn cael eu

deall felly gan yr Iuddewon. "Y rhai ydynt yn byw yn ddrygionus yn y bywyd hwn," ebe Josephus (*Antiq.* xviii. c. 3), "a ddelir mewn carchar tragywyddol." Yn noethineb Solomon, yn yr Apocrypha, yr ydym yn darllen (iii. 1—5), "Y mae eneidiau y rhai cyfiawn yn llaw Duw, ac ni chyffwrdd cystudd â hwynt. Y rhai anghall oedd yn tybied eu bod hwy yn meirw; a drwg y cyfrifid eu diwedd hwynt; a'u mynediad oddiwrthym ni yn ddinystr. Eithr y maent hwy mewn heddwch. Oblegid er eu cystuddio hwy yn ngolwg dynion, y mae eu gobaith hwy yn llawn tragywyddoldeb. A lle y ceryddwyd hwy ychydig, hwy a gânt lawer o fudd; oblegid Duw a'u profodd hwynt, ac a'u cafodd yn addas iddo ei hun." Ac yn llyfr Judith (xvi. 17), dywedir, "Gwae'r cenhedloedd sydd yn ymgodi yn erbyn fy nghenedl. Yr Arglwydd Hollalluog a ddïal arnynt hwy yn nydd y farn, trwy anfon tân a phryfaid ar eu cnawd hwynt; a hwy a wylant gan eu clywed yn dragywydd." A dywed Tacitus, yr hanesydd Rhufeinig, am yr Iuddewon (*Hist.* v. 5), "Y mae yr Iuddewon yn edrych hefyd ar eneidiau y rhai a fyddant farw mewn rhyfel, neu a roddir i farwolaeth am eu troseddau, fel yn anfarwol; o'r hyn y tardd eu cariad at hiliogaeth, a'u dirmyg o farwolaeth." Am y Testament Newydd, y mae yn dangos yn eglur mai dyma ydoedd athrawiaeth yr Hen Destament. Mae rhyw gyfreithiwr yn Luc x. 25, yn gofyn i Grist, "Athraw, pa beth a wnâf i gael etifeddu bywyd tragywyddol?" Fe'i cyfeirir gan Grist at y gyfraith am atebiad. Pan mae yntau yn adrodd "pa fodd y darllenai" yno, "Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon," &c., y mae yr Iesu yn dywedyd wrtho, "Ti a atebaist yn uniawn: gwna hyn, a byw fyddi," hyny yw, yn dragywyddol, fel yr oedd efe ei hun yn golygu wrth ofyn y cwestiwn. Yn pen. xviii. 18, o'r un efengyl, y mae rhyw lywodraethwr yn gofyn yr un cwestiwn, yr hwn hefyd a gyfeirir yr un ffunud at y gyfraith. Yn Ioan v. 39, gorchymynir, "Chwiliwch yr Ysgrythyrau, canys yddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol." Mewn atebiad i gwestiwn ffôl y Saduceaid am y wraig oedd wedi bod yn brïod â saith o frodyr, mae yr Iesu yn dangos fod "pawb yn fyw iddo Ef," er eu bod wedi ymadael o'r byd hwn. A dywed Paul ger bron Ffelix (Actau xxiv. 15), fod yr Iuddewon oedd yn ei gyhuddo, "eu hunain yn dysgwyl y bydd adgyfodiad y meirw, i'r cyfiawnion ac i'r anghyfiawnion." Ac fel y sylwa Mr. Reid, y mae tair ffaith yn dyfod i'r golwg yn bur amlwg trwy y pethau hyn: 1. Fod yr Iuddewon yn nyddiau Crist yn credu yn anfarwoldeb yr enaid; 2. Eu bod yn credu yn anfarwoldeb y drygionus yn gystal ag yn eiddo y cyfiawn; 3. Eu bod yn casglu eu golygiadau ar y mater hwn oddiwrth eu Hysgrythyrau eu hunain. Ac nid oes cymaint ag awgrym yn cael ei roddi gan Grist na'i apostolion eu bod yn camgymeryd yn y pethau hyn. Lle yr oeddynt yn camgymeryd, fe'u hargyhoeddid yn llym. Ac yn wir, y mae Paul, yn 1 Cor. xv., yn rhybuddio yn ddifrifol y rhai a dynent oddiwrth athrawiaeth Difodiad yr unig gasgliad a ellid ddysgwyl i bechadur dynu, sef, "Bwytäwn ac yfwn, canys yfory marw yr ydym," trwy ddywedyd, "Na thwyller chwi: y mae ymddyddanion drwg yn llygru moesau da." Am ymadroddion Crist, y maent, yn ei bregethau a'i ymddyddanion, yn drymion gan dragywyddoldeb. Y mae y bywyd y mae wedi "ddwyn i oleuni trwy yr efengyl" (2 Tim. i. 10)—nid wedi ei *ddadguddio*, canys yr ydoedd yn

y byd o'r blaen, ond wedi ei wneyd *yn fwy amlwg*—yn "fywyd tragywyddol;" ac y mae y "gospedigaeth" yr un modd yn dragywyddol; y prŷf yn un na bydd marw, a'r tân yn un na ddiffydd. Ac er nad ydyw y geiriau a fynai Mr. White yn cael eu defnyddio,—"Yr ydych yn fodau anfarwol, a rhaid i chwi fyw byth mewn llawenydd neu wae, am hyny edifarhëwch."—eto y mae Crist a'i apostolion, yn eu dull eu hunain—ac y mae hwnw o leiaf cystal â dim dull a allesid oddiyma awgrymu iddynt!—yn gwasgu y mater mawr yma at feddyliau dynion yn barhäus. Ac nid oes unrhyw ddadl am yr ystyr ymha un y maent o hyny hyd yn awr wedi eu deall gan y byd. "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll yn yr un modd." "Oni chredwch mai myfi yw efe, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau." "Pa lesâd i ddyn, os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." "Am hyny byddwch chwithau barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Y mae yr athrawiaeth o anfarwoldeb yn cael ei deall trwy yr holl Ysgrythyrau, ac yn rhoddi pwysigrwydd aruthrol i'r holl ymadroddion sydd yn cyfeirio at dynged dyn.

Y mae hyn oll yn myned dan wraidd y syniad y golyga y Difodwyr ei fod yn angenrheidiol i'w cyfundrefn, am ddyn dan y cwymp yn agored i ddinystr llythyrenol, ac nid yn un y mae ei anfarwoldeb yn gwneyd yn bosibl iddo ddyoddef cospedigaeth barhäus.

2. Ond fel y crybwyllasom, y mae y gwŷr da hyn yn dal fod yr ymadroddion a ddefnyddir i ddesgrifio cosp yr annuwiolion yn rhai nad yw yn bosibl eu hesbonio ond fel yn golygu eu difodiad neu eu dinystr. Deallant y geiriau, "Yn y dydd y bwytâi o hono, gan farw, ti a fyddi farw," yn llythyrenol; ond yn lle eu cario allan, fe ddarfu i Dduw, pan bechodd Adda, addoedi y ddedfryd am fil o flynyddoedd, i wneyd yn bosibl ddyfodiad yr hil ddynol i fodolaeth. Mae ein bodolaeth, yn lle bod yn ffrwyth "arfaeth yr Hwn sydd yn gwneuthur pob peth yn ol cynghor ei ewyllys ei hun," yn dyfod yn ddamwain sydd yn codi yn unig o addoediad gweinyddiad y ddedfryd ar ein tad Adda! Ond y mae trefn y waredigaeth wedi ei dadguddio yn Nghrist, ac y mae yr hwn sydd yn yn credu ynddo Ef yn "myned trwodd o farwolaeth i fywyd." Am bawb sydd yn ei wrthod Ef, y mae melldith y farwolaeth yn aros arno, ac fe'i gyrir allan o fodolaeth.—Prin iawn ydyw y derbyniad a roddwyd i'r golygiad hwn yn yr eglwys hyd yn bur ddiweddar. Fe ddyfynir ychydig frawddegau lled anmhenodol o Irenæus, dysgybl i Polycarp, yr hwn oedd yntau yn ddysgybl i'r apostol Ioan; ac yn gyffelyb o Justin Ferthyr; a geiriau sydd dipyn yn gryfach o Arnobius, ysgrifenydd Affricanaidd yn y drydedd ganrif. Nid ymddengys fod yr un o'r gwŷr hyn wedi astudio y mater, ac yn amcanu ei osod fel erthygl ffydd mewn goleu gwahanol i farn yr eglwys yn gyffredin; ond yn hytrach yn ysgrifenu y geiriau a ymddangosent iddynt ar y pryd yn fwyaf brawychus i ddangos tynged yr annuwiolion. Ond y mae amddiffynwyr y golygiad hwn yn ein dyddiau ni fel yn teimlo y gallant wneyd i fyny mewn zêl yr hyn sydd yn eisieu mewn awdurdod; ac y maent yn sicr yn dangos hyder mawr yn eu golygiadau.

Yn ein bryd ni, pa fodd bynag, y mae y seiliau lawer yn rhy weiniaid i ddal yr anferth bwys o adeiladu arnynt yr athrawiaeth o ddifodiad.

Y mae y cyfeillion a wrthwynebwn yn gwneyd llawer o helynt wrth waeddi am onestrwydd beirniadol ar ein llaw, pan yn esbonio y geiriau a ddefnyddir ar y mater hwn yn yr Ysgrythyrau. Yr ydym braidd yn meddwl y gallent hebgor y rhodres hwn, ac na ddylai fod yn ormod ganddynt gydnabod y *gallai* fod y miloedd o dduwinyddion galluog a dysgedig sydd trwy y canrifoedd wedi gorfod tynu oddiwrth y geiriau hyny gasgliadau tra gwahanol i'r eiddynt hwy, mor onest hyd yn nôd a hwy eu hunain, heblaw fod lliaws o honynt yn llawer mwy cyfoethog yn y teithi hyny sydd yn gwneyd mawredd beirniadol. Nid oes dim i'w ennill mewn mater o'r fath bwysigrwydd a hwn a dâl ei gymharu am amrantiad â'r gwirionedd; ac yr ydym yn meddwl y dylai pwysau y cyfrifoldeb o ddysgu athrawiaeth am y llîd a fydd y *gallai* y bydd tragywyddoldeb yn dangos ei bod yn gamgymeriad mor ofnadwy, ddysgu dynion i synied i sobrwydd uwch ben y fath fater, ac i fod yn ochelgar rhag bwrw llawer o sarhâd ar wŷr nad ydyw yn anmhosibl eu bod yn well na hwy eu hunain. Y mae un canon beirniadaeth y gwneir llawer iawn o hono gan yr ysgol hon sydd ar unwaith yn gwanhâu yn fawr ein hymddiried yn eu harweiniad, sef eu dadl dros gymeryd y geiriau a ddefnyddia yr ysgrifenwyr sanctaidd bob amser yn yr ystyr a roddid iddynt gan y cenhedloedd a'u harferent, cyn eu defnyddio gan yr ysgrifenwyr ysbrydoledig. Fel engraifft o lawer o'u siarad mawr ar y mater yma, cymerer y frawddeg ganlynol o eiddo Mr. White:—"Os nad yw geiriau cyffredin y Testament Groeg yn arwyddocâu yr hyn a arwyddocânt mewn manau eraill, yna nid oedd y Testament Groeg, gan ei fod wedi ei roddi mewn iaith ddyeithr, yn ddadguddiad i'r Groegiaid." Ni fyddai eisieu ond dilyn y rheol hon ychydig ymhellach nag y gwna Mr. White a'i frodyr, na cheid y byddai yn yspeilio y Bibl o'i holl nodweddion gwahaniaethol fel dadguddiad oddiwrth Dduw, ac yn ei adael yn unig fel rhyw adsain tlawd o freuddwydion y cenhedloedd. Ond pwy sydd wedi meddwl dim ar y mater nad yw yn gweled, fel yr anadlwyd yn ffroenau dyn ar y dechreu anadl einioes, ac y daeth yn enaid byw, felly hefyd pan wneid iaith—hyd yn nôd y Roeg, y gyfoethocaf o'r cwbl—yn gyfrwng Dadguddiad Dwyfol, fod ysbryd bywyd oddiwrth Dduw wedi ei osod ynddi, a'i gwneyd yn beth llawer gogoneddusach nag erioed o'r blaen. Yn yr olwg ddynol ar y mater, nid oes eisieu ond ysgolheigdod tra elfenol i weled nad Groeg Aristotle a Plato ydyw iaith y Testament Newydd, ond cyfaddasiad Hellenistaidd, ar sail y defnydd a wneid o honi yn Alexandria, ac yn enwedig cyfieithiad y Deg a Thriugain a wnaed yn y ddinas hono o Ysgrythyrau yr Hen Destament. Y mae hyn yn peri fod llawer o eiriau newyddion wedi cael eu dwyn i fewn iddi, a llawer o'r hen eiriau yn cael eu defnyddio mewn ystyr llawer uwch nag a roddasid iddynt o'r blaen. A phan gofiwn fod y Testament Newydd yn cynnwys dysgeidiaeth yr Hwn a ddaeth i'r byd i "ddadguddio y Tad," ac i "ddwyn i oleuni" gynifer o bethau mawrion y "ddoethineb guddiedig, yr hon a ragordeiniodd Duw cyn yr oesoedd i'n gogoniant ni," y mae galw arnom i gymeryd ei eiriau yn unig yn yr ystyr a roddir iddynt yn ngeiriaduron cyffredin yr iaith Roeg, yn dyfod yn fwy afresymol fyth. Mae amryw o'r geiriau yn newyddion. Defnyddir geiriau eraill mewn ystyron newyddion. Ac y mae y geiriau sydd yn perthyn yn neillduol i hanfodion Cristionogaeth

yn fwy arbenig fyth, ac yn dwyn ystyr anfesurol uwch nag a allasai yr hen Roegiaid eu hunain fyth feddwl am dano. Ymhlith y rheiny cawn y rhai canlynol :—πίστις, *ffydd*, πιστός, *ffyddlawn*, πιστεύεεν εἰς τινα, *credu mewn un;* δίκαιος, *cyfiawn*, δικαιόω, *cyfiawnhâu;* ἅγιος, *sanctaidd*, ἁγιόω, *sancteiddio;* καλεῖν, *galw*, κλῆσις, *galwedigaeth*, κλητός, *galwedig*, ἐκλεκτός, *etholedig;* ἀγάπη, *cariad;* ἔλπις, *gobaith;* χάρις, *gras;* εὐαγγέλιον, *efengyl*, εὐαγγελίζεσθαι, *efengylu*; κηρύττειν, *pregethu*, κήρυγμα, *pregethiad;* ἀπόστολος, *apostol;* πρεσβύτερος, *henuriad;* δίακονος, *diacon;* ἄρτον κλάσαι, *tori bara;* βαπτίζειν, *bedyddio;* κοινωνία, *cymundeb*; σάρξ, *cnawd;* ψυχή, *enaid*; πνεύμα, *ysbryd;* κόσμος, *byd*; σωτηρία, *iachawdwriaeth;* σώζειν, *achub;* λυτροῦσθαι, *prynu;* καταλάσσειν, *cymmodi;* ἀνάστάσις, *adgyfodiad;* &c. Ar y wyneb, nid allai fod dim i'w ddysgwyl oddiwrth ddyn a elai i esbonio Groeg y Testament Newydd yn unig yn ol y defnydd a wneid o'r iaith yn Athen, ond rhesymoliaeth ddigymysg. Y mae llawer iawn mwy o reswm mewn rheol arall a osodir i lawr gan Mr. White, "Mai yr ystyr sydd yn codi o ystyr llythyrenol prif rediad yr ymadroddion a ddefnyddir, sydd bob amser i'w gymeryd fel yr ystyr llywodraethol." Yr ydym hefyd yn berffaith foddlawn i gymeryd yn ychwanegol y rheol a ddyfyna o Alford: "Canon dëongliadaeth a ddylid gadw yn barhäus mewn côf ydyw *na ddylid byth gymeryd ystyr ffugyrol ond pan ofynir hyny gan y cyd-destun.*" Y mae chware gyda geiriau, chwedl Hooker, fel y gwnai, neu y mỳnai yr hen *Alchemists* wneyd â meteloedd, gan wneyd o unrhyw beth yr hyn a fynid, yn beth peryglus iawn, ac yn y diwedd yn gwneyd gwirionedd yn ddim. Ni fynem, ar un cyfrif, ymyraeth â'r geiriau mawrion sydd yn cyfeirio at dynged yr anedifeiriol yn y byd arall ond yn ystyr y canonau dïogel uchod. Ond hyd yn nôd felly, yr ydym yn cael eu bod yn annhraethol bell o ddysgu yr athrawiaeth o ddifodiad.

Un gair y gwneir llawer o hono wrth amddiffyn y golygiad hwn ydyw y gair *marwolaeth.* Dyfynir o Locke *(Reasonableness of Christianity)*,—"Wrth farwolaeth dealla rhai boenau diddiwedd yn nhân uffern; ond ymddengys yn ffordd ddyeithr i ddeall deddf sydd yn gofyn y geiriau mwyaf amlwg ac uniongyrchol, mai wrth farwolaeth y golygir bywyd tragywyddol mewn trueni. A ellid meddwl fod unrhyw un trwy ddeddf a ddywedai, *am lofruddiaeth yn sicr ti a fyddi farw*, yn meddwl,—nid y collai ei fywyd, ond y cedwid ef yn fyw mewn poenau arteithiol a gwastadol? Ac a feddyliai unrhyw un y gwneid yn dêg âg ef a drinid felly?" Y mae rhai yn dal yn gryf nad oedd dim ond marwolaeth naturiol yn y bygythiad a wnaed i Adda; fod marwolaeth naturiol yn hysbyddu eto holl gosp pechod; ac nad oedd dim mwy na hyny yn yr hyn a ddyoddefodd Crist ar Galfaria. Ond y mae y dosbarth yna gymaint y tu allan i gylch yr hyn a ddylid ystyried yn efrydiaeth bwyllog o'r Ysgrythyrau, fel nad ydynt yn galw am sylw pellach. Y golygiad arall a gymerir gan y dynion ag y mae eu barn yn ffrwyth rhywfaint o ystyriaeth, sef y bydd y bygythiad gwreiddiol o farwolaeth yn cael ei gario allan rywbryd ar yr holl ddyn, gorff ac enaid, yn llythyrenol, ac y bydd yn ddifodiad arno. Gellid meddwl mai dyma olygiad Locke yn y dyfyniad uchod, er fod yn rhyfedd fod gŵr o'i allu ef mor ddyeithr i'r Gristionogaeth y dymunai brofi ei rhesymoldeb fel ag i syrthio i'r amryfusedd o siarad am y farwolaeth sydd trwy farn Duw yn dyfod ar yr oll o ddyn, fel pe na fuasai ond yr un peth ag a "ddygir oddiamgylch trwy ddedfryd barnwr gwladol, ac hefyd o siarad am fywyd

tragywyddol mewn trueni" mewn achos nad all olygu mwy na chcspedigaeth gyfiawn y Barnwr ar grëadur y mae Efe ei hunan wedi ei wneyd yn anfarwol. Yr ydym ni yn methu gweled pa fodd y mae marwolaeth yn *ddifodiad* ar ddyn. Mae yr ysgrifenwyr hyn yn dirmygu yn fawr y gwahaniaethiad o farwolaeth naturiol, ysbrydol, a thragywyddol. Nid ydym ni yn awyddus i'w amddiffyn, er fod yn amlwg fod y Bibl yn sôn am farwolaeth ymhob un o'r ystyriaethau hyn, ac nid ydyw yn ymddangos yn yr un o honynt ei fod yn ddifodiad. Y mae dyn yn marw yn *naturiol*, ond y mae ein gwrthwynebwyr mor bell a ninnau oddiwrth feddwl ei fod y pryd hyny yn peidio a bôd. Y mae y Gair yn dangos yn bur amlwg hefyd fod dyn yn ngafael marwolaeth nad oes modd ei hesbonio ond trwy ei galw yn *ysbrydol*. Yr oedd yr Ephesiaid, cyn eu bywhâu trwy ras, "yn feirw mewn camweddau a phechodau" (Eph. ii. 1). "Gâd i'r meirw," ebai Crist (Mat. viii. 22), "gladdu eu meirw." "Ond yr hon sydd drythyll," ebai Paul (1 Tim. v. 6), "sydd farw, er ei bod yn fyw." Drachefn, "Syniad y cnawd, marwolaeth yw:" Rhuf. viii. 6. "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw:" Eph. v. 14. "Y mae genyt enw dy fod yn fyw, a marw ydwyt:" Dad. iii. 1. "Nyni a wyddom ddarfod ein symud ni o farwolaeth i fywyd:" 1 Ioan iii. 14. Ond er yn ngafael y farwolaeth yna—y fwyaf ofnadwy, a'r hon sydd yn cynnwys ynddi ddychrynfëydd yr holl farwolaeth sydd yn gwneyd i fyny hanfod pechod a'i gospedigaeth,—nid oedd y bobl, yn sicr, wedi eu difodi. Ac mae yn amlwg y sonir am dynged yr anedifeiriol yn y byd a ddaw fel marwolaeth. "Pwy bynag sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd:" Ioan xi. 26. "Hwn yw y bara sydd yn dyfod i waered o'r nef, fel y bwytäo dyn o hono, ac na byddo marw:" vi. 50. "Canys os byw yr ydych yn y cnawd, meirw fyddwch:" Rhuf. viii. 13. "Canys cyflog pechod yw marwolaeth:" vi. 23. "Pechod hefyd, pan orphener, a esgor ar farwolaeth:" Iago i. 15. Llefarir am y farwolaeth yma fel yr "ail farwolaeth" (Dad. ii. 11, xx. 6, 14, xxi 8); a dangosir yn bur amlwg ei bod yn dragywyddol. Gan nad ydyw y farwolaeth naturiol na'r farwolaeth ysbrydol yn ddifodiad ar ddyn, pa fodd y mae yn canlyn y rhaid y bydd y farwolaeth yr ochr draw yn ddifodiad arno? Ceisir gwneyd fod y geiriau "yr ail farwolaeth" yn dangos goruchwyliaeth derfynol ar farwolaeth, ac am hyny na all fod y rhai fydd yn myned dani yn fyw, hyny yw, yn bod, mwyach. Mae yn ddiammheu y bydd hon yn oruchwyliaeth derfynol, ond paham nad all dynion barhâu mewn bodolaeth dan hon hefyd, fel dan y ffurfiau eraill o farwolaeth? Mae yn amlwg nad oes dim yn y drychfeddwl o farwolaeth yn awgrymu yn amgen, gan nad ydyw mewn unrhyw gysylltiad arall yn effeithio ar fodolaeth dyn. Ac, yn wir, y mae y geiriau sydd yn sôn am yr ail farwolaeth yn amlwg yn golygu bodolaeth ymwybodol yn ei gwrthddrychau. Fe ddywedir y "bydd rhan" y rhai drygionus "yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan, yr hwn yw yr ail farwolaeth:" Dad. xxi. 8. Yn yr adnod flaenorol fe ddywedir, "Yr hwn sydd yn gorchfygu a etifedda bob peth." Mae yn amlwg fod y geiriau "y bydd eu rhan," yn y naill adnod, yn cyfateb i "a etifedda" yn y llall, ac fod y ddau ymadrodd yn golygu parhâd ymwybodol. Fe ddywedir hefyd yn yr un desgrifiad ofnadwy o ddinystr gelynion Duw (Dad. xx. 10), "A diafol, yr hwn oedd yn eu twyllo hwynt, a fwriwyd i'r llyn

o dân a brwmstan, lle y mae y bwystfil a'r gau brophwyd; a hwy a boenir ddydd a nos yn oesoesoedd." Ac yn yr un bennod, adn. 14, "A marwolaeth ac uffern a fwriwyd i'r llŷn o dân. Hon yw yr ail farwolaeth." Beth bynag raid fod yr ystyr frawychus sydd i'r geiriau "llŷn o dân," a'r "ail farwolaeth," a beth bynag a olygir wrth fwrw marwolaeth ac uffern i'r llŷn o dân, yr hyn "yw yr ail farwolaeth," mae yn amlwg fod y cyfan mor bell o fod yn ddifodiad ar y diafol, a'r bwystfil, a'r gau brophwyd, a phawb y bydd eu "rhan yn y llŷn sydd yn llosgi o dân a brwmstan," fel y byddant yn cael eu "poeni ddydd a nos yn oes oesoedd." Nid oes awgrym am y fath beth a difodiad, hyd yn nôd dan yr ail farwolaeth. Mae yr "ail enedigaeth" o natur dra gwahanol i'r enedigaeth gyntaf; ac er addef fod y farwolaeth gyntaf yn fath o ddinystr ar ddyn, nid allai ganlyn y bydd yr "ail farwolaeth" o'r un natur a hi, mwy nag y mae yr ail enedigaeth o'r un natur a'r enedigaeth gyntaf; ac y mae cwestiwn ei pharhâd, càn belled ag y mae hyny yn myned, yn cael ei adael yn yr un fan. Nid ydyw yn bosibl i ni amgyffred beth sydd yn gwneyd i fyny ddychrynfëydd yr ail farwolaeth, ond mae yn amlwg, oddiwrth yr Ysgrythyrau, nad all fod yn ddifodiad ar y rhai fydd mor druenus a syrthio dani.

Fe ddefnyddir amryw eiriau eraill yn y Bibl i ddesgrifio tynged gelynion Duw, ac fe hònir eu bod oll, yn y modd mwyaf diamwys a diammheuol, yn golygu eu llwyr ddifodiad. Un o'r rhai cryfaf ydyw *dinystrio.* Cyfeirir ni at amryw o'r geiriau gwreiddiol a gyfieithir i'r ystyr yma, a gofynir pa ymadroddion cryfach a allesid ddefnyddio i ddangos llwyr ddifodiad, a pha ystyr amgen a ellir roddi iddynt pan ddefnyddir hwynt i ddangos barn Duw ar ei elynion? Y mae dwy ffaith dra hynod mewn cysylltiad â'r mater hwn yn hawlio ein sylw: yn gyntaf, nid ydyw yn ymddangos fod y geiriau hyn yn yr Ysgrythyrau yn cael eu defnyddio o gwbl i arwyddocâu difodiad; yn ail, yr ydym yn cael y defnyddir hwynt yn barhäus mewn cysylltiadau ag y mae yn gwbl amlwg nad allant fod yn arwyddocâu difodiad. Hònir grym neillduol felly i'r gair Hebraeg אבד, *avad.* Ond fe'i defnyddir am y cyfiawn, "*Darfu* am y cyfiawn," Esa. lvii. 1. Defnyddia y Salmydd ef am dano ei hun; "*Cyfeiliornais* fel dafad; cais dy was," Salm. cxix. 176. Yn Ezec. xxxiv. 4, mae yr Arglwydd wrth gyhuddo bugeiliaid Israel, yn defnyddio y gair yma i achwyn, "A'r *golledig* ni cheisiasoch;" a thrachefn yn adn. 16, o'r un bennod i ddyweyd, "Y *golledig* a geisiaf." Yn Deut. xxii. 1—3, fe'i defnyddir i ddynodi pethau wedi myned ar goll. Wedi nodi amryw bethau, ychwanegir, "Ac felly y gwnei i bob *collbeth* i'th frawd, yr hwn a *gyll* oddiwrtho ef, a thithau yn ei gael." Nid ydyw y gair yn y manau uchod yn awgrymu dim byd tebyg i ddifodiad, ac y mae yn cael ei ddefnyddio am bobl yr Arglwydd, yn gystal ag am ei elynion. Gair arall ydyw שמד, *shamad.* Ond defnyddir hwn gan Jacob, Gen. xxx. 30, am dano ei hunan. "A Jacob a ddywedodd wrth Simeon a Lefi, Trallodasoch fi, gan beri i mi fod yn ffiaidd gan breswylwyr y wlad, gan y Canaaneaid a'r Phereziaid; a minnau yn ychydig o nifer; a hwy a ymgasglant yn fy erbyn, a tharawant fi; felly y *dyfethir* fi, mi a'm tŷ." Pa ddifrod bynag a allasai y bobl hyny wneyd ar y patriarch a'i deulu, fe fuasai eu *bodolaeth,* deued a ddeuai, yn parhâu. צמת, *tsamath,* sydd air arall o gyffelyb natur. Ond y mae Jeremiah yn defnyddio hwn am dano ei

hunan, ac mewn ystyr nad all olygu difodiad. "*Torasant ymaith fy einioes* yn y pwll," Galar. iii. 53. Yr ydoedd yn bod wedi hyny, ac mewn sefyllfa i allu cwyno ei dynged. שבר, *shever*, sydd air cryf yn ddiammheu, a dïau fod ystyr arswydus iddo yn Esa. i. 28, "A *dinystr* y troseddwyr a'r pechaduriaid fydd ynghyd." Ond cawn yr un gair yn Jer. vi. 14, "A hwy a iachasant *friw* merch fy mhobl i yn esmwyth." A ydyw *briw* yn ddifodiad? Ond fe allai mai y mwyaf anffodus i'n gwrthwynebwyr o'r geiriau hyn i gyd ydyw פרה, *karath.* Mae yn wir fod hwn yn air cryf, ac yn arwyddo *tori ymaith, tori i lawr, dinystrio,* &c. Ond dyma y gair a geir yn Dan. ix. 26, "Ac wedi dwy wythnos a thriugain y *lleddir* y Messiah, ond nid o'i achos ei hun." A ydyw efe wedi ei ddifodi? Gellir dywedyd gyda Proffeswr Watts, os ydyw y geiriau uchod yn profi difodiad, "eu bod hefyd yn profi fod yr Hen Destament yn dysgu, nid yn unig ddifodiad y drygionus, ond difodiad y ddaear bedair mil o flynyddoedd yn ol, difodiad Israel amryw weithiau yn ystod eu hanes, difodiad Dafydd, a Jeremiah, ac—arswydus i'w adrodd!—difodiad y Messiah ei Hun, pan dorwyd Ef "ymaith o blith y rhai byw." Ac heblaw hyny os hònir fod yr holl ddinystriadau ar y drygionus yn yr Hen Destament i'w cymeryd yn llythyrenol, fel yn golygu eu difodiad, pa beth a ddaw o athrawiaeth yr adgyfodiad? Pa fodd y gall gelynion Duw, os dan farnau tymmorol trymion wedi eu difodi, ddeffro yn y dydd mawr, yn ol geiriau y prophwyd Daniel, "i warth a dirmyg tragywyddol?" A thra y mae barn a chospedigaeth y drygionus mewn byd arall wedi eu "dwyn i oleuni" mwy amlwg fyth yn y Testament Newydd, y mae y geiriau a ddefnyddir yno hefyd, er yr hònir iddynt lawer mwy o nerth, yn dyfod yr un mor bell o brofi difodiad. Un gair y pwysir llawer arno yn y Testament Newydd, ydyw y ferf, ἀπόλλυμι, *dystrywio;* a'i sylweddair ἀπώλεια, *dystryw.* Dyfynir Mat. x. 28, lle y defnyddir y gair yma, fel yn derfynol ar y ddamcaniaeth o ddifodiad. "Ac nac ofnwch y rhai a laddant y corff, ac ni allant ladd yr enaid; eithr yn hytrach ofnwch yr hwn a ddichon *ddystrywio* enaid a chorff yn uffern." Mae yn ddïau y bydd y drygionus yn uffern yn cael ei ddystrywio, gorph ac enaid; a gallwn nodi yn y fan yma, wrth fyned heibio, fod dadl ein gwrthwynebwyr yn erbyn anfarwoldeb naturiol yr enaid, ar eu tir eu hunain, yn cael ei dymchwelyd gan y dystiolaeth y bydd Duw yn defnyddio ei allu er dystrywio yr enaid, yr hyn a awgryma yn bur gryf fod hwnw wedi ei wneyd i barhâu, ac y buasai yn parhâu oddieithr ei ddystrywio. Ond y mae yn dêg i ni ymofyn a ydyw ἀπόλλυμι yn cael ei ddefnyddio gan yr ysgrifenwyr sanctaidd yn y fath fodd ag sydd o angenrheidrwydd yn ein gorfodi i'w gymeryd yn yr adnod hon fel yn golygu difodiad? Cymerer yr adnodau canlynol:—"Canys ceisio a wna Herod y mab bychan i'w *ddyfetha* ef," Mat. ii. 13. "Yna yr aeth y Phariseaid allan, ac yr ymgynghorasant yn ei erbyn ef, pa fodd y *dyfethent* ef," xii. 14. "Hwy a ddywedasant wrtho, Efe a *ddyfetha* yn llwyr y dynion drwg hyny," xxi. 41. "A phan glybu y brenin, efe a lidiodd; ac a ddanfonodd ei luoedd, ac a *ddinystriodd* y lleiddiaid hyny," xxii. 7. "A'r archoffeiriaid a'r henuriaid a berswadiasant y bobl, fel y gofynent Barabbas, ac y *dyfethent* yr Iesu," xxvii. 20. Mae y gair yn yr holl fanau uchod yn cael ei ddefnyddio gan yr un Efengylwr ag sydd yn coffâu yr ymadrodd "dystrywio enaid a chorff," i arwyddo *lladd;* ond yn sicr nid ydyw hyny yr un peth a difodi. Dywed yr apostol Paul, (Rhuf. xiv. 14,)

"Na *ddystrywia* ef â'th fwyd, dros yr hwn y bu Crist farw." A oedd perygl i'r brawd cryf *ddifodi* y brawd gwan? Yn Luc xv. defnyddir y gair dair gwaith am bethau oeddynt wedi eu colli. "Llawenhewch gyda mi, canys cefais fy nafad a *gollasid*," adn. 6; "Cyd-lawenhewch â mi, canys cefais y dryll a *gollaswn*," adn. 9; "Canys fy mab hwn oedd farw, ac a ddaeth yn fyw drachefn; ac efe a *gollesid* ac a gaed," adn. 24. Yn sicr, yr oedd y ddafad, a'r darn arian, a'r mab afradlon, *yn bod*, er eu bod ar y pryd wedi myned ar goll. Dywedir yn Mat. xviii. 11, fod Mab y dyn wedi dyfod "i gadw yr hyn a *gollasid*." Pa fodd y gallasai gadw peth wedi ei ddifodi? Defnyddir y gair i ddangos colledigaeth sydd yn amlwg yn ffaith yn y byd hwn, tra y mae ei gwrthddrychau yn fyw ac yn iach. Nid oedd yr Iesu *wedi colli* yr un o'i ddysgyblion, "ond mab y *golledigaeth*, fel y cyflawnid yr Ysgrythyr," Ioan xvii. 12. Os cuddiedig oedd efengyl Paul a'i frodyr, "yn y rhai *colledig*" yr ydoedd felly, "yn y rhai y dallodd duw y byd hwn feddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw," 2 Cor. iv. 3, 4. Ni ddanfonwyd Crist, medd Efe, ond at "ddefaid *colledig* tŷ Israel," Mat. xv. 24; ac "at *gyfrgolledig* ddefaid tŷ Israel"—yr un gair, ἀπολωλοτα—y danfonai yntau ei ddysgyblion, Mat. x. 6. Nid yw yr un o'r ymadroddionu chod gymaint ag yn *awgrymu* y drychfeddwl o ddifodiad. Y mae un gair arall yn tarddu o ὀλλυμι, ffurf ddwysach o ba un yw ἀπόλλυμι, sef ὄλεθρος, a gyfieithir *dinystr*. Dyma y gair a geir yn 2 Thes. i. 9: "Y rhai a ddyoddefant yn gospedigaeth, *ddinystr* tragywyddol, oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef." Haerir y rhaid fod hwn yn arwyddo difodiad. Ond pa le y mae y prawf? Yn 1 Cor. v. 5, y mae yr apostol yn gorchymyn traddodi rhyw droseddwr oedd yn Nghorinth "i Satan i *ddinystr* (ὀλεθρον) y cnawd, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu." Pa beth bynag sydd i'w ddeall wrth "ddinystr y cnawd," mae yn amlwg nad all olygu ei ddifodiad. Ac nid ydym ni yn gallu gweled pa fodd y mae yn bosibl i'r "dinystr tragywyddol," fydd yn cael ei "ddyoddef yn gospedigaeth," ac yn dyfod "oddi ger bron yr Arglwydd," fod yn ddifodiad ychwaith. Dyfyna Mr. White eiriau cryfion o eiddo Dr. Mortimer, diweddar brif athraw y *City of London School*, a Dr. Weymouth, prif athraw y *Mill Hill School*, i ddangos fod ἄπολλυμι yn y Groeg bob amser yn arwyddo dinystrio. Mae yr olaf yn wir yn awgrymu fod y cyntaf wedi gwanhâu ei achos wrth ei osod allan yn rhy gryf, ac yn dal fod y gair yn rhai o'i ffurfiau yn golygu *colli*, ar wahân oddiwrth ddinystrio. Ond ar yr un pryd haera fod cymeryd ἀπόλωλα yn yr ystyr, *yr wyf wedi fy andwyo*, yn hollol anmhriodol. I ddangos hyn dyfyna linell o Euripides, *Hecuba* 677, ἀπωλόμην δύστηνος οὐκετ' εἰμὶ δή a gwna mai yr ystyr ydyw, "Yr wyf wedi darfod am danaf, druenus, ac nid ydwyf mwy." Cymer y geiriau diweddaf, "ac nid ydwyf mwy" yn brawf o enau y truan ei hunan ei fod wedi llwyr ddarfod am dano. Bid sicr, fe ddylai pob dyn wybod ei hanes ei hunan yn weddol; ond ar yr un pryd, pan y mae dyn yn ddigon byw i allu *taeru* ei fod wedi marw, ac nad ydyw mwy, y mae braidd yn anhawdd perswadio y byd ei fod yn y cyflwr y mỳn gan ddynion gredu ei fod. Dyweded Dr. Weymouth a fỳno am "ormodiaith awen a nwyd," y mae fod dyn yn abl i daeru nad ydyw mwy, pa mor bell bynag y gallai ei fod wedi darfod am dano, neu wedi ei andwyo, yn ddigon o dddlonrwydd i bawb ei fod yn fyw. Ond ar wahân oddiwrth hyn oll, yr ydym wedi

cael fod y defnydd a wneir yn y Testament Newydd, o ἀπόλλυμι a'i gyfeiriau, yn bobpeth ond yn gadarnhäol i'r dybiaeth o ddifodiad.—Cyfieithir gair arall yn *ddinystrio*, *καταργεῖν*, Heb. ii. 14, "Fel trwy farwolaeth y *dinystriai* efe yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo, hyny yw, diafol." "Pe buasai Duw yn bwriadu rhoddi terfyn ar fodolaeth y diafol," ebe Mr. Warleigh, "a allasai Efe ddefnyddio iaith fwy clir?" Ystyr y gair ydyw *gwneyd yn ofer, dirymu, gorchfygu, dinystrio.* Defnyddir ef i ddangos fod y ffigysbren diffrwyth "yn *diffrwytho* y tir," Luc xiii. 7; y "*dinystria* Duw y bòl a'r bwydydd," 1 Cor. vi. 13; y "*palla* prophwydoliaethau," ac y bydd i'r "hyn sydd o ran gael ei *ddilëu*," xiii. 8—10; fod "tramgwydd y groes wedi ei *dynu ymaith*," Gal. v. 11; nad ydyw ein hanghrediniaeth ni "yn gwneyd ffydd Duw yn *ofer*," ac nad ydym yn "gwneuthur deddf Duw yn *ddirym* trwy ffydd," Rhuf. iii. 3—31; os y rhai sydd o'r ddeddf yw yr etifeddion, "y gwnaed yr addewid yn *ddirym*," iv., 14; "ddarfod croeshoelio ein hen ddyn ni gydag ef er mwyn *dirymu* corff pechod, fel rhagllaw na wasanaethom bechod," vi. 6; y bydd y diwedd, wedi i Grist "*ddilëu* pob pendefigaeth, a phob awdurdod, a nerth," ac mai y gelyn diweddaf a *ddilëir* neu a *ddinystrir* (*καταργεῖται*) ydyw yr angeu,—neu yn hytrach y bydd angeu y gelyn diweddaf hefyd, yr un modd a "phob pendefigaeth ac awdurdod," yn cael ei *ddilëu*, 1 Cor. xv. 24—26, &c. Mae y geiriau hyn oll yn cydgrynhöi eu goleuni ar ystyr y dinystrio oedd i gymeryd lle ar y diafol, ac yn dangos mai yr hyn a feddylid wrth hyny ydoedd dirymu, dilëu, neu lwyr ddinystrio ei allu. Felly Ioan xii. 31, "Yn awr y mae barn y byd hwn; yn awr y bwriwyd allan dywysog y byd hwn." Y mae ei awdurdod wedi ei ddinystrio. Y mae y concwerwr mawr, "gan ysbeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau" (Col. ii. 15), wedi "eu harddangos hwy ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt" ar y groes. Y mae Mab Duw wedi ymddangos (1 Ioan iii. 8), "fel y dattodai weithredoedd y diafol;" Saes. *fel y dinystriai.* Ystyr λύσῃ yma ydyw *dattod, dadwneyd*, ac felly *ddinystrio.* Ac fel mai dyna ydyw natur y dinystrio sydd ar *weithredoedd* y diafol, cyffelyb ydyw y dinystrio sydd, yn ol Heb. ii. 14, yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan Grist arno *ef ei hunan.* A pha raid fuasai i Fab Duw ddyfod yn "gyfranog o gîg a gwaed" er gallu *difodi* y diafol? Gallasai wneyd hyny oddiar ei orseddfainc, gydag ewyllysiad. Ond gan mai ei benderfyniad grasol ydoedd dattod ei weithredoedd, a dymchwelyd ei allu, fel Gwaredwr ei bobl, yr oedd yn rhaid iddo yntau, fel "y plant," ddyfod "yn gyfranog o gîg a gwaed." Mae yn gwbl amlwg nad all y geiriau hyn ddim golygu difodiad y diafol. Deallir fod Salm xlix. yn dysgu difodiad y drygionus. Dywed adn. 12, "Er hyny dyn mewn anrhydedd, nid erys; tebyg yw i anifeiliaid a ddyfethir; ac adn. 14, "Fel defaid y gosodir hwynt yn uffern; angeu a ymborth arnynt, a'r rhai cyfiawn a lywodraetha arnynt y bore; a'u tegwch a dderfydd yn y bedd, o'u cartref." Mae yn amlwg mai yr hyn a ddysgir yn y 12fed adnod ydyw gwaeledd rhan yr hwn sydd yn edrych am ei gwbl yn y byd hwn. Er maint ei falchder a'i uchelgais, rhaid iddo farw fel yr anifail. Nid ydyw hyn yn wir am neb ond y rhai y dywed y 13eg adn. am danynt, "Eu ffordd yma yw eu hynfydrwydd." Mae y rhai cyfiawn i "lywodraethu arnynt y bore,"—cyfeiriad at yr arfer ddwyreiniol o eistedd mewn barn yn mhorth y ddinas y bore; ac y mae yr ymadrodd o'r un ystyr a'r gair yn 1 Cor. vi. 2, "Oni

wyddoch chwi y barna y saint y byd?" Dywedir hefyd, pan osodir y rhai hyn fel defaid yn uffern, fod angeu yn "ymborthi" arnynt. Y gair yn y LXX ydyw, *ποιμανεῖ*, *bugeilio*, ac mae yn sicr mai dyma ystyr y gair Hebraeg רעה, *raah*, a ddefnyddir yma. Mae y Saesoneg yn ddiffygiol am air yn cyfateb i *bugeilio*, a phan mae ei eisieu, nid oes gan y cyfieithwyr Seisonig o'r Ysgrythyrau ond cymeryd *feed* neu *rule*, neu ryw air sydd yn dangos rhyw ran o waith bugail. Mae Delitzsch, yn nghyfieithiad Clark, gan ymdeimlo â'r diffyg hwn yn y gair dan sylw, yn gosod y meddwl allan fel yma,—"death doth shepherd them." Mewn ail ystyr, y mae y gair a ddefnyddia y Salmydd yn arwyddo *ymborthi ar;* ond ei ystyr cyntaf, fel y cydnebydd pawb, ydyw *bugeilio*, ac felly y mae yr holl esbonwyr o ddim enw yn ei gymeryd yma. Mae yn amlwg fod angeu yn y geiriau yn cael ei bersonoli, fel yn Job xviii. 14, lle y gelwir ef yn "frenin y dychryniadau." Dan ei fugeiliaeth ef, ac nid dan ofal y Bugail Da, y bydd yr annuwiolion yn y byd arall. Mae y syniad yn frawychus; bod dan fugeiliaeth Angeu! Ond y mae y gair yma, ynghyda'r gair arall sydd yn sôn am lywodraeth y rhai cyfiawn arnynt, yn dangos nad all "dyfetha" y 12fed adnod fod yn ddifodiad arnynt; canys pe felly, pa fodd y buasai yn bosibl iddynt fod dan fugeiliaeth angeu, na than lywodraeth y saint?—Gair arall a ddygir ymlaen i brofi y golygiad hwn sydd yn Actau xiii. 40, 41: "Gwyliwch gan hyny na ddêl arnoch y peth a ddywedwyd yn y prophwydi; edrychwch, O ddirmygwyr, a rhyfeddwch, a *diflenwch*." Y gair yma ydyw *ἀφανίσθητε*, o *ἀφανίζεσθαι*, *myned o'r golwg, diflanu*. Y gair yn y cyfieithiad Saesoneg yma ydyw *perish*. Ymddengys fod rhai wedi cael eu camarwain gan sŵn y gair Saesoneg, *perish*, i feddwl fod difodiad yn cael ei ddysgu yma. Yr ystyr, pa fodd bynag, ydyw diflanu. Ceir y gair yn ei ystyr brïodol yn Iago iv. 14: "Canys beth ydyw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos (*φαινομένη*), ac yna yn diflanu (*ἀφανιζομένη*)." Ac yn Heb. viii. 13, mae y cyfammod "a aeth yn hen ac yn oedranus, agos i *ddiflanu*." Mae y gair yn Mat. vi. 16 yn cael ei gyfieithu *anffurfio;* "Canys anffurfio eu hwynebau y maent." "Y mae *ἀφανίζεσθαι*," ebe Olshausen, "yn cyfuno y ddau ystyr o 'ddinystr neu symudiad ymaith,' ac 'o fod mewn syndod neu ddychryn,' ac y mae rhwymyn yr undeb rhwng y ddau ystyr i'w gael yn effaith anianyddol dychryn, trwy ba un y mae ymwybodolrwydd y person ar y fynyd fel pe byddai wedi ei gymeryd ymaith." Galwai yr apostol ar Iuddewon anghrediniol Antiochia, yn iaith y prophwydi, i edrych, a rhyfeddu, a diflanu, gan fawredd y gwaith a wnelai Duw yn eu dyddiau; ond yn sicr ni orchymynai iddynt fyned allan o fodolaeth, pe buasai yn bosibl i'w waith yn gwneyd y fath beth ateb unrhyw ddyben heblaw dangos dirfawr ffolineb.—Y mae un gair arall, 1 Cor. iii. 17: "Os llygra neb deml Dduw, Duw a lygra hwnw;" Saes., "him shall God destroy." Ac y mae hyn yn profi difodiad! Yr un gair a ddefnyddia yr apostol yn y ddau le uchod, a gresyn oedd i'r cyfieithwyr Seisonig ei newid, a rhoddi *defile* am y naill a *destroy* am y llall. Mae yn debyg eu bod hwy yn meddwl mai felly y buasent yn gwneuthur yn fwyaf eglur feddwl yr apostol, gan benderfynu yn niniweidrwydd eu calonau na fuasai neb o'u cydwladwyr yn myned i adeiladu ar eu gwaith ddamcaniaeth bwysig heb o leiaf ymgynghori am fynyd â'r testun gwreiddiol. Ond pa air bynag a gymerir am y *φθέρι* yn y rhan gyntaf o'r ymadrodd, rhaid cymeryd yr un am

y φθερεῖ yn yr ail ran. A digon o atebiad i'r *dinystrio* yn yr ystyr o ddifodiad y pechaduriaid y cyfeirir atynt yn y gair hwn, ydyw gofyn, A ydynt hwy yn gallu *difodi* teml Dduw wrth ei llygru? Pan ddefnyddir yr un gair ddwywaith yn yr un frawddeg, ac yn y naill ran o honi mewn gwrthgyferbyniad amlwg i'r rhan arall, yn sicr nid oes genym hawl i'w gymeryd yn y naill mewn un ystyr, ac yn y llall mewn ystyr arall, ac mor ryfeddol o wahanol.—Heblaw y geiriau uchod, y mae amddiffynwyr y golygiad dan sylw hefyd yn dra hoff o bentyru ymadroddion sydd yn y Gair yn sôn am ddinystr o unrhyw fath, gan ofyn yn fuddugoliaethus, pa fodd y gellir gwrthod yr athrawiaeth o ddifodiad, pan mae y Bibl drwyddo mor amlwg yn ei dysgu? Yr ydym ni yn cael nad ydyw y "geiriau cryfion" y cyfeiriasom atynt, y rhai a gymerant yn arbenig fel prawf-destynau, yn dysgu y golygiad hwn; llawer iawn llai yr ymadroddion a gymerant ar antur oddiyma ac oddidraw, na chyfeiriant ond at farnedigaethau tymmorol, ac os oes rhywbeth a fynont â thynged yr annuwiol yn nystryw, nad ydynt mewn un modd yn y byd yn awgrymu y syniad o ddifodiad.

A phaham y gosodir y fath bwys yn yr Ysgrythyrau ar *dragywyddoldeb* y gospedigaeth, os nad ydyw yn golygu mwy na dinystr mewn difodiad? Mae y "gwarth a'r dirmyg" yn Dan. xii. 2 yn "dragywyddol." Mae y "llosgfëydd" y dychryna rhagrithwyr rhagddynt yn Esa. xxxiii. 14 yn "dragywyddol." Mae y "gospedigaeth" yn Mat. xxv. 46, yr un fath a'r "bywyd," yn "dragywyddol." Am yr hwn sydd heb gredu i'r Mab, "ni wêl fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef:" Ioan iii. 36. Fe orchymynir y "rhai melldigedig" yn y dydd mawr i fyned i'r "tân tragywyddol, yr hwn a barotöwyd i ddiafol ac i'w angelion," Mat. xxv. 41. Mae y dinystr a ddyoddefir "oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef," 2 Thes. i. 9, yn "ddinystr tragywyddol." Mae y "prŷf" yn un "na bydd marw," a'r "tân" yn un "na ddiffydd:" Esa. lx. 24; Marc ix. 24. Mae yr hyn sydd, yn ol Jud. 13, yn nghadw i'r annuwiolion yn "niwl tywyllwch yn dragywydd." Y mae "pechod i farwolaeth," nad ydyw o unrhyw ddyben gweddïo dros yr hwn a'i cyflawno; 1 Ioan v. 16; a'r hwn fydd yn euog o'r pechod hwnw, "ni chaiff faddeuant yn dragywydd, ond y mae yn euog o farn dragywydd:" Marc ii. 19. "Pwy bynag a ddywedo yn erbyn yr Ysbryd Glân, nis maddeuir iddo, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw:" Mat. xii. 32. Mae "mŵg poenedigaeth" y rhai sydd yn addoli y bwystfil (Dad. xiv. 11) "yn myned i fyny yn oes oesoedd, ac nid ydynt hwy yn cael gorphwysdra ddydd na nos." Yn pen. xx. 10, dywedir fod diafol wedi ei fwrw "i'r llŷn o dân a brwmstan, lle y mae y bwystfil a'r gau brophwyd; a hwy a boenir ddydd a nos yn oes oesoedd." Dywedir (adn. 14) mai dyma "yr ail farwolaeth;" ac yn pen. xxi. 8, mai dyma fydd rhan pechaduriaid yn gyffredin, heblaw eiddo y diafol, a'r bwystfil, a'r gau brophwyd. Pa fodd yr esbonir ymaith yr holl ymadroddion cryfion yna am dragywyddol barhâd trueni uffern, er gwneyd lle i'r ddamcaniaeth o ddifodiad? Ymgeisia Mr. Denniston wneyd hyny fel yma:—"Os bydd i ddyn trwy ddienyddiad golli ei fywyd heddyw, yr hwn heb hyny a fuasai yn parhâu hanner can' mlynedd, onid yw y gospedigaeth yn ymestyn dros y cyfnod hwnw? A pha wahaniaeth os ydyw y cyfnod yn ymestyn dros fil o flynyddoedd? Pa

wahaniaeth os ydyw yn *dragywyddoldeb?"* Y mae afresymoldeb o'r fath yma yn rhy anobeithiol i neb feddwl am geisio ei wrthbrofi. Ond y golygiad a gynnygir yn gyffredin ydyw, fod y gospedigaeth yn dragywyddol am nad oes obaith adferiad o honi,—fod yr un a fo dani yn cael ei ddinystrio. Yn ol hyn fe wneir fod y gair tragywyddol, yr hwn a ddeallir ymhob cysylltiad arall fel yn golygu parhâd annherfynol, pan ddefnyddir ef i ddangos cospedigaeth yr annuwiol, yn golygu terfynolrwydd i barhâd, a hwnw o'r fath fwyaf pendant y gellir meddwl am dano. Cyn y gallwn feddwl am dderbyn y fath *lucus a non lucendo,* y fath chwareu â'r geiriau cryfaf mewn iaith, carem gael gwybod pa warant a ellir ddangos dros y fath beth? Ac heblaw y dirfawr rym sydd yn y geiriau "tragywyddol," "yn oes oesoedd," &c., a ddefnyddir mewn cysylltiad â'r achos hwn, onid yw y geiriau eraill a ddefnyddir mewn cysylltiad â hwy yn amlwg yn golygu bodolaeth ac ymwybodolrwydd parhäus y rhai sydd dan y dynged druenus? Paham yr ofnid *gwarth a dirmyg tragywyddol,* neu yr arswydid rhag y *tân* neu y *llosgfëydd tragywyddol,* os nad yw y truan sydd i'w dyoddef yn dragywyddol hefyd? Pa fodd y gall y *gospedigaeth* fod yn *dragywyddol,* os nad yw y dyoddef sydd arni yn dragywyddol yr un modd? Ni fyddai i ddyn fod mewn ystâd *na wêl fywyd,* yn un caledi arno, os nad ydyw yn parhâu mewn cyflwr y gallai ei weled, pe byddai y fath beth yn bod iddo. A pha fodd y *dyoddefa* dynion, a hyny mewn ffordd o *gospedigaeth,* "ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef," os nad ydynt o hyd yn bôd, ac yn bôd i deimlo? A'r un modd pa fodd y *poenid* crëaduriaid, a hyny *ddydd a nos yn oes oesoedd,* os nad ydynt yn parhâu mewn bodolaeth, ac mewn sefyllfa i allu dyoddef poen?

Yr ydym yn ofni ein bod wedi trethu yn drwm amynedd rhai o'n darllenwyr wrth aros cyhyd uwchben y dychymygion hyn. Ond yr ydym wedi hir deimlo fod y "meddalwch" yn ysbryd ein hamseroedd, y cyfeiriasom ato yn ein herthygl flaenorol, yn hynod o ffafriol i gynnyrchiad y cyfryw olygiadau, ac wedi hyny yn peri yn meddyliau llawer dderbyniad cydnaws a chroesawgar iddynt. Nid ydym heb ofni ychwaith fod y "lle poenus hwnw" wedi ei adael o'r neilldu i fesur helaeth gan weinidogion yr efengyl yn Nghymru; fod uffern wedi myned yn rhywbeth nad ydyw i'w grybwyll "to ears polite;" ac fod yr athrawiaeth fawr am ddyfodol truenus yr annuwiol—y byddai Crist yn ei phregethu mewn ymadroddion oeddynt yn daranau mewn nerth, ac eto wedi eu bedyddio gan Ddwyfol gariad—wedi ei gadael i lithro ymaith fel peth a weddai yn burion i erwindeb y tadau, ond nad yw yn gweddu yn gymaint i'n dyddiau ni. Nid ydym yn gwybod i ba raddau y gallai fod hyn i'w briodoli i hydreiddiad gwenwyn y golygiadau y cyfeiriasom atynt i gylchoedd y teimlid yn chwith gan lawer gydnabod ei ddylanwad. Pa fodd bynag, yr ydym yn teimlo yn gwbl hyderus na raid ond wynebu y syniadau yma, na theimlir mor hollol ansylweddol ydynt. Ac wedi i ni ddyfod i "wybod ofn yr Arglwydd" yn hyn, ni fydd yn anhawdd i ni "berswadio dynion." Camgymeriad dybryd ydyw meddwl fod pregethu yr athrawiaeth dan sylw yn tueddu i galedu dynion, ac i gynnyrchu anffyddiaeth. Nid ydyw hyn ond breuddwyd y damcanwyr. Pa bryd bynag y dygir y gwirioneddau hyn, yn ysbryd yr efengyl, ger bron y bobl, y maent yn cael gwarantau eu dilysrwydd yn eu cydwybod eu

hunain, ac, ond odid, yn cael eu deffro o'u difaterwch, a'u cymhell i "ffoi rhag y llid a fydd." Nid ydym am fynyd yn dadleu dros ddwyn yr athrawiaeth hon i arbenigrwydd a yro o'r golwg wirioneddau mawrion eraill; ac yr ydym yn anfesurol bell oddiwrth feddwl mai y dull priodol i'w phregethu fyddai bygwth uffern ar y bobl mewn ymadroddion ysgaprwth, ac mewn ysbryd cnawdol. Fel y dywedai Mr. Moody, y mae pregethu yr athrawiaeth yma yn gofyn *tynerwch mawr!* Ond yr ydym yn dadleu, os ydys i osod ger bron y bobl holl gyngor Duw, nad ydyw y gwirionedd mawr yma i gael ei esgeuluso. Ac mor ddirfawr y mae pregethu ffyddlawn arno wedi ei fendithio i ddwyn dynion i ymdeimlo â'u perygl, ac i ddïanc i'r noddfa! Nid oedd neb a deimlai yn fwy llednais, yn wir yn fwy *fastidious* ar y mater yma, na Mr. Foster, ac eto fel yma yr ysgrifenai efe yn ei lythyr enwog at Mr. White:—"Y mae hefyd yn fater o ffaith a phrofiad, mai fynychaf o lawer trwy argraffiadau ar ofn y mae dynion, mewn gwirionedd, yn cael eu deffro i 'ffoi rhag y llid a fydd.' Galwed unrhyw un i gôf yr hyn a wybu am y fath ddeffröadau. Y mae Dr. Watts, oll yn dyner a hawddgar fel yr ydoedd, ac yn ymhyfrydu mewn aros ar y materion cydnaws, yn dyweyd yn bwyllog, o'r holl bersonau i ba rai y bu ei weinidogaeth ef yn effeithiol, nad oedd ond *un* wedi derbyn yr argraffiadau effeithiol cyntaf oddiwrth yr arweddion tyner, deniadol ar grefydd; y lleill oll oddiwrth y rhai ofnadwy a brawychus—yr appeliadau at ofn. A dyna ymron yn ddieithriad ddull yr oruchwyliaeth Ddwyfol o dröedigaeth." Nid oes dim yn fwy o fagwraeth i anhawsderau damcaniaethol gyda'r mater yma, fel gyda materion pwysig eraill, a chlaerineb a gwendid ffydd y rhai sydd yn proffesu ei gredu. Er mor barchus ydyw bod yn uniongred, os ydyw ein ffydd yn farw nid ydyw ond ysgerbwd. Y mae ammheuaeth fyw, sydd yn ymwingo am waredigaeth, yn anfesurol well.

There is more faith in honest doubt,
Believe me, than in half the creeds.

Ond gyda phethau mor bwysig y mae ammheuaeth a chrediniaeth farw yr un mor anmhriodol. Beth bynag ydyw yr anhawsderau, gydag achos y mae a fyno â thynged dragywyddol dynion, y mae eu hysgoi, nid yn unig yn llwfrdra dirmygedig, ond hefyd yn bechadurus iawn. Mae yr achos yn rhy bwysig i rodresu yn blentynaidd uwch ei ben, fel pe byddai proffesu ammheuaeth yn brawf o feddylgarwch heb ei fath; ac y mae y cyfrifoldeb o gamarwain eraill gyda golwg arno yn beth i arswydo rhagddo. Sonia Mr. Robertson, o Brighton, am dano ei hunan yn myned i'r Cyfandir rywbryd, pan mewn profedigaethau cyffelyb, "i ysu ei fwg ei hun." Ac nid y Rhagflaenor mawr yw yr unig un a ymneillduodd i'r diffaethwch i ymladd â'r diafol. Ni ddylai dyn orphwys o gwbl nes bo y ddadl bwysig wedi ei phenderfynu yn ei feddwl. Os caiff fod yr holl gorff o dystiolaethau sydd ger ei fron, ac wedi eu hystyried ganddo gyda chymaint o bwyll a meddylgarwch dwfn ag sydd yn bosibl iddo, yn ei arwain i gymeryd i fyny y syniad o adferiad cyffredinol, neu y syniad o ddifodiad, nid oes ganddo ddim arall i'w wneyd; ac os teimla y dylai *ddysgu* y cyfryw olygiadau, ac fod ei argyhoeddiadau mor glir fel y gall, a'i lygaid ar y tragywyddolfyd mawr, anturio ymgymeryd â'r cyfrifoldeb, bydded iddo, fel un yn teimlo ei fod wedi cael gafael ar

wirionedd Duw, ei ddysgu hefyd. O'r ochr arall, os caiff, gyda y dynion galluocaf, mwyaf dysgedig, a mwyaf difrifol a fu yn astudio yr Ysgrythyrau o ddyddiau yr apostolion hyd yn awr, fod y geiriau ofnadwy a ddefnyddir yn dysgu yr athrawiaeth sydd ar unwaith yn ymgynnyg i feddwl pawb a'u darlleno, sef y bydd gelynion Duw yn cael eu cospi yn uffern am dragywyddoldeb, na adawed i ddim syniadau cnawdol o'i eiddo ei hun beri iddo betruso derbyn y fath athrawiaeth fel dadguddiad oddiwrth yr Anfeidrol. Ac os ydyw gwirionedd fel hyn i gael ei dderbyn hefyd, y mae i fod yn nyfnder yr ysbryd, nid yn unig yn argyhoeddiad cryf, ond hefyd yn allu byw i lafur dyfal, er sicrhâu ein dïogelwch ein hunain, ac er deffro meddyliau dynion o'n hamgylch i ymdeimlo â'u perygl, ac i ffoi i'r *unig* noddfa, dan gysgod "yr Hwn a osododd Duw yn iawn." Nis gallwn wneyd yn well, wrth derfynu ein hymdriniaeth ar y mater hwn, na rhoddi un dyfyniad arall o'r llythyr y cyfeiriasom ato droion o'r blaen o eiddo Foster. Yr ydoedd efe mewn petrusdod poenus ei hunan, ond yn sicr nid ydyw ei ddysgwyliadau yn ormodol wrth y rhai sydd yn proffesu llawn grediniaeth o'r athrawiaeth dan sylw.

"Y mae yn fynych yn peri syndod i mi fod yr athrawiaeth ofnadwy yn eistedd, os gallaf ddyweyd felly, mor esmwyth ar feddyliau pobl grefyddol a charedig sydd yn ei chredu. Wedi eu hamgylchu gan dyrfäoedd o gyd-farwolion, a chan edrych allan ar y presennol, ac yn ol ar sefyllfa yr hiliogaeth yn yr amser aeth heibio, a'u hystyried, o ran y mwyafrif anferth, fel gwrthddrychau y fath dynged erchyll, pa fodd y *gallant* gael unrhyw fwynhâd tawel o fywyd, pa fodd y gallant byth fod yn galonog siriol, pa fodd y gallant ochel cael eu blino gan ddrychfeddyliau alaethus, yn tywyllu yr oruchwyliaeth ymha un y bwriwyd eu coelbren? Yr wyf yn cofio awgrymu i un o honynt y fath ddelwedd a hon:—tybier fod cynifer o'r boblogaeth fawr oedd o'i amgylch ag nad allai, hyd yn nôd mewn barn cariad, gredu eu bod yn Gristionogion, hyny yw, mewn cyflwr dïogel am y dyfodol,—tybier ei fod yn gwybod fod cynifer oll i ddyoddef, yn gospedigaethol, farwolaeth trwy arteithiau, mewn ing o hir barhâd,—â pha deimladau yr edrychai ar y ddinas boblog, y wlad lawn o ddynion, neu hyd yn nôd gynnulleidfa lïosog, gymysg? Ond y fath wegi ddyddim a fyddai hyny mewn cymhariaeth i'r hyn y mae yn gredu wrth edrych ar y tyrfäoedd hyn. Pa fodd, gan hyny, y gallant oddef yr olwg ar y byd byw o'u hamgylch?

"Am ddysgawdwyr crefydd; os ydyw yr athrawiaeth ofnadwy yn wir, yn sicr hi a ddylai ymron yn barhäus gael ei chyhoeddi â sain udgorn, ei dirgymhell a'i thraethu drachefn a thrachefn, gyda theimlad angerddol, dan bob ffurf fo yn bosibl o arddangosiad arswydus; dim dyspeidiad ar y dychryn i ysbrydoedd anystyriol. Beth! credu eu bod mewn perygl sydd mor anamgyffredadwy ddychrynllyd, a pheidio llïosogi a dwyshâu y brawiau i'w dychrynu o'u cysgadrwydd; gan gwyno o hyd fod pob arddangosiad sydd yn ngallu meddwl ac iaith i'w wneyd, yn anfesurol islaw gwir bwysigrwydd y mater; ac ymron ddymuno ar i rywbeth ofnadwy a ellid weled neu glywed dori i fewn i wneyd yr argraff nad all unrhyw eiriau wneyd. Pe gwelem gyd-ddyn yn camu yn ddiofal neu feiddgar ar ymyl eithaf dibyn neu ddiphwys ofnadwy, fe fyddai i edrychydd caredig gyfodi a *pharhâu* bloedd, ysgrêch, i'w attal. Pa fodd, gan hyny, y gall fod yn gyson â dyledswydd pregethwyr i ymfoddloni ar gyfeiriadau byrion, achlysurol, at y mater ofnadwy hwn, pan nad yw yr alarm daranllyd hwyaf ond fel sŵn baban, aderyn, neu bryf, mewn cymhariaeth i bwysigrwydd erchyll yr amgylchiad?"

Am y llyfrau a enwyd uwch ben yr erthyglau hyn, heblaw y cyfeiriadau achlysurol a wnaethom atynt, gallwn ychwanegu fod llyfr y Parch. William Reid—yn awr yn gwbl haeddiannol, Dr. Reid—yn ymdriniaeth feistrolgar a chyflawn ar yr holl athrawiaeth; *tractate* galluog

hefyd yw yr eiddo Dr. Watts o Belfast, yn cynnwys sylwedd dwy o ddarlithiau athrofäol ar y mater; y mae pamphledau Mr. White, fel yr ydym wedi dangos drachefn a thrachefn, yn dadleu yn gryf o blaid difodiad; a'r un golygiad, ond yn cael ei amddiffyn gyda llawer llai o fedr, a geir yn llyfr Mr. Denniston ar y *Perishing Soul;* tra y mae Mr. Jukes yn ei *Second Death and the Restitution of all Things* yn dadleu gyda llawer o zêl dros adferiad cyffredinol.

---

# MEISTR A GWAS.

Y MAE amryw amgylchiadau wedi cymeryd lle yn ddiweddar, megys yr anghydfod rhwng amaethwyr a llafurwyr yn siroedd dwyreiniol Lloegr, yr anghydwelediadau yn chwareli llechau Gogledd Cymru, gwaith y glöwyr yn sefyll allan, a'r clöad allan yn y Deheudir, sydd yn galw am ystyriaeth fanwl a phwyllog ar y berthynas rhwng meistr a gwas. Y mae yn rhaid cydnabod mai tuedd llawer o'r hyn sydd yn cael ei ddadleu a'i ysgrifenu y dyddiau hyn ydyw tynu i lawr y gwahaniaethau all fod ac a ddylai fod rhwng y rhai sydd yn llanw lleoedd sydd uwch, a'r rhai sydd mewn lleoedd îs,—gwastadâu cymdeithas yn y fath fodd ac i'r fath raddau ag i osod pawb yn ddiwahaniaeth ar dir o gydraddoldeb hollol a pherffaith. Diammheu fod llawer i'w ddywedyd dros yr athrawiaeth o gydraddoldeb. Yr ydym oll yn perthyn i'r un hil o grëaduriaid, yn rhodio yn ngoleuni yr un haul, yn anadlu yn yr un awyr, yn byw ar gynnyrchion yr un ddaear; ac y mae pob dyn, y naill fel y llall, yn gyfrifol i'w Grëawdwr, ger bron yr hwn nid oes derbyn wyneb. Os bu canolfur gwahaniaeth rhwng yr Iuddew a'r cenedlddyn dan amgylchiadau neillduol, ac o herwydd rhesymau penodol, y mae wedi ei dynu i lawr yn llwyr. Fel deiliaid llywodraeth foesol y Goruchaf, mae yr Iuddewon a'r cenhedloedd, y Groegwyr a'r Barbariaid, y rhydd a'r caeth, pawb o bob lliw ac iaith, yn sefyll yn gwbl ar yr un tir.

Eithr nid dyma yr unig wirionedd am yr hil y perthynwn iddi. Y mae gwirioneddau eraill sydd yn llawn mor bwysig i'w hystyried. Y mae pob dyn yn aelod o gymdeithas, ac yn dal cysylltiadau perthynasol â'i gyd-ddynion. Gwir mai dynion pawb. "Dyn sydd ddyn er hyny." Mewn tlodi, dinodedd, yn trigo mewn bwthyn ac yn gwisgo carpiau, dyn ydyw; ond eto, dyn mewn amgylchiadau ac o dan rwymedigaethau. Nid yw yr hwn sydd yn troi yn nghanol llawnder moethus ac yn byw mewn gorwychder anrhydeddus uwchlaw bod yn ddyn, ac y mae yntau, yr un modd a'i gymydog cyffredin, yn grëadur amgylchiadau,

ac yn cael ei ddal i lawr gan rwymau perthynasol. Ac hefyd y mae edmygwyr mwyaf brwdfrydig yr athrawiaeth o gydraddoldeb yn gorfod cydnabod fod rhagor rhwng dyn a dyn mewn gogoniant. Y mae uchelradd, canolradd, ac iselradd, mewn talentau naturiol; y cyntaf yn meddu "pump," yr ail "ddwy," a'r olaf ond "un." Ac y mae gwahaniaeth yr un modd yn amgylchiadau dynion. Ond y mae yn ddichonadwy i'r uchelradd, trwy wastraff ac anfoes, dreulio ymaith eu hetifeddiaeth, a suddo i lawr, heibio i'r canolradd, i dlodi cymhariaethol yr iselradd. O'r tu arall, gall gŵr yr un dalent esgyn ar hyd grisiau diwydrwydd a rhinwedd, a dringo i urddas, teitlau, a chyfoeth yr uchelradd. Y mae yn ddïau yn brawf o ddoethineb anfeidrol ac anchwiliadwy y Crëawdwr ei fod yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng dyn a dyn wrth eu crëu. Nid awdurdod penarglwyddiaethol yn unig ydyw gwaith y crochenydd yn gwneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch ac arall i anmharch. Y mae yn hyn ddaioni mawr hefyd. Ardal dlawd mewn gwlad ydyw yr hon nad oes ynddi neb uwchlaw y cyffredin y gellir edrych i fyny ato. Y mae presennoldeb gŵr o gynneddfau naturiol nerthol mewn tref yn gaffaeliad, ïe, yn fesur o ddïogelwch, yn gyffelyb i gysgod y "graig sydd yn uwch na myfi." Eithr golyger am foment fod pawb wedi eu crëu yn gydstad ymhob modd, o ran cynneddfau eneidiol ac amgylchiadau tymmorol. Rhodder hefyd i bawb yr un manteision boreuol, a'r un mesur o gynnysgaeth ar eu cychwyniad allan i'r byd. Gadawer i'r Communistiaid gael eu ffordd. Rhaner cyfoeth a meddiannau y byd yn gyfartal; tòrer cymdeithas i fyny; a dechreued y byd ei hanes o'r newydd. Cyn pen blwyddyn, byddai yr hen wahaniaethau yn dechreu ail ymgodi a dangos eu hunain mewn amlinelliad eglur, tarawiadol, a chyflawn. Cyn pen deng mlynedd fe geid etifeddiaethau ëang a thlodi yn ymyl eu gilydd; a'r holl gyd berthynasau o frenhinoedd a deiliaid, arweinyddion a phleidwyr, athrawon a dysgyblion, cyflogwyr llafur a gweithwyr, a meistri a gweision, wedi eu sefydlu yn drwyadl a pharhäol. Na furmured neb yn erbyn gwaith y Crëawdwr holl-ddoeth ac anfeidrol ddaionus. Ac na freuddwydied neb am gydraddoldeb amgylchiadol a chymdeithasol, yr hyn a fyddai yn llawn mor anfanteisiol ag ydyw o anymarferol. Y mae llawer iawn o'r gwâg syniadau sydd wedi eu coledd ac o'r coeg-eiriau sydd wedi eu traethu mewn perthynas i'r mater hwn, yn codi oddiar ddiffyg ystyriaeth o'r gwirionedd fod pob sefyllfa gyfreithlawn y gall dyn fod ynddi yn wir anrhydeddus, ac nad oes yr un amgylchiad y dygir ni iddo gan Ragluniaeth y nefoedd, nad oes iddo ei fanteision yn gystal a'i anfanteision. Mae pob llafur, i lawr hyd at y caledwaith iselaf, yn beth hollol barchus. Nid oes raid i'r saer gywilyddio o'i offerynau gweithio i'w cario ar ei ysgwydd, nac i'r glöwr o herwydd y düwch sydd yn cuddio ei wyneb fel ei ddillad, wrth ddychwelyd adref ar ddiwedd y dydd, nac ychwaith i'r forwynig fechan o'i gorchwylion yn y gegin. Mae yr un peth yn wir am waith—llafur o bob math, o'r astudiaeth aruchelaf i lawr at y gorchwyl o dòri cèryg ar ochr y ffordd, ag a ddywedir am bïodas,—"y mae yn anrhydeddus ymhawb." Ac am hyny y mae yn amlwg fod pob sefyllfa gyfreithlawn, o'r frenhines i lawr at y forwynig, yn wirioneddol anrhydeddus. Mae yn wir fod sefyllfa y naill yn fwy urddasol na'r llall. Eithr nid yw anrhydedd helaethach y naill yn gwneuthur y sefyllfa israddol yn ddianrhydedd. Gwahaniaeth graddau yn unig sydd

yn bod. Nid da a drwg, neu well a gwaeth, ydyw gwahanol sefyllfäoedd amgylchiadol a chydberthynasol plant dynion; ond yn hytrach y mawr, a'r mwy, a'r mwyaf; neu mor bell ag y mae gwahaniaeth graddau yn effeithio arnynt, gellid eu dynodi fel da, gwell, a goreu. Ac y mae yr ystyriaeth arall a nodwyd yn agweddu llawer ar y graddoliad hwn, sef fod i sefyllfa uwch ei hanfanteision, ac i amgylchiadau îsraddol eu manteision. Mae y blaenaf weithiau yn olaf, ac nid yn anfynych ceir yr olaf yn flaenaf. Fel hyn y cyfarchai y diweddar Dr. James Hamilton, Llundain, y gweision a'r morwynion yn ei gynnulleidfa un tro, ond yr oedd ei lygad yn benaf ar y morwynion :—

"A wnewch chwi ganiatâu i mi ychwanegu mai ychydig o ddosbarthiadau mewn cymdeithas sydd mor gyfoethog â morwynion teuluaidd? Nid oes genych ardreth na threthi i'w talu; nid oes raid i chwi brynu na glô na chanwyllau, na bwyd, na dim, oddieithr dillad, o'r angenrheidiau diddiwedd sydd yn feunyddiol yn beichio y trethdalwr; ac, er fod eich cyflog yn fychan, yr ydych chwi eich hun yn gyfoethog, oblegid chwi a allech yn hawdd-sefyll ei hanner. Mae yn drueni dwys fod cynifer yn gwastraffu ar bleserau a theganau anfuddiol yr ennillion ag y gweithiant mor galed am danynt! Oni fyddai yn fwy teilwng gwneuthur fel y mae rhai wedi gwneyd, sef addysgu nai, neu frawd ieuengach? Neu fel y mae eraill wedi gwneyd, a chynnal rhïeni methedig neu hen? Ac oni fyddai yn fwy doeth gosod i lawr sail dda erbyn yr amser a ddaw, a thrwy roddi heibio swm yn fisol neu flynyddol, godi gwarchae rhyngoch eich hun a thlodi dyfodol? Y swllt yna a dreuliasoch yn y siop deisenau a brynasai Fibl i deulu paganaidd. Y goron a roddasoch am addurniadau a brynasai ddillad gwely i'ch hen dadcu tlawd, a mynych y buasai ei aelodau methedig yn diolch i chwi trwy y nosweithiau oerion hyny. A phe buasai y punnoedd a'r degau o bunnoedd sydd wedi toddi ymaith na wyddoch pa fodd, yn yr ariandŷ, buasech yn gallu edrych gyda golwg ysgafn ar y blynyddoedd digynnorthwy, pan na fyddwch yn gallu gweithio ac ennill mwyach. Beth a feddyliech chwi? A wnewch chwi o hyn allan gynnyg ar y cynllun o gynnildeb a hunanymwadiad? A geisiwch chwi wneuthur prawf pa mor lleied a wna y tro i chwi yn bresennol, a pha faint allwch ei gadw ar eich cyfer yn hen a methedig? a pha faint ellwch ei hebgor i'r anwyliaid hyny nad ydynt yn gwneuthur mor dda, nac yn byw mor gysurus ag yr ydych chwi? A wnewch chwi gyfrif i fyny pa faint ydych wedi wario ar 'chwant y llygad a balchder y bywyd?' ar wisgoedd, ar wagedd, a gwâg ymddangosiad? Ni wnaeth y teganau hyn ddim gwasanaeth i chwi, ac y maent oll wedi darfod ymaith yn y defnyddiad o honynt. Perswadier chwi, yn awr, i roddi prawf ar y ffordd fwy rhagorol; ac er i chwi ei gael yn anhawdd ar y cyntaf i fyned heibio i'r rubanau a'r sidanau llachar, y mae pleser triphlyg a fydd yn ad-daliad buan i chwi: melusder hunanymwadiad, y cysur o gael rhywbeth wedi ei ragddarbod erbyn y dyddiau drwg, a'r moeth o wneuthur daioni."

At y brawddegau cyntaf yn y dyfyniad gwerthfawr hwn yr oeddym yn dymuno galw sylw yn fwyaf arbenig, i gadarnhâu y gosodiad fod manteision yn perthyn i sefyllfa y gwas, ac anfanteision gwrthgyferbyniol yn amgylchiad y meistr. Ac am hyny y mae gofyniad Paul, a'r annogaeth gysylltiedig, yn dyfod i mewn gyda grym anghyffredin, "Ai yn was y'th alwyd? na fydded gwaeth genyt." Na ddiystyred neb sefyllfa gwas; ac na chenfigened yr un gwas wrth ei feistr, ac na faged ynddo ei hun deimlad o anfoddogrwydd o herwydd y berthynas y mae yn sefyll ynddi. Ar yr un pryd y mae y byd o'i flaen, ac y mae hawl a phob cefnogaeth iddo yntau i ddringo i fyny ar hyd grisiau y raddfa gymdeithasol. "Eto os gelli gael bod yn rhydd, mwynhâ hyny yn hytrach."

Y mae perthynas meistr a gwas, er o angenrheidrwydd nad mor hên a'r cydberthynasau teuluaidd o ŵr a gwraig, a rhïeni a phlant, yn dyfod

yn agos iawn atynt, ac yn cyfranogi i ryw fesur o'u natur. Y mae pob gŵr yn ben ar ei wraig. Ac er nad yw y wraig i'w hystyried yn wasanaethferch i'w phrïod, y mae i ufuddhâu iddo; ac ufudd-dod ydyw dyledswydd gyntaf gweision tuag at eu meistri. Plant hefyd sydd i ufuddhâu i'w rhïeni, ac ymhob modd i'w anrhydeddu; ac y mae y tad a'r fam i lywodraethu eu meibion a'u merched. "Dros gymaint o amser ag y mae yr etifedd yn fachgen, nid oes dim rhagor rhyngddo a gwas, er ei fod yn arglwydd ar y cwbl." Nid ydym yn gwybod pa mor fore yn hanes y byd y ffurfiwyd ac y cydnabyddwyd yn ffurfiol y berthynas rhwng meistr a gwas. Tybiwn yr ymgododd yn gynnar wedi amlhâd yr hiliogaeth, ac yn naturiol a diarwybod oddiar y cysylltiadau perthynasol oedd eisoes yn bodoli. Pan ymgymerid â gwaith a ofynai gynnorthwy, megys er esiampl yn adeiladaeth arch Noah, mae yn rhaid fod dwylaw yn cael eu cyflogi mewn rhyw ffordd. Yr oedd hefyd ymhell cyn y diluw wneuthurwyr pebyll ac offerynau cerdd, a gweithfäoedd haiarn a phrês, yn y rhai yn ddïau yr ydoedd meistri a gweision. Ychydig a wyddom am y cyfnod cynddiluwaidd; ond y mae yn ddiammheu genym fod cymdeithas wedi ymddadblygu yn amser y cawri fu gynt ar y ddaear i fesur mwy cyflawn nag yr ydym wedi arfer meddwl, ac y bu, dros ganrifoedd yn y tymmor boreuol hwnw, sefydliadau teuluaidd, masnachol, a gwladwriaethol yn cael eu dwyn ymlaen ar raddfa ëang.

Modd bynag, yn fuan iawn ar ol y diluw yr ydym yn cael cyfeiriad pendant a phwysig at weision. "Melldigedig fyddo Canaan, gwas gweision i'w frodyr fydd." Yr oedd gweision eisoes mewn bod. Cyfeiriai Noah naill ai at y gweision a gofient cyn y diluw, neu at rywrai allasai fod eisoes ar ol y diluw wedi cael eu gosod yn y fath sefyllfa fel yr oedd yn rhaid iddynt ymgymeryd â gwasanaeth i'w brodyr a bod yn weision iddynt. Ond y mae y patriarch yn prophwydo y byddai plant a disgynyddion Ham yn weision i weision, yn weision o'r fath iselaf, yn weision mewn caethiwed; yr hon brophwydoliaeth sydd er ys oesau wedi ei chyflawni yn nghaethwasiaeth yr Affricaniaid. Mor fore ag oes y patriarchiaid Job, Abraham, Isaac, a Jacob, yr ydym yn cael cyfeiriadau mynych at ddynion mewn gwasanaeth. Ac yn eu plith y mae un yn cael ei enwi a nodir allan fel esiampl ragorol i weision pob oes. Yr oedd Eleazar o Damascus wedi ennill ymddiried llwyraf ei feistr, yr hwn a feddyliai un adeg am ei wneuthur yn etifedd. Bu am flynyddau meithion, yn y man lleiaf ddeng mlynedd ar hugain, yn ei wasanaeth, nes y daeth "ei was hynaf yn ei dŷ." Ac o herwydd ei brofiad, ei ymroddiad, a'i ffyddlondeb, yr "oedd yn llywodraethu ar yr hyn oll a oedd ganddo." Cyn diwedd ei oes rhoddodd Abraham i'r gwas hwn orchwyl lednais ac anhawdd i'w gyflawni; ac y mae hanes ei daith i Mesopotamia i geisio gwraig i Isaac yn profi fod Eleazar yn ŵr o benderfyniad diysgog i gario allan yn ffyddlawn ei siars, yn un a gymerai y dyddordeb dyfnaf yn nghysur ei feistr ac yn llwyddiant ei deulu, ac hefyd ei fod yn llawn o deimladau crefyddol diffuant. Nid ydym, gan hyny, yn rhyfeddu fod Dr. Angus, yn ei Lawlyfr i'r Bibl, yn nodi Eleazar ar flaen rhestr yr esiamplau sydd yn dysgu beth yw dyledswyddau gweision. Y mae gwersi hefyd i feistri yn ymddygiad Abraham tuag at ei "was hynaf," yn gosod ymddiried ynddo, yn teimlo

yn garüaidd ato, ac yn rhoddi cyfran o lywodraethiad ei eiddo iddo. Y mae Dr. Angus yn cyfeirio am wersi ar yr un mater hefyd at hanes Jacob, Joseph, Dafydd, Obadiah, a gweision Naaman, ac at gymhariaeth o'r esiamplau hyn â gorchymynion y Testament Newydd sydd yn gosod allan ddyledswyddau meistr a gwas y naill at y llall.

Eithr cyn myned ymlaen i sefyll uwchben y rhwymedigaethau sydd yn codi o'r berthynas hon, bydd yn fanteisiol i'n hymchwiliad i'r testun dan sylw, ac yn ychwanegiad at ddyddordeb y pwnc, i gyfeirio at y deddfau Iuddewig mewn perthynas i feistr a gweision:—

"Dyma y barnedigaethau a osodi ger eu bron hwynt. Os pryni was o Hebread, gwasanaethed chwe' blynedd; a'r seithfed y caiff yn rhad fyned ymaith yn rhydd. Os ar ei ben ei hun y daeth, ar ei ben ei hun y caiff fyned allan: os perchen gwraig fydd efe, aed ei wraig allan gydag ef. Os ei feistr a rydd wraig iddo, a hi yn planta iddo feibion, neu ferched; y wraig a'i phlant fydd eiddo ei meistr, ac aed efe allan ar ei ben ei hun. Ac os gwas gan ddywedyd a ddywed, Hoff genyf fi fy meistr, fy ngwraig, a'm plant; nid âf fi allan yn rhydd: yna dyged ei feistr ef at y barnwyr; a dyged ef at y ddôr, neu at yr orsin; a thylled ei feistr ei glust ef â mynawyd; ac efe a'i gwasanaetha ef byth," Deut. xxi. 1—6. "A phan dlodo dy frawd gyda thi, a'i werthu ef i ti; na wna iddo wasanaethu yn gaethwas. Bydded gyda thi fel gweinidog cyflog, fel ymdeithydd; hyd flwyddyn y jubili y caiff wasanaethu gyda thi. Yna äed oddiwrthyt ti, efe a'i blant gydag ef, a dychweled at ei dylwyth, ac äed drachefn i etifeddiaeth ei dadau. Canys fy ngweision i ydynt, y rhai a ddygais allan o dir yr Aipht: na werther hwynt fel caethweision. Na feistrola arno ef yn galed, ond ofna dy Dduw. A chymer dy wasanaethwr a'th wasanaethferch, y rhai fyddant i ti, o fysg y cenhedloedd, y rhai ydynt o'th amgylch; o honynt y prynwch wasanaethwr a gwasanaethferch. A hefyd o blant yr alltudion y rhai a ymdeithiant gyda chwi, prynwch o'r rhai hyn, ac o'u tylwyth y rhai ŷnt gyda chwi, y rhai a genhedlasant hwy yn eich tir chwi: byddant hwy i chwi yn feddiant. Ac etifeddwch hwy i'ch plant ar eich ol, i'w meddiannu hwynt yn etifeddiaeth; gwnewch iddynt eich gwasanaethu byth: ond eich brodyr, meibion Israel, na feistrolwch yn galed y naill ar y llall," Lef. xxv. 39—46. Oddiwrth y cyfreithiau hyn a chyfeiriadau eraill a geir yn ngwahanol ranau yr Hen Destament, yr ydym yn casglu y pethau canlynol:—1. Fod yn Israel ddau ddosbarth o weision, sef gweinidogion cyflog a chaethweision. 2. Fod y blaenaf yn gwasanaethu eu harglwyddi o flwyddyn i flwyddyn, ac ar ben eu tymmor yn gallu myned ymaith yn gwbl rydd. 3. Fod hefyd ddau ddosbarth o gaethweision, sef Hebreaid a dyeithriaid. 4. Fod i'r caethwas o Hebread gael y fantais (1.) o gael myned yn rhydd ar ol chwe' blynedd o wasanaeth, ac (2.) nad oedd ei berchenog i feistroli yn galed arno, gan gofio ei fod yn frawd iddo, ac yn was i Dduw. 5. Os byddai i'r cyfryw Hebread ymwrthod â'r fantais o gymeryd ei ryddid, yna rhoddid nôd arbenig arno trwy dyllu ei glust, a deuai yn gaethwas i'w feistr a'i etifeddion dros ei fywyd. 6. Ond yr oedd i'w ystyried yn beth eithriadol i Hebrewr syrthio i sefyllfa caethwas; ac yr oedd y dosbarth hwn o weision i'w cymeryd o fysg y cenhedloedd cyfagos, ac o blith yr alltudiaid a ymdeithient yn y tir; a byddai y cyfryw gaethweision yn berchenogaeth

etifeddiaethol yn nheuluoedd eu meistri. Ond er fod y dosbarth hwn o weision yn cael eu prynu, a'u personau, a'u gwragedd, a'u plant yn dyfod yn eiddo parhäus i'w meistri, nid ydym yn cael fod dim o greulonderau caethfasnach ddiweddar yn perthyn i gaethwasaeth Iuddewig. Y mae deddf y gwas-ffoädur ar unwaith yn profi fod pob meistr i arfer tynerwch a charedigrwydd at, nid yn unig ei wasanaethwyr cyflog, ond ei gaethweision hefyd. "Na ddyro at ei feistr was a ddiangodd atat oddiwrth ei feistr. Gyda thi y trig yn dy fysg, yn y fan a ddewiso, yn un o'th byrth di, lle byddo da ganddo; ac na chystuddia ef." Yr oedd y gwas fel y meistr, y wasanaethferch fel ei meistres, i fwynhâu gorphwysfa y seithfed dydd; a'r naill fel y llall yr un modd i fedi o gynnyrchion y tir yn mlwyddyn y Sabboth.

Y mae rhyw gymaint o ddelw y trefniadau hyn i'w chanfod ar y deddfau a'r arferion Rhufeinig mewn perthynas i weision. Rhoddid amrywiol enwau ar y gwas Rhufeinig yn ol yr ystyriaeth gyda pha un yr edrychid arno. Fel un o dan rwymedigaeth i ufuddhâu gorchymynion ei feistr, ei enw fyddai *servus;* fel darn o eiddo, *mancipium;* fel eiddo gwerthadwy, *venalis;* fel un o'r tylwyth, *famulus*, neu *puer* (bachgen). Gelwid yr holl weision yn yr un tŷ gyda'u gilydd *familia*, sef yr un gair a ddefnyddir gan y Cymry "tylwyth;" ond yr oedd yn rhaid cael o leiaf un ar ddeg, fel rheol, pymtheg, o weision i wneuthur i fyny dylwyth. Yr oedd rhai wedi eu geni yn y cyflwr o weision; ystyrid felly blant pob gwraig mewn gwasanaeth. Deuai carcharorion rhyfel hefyd yn feddiant hollol i'r gorchfygwyr, a gosodid hwynt i lafurio yn y gweithfëydd cyhoeddus, neu fe'u gwerthid hwynt i bersonau neillduol. Cyflawniad troseddau penodol eilwaith a achosai i ddinesydd rhydd golli ei enedigaeth-fraint, ac i gael ei roddi i fyny i fod yn gaethwas. Gallasai meistr wneyd fel y mynai â'i weision; yr unig attalfa arno am oesau fu y farn gyhoeddus; ac nid cyn teyrnasiad Hadrian y gwnaethpwyd deddf i rwystro meistri i roddi eu gweision i farwolaeth heb eu bod yn gyntaf wedi eu condemnio mewn llŷs barn. Fe dybir mai y gyfraith amddiffynol gyntaf a basiwyd gan Senedd Rhufain ydoedd yn amser Augustus, i ommedd i feistri orfodi eu gweision i ymladd â bwystfilod gwylltion. Yr oedd eu cyflwr yn un o gaethiwed hollol, nid oedd ganddynt yr un math o iawnderau, personol na gwladwriaethol. Mae yn wir y gallent brïodi, eithr nid ystyrid y briodas yn rheolaidd, a rhoddid arni yr enw *contubernium;* ac yr oedd holl blant y cyfryw brïodasau yn eiddo i'r meistri. Ar yr un pryd, yr oedd yn bosibl i was feddu eiddo, o leiaf yr oedd yn arferiad gan feistri ganiatâu iddynt gadw yr eiddo a ennillent yn gyfreithlawn. Weithiau, byddai y gwas yn gallu sefyll digon i brynu ei ryddid. Byddai hefyd gan ambell was *vicarius*, neu îs-was, un i gyflawni caledwaith ei orchwylion drosto. Yn y dosbarth israddol hwn o weision yr ydys yn cael cyflawniad llythyrenol o brophwydoliaeth Noah am y rhai a fyddent yn "was gweision." Yr oedd, modd bynag, ddwy neu dair o ffyrdd trwy ba rai yr oeddid yn gwneuthur gweision yn rhyddion. Gallasai meistr yn ei ewyllys ddiweddaf roddi rhyddid i was, neu fyned at y cofrestrydd cyhoeddus a gofyn iddo osod enw gwas ar lechres y dinasyddion, ac mor gynted ag y byddai yr enw i lawr byddai y caeth yn rhydd. Neu ynte, yr hyn oedd y llwybr mwyaf ffurfiol, cymerai meistr ei was at un o brif swyddogion

y llywodraeth, a chyhoeddai ef ger ei fron, ac yn ngwydd tystion, yn ddyn rhydd. Nid oedd y Groegiaid yn rhyddhâu eu gweision mor aml ag y byddai y Rhufeiniaid, ond yr oedd eu triniaeth o honynt yn fwy tyner; er hyny y mae yn ymddangos fod y gweision Groegaidd, ac yn enwedig y mŵnwyr, yn fwy gwrthryfelgar. "Yn Athen yn enwedig," ysgrifena Dr. William Smith, "mae yn ymddangos fod gradd o ryddid a hynawsedd yn cael ei ganiatâu i weision na roddid iddynt yn Rhufain. Yr oedd bywyd a pherson y gwas yn cael eu hamddiffyn gan y gyfraith yn Athen; yr oedd yr hwn a darawai neu a gamymddygai at was yn agored i gosp; ac ni ellid rhoddi gwas i farwolaeth heb ddyfarniad cyfreithiol. Gallai hefyd gymeryd cysgod oddiwrth greulonderau ei feistr yn nheml Theseus, ac yno hawlio y fraint o gael ei werthu ganddo. Mae yn wir nad ystyrid person gwas mor gysegredig ag eiddo dyn rhydd; cospid ei droseddau â chospedigaethau corfforol, yr hyn ydoedd y dull diweddaf o weinyddu cosp ar ddyn rhydd; nid oedd yn cael ei gredu pan ar ei lŵ, a chymerid ei dystiolaeth bob amser mewn llŷs cyfreithiol gyda phenyd. Ond er triniaeth dyner gyffredin y gweision yn ngwlad Groeg, nid oedd eu gwrthryfel yn beth anfynych; eithr yr oedd y gwrthryfeliadau hyn yn gyfyngedig yn gyffredin i'r gweision a weithient yn y mŵnau, y rhai a drinid gyda mwy o lymder nag eraill. Yr oedd gweision yn cael eu rhyddhâu weithiau yn Athen, ond nid mor fynych ag yn Rhufain. A'r rhai a gaent eu rhyddhâu, nid oeddynt yn dyfod yn ddinasyddion, eithr ymgodent yn unig i gyflwr tramorwyr a drigent yn y wlad (*resident foreigners, μέτοικοι*). Yr oeddynt o dan rwymedigaeth i anrhydeddu eu meistriaid blaenorol fel noddwyr, ac i gyflawni dyledswyddau penodol tuag atynt; ac os esgeulusent, yr oeddynt mewn perygl o gael eu gwerthu eilwaith i fod yn gaethweision." Mae yn beth rhyfedd nad yw yn ymddangos i athronwyr Groeg ddadleu yn erbyn caethwasiaeth fel drwg moesol. Ni wnaeth lledneisrwydd meddyliol Plato ei oleuo ymhellach nag i ddadgan ei ddymuniad na fyddai i Roegwyr wneuthur Groegwyr yn gaethweision; ac y mae Aristotle yn cyfiawnhâu y sefydliad ar y tir o fod amrywiaeth yn yr hiliogaeth ddynol; ystyriai ef y barbariaid, pawb nad oeddynt yn Roegwyr, yn gaethweision wrth natur. Ond y mae Cicero yn ei draethawd ar *Ddyledswyddau* yn fwy ymlaen, ac yn dyfod yn bur agos yn ei syniadau at ddysgeidiaeth y Testament Newydd. "Ond y mae yn rhaid i ni gofio fod cyfiawnder yn ddyledus i'r iselaf o ddynolryw; ac nid oes dim all fod yn îs na sefyllfa a ffawd y caethwas. Ac eto y mae y rhai hyny yn cynhgori yn ddoeth sydd yn ein hargymhell i'w gosod ar yr un safle a llafurwyr cyflogedig, yn eu rhwymo i wneuthur eu gwaith, ond yn rhoddi iddynt eu tâl."

Bellach wedi taflu bŷr olwg ar ddeddfau Iuddewig, Rhufeinig, a Groegaidd, deuwn yn awr at gyfreithiau ein gwlad ein hunain sydd yn rheoli y berthynas rhwng meistr a gwas. Ac yn y lle cyntaf, y mae pob gwas fel ei feistr yn ŵr rhydd. Un o fuddugoliaethau gogoneddus dyngarwch a chrefydd yn hanes y deyrnas hon ydoedd dilëu caethwasaeth. Ond fel yr awgrymwyd yn barod, tra mae ein rhyddid personol yn gyflawn a pherffaith, ac y mae amddiffyn y gyfraith dros ein heiddo yn llawn a sicr, y mae pawb o angenrheidrwydd yn dal gwahanol berthynasau â'u cyd-ddynion, ac yn sefyll o dan rwymedigaethau am-

rywiol; ac y mae y gyfraith yn cydnabod y cyfryw rwymedigaethau ac yn gorchymyn ei deiliaid i'w cadw yn ffyddlawn. Ymhlith y gwahanol berthynasau a ffurfir, y mae rhai yn ymgymeryd â gwasanaeth, ac yn gwneuthur cytundebau â'r sawl a'u cyflogant ar delerau penodol. Y mae y gwasanaethwr felly yn rhoddi i fyny ryw gymaint o'i ryddid, eithr nid heb gydnabyddiaeth gyfatebol, yr hon y mae y meistr o dan rwymedigaeth i'w rhoddi iddo. Y mae deddfau Lloegr yn cydnabod gwahanol ddosbarthiadau o weision; gweinidogion teuluaidd, o ba rai y mae morwynion yn ffurfio y rhan lïosocaf, egwyddor-weision, llafurwyr, morwyr, a goruchwylwyr. Cyflogir gwasanaethwyr a morwynion fel rheol am flwyddyn, ond gellir cytuno ar unrhyw dymmor, ac y mae mis o rybudd o bob tu yn ddigon i derfynu y cytundeb. Os symudir gwas o'i le yn ddirybudd o herwydd camymddygiad, nis gall hawlio ei gyflog ond hyd ddydd ei ymadawiad, y mae yn colli mantais y mis rhybudd. Ac os bydd i was ymadael yn ddirybudd ac yn ddiachos, y mae yn colli ei hawl i'r oll o'i gyflog am y flwyddyn hono, os yn flynyddol y bydd yn cael ei dalu. Ond os caiff ei ddanfon ymaith o'i le yn ddiachos, gall hawlio ei gyflog hyd ei ymadawiad, a thros y mis rhybudd. Amcan eglur y cyfryw ddarpariaethau ydyw dïogelu y cytundeb rhwng y meistr a'r gwas, fel ag y byddo i'r ddau gael pob tegwch a chyfiawnder. Y mae egwyddorwas dan rwymedigaeth i wasanaethu ei feistr, yr hwn sydd i'w gynnal a'i addysgu. Llafurwyr hefyd ydynt i orphen y gwaith yr ydynt wedi ymgymeryd âg ef, ac os gadawant ef heb ei orphen, y maent yn agored i gael eu cospi â dirwyon, neu hyd yn nôd â charchariad. Eithr fel rheol, cyflogir y dosbarth hwn o weision wrth y dydd neu yr wythnos; a braidd y gellir edrych arnynt fel gweision, eithr fel goruchwylwyr israddol. Er nad hwy ydynt feistri'r gwaith a'r cyflog, hwy ydynt feistri'r grefft. Ar yr un pryd, wedi ymgymeryd â gwaith am gyflog, y maent yn wirioneddol mewn gwasanaeth, a dysgwylir iddynt ei wneuthur yn ddyladwy. Mae yr un peth yn wir am oruchwylwyr, cyfreithwyr, meddygon, a gweinidogion yr efengyl, pan y cyflogir hwynt, ac y maent hwythau yn ymgymeryd â gwasanaeth neillduol. Braidd y mae yn angenrheidiol ychwanegu am y morwyr, fod amryw o fesurau wedi eu corffori yn ddiweddar yn nghyfraith y wlad yn dal perthynas â hwynt, ac o herwydd eu sefyllfa eithriadol a'r peryglon y maent yn agored iddynt, y mae o angenrheidrwydd ryw gymaint o wahaniaeth rhwng perthynas cadben llong â'i ddwylaw ac eiddo meistri a gweision yn gyffredin. Tra ar y cefnfor, y mae y cadben yn frenin, ac ustus, a barnwr, a chanddo awdurdod gyflawn ar ei ddynion. Ond y mae y gyfraith yn rhoddi gallu eithriadol mor fawr i'r meistr ar y môr, i ddïogelu bywyd ac eiddo y morwyr eu hunain, yn llawn gymaint ag eiddo y cadben ei hun. Dau amcan mawr sydd gan gyfraith y tir, sef amddiffyn person, a dïogelu eiddo y deiliad. Ac y mae yn gwneuthur hyn trwy fesurau cyson â thegwch, synwyr cyffredin, a chyfiawnder. Nid oes a fyno â chysylltiadau moesol y deiliad, nac â moesoldeb unrhyw berthynas y gall fyned iddi, ond mor bell ag y mae tegwch a chyfiawnder ymhob peth yn gwisgo gwêdd foesol. Eithr nid am fod unrhyw beth yn foesol y mae cyfraith y tir yn ei gydnabod a'i orchymyn, ond oblegid ei fod yn wladwriaethol iawn. Os ydym am gael golwg ar wêdd foesol unrhyw berthynas a'r dyledswyddau moesol sydd yn

perthyn iddi, y mae yn rhaid i ni droi at "y gyfraith ac at y dystiolaeth," ac ymholi pa beth a ddywed y "memrwn;" ac yn enwedig "chwilio ysgrythyrau" y Testament Newydd.

Dyma ydyw dysgeidiaeth y Testament Newydd ar y berthynas rhwng meistr a gwas:—"Y gweision, ufuddhëwch i'r rhai sydd arglwyddi i chwi yn ol y cnawd, gydag ofn a dychryn, yn symlrwydd eich calon, megys i Grist; nid â golwg-wasanaeth, fel boddlonrwydd dynion, ond fel gweision Crist, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon; trwy ewyllys da yn gwneuthur gwasanaeth, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion: gan wybod mai pa ddaioni bynag a wnelo pob un, hyny a dderbyn efe gan yr Arglwydd, pa un bynag ai caeth ai rhydd fyddo. A chwithau feistriaid, gwnewch yr un pethau tuag atynt hwy, gan roddi bygwth heibio; gan wybod fod eich Arglwydd chwi a hwythau yn y nefoedd; ac nid oes derbyn wyneb gydag ef," Eph. vi. 5—9. "Y gweision ufuddhëwch yn mhob peth i'ch meistriaid yn ol y cnawd; nid â llygad-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion, eithr mewn symlrwydd calon, yn ofni Duw: a pha beth bynag a wneloch, gwnewch o'r galon, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion; gan wybod mai gan yr Arglwydd y derbyniwch daledigaeth yr etifeddiaeth: canys yr Arglwydd Crist yr ydych yn ei wasanaethu. Ond yr hwn sydd yn gwneuthur cam, a dderbyn am y cam a wnaeth; ac nid oes derbyn wyneb. Y meistriaid, gwnewch i'ch gweision yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn; gan wybod fod i chwithau Feistr yn y nefoedd," Col. iii. 22—25, iv. 1. "Cynifer ag sydd wasanaethwyr dan yr iau, tybiant eu meistriaid eu hun yn deilwng o bob anrhydedd; fel na chabler enw Duw, a'i athrawiaeth ef. A'r rhai sydd â meistriaid ganddynt yn credu, na ddiystyrant hwynt, o herwydd eu bod yn frodyr; eithr yn hytrach gwasanaethant hwynt, am eu bod yn credu, ac yn anwyl, yn gyfranogion o'r llesâd," 1 Tim. vi. 1, 2. "Cynghora weision i fod yn ddarostyngedig i'w meistriaid eu hun, ac i ryngu bodd iddynt yn mhob peth; nid yn gwrth-ddywedyd; nid yn darn-guddio, ond yn dangos pob ffyddlondeb da; fel yr harddont athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr yn mhob peth," Titus ii. 9, 10. "Y gweision, byddwch ddarostyngedig gyda phob ofn i'ch meistriaid; nid yn unig i'r rhai da a chyweithas, eithr i'r rhai anghyweithas hefyd. Canys hyn sydd rasol, os yw neb o herwydd cydwybod i Dduw yn dwyn tristwch, gan ddyoddef ar gam. Oblegid pa glod yw, os, pan bechoch, a chael eich cernodio, y byddwch dda eich amynedd? eithr os, a chwi yn gwneuthur yn dda, ac yn dyoddef, y byddwch dda eich amynedd; hyn sydd rasol ger bron Duw," 1 Pedr ii. 18—20.

Y mae yr ymadroddion hyn yn gosod y berthynas ger ein bron yn ei gwahanol weddau yn gyflawn; ac o'r egwyddorion a'r cyfarwyddiadau cyffredinol a gynnwysir ynddynt, y mae yn hawdd tynu yr holl gymhwysiadau manwl sydd yn briodol i amrywiol amgylchiadau bywyd. A siarad yn gyffredinol, dyledswyddau gweision ydynt,—1. Ymostyngiad i'w meistri, hyd yn nôd "gyda dychryn ac ofn," gan fod yn ddarostyngedig iddynt ymhob peth. Y mae gwahaniaeth grâdd rhwng y ddwy sefyllfa, ac y mae yr îs i edrych i fyny at yr uwch. Nid ydyw cydraddoldeb moesol ac ysbrydol brodyr yn yr Arglwydd yn dilëu y gwahaniaeth hwn. Y mae meistr sydd yn grefyddol, ar y cyfrif hyny yn uwch; mae ei dduwioldeb a'i aelodaeth eglwysig yn ychwanegiad pwysig a gwirion-

eddol at uchafiaeth ei sefyllfa. Ac am hyny y mae rhwymedigaeth y gwas yn fwy ac yn gryfach i ymostwng yn barchus iddo, a chyda'r "parchedigaeth pryderus," fel y dywed Calvin, sydd yn deillio o symlrwydd calon. 2. Anrhydeddu eu meistri, nid yn unig trwy ymostwng iddynt, a'u cydnabod hwynt fel rhai sydd yn llanw lle uwch ac mewn safle anrhydeddusach, eithr trwy eu parchu ymhob peth. Nid ydym yn dadleu dros eithafion gyda hyn. Y mae gwaseidd-dra isel mor wrthun â'r ysbryd uchelfrydig sydd o hyd yn crochlefain fod "Jack yn llawn cystal a'i feistr." Hunan-barch sydd gwbl gydweddol â, ac, yn wir, i fesur yn gynnwysedig mewn, moesgarwch gostyngedig; "yn rhoddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Traddodwyd pregeth yn ddiweddar gan un o guradiaid Llundain ar y wers apostolaidd uchod, yn yr hon y gofynai y pregethwr hyawdl amryw o gwestiynau dyddorol a phwysig. "Beth yw y rheswm fod cymdeithas y dyddiau hyn mor aflonydd? Oblegid fod dynion yn anghofio rhoddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus. Pa fodd yr ydym yn clywed am sefyll allan y llafurwyr amaethyddol a'r mŵnwyr? O herwydd fod dynion yn diystyru y cynghor apostolaidd i roddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus. Beth sydd yn rhoddi cyfrif am yr ysgrifenu enllibus yn y newyddiaduron dyddiol ac wythnosol? Anghof o'r annogaeth i roddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Dichon fod peth gwir yn y syniadau hyn, er y rhaid i ni gyfaddef mai chwerthin yn iachus a wnaethom pan glywsom y bregeth gyntaf. Ond buasai yn dda genym pe buasai y clerigwr dysgedig yn myned ymhellach yn ol at wraidd y pwnc, ac yn ateb y gofyniad mwy perthynol, Pa fodd i gyfrif am y diystyrwch a'r anghof o'r cynghor i barchu y rhai sydd yn teilyngu anrhydedd? Mae yn ddïau fod llawer i'w ddyweyd ar hyn. Y mae y rhai a ddylent deilyngu parch yn aml yn diraddio eu hunain. Anghrefydd ac anffyddiaeth hefyd sydd yn sychu y galon, ac yn peri i ffynnonell naturiol y teimladau o barchedigaeth beidio a tharddu. Ffrŵd iachusol yw yr hon sydd yn rhedeg mewn parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus, ac y mae hefyd yn prydferthu yr holl fywyd, fel y mae afon y bywyd yn prydferthu dyffryn Paradwys. Tydi, was, os wyt am wneyd dy fywyd yn baradwys o bêrarogl hyfryd a ffrwythau melus, a phrydferthwch digyffelyb, anrhydedda dy feistr ymhob peth; bydded dy eiriau wrtho yn foesgar, a'th ymddygiad ato bob amser, yn ei bresennoldeb a'i absennoldeb, yn wir barchus; ac os yw hyny o ryw gysur i ti, fel y dywedai y diweddar Barchedig Thomas Richard, Abergwaun, wrth gymhell pregethwyr ieuainc i ymarfer i ddyweyd "syr," na chostiai ddim iddynt, ni fydd ond traul bychan neu ddim arnat tithau i ymddwyn yn barchus at dy feistr, ac i roddi iddo bob gwarogaeth ac anrhydedd. 3. Ufudd-dod. Dyma ganolbwynt dyledswyddau gweision at eu meistriaid. Fel y mae anrhydeddu eu tad a'u mam yn brif ddyledswydd plant, maethu eu meibion a'u merched yn brif waith rhïeni, caru ei brïod yn ganolbwynt dyledswyddau y gŵr, llywodraethu yn brif orchwyl y brenin; felly ufudd-dod i'w meistriaid ydyw nodwedd arbenig perthynas gwas. Y meistr sydd i dòri'r gwaith, y gwas i'w wneuthur; y meistr i gynllunio y gwasanaeth, y gwas i'w gyflawni; y meistr i orchymyn, a'r gwas i ufuddhâu. Ac y mae y gwasanaeth hwn o ufudd-dod i'w gyflawni (1.) yn ffyddlawn, "nid â llygad-wasanaeth;" (2.) mewn symlrwydd calon;

(3). fel gwasanaeth i Dduw ac i Grist; (4.) gyda'r amcan dyblyg o ryngu bodd i'r meistr ac o foddloni Duw; (5.) i'r meistr anghyweithas fel i'r da—yr angharedig yn gystal a'r caredig; (6.) gan gredu y gwna Duw ei hun wobrwyo pob gwasanaeth ffyddlawn a chywir. Y mae yn amlwg trwy yr oll o'r ddysgeidiaeth werthfawr hon, nad yw gwaith gwas yn ymgymeryd â gwasanaeth i'w gyd-ddyn yn ymyraeth dim â'i gyfrifoldeb i Dduw. Os ydyw megys yn rhoddi i fyny mewn rhan ei ryddid personol wrth gytuno i drigo dros amser penodol yn nhŷ ei feistr, ac i roddi ufudd-dod, a'r forwyn hithau yr un modd i'w meistres, nid yw y naill na'r llall yn rhoddi i fyny ddim o'u cyfrifoldeb moesol. Mae ein perthynas â Duw yn ein dilyn i bob man ac i bob math o amgylchiad, ac yn treiddio trwy holl gysylltiadau bywyd. Y mae i fod yn ddealledig, ïe, yn elfen hanfodol yn ngweithiad allan holl ddyledswyddau dynion at eu gilydd. Ac o ganlyniad, os dygwydd i feistr orchymyn i'w was rywbeth a fydd yn treisio ar y berthynas â Duw, nid yw ufudd-dod y gwas i'w feistr y pryd hwnw yn ofynol. Y mae yr egwyddor hon yn cael ei chydnabod gan gyfreithiau Lloegr. "Os bydd i was," medd Kerr, yn ei *Student's Blackstone,* "gyflawni trosedd ar orchymyn ei feistr, bydd y meistr yn euog o hono, er nad yw y gwas trwy hyny yn ddiesgus; oblegid nid yw i ufuddhâu i'w feistr ond mewn pethau sydd gyfreithlawn a gonest." Y mae hyn yn ein harwain at ddyledswyddau y meistriaid. Dywed yr Ysgrythyr eu bod i ymddwyn "yn gyfiawn ac yn uniawn" tuag at eu gweision. Y maent nid yn unig i dalu eu cyflogau yn llawn a phrydlawn, ac, os byddant yn trigo yn eu tai i roddi cynnaliaeth brïodol a digonol iddynt, ond i weithredu ymhob peth mewn tegwch tuag atynt. Gofyna moesoldeb y Testament Newydd am fwy na chyfiawnder llym a noeth. Mae ymyl o degwch hefyd i fod. Y meistriaid gan hyny nid ydynt i ormesu, ond i arfer tynerwch, "gan roddi bygwth heibio." Nis gallwn osod dyledswyddau meistriaid tuag at eu gweision yn well ger bron ein darllenwyr na thrwy ddyfynu yr hyn a ddywed y diweddar Proffeswr Fleming yn ei *Student's Moral Phiosophy:—*

"Angenrhaid, ac mewn llïaws o achosion, angenrhaid poenus sydd yn arwain un dyn i roddi i fyny ei ewyllys a'i lafur i awdurdod un arall. Y mae yr hwn sydd wedi ennill Lawl i wasanaethu un arall megys wedi ennill cyfran o ryddid ac annibyniaeth yr arall hwnw; ac, fel y mae yn gwerthfawrogi ei ryddid a'i annibyniaeth ei hun, dylai yn gyflawn a pharod roddi yr ad-daliad a gytunwyd arno. Y mae cysegredigrwydd yn perthyn i ennillion llafur sydd wedi cael ei gydnabod yn gyffredinol. Yr hyn y mae dyn yn ei ennill trwy chwŷs ei wyneb a ddylai fod yn ddïogel ac anhalogadwy, fel y breintiau y mae wedi eu prynu â'i waed. Yn ol cyfraith Moses, yr oedd ennillion llafur i'w talu yn union wedi i'r gwaith gael ei gyflawni. 'Na thriged cyflog y gweithiwr gyda thi hyd y bore' (Lef. xix. 13). 'Yn ei ddydd y rhoddi iddo ei gyflog; ac na fachluded yr haul arno; canys tlawd yw, ac â hyn y mae yn cynnal ei einioes: fel na lefo ar yr Arglwydd yn dy erbyn, a bod pechod ynot' (Deut. xxiv, 15). Y gobaith o dderbyn ei gyflog sydd wedi ei alluogi i ymgynnal trwy oriau meithion a chelyd ei lafur. Ac yn awr, pan y mae yr oriau hyn drosodd, y mae arno eisieu yr adfywiad a'r nerth y gall fod yn foddion i'w gweinyddu iddo. Mae yn un o ddyledswyddau uchaf, a dylai fod yn fwynhâd o'r mwyaf, perthynol i safle gyfoethog, neu alluog, neu uchel, i wobrwyo a chefnogi llafur eraill—i wasgaru dedwyddwch ymhlith yr haeddiannol a'r ufudd—ac i agor ffyrdd iddynt i wellâu eu sefyllfäoedd mewn bywyd. Pan, gan hyny, y mae gwasanaeth yn cael ei roddi yn ofalus a ffyddlawn, y mae yn ddyledswydd, a dylai fod yn bleser gan y meistri, nid yn unig yn gyfiawn, ond yn siriol hefyd, i ad-dalu i'r rhai sydd wedi eu gwasanaethu.

"Y mae meistri dan rwymedigaeth nid yn unig i dalu i'w gweision y cyflogau a gytunir arnynt yn ddirwgnach, ond hefyd i ymddwyn tuag atynt yn garedig ac yn ystyriol pan yn cyflawni eu gorchwylion. Gwasanaeth yn ei holl ffurfiau sydd ddiraddiol a phoenus; a dylai y rhai sydd yn llanw lle meistriaid arbed gymaint fyth ag sydd yn ddichonadwy deimladau y gweision. Mae ganddynt hawl i weled fod y gwaith penodedig yn cael ei gyflawni; ond dylent ochel bod yn rhy lym a manwl yn eu gofynion. Dylent gael ufudd-dod; ond gorchymynir meistriaid i roddi bygwth heibio. Dylid ymwrthod â mesurau gormesol ac iaith ddirmygus, gan wybod fod iddynt hwythau Feistr yn y nefoedd, ac nad oes derbyn wyneb ger ei fron Ef. Y mae gwahaniaethau y sefyllfa draws-symudol hon yn gydweddol âg ewyllys Duw, a chydnabyddir hwynt yn ei Air; eithr nid ydynt i'w defnyddio gan ddynion i ormesu ac i aflonyddu ar eu gilydd. Y mae y meistriaid i dymheru eu gofynion â doethineb a charedigrwydd, ac i ochel yn afreidiol i archolli teimladau y rhai sydd yn eu gwasanaethu. Nid ydynt i fod yn dasg-feistri celyd, nac i wneyd bywydau eraill yn chwerw trwy gaethiwed caled; ond yn hytrach i felysu rhan chwerw y rhai sydd yn gweithio trwy ymddygiad caredig ac ystyriol tuag atynt."

Yn y dyfyniad uchod yr ydys yn cyffwrdd â'r cwestiwn dyrys o ennillion; mater ag sydd yn ddiweddar wedi achosi anghydfod poenus rhwng meistri a gweithwyr—anghydfod mor druenus ei ganlyniadau ag sydd wedi rhoddi iddo wêdd-mor ddifrifol fel y gellir dyweyd ei fod yn ymylu ar fod yn rhyfel cartrefol; ac ofnwn y bydd i ran bwysig o'n Tywysogaeth anwyl ddyoddef oddiwrth y difrod arswydus am flynyddoedd i ddyfod. Nid awn i fewn i'r cwestiwn hwn yn awr. Y mae yn ddigon o fater erthygl ei hunan. Eto byddai ein traethiad ar berthynas meistr â gwas yn anorphenol heb gyfeiriad ato. A dyma yn unig a ddywedwn, fod profiad yn gystal ag egwyddorion y wybodaeth sydd yn myned dan yr enw *Political Economy* yn ein dysgu mai gofyn a chyflenwad yn unig all lywodraethu ennillion llafur. Os bydd digon o waith, eithr ond ychydig o ddwylaw, dyma gynhauaf y gweision. O'r tu arall, pan y mae mwy o wasanaethwyr nag sydd o waith, y mae y cyflogau yn rhwym o syrthio. Gall meistri yn hawdd dalu cyflogau uchel i ychydig weithwyr pan y mae gofyn mawr am eu gwasanaeth; ac o'r ochr arall, y mae yn anmhosibl iddynt roddi ond cyflogau bychain i lawer o ddynion pan mae y gwaith yn fach. Yr ydym yn cydnabod fod cysylltiadau eraill i'r pwnc o ennillion llafur, ond dyna i gyd sydd i'w ddyweyd arno yn ei berthynas â meistri a gweision yn eu cydberthynas.

Gyda golwg eilwaith ar driniaeth gweision gan eu meistriaid, yr ydym, ar y cyfan, yn cwbl gredu mai cyfeillion goreu llafurwyr Cymru yw eu meistri. Ac y mae hyd yn nôd y rhai mwyaf eithriadol yn eu plith yn well cyfeillion iddynt na'r Saeson sydd yn ddiweddar wedi bod yn achosi celanedd yn y tir; dynion diddysg, heb athroniaeth yn eu deall, na gras yn eu calonau, sydd trwy eu haerllugrwydd a'u ffraethineb wedi cyfansoddi eu hunain yn flaenoriaid y bobl, i'w camarwain a'u twyllo, a'u dwyn i ddyrysni anialwch o'r hwn nis gallent eu tynu allan. Mae ymddygiad yr arweinwyr deillion hyn yn dwyn i'n côf ddiareb Saesoneg,—"Doder cardotyn ar gefn ceffyl, ac efe a'i marchoga i ddiafol." Yr ydym yn mawr obeithio nad oes nemawr o'n cydwladwyr hoff wedi myned mor bell a hyn mewn amryfusedd. Ac yr ydym hefyd yn cryf hyderu fod y meistriaid yn sylwi ar arwyddion yr amserau, ac yn cymeryd gwersi buddiol iddynt eu hunain. Canys y mae eto le, os nad yn mater y cyflogau, o leiaf yn y driniaeth a ddylai gweision ei

chael, i amryw o welliantau pwysig. Dyna un o honynt, a ddaeth i'r golwg yn ddiweddar mewn modd amlwg a tharawiadol yn llythyr Mr. John Parry o'r Bwlch at Syr Joseph Bailey. Onid yw yn bryd bellach i ffermwyr gael pleidleisio yn yr etholiadau heb ymyraeth hanner-bygythiol meistri y tir? A pha reswm yn y byd sydd dros adael i bryfed dirif ddinystrio cnydau eu meusydd yn unig er mwyn pleser i'r arglwyddi a'u cyfeillion? Ac y mae genym gwestiwn i'w ofyn i'r amaethwyr,—Pa degwch sydd mewn gosod y gweision i gysgu mewn beudai ac ystablau? a phaham na ddarperir ystafelloedd cyfleus yn y tai i'r holl dylwyth, wedi eu trefnu yn y fath fodd ag i fod yn ddibrofedigaeth? "Pe buasai meistr y tir yma" (ac yr oedd hwnw yn offeiriad), meddai ustus heddwch yn ddiweddar, ar ddiwedd prawf ynghylch plentyn anghyfreithlawn, "mi fuaswn i yn dyweyd yn bur blaen wrtho ei ddyledswydd i wneuthur y tŷ yn fwy cyfleus." Y mae tai y llafurwyr amaethyddol hefyd yn bur aml heb fod yn ddim gwell na thylcau môch, ac nis gall byw yn y fath leoedd lai na chrebachu meddyliau a drygu moesau. Gydag ufudd-dod parchus a ffyddlondeb o du y gweision, cyflogau prïodol a thriniaeth dda o du y meistriaid, ac ystyriaeth brïodol ar du y tirfeddianwyr, ni fyddem yn hir heb weled y cyd-ddealltwriaeth hapusaf rhyngddynt; y gweithiwr yn ymddyrchafu, y meistriaid yn ymgodi mewn anrhydedd, a llwyddiant cyffredinol yn ffŷnu.

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Critical and Exegetical Commentary on the New Testament.* By HEINRICH AUGUST WILHELM MAYER, TH.D., Consistorialrath, Hannover.—*Critical and Exegetical Handbook to the Gospel of John.* Translated from the fifth edition of the German by Rev. WILLIAM URWICK, M.A. Vol. I. *Critical and Exegetical Handbook to the Epistle to the Romans.* Translated from the fifth edition of the German by Rev. JOHN C. MORRE, B.A., and Rev. EDWIN JOHNSON, B.A. Vol. II. Edinburgh: Clark.

GALWASOM sylw o'r blaen at y cyhoeddiad hwn o esboniad Meyer ar y Testament Newydd yn yr iaith Saesoneg. Mae yn ddiammheu genym fod cryn lawer o'n darllenwyr sydd yn meddu y ddysgeidiaeth a'r addfedrwydd sydd yn angenrheidiol tuag at fwynhâu y fath waith, ac o'n brodyr ieuainc teilwng sydd yn penderfynu eu cymhwyso eu hunain i eistedd wrth draed y fath athraw a Meyer, erbyn hyn wedi dyfod yn danysgrifwyr. Mae cael y fath waith a hwn mewn Saesoneg da, wedi ei olygu yn y modd mwyaf gofalus, ac yn ol pedair o gyfrolau prydferth am danysgrifiadau blynyddol o un swllt ar hugain, yn sicr yn fraint ag y buasai llawer o "rai cyfiawn" ymysg ein hefrydwyr tlodion cyn yma yn ddirfawr "chwennychu." Fe welir fod y cyfieithiadau hyn wedi eu

cymeryd o'r pummed argraffiad, yr olaf, dan olygiad yr awdwr, a gyhoeddwyd yn Germany. Ac yr oedd y naill argraffiad ar ol y llall ganddo ef, gan faint ei awydd i ddwyn ei waith i'r perffeithrwydd uchaf oedd yn bosibl, yn myned dan y cyweiriad mwyaf gofalus, ac mewn llawer man yn dyfod yn gyfansoddiad newydd. Yr ydoedd *yn byw* i ymdrechu cael allan feddwl yr Arglwydd yn ei air. A chyda dysgeidiaeth o'r fath fwyaf trwyadl, ac awyddfryd am bob goleuni ychwanegol a barai ei fod yn astudio yr oll o ddim gwerth a ddywedasid neu a ddywedid yn barhäus ar y geiriau a ddeuent dan ei sylw, gyda barn gref, a chariad parchedig at y gwirionedd ei hunan, beth bynag allai fod, yn annibynol ar bob cyfundrefn a phlaid, nid rhyfedd fod ei einioes o ymgysegriad i'r fath amcan wedi dyfod i'r eglwys yn drysor anmhrisiadwy. Y mae efe ei hunan yn rhoddi cyfrif am berffeithrwydd rhyfeddol efengyl Ioan—yr "efengyl ysbrydol," chwedl Clement o Alexandria, "calon Crist," fel y gelwid hi gan Ernesti—trwy fod Ioan, ar ol einioes o aros uwch ben a phregethu yr ymadroddion rhyfedd a glywsai, wedi cael y fath fynediad i mewn i'w dwyfol ystyr, fel yr oedd ei feddyliau a'i ymadroddion ef ei hunan wedi myned dan weddnewidiad, a gogoniant Crist yn llewyrchu drwyddo. Y mae llafur Meyer ei hun o natur llawer mwy gostyngedig, ond ar yr un pryd, prin yn llai cyflawn. Y mae, yn wir, wedi bod mor ddyhysbyddol ac mor addfed fel y teimlai dyn ar ei galon ofyn nid yn anfynych, "Beth a wnai y dyn a ddeuai ar ol y brenin?" Y mae y gwahanol ysgolion o esbonwyr sydd wedi ceisio darostwng awdurdod yr ysgrythyrau, ac er mwyn gochel anhawsderau, wedi syrthio i rai mwy, neu yn ol y ddiareb Roegaidd, "wrth ochel y mŵg wedi syrthio i'r tân,"—yn cael triniaeth ofalus a therfynol oddiar ei law. Ac mor glir ydyw ei ddarweledigaeth i ogoniant y gwirionedd, a chyda'r fath gydnawsedd y tŷna at ei wasanaeth sylwadau goreu ei gydlafurwyr mwyaf galluog, fel y mae yr efrydydd pwyllog yn fynych yn cael ei lanw â syndod a boddhâd wrth y cyfoeth o ystyr sydd yn dyfod i'r golwg mewn geiriau yr ydoedd, mewn ystyr, yn rhy agos atynt i allu eu gweled. Mae yn hyfryd genym, mewn dyddiau o gymaint rhodres ac anghredaeth, weled cymaint o allu a mawredd yn ymostwng i dderbyn y gwirioneddau goruchel yn gymaint "fel dyn bach." Ei safle ydyw deongladaeth bur, ac yn hyny y mae yn seren o'r maintioli mwyaf. Prin y mae ei dduwinyddiaeth yn cyfateb. Yn wir y mae yn rhy ddibris o dduwinyddiaeth i beidio syrthio weithiau i amryfusedd. Y mae yn cael fod Ioan iii. 16, "Canys felly y carodd Duw y byd," &c., "yn graig ar ba un y mae athrawiaeth arfaeth ddiammodol yn myned yn ddrylliau." Yn Rhuf. viii hefyd y mae y rhagwybodaeth sydd yn cael ei grybwyll fel sail rhagluniaethiad, yn golygu ganddo ragwybodaeth Duw o ddynion *"fel y rhai a ddeuent, un diwrnod, yn ffordd cynllun dwyfol yr iachawdwriaeth, yn 'un ffurf â delw ei Fab ef.'"* Dywed yr apostol eu bod wedi eu rhaglunio *i fod* felly. Dyfyna Meyer gyda chymeradwyaeth o Erasmus, "Nid yn fyrbwyll yr etholodd Duw y rhai a etholodd, yr oedd efe yn adnabod yr eiddo ei hun ymhell cyn eu galw." Ond yn y nawfed bennod y mae penarglwyddiaeth Duw yn cael ei gydnabod a'i amddiffyn ganddo yn y modd mwyaf difloesgni, a'i arfaeth yn gwbl annibynol ar ddim a wnelai dynion. Hòna, ac yn gwbl brïodol, fod arfaeth Duw a rhyddid dyn yn gyfochrog yn y Bibl fel mewn bywyd, ac yr ydym yn meddwl fod y gwahaniaeth rhyngddo a Calvin, ac eraill, y teimla ar ei galon eu gwrthwynebu ar fater y "dirgelwch ofnadwy," y *formidum mysterium* y cyfeiria ato, yn llai nag y meddyliai.

*A Commentary on the Gospel of St. Luke.* By F. GODET, Doctor and Professor of Theology, Neuchatel. Vol. I. Translated from the second French edition; Vol. I. by E. W. SPALDERS, B.A., Newbury, Vol. II. by M. D. CUSIN. Foreign Theological Library. 1875.

MAE y gwaith hwn wedi ei gyfansoddi yn Ffrancaeg, a bwriedid ef yn fwyaf arbenig at wasanaeth Cristionogion Switzerland a Ffrainc. Ymddengys fod yr

argraffiad cyntaf wedi ei lwyr werthu mewn rhyw flwyddyn a hanner, ac yn 1870, cyhoeddwyd yr ail argraffiad, o ba un y gwnaed y cyfieithiad hwn. Cymer yr awdwr y gwerthiad cyflym a fuasai ar yr argraffiad cyntaf fel arwydd dda, yn dangos y dyddordeb a gymerid yn y gwledydd hyny mewn efrydiau deonglyddol, yr hyn a hir deimlasai efe fel a'i fawr eisieu arnynt. Ac nid ydyw yn rhyfedd genym fod y fath dderbyniad wedi ei roddi i'r gwaith hwn, nid yn unig yn y gwledydd hyny, ond gan efrydwyr yr Ysgrythyrau mewn gwledydd eraill hefyd, a'i fod wedi llawn gyfiawnhâu, os nad ychwanegu at, yr enwogrwydd a ennillasai yr awdwr trwy waith cyffelyb a gyhoeddasai flynyddoedd yn ol ar Efengyl Ioan. Nid ydym yn meddwl fod dim a gyhoeddwyd yn nghyfres werthfawr y Meistri Clark mor gyflawn o ddefnyddiau gwir fwynhâd ag ydyw y cyfrolau hyn ar Efengyl Luc. Y maent wedi eu cyfansoddi, nid yn benodol ar gyfer y dysgedigion, nac yn uniongyrchol gyda golwg ar adeiladaeth. Ond mae yr awdwr wedi ymdrechu cyfuno y ddau amcan, o gyfarfod yn dêg â'r holl gwestiynau pwysig sydd yn codi yn efrydiaeth fwyaf trwyadl yr Efengyl sydd ganddo dan sylw, ac o osod ger bron ffrwyth ei lafur yn y dull mwyaf manteisiol i rai heb fod yn ysgoleigion proffesedig. Teimlai fod yr adeg wedi myned heibio i gyfyngu trafodaeth y cwestiynau celyd i gylch y rhai "perffaith," yr arferid ymddiried iddynt am y cyfriniou, gan fod damcaniaethau mwyaf beiddgar anghredaeth yn cael eu lledaenu yn y cylchoedd mwyaf poblogaidd, a phobl na fuasid yn meddwl am ddysgwyl y fath beth oddiwrthynt wedi dyfod mewn llawer man i siarad yn hynod o dafodrydd yn eu cylch. Ac er mwyn dwyn y gwirionedd yn fwy cyflawn i gyrhaedd darllenwyr deallus heb fod yn ysgoleigion, nid ydyw Godet yn gadael y geiriau Hebraeg a Groeg y mae ganddo achos i'w dwyn ger bron heb eu cyfieithu, ac y mae wedi ymgadw, hyd yr oedd yn bosibl, oddiwrth holl gelfeiriau, neu eiriau *technical* y wyddor feirniadol. A'r hyn sydd lawn mor bwysig, y mae wedi llwyddo i wneyd y gwaith yn un i'w ddarllen, ac i'w ddarllen gyda phleser ac adeiladaeth, ac nid yn unig yn un i ymgynghori âg ef. Y mae yn trafod yn dra meistrolgar y fath faterion â tharddellau yr Efengyl hon, a lle Luc ymhlith yr Efengylwyr eraill—addfediad dynoliaeth yr Arglwydd Iesu, a dadblygiad yr ymwybyddiaeth mawr—trethiad Cyrenius—tafleni yr achau—y temtiad, &c. Ond y mae hefyd, trwy astudiaeth barchedig a dyfal, ynghyda theimlad wedi ei eneinio i gydnawsedd sanctaidd âg ysbryd y gwirionedd, nid yn unig yn dangos i ni y gwir yn wrthgyferbyniol i'r cyfeiliornus, ond hefyd yn dangos gogoniant y gwirionedd, a hyny nes peri i'r darllenydd ymostwng mewn edmygedd a pharch, neu ymdoddi gan y dwyfol dynerwch. Crybwylla, mewn cysylltiad âg eglurhâd prydferth ar waith Elizabeth yn "ymguddio bum' mis" ar ol ei beichiogiad, am ei rwymedigaeth am y sylw i *Professor* Charles Prince, oedd erbyn hyny "yn gweled wyneb yn wyneb yr Hwn yr oeddent mor fynych wedi bod yn cydsyllu arno yn nrych ei air," a chydnebydd fod yr esboniad, a siarad yn gyffredinol, yn gymaint yn eiddo ef ag ydoedd yn eiddo yntau. Yr oedd y fath gydastudiaeth, mae yn ddiammheu, o ddirfawr werth i feddwl a chalon y ddau gyfaill dysgedig a duwiol, ac nid ydyw yn rhyfedd ei fod hefyd wedi profi yn gymaint bendith i eraill. Tybed nad oes yn hyn awgrym y gallai llawer o ddarllenwyr y TRAETHODYDD wneuthur defnydd da o honi?

*Introduction to the Pauline Epistles.* By PATON J. GLOAG, D.D., Minister of Galashiels. Author of a "Commentary on the Acts of the Apostles," etc. Edinburgh: Clark.

DA genym weled y fath waith a hwn wedi ei gyhoeddi yn Mhrydain. Nid oedd genym nemawr ddim yn y gangen ddyddorol o "Arweiniad" a allesid olygu fel o unrhyw awdurdod. Yr unig waith o'r fath y gallasem ymffrostio ynddo ydoedd *Arweiniad i'r Testament Newydd* gan Dr. Davidson; ond y mae hwnw yn yr argraffiadau diweddaraf wedi crwydro yn gymaint i'r anialwch fel,

er ei holl ysgoleigdod a'i allu, y mae wedi myned i fesur mawr yn ddifûdd. Y mae Dr. Gloag yn adnabyddus fel ysgrifenydd amryw erthyglau rhagorol i'r *British and Foreign Evangelical Review*, ac awdwr esboniad gwerthfawr ar lyfr yr Actau. Diammheu y bydd yr Arweiniad hwn i Epistolau Paul yn ddirfawr ychwanegiad at ei ddefnyddioldeb, ac yn gwneuthur ei enw yn anrhydeddus iawn. Y mae *Arweiniad* i epistol yn cymeryd i fyny yn neillduol y chwe' cwestiwn a ganlyn,—ei ddilysrwydd; amgylchiadau yr eglwys neillduol at ba un yr ysgrifenwyd ef; achlysur ei gyfansoddiad; ei gynnwys; ei amseriad; ei neillduolion gwahaniaethol. Y mae yr awdwr hwn yn cymeryd i fyny yr holl gwestiynau yma yn eu perthynas âg epistolau Paul, gyda phwyll, a gallu, a dysgeidiaeth, ac addfedrwydd barn, nad ydynt yn gadael ond ychydig iawn i gwyno o'i herwydd, ac sydd yn gwneuthur ei lyfr yn gyfraniad tra phwysig i'n llênyddiaeth dduwinyddol. Yn ychwanegol at y drafodaeth ar y cwestiynau, fel a ellid ddysgwyl mewn Arweiniad, yr ydym hefyd yn cael ganddo amryw dreithiau, *dissertations*, hynod o werthfawr ar amryw o'r materion mwyaf pwysig a ddaw dan sylw yn y gwahanol epistolau,—megys yr Ailddyfodiad yn yr epistol cyntaf at y Thessaloniaid; y Dyn Pechod yn yr ail; Perthynas Paul ac Iuddewiaeth yn yr epistol at y Galatiaid; y Pleidiau yn eglwysi Corinth; y Cariadwleddoedd; y Brofedigaeth yn Nghnawd yr Apostol; ei Dermau Duwinyddol—megys *deddf, cyfiawnder, ffydd, cnawd*, &c. Ymdrechwn wneyd lle i'r dyfyniad a ganlyn ar arddull Paul:—

"Fe allai, fodd bynag, mai y prif neillduolrwydd yn arddull yr apostol ydyw ei *gwresogrwydd*. Y mae yn dwyn argraff difrifoldeb moesol. Y mae ei feddyliau yn ymdyru arno yn gynt nag y gellir cael geiriau cymhwys i'w gosod allan; ac y mae ei wresogrwydd yn crëu math o ddiffyg amynedd, sydd yn ei arwain i adael yn sydyn yr hyn sydd ganddo mewn llaw, mewn trefn i ddadgan ar unwaith y meddwl sydd yn ei daraw ar y fynyd. Mae ei arddull yn y pellder mwyaf oddiwrth undônedd neu fanyldeb oer, ac y mae i'r gwrthwyneb yn sydyn, cnapiog, a thanbaid. Da y gallai y Corinthiaid ddyweyd, 'Y llythyrau yn wir sydd drymion a chryfion' (2 Cor. x. 10). 'Pan wyf yn darllen Paul,' ebai Jerome, 'ymddengys fel pe bawn yn clywed, nid geiriau, ond taranau.' Am hyny mae ei epistolau yn llawn ymadroddion cryfion, a phentyriad ar ansoddeiriau uchelradd; fel, er engraifft, pan y sonia am dano ei hun fel 'llai na'r lleiaf (ἐλαχιστότερος) o'r holl saint;' a phan y desgrifiai gystuddiau yn gweithredu i gredinwyr ogoniant 'sydd yn odidog ragorol (καθ' ὑπερβολὴν εἰς ὑπερβολὴν), sef tragywyddol bwys gogoniant.' Rhydd hyn hefyd gyfrif am ei ddefnyddiad mynych o eiriau cyfansawdd gyda ὑπὲρ, er mwyn cryfhâu ei eiriau a'u gwneyd yn rymus. Nid oes un ysgrifenydd yn y Testament Newydd yn gwneyd cymaint defnydd o ddringraddiad; a gellid desgrifio un o'i gampweithiau mawrion, yr wythfed bennod o'r Rhufeiniaid, fel un gadwen ddidòr o hyawdledd angerddol, yn codi yn raddol o nodyn i nodyn, yn dechreu gyda dadgan maddeuant i'r pechadur, ac yn terfynu gyda'r dringraddiad ardderchog ymha un y mae yr apostol yn hèrio yr holl grëadigaeth i wahanu y credadyn oddiwrth gariad Crist."

*Pastoral Theology: a Treatise on the Office and Duties of the Christian Pastor.* By the late PATRICK FAIRBAIRN, D.D., Principal of the Free Church College, Glasgow; Author of "Typology of Scripture;" "Commentary on the Pastoral Epistles," etc., etc. With a Biographical Sketch of the Author by Rev. JAMES DODDS, Dunbar. Edinburgh: Clark.

"Y DIWEDDAR" am Fairbairn hefyd erbyn hyn! Y mae angeu wedi gwneyd difrod mawr yn ddiweddar ymhlith cedyrn yr Eglwys Rydd. Doe, megys, ac yr oedd Cunningham, a Guthrie, a Candlish, a Fairbairn, a Buchanan, yn dyrau o nerth ganddi, a hyderai gael ymffrostio yn eu cadernid a'u henwogrwydd am lawer o amser i ddyfod. Ond heddyw y maent hwy oll, ac eraill lawer gyda hwynt, wedi myned at eu tadau, "yn gorphwys oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd yn eu canlyn hwynt." Y mae eu bywyd o ymgysegriad dwfn i Grist,

a'u hymroddiad i lafur dyfal hyd angeu yn ei wasanaeth yn gynnysgaeth gyfoethog i'r eglwys, ac yn galw ar y rhai sydd yn dyfod ar eu hol i "ddilyn eu ffydd, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." Galwasom sylw at lyfr tra gwerthfawr o eiddo Fairbairn a gyhoeddwyd yn ddiweddar ar yr *Epistolau Bugeiliol*. Ymddengys ei fod yn arfer traddodi nifer o ddarlithiau yn ei ddosbarth yn yr Athrofa ar *Dduwinyddiaeth Fugeiliol* hefyd, a'u bod wedi eu parotöi ganddo i'w hargraffu. Dyna gynnwys y gyfrol hon, yr hon a gyhoeddwyd fel chwaer-gyfrol i'r un ar yr Epistolau Bugeiliol. Yr oedd Fairbarn wedi gwahardd ei gyfeillion rhag meddwl am ysgrifenu Cofiant iddo, ac ymddengys mai yr amlinelliad a geir gan Mr. Dodds yma ydyw y cwbl a ellir ddysgwyl mewn ffordd o hanes ei fywyd. Y mae ei *Sketch* ef yn bur dda, ac yn hynod o addysgiadol, yn enwedig fel y mae yn dangos y ddysgyblaeth gyflawn a llafurus y darfu i Fairbairn ei osod ei hunan dani am lawer o flynyddoedd o ddinodedd, mewn trefn i'w gymhwyso ei hunan at y gwaith mawr oedd yn ei aros fel gweinidog, ac awdwr, ac athraw duwinyddol. Ond yr ydym yn hyderus ei fod ef wedi gwneyd digon o hanes iddo ei hunan trwy ei ysgrifeniadau gwerthfawr,—

A chofiant llawnach hefyd
Na chëryg bedd, na chreig byd.

Mae llawer o'n darllenwyr wedi bod am flynyddoedd yn efrydwyr dyfal ar ei weithiau, ac ni raid iddynt wrth "lythyrau canmoliaeth" mewn perthynas iddo. Bydd yn dda gan y cyfryw, mae yn sicr, gael y cyfle i gymdeithasu ymhellach âg ef trwy y gwaith rhagorol hwn; a diammheu y bydd yn fraint gan lawer o'n duwinyddion ieuengach, sydd yn dyfod y naill ar ol y llall i ymgymeryd â gofal bugeiliol, gael derbyn hyfforddiant yn eu siars bwysig gan ŵr o gymaint profiad a doethineb, ac yn enwedig o'r fath deyrngarwch dwfn i Frenin yr eglwys. Ymdrina, ar ol arweiniad rhagorol ar yr holl fater, *yn gyntaf*, ar natur y swydd fugeiliol, a'r hyn sydd yn gwneyd yr alwad i ymgymeryd â hi. *Yn ail*, ar y bywyd personol a chymdeithasol sydd yn gweddu i un fo yn ymgymeryd â chyfrifoldeb a dyledswyddau y swydd. *Yn drydydd*, ar ei gwaith priodol, yr hyn a gymer i fewn, 1. *homiletics*, neu gyfansoddiad a thraddodiad pregethau; 2. y defnyddiad o ddulliau israddol o addysgu a chynghori; 3. gwasanaeth defosiynol y cysegr; 4. gweinyddiad dysgyblaeth; 5. cynnorthwyon cyflenwadol. Yn yr ymdriniaeth ar y materion uchod ceir y fantais ar yr oll sydd yn werthfawr mewn dysgeidiaeth ëang a chwaeth o'r fath fwyaf pur; ond y mae y cyfan hefyd, ac mewn modd arbenig felly, dan deyrnged i Grist, a than eneinniad yr Ysbryd. Nid yw hyny yn rhyfedd pan gofiwn fod awdwr dysgedig y "Typology," golygydd yr "Imperial Bible Dictionary," a Llywydd Athrofa yr Eglwys Rydd, yn myned i fewn mor galonog y llynedd, pan ar drothwy yr orphwysfa, i'r diwygiad crefyddol hynod â pha un y bendithiwyd Glasgow.

*John Knox and the Church of England: His Work in the Pulpit, and his Influence upon her Liturgy, Articles, and Parties—a Monograph founded upon several important Papers of John Knox never before published.* By PETER LORIMER, D.D., Professor of Theology, English Presbyterian College; Author of "Patrick Hamilton," &c. London: Henry S. King & Co.

*The Life of John Knox: containing Illustrations of the History of the Reformation in Scotland, &c.* By THOMAS M'CRIE, D.D. A New Edition, containing numerous corrections and additions, with a Preface and Memoir of Dr. M'Crie, by ANDREW CRICHTON, LL.D. Belfast: William Mullan.

Y MAE Knox yn un o'r "cedyrn a fu wŷr enwog gynt," ac nid oes odid un dyn a adawodd ei argraff yn ddyfnach ar hanesiaeth grefyddol ein teyrnas. Fel

y gallesid dysgwyl oddiwrth elyniaeth y byd at sancteiddrwydd, a'r anmharch y mae mor hoff o fwrw ar ei gymwynaswyr penaf, fe oddefwyd i'w enw ef orwedd am dymor maith dan garnedd o anfri. Ond pan gyhoeddwyd Cofiant rhagorol M'Crie iddo yn 1811, fe deimlwyd fod y "chwalwr" wedi "dyfod i fyny," ac fod gobaith i enw Knox ennill iddo ei hun y lle dysglaer oedd mor gyfiawn yn ddyledus iddo yn ein hanesiaeth. Nid oedd yr awdwr ar y pryd ond gweinidog dinôd ac anadnabyddus, perthynol i un o'r enciliadau oddiwrth eglwys Sefydledig Scotland; ond fe wnaeth ei lyfr ei ffordd ar unwaith i blith y gweithiau safonol mwyaf adnabyddus yn yr iaith Saesoneg, ac y mae yn sicr o gadw ei le felly hyd y diwedd. "Llyfr," meddai Arglwydd Jeffrey yn yr *Edinburgh Review* ar y pryd, "a roddodd i ni fwy o hyfrydwch a mwy o addysg na dim a ddarllenasom erioed ar y testun; a'r hwn, yn annibynol ar ei deilyngdod duwinyddol, nid ydym yn petruso ddadgan y darn goreu o lawer o hanesyddiaeth a ymddangosodd er dechreuad ein gyrfa feirniadol. Y mae yn hynod o fanwl, dysgedig, a chryno, ac ar yr un pryd, yn bur lawn o ysbryd a bywiogrwydd; yn arddangos, fel yr ymddengys i ni, gyfuniad anghyffredin o'r ymchwiliad amyneddgar a'r farn gref a nodweddant y dosbarth mwyaf llafurus o haneswyr, gyda yr ëofndra meddwl a'r nerth crebwyll a gymerir weithiau yn eu lle." Y mae llawer o'n darllenwyr yn cofio darllen erthygl dra gwerthfawr ar Knox a ymddangosodd yn y TRAETHODYDD yn 1859, fel adolygiad ar y chweched argraffiad o'r gwaith hwn. Da genym argymhell yr argraffiad yma o eiddo Mr. Mullan, fel un cyflawn, cywir, a rhadlawn, i sylw ein cyfeillion a ddymunent ymgydnabyddu yn fwy â chymeriad y mae genym oll gymaint o achos bod yn ddiolchgar am dano, ac nad all neb o honom lai na bod ar ei ennill o gymdeithasu âg ef. Nid ydyw Dr. Lorimer yn amcanu at geisio gwneyd drosodd drachefn y gwaith a wnaed mor dda gan Dr. M'Crie, trwy ysgrifenu hanes bywyd y diwygiwr; ond y mae wedi cymeryd rhan arbenig o'i waith yn destun ymchwiliad, sef ei lafur yn Lloegr, ac ymysg y preswylwyr Seisonig yn Geneva. Yr oedd ganddo fantais i wneyd yr ymchwiliad yma yn fwy trwyadl nag y buasai yn bosibl ei wneyd o'r blaen, wedi cyhoeddiad yr argraffiad ysblenydd gan Laing o Weithiau Knox, ac hefyd wedi iddo gael gafael ar amryw bapyrau gwerthfawr ei hunan ymysg yr ysgrifau sydd yn llyfrgell y Dr. Williams. Y mae y llyfr yn taflu goleuni gwerthfawr ar lafur a dylanwad Knox yn Lloegr, ac yn dangos ei "fod, dros amryw flynyddoedd, yn ddiammheuol y gŵr mwyaf amlwg a dylanwadol ymysg y Puritaniaid Seisonig," ac yn fwy na neb arall "y teilynga gael ei ystyried fel tad a sylfaenydd Puritaniaeth Lloegr yn gystal a Scotland." Yr oedd y blynyddoedd a dreuliodd yn Geneva, pan yr oedd efe a gwŷr enwog eraill yn gorfod "brysio i ddianc rhag y gwynt ystormus a'r dymhestl" yn amser Mari, yn rhai hynod o hapus a hynod o ffrwythlawn. Yr oedd Calvin y pryd hyny yn ei ogoniant, ac yn crëu cyfnod newydd yn hanes y byd. Ond hònir fod Knox gydag ef yn cydlafurio fel brawd, yn hytrach nag yn cael ei ffurfio ganddo fel dysgybl. O'r blynyddoedd hyny y cyfododd o'r deyrnas hon, nid yn unig fywyd ei Phuritaniaeth, ond hefyd ei rhyddid crefyddol, ac yn wir ei rhyddid gwladol yr un modd.

Foreign Devotional Library. *The Year of Salvation. Words of Life for every day. A Book of Household Devotion.* By J. J. VAN OOSTERZEE, D.D., Professor at Utrecht. The Festival portion of the year. Translated by C. SPENCE. Edinburgh: Clark.

*Prayer: its Reasonableness and Efficacy.* By NEWMAN HALL, LL.B. London: Hamilton, Adams & Co.

*The Church on its Knees.* By Rev. JOSEPH EVANS, Carmarthen.

*The Church Meeting: an Argument for the adoption of Constitutional Principles in the Calvinistic Methodist or Presbyterian Church of Wales.* By E. DAVIS.

Y MAE y fath amser a hwn yn neillduol yn peri fod dynion yn teimlo awydd am ddarllen llyfrau defosiynol. Y Bibl, bid sicr, ydyw y ffynnon fawr o ba un

y tardd dyfroedd y bywyd i ddisychedu yr enaid; ac y mae yn achos o ddiolchgarwch dwfn fod cymaint yn ychwaneg o ddarllen duwiolfrydig ar y Bibl yn y deyrnas yma y dyddiau hyn nag a fu er ys llawer iawn o flynyddoedd, os yn wir erioed. Ar yr un pryd mae y rhai sydd yn gwneyd fwyaf o'r Bibl yn eu defosiynau, yn sicr o roddi gwerth neillduol ar bob cymhorth dynol i "dŷnu dwfr o ffynnonau yr addewidion." Y mae pregethau y Parch. Henry Rees i ni, yn yr ystyr yma, o werth anmhrisiadwy; ac y mae Gurnal, a Bunyan, a Williams, Pantycelyn, ac Ann Griffiths, o angenrheidrwydd, yn anhebgorol. Nid cyfoethog Prydain mewn gweithiau diweddar o'r natur yma. Y mae ein brodyr ar y Cyfandir wedi bod gryn lawer yn fwy llafurus, ac yn nghanol nifer mawr o ddylanwadau gwenwynig, y mae lliaws o dduwiolion yn cael llawer o faeth ysbrydol trwy eu hysgrifeniadau. Da genym weled fod nifer o'r gweithiau goreu o'r fath yma i gael eu cyhoeddi fel "Foreign Devotional Library." Y mae *Blwyddyn Iachawdwriaeth* gan Dr. Oosterzee o Utrecht, a defnyddio gair a fyddai yn fynych ar wefusau ein tadau duwiol, yn felus iawn. Wrth ei ddarllen yr ydym yn cael ein hunain yn nghyfrinach ysbryd galluog a phur; ond wrth draed yr Iesu, ac yn ngolwg mawredd y dyfodol, mor isel â'r gwanaf o "drueiniaid ei bobl ef." Mae llyfryn Mr. NEWMAN HALL ar *Weddi* yn ddadganiad hynod o alluog, mewn cylch mor gryno, ar y gwirionedd presenol mewn perthynas i'r mater mawr hwnw. Darllenasom gyda hyfrydwch neillduol yr engreifftiau dyddorol a roddir o atebion i weddi a gymerasant le o fewn cylch arbenig sylwadaeth yr awdwr. Y mae llyfryn Mr. Evans, yr *Eglwys ar ei Gliniau,* yn llawn o ysbryd y peth, a darllenid ef gan bob dyn difrifol gyda mwy o ddiolchgarwch nag y byddai, fe allai, yn ymwybodol o hono. Am y gwaith olaf a enwasom, y mae yn hyawdl mewn dangos diffygion ein cyfarfodydd eglwysig. Y rhyfeddod fawr, yn fynych, ydyw eu bod cystal. Ond wedi y profiad a gawsom o'u dirfawr werth, a phan mae y diwygiad gwerthfawr yma yn dwyn Cristionogion nad oeddent erioed wedi ymarfer â hwynt i deimlo fod yn rhaid iddynt wrth foddion o'r fath, ein doethineb ni ydyw gwneyd y defnydd goreu o honynt. Ac i'r dyben yma, mae yn ddiau y gallai llawer o'n cyfeillion wneyd defnydd da o awgrymiadau y llyfr hwn.

*The Leisure Hour.* July, 1875. Religious Tract Society.

DERBYNIASOM y rhifyn hwn o'r *Leisure Hour* pan yn ysgrifenu y Nodiadau hyn. Yn ychwanegol at ddyddordeb cyffredin y cyhoeddiad, da genym weled yn y rhifyn yma y gyntaf o gyfres o erthyglau gan y Golygydd ar *Gymru a'r Cymry.* Yr ydym wedi cael ein blino yn gymaint gan fwnglerwch a thraha llawer o'r Saeson pan yn ymostwng i gymeryd unrhyw sylw o honom trwy y wasg, fel y mae yn ammeuthyn gweled boneddwr fel Dr. Macaulay wedi cymeryd ychydig drafferth i fŷnu gwybod rhywbeth yn ein cylch, cyn dechreu dysgu y byd mewn perthynas i ni. Addawa yr ysgrifau fod yn dra dyddorol.

*Llyfr i Bobl Ieuainc. Ieuan Gwynedd, ei Fywyd a'i Lafur.* Gan ROBERT OLIVER REES, Dolgellau; ac Adolygiad ar ei Gymeriad a'i Lafur, gan y Parch. WILLIAM WILLIAMS, Abercarn. Rhan I. Dolgellau: R. O. Rees.

"Os oes arnat eisieu i beth gael ei wneyd yn iawn, gwna fo dy hun." Ymddengys fod Mr. Rees er ys llawer o amser yn teimlo yn anfoddlawn i enw un o gyfeillion ei febyd sydd wedi haeddu cymaint oddiar law y Cymry gael ei adael i syrthio i ddinodedd. Ac fel y mae wedi gwneyd ymdrech dra chanmoladwy i gyhoeddi argraffiad prydferth o Weithiau Ieuan Gwynedd, yr ydoedd yn awyddus hefyd am gael Cofiant teilwng iddo. Ymdrechodd gael gan rai o gyfeillion Ieuan, y dysgwyliasid yn rhesymol iddynt deimlo mwy nag efe dros ei enwogrwydd, ymgymeryd â chyfansoddi cofiant iddo; ond gan nad oeddynt yn gwneyd, ymaflodd yn y gwaith ei hunan. Yr unig ffordd sicr i gael pethau

da oddiamgylch! Y dyn i wneyd cofiant, fel pob peth arall, ydyw y dyn sydd yn teimlo y dylai y fath beth gael ei wneyd, a than y teimlad hwnw yn ymgymeryd â'i gyflawni. A diolch yn fawr i Mr. Rees am y gwasanaeth gwerthfawr hwn i'w genedl, ac i goffadwriaeth y Cymro athrylithgar a gwladgarol nad allwn feddwl am dano ond gyda theimladau o anwyldeb a dirfawr barch. Mae ystori bywyd Ieuan Gwynedd yn cael ei hadrodd mewn dull sydd, nid yn unig yn dra addysgiadol, ond hefyd yn hynod o ddifyr. Ac felly y dylai fod. Er fod llawer o'r *tragical* yn ei ddyoddefiadau a'i farwolaeth anamserol, eto yr oedd ei holl fywyd ef yn ymdrechfa wrol a chalonog yn erbyn yr anhawsderau a'i cylchynent; ac nid yn unig hyny, ond fe brofodd hefyd yn goncwest ogoneddus ar y cyfan. Hyderwn y bydd darllen y llyfr hwn yn galondid i filoedd o wŷr ieuainc Cymry i ymdrechu ymgodi fel yntau uwchlaw eu hanfanteision, ac amcanu at wneyd eu heinioes yn fendith ac yn brydferthwch.

*Caebraichycafn. Yr Ymdrafodaeth; ynghyda'r Cyfrif Arianol.* Dan Olygiaeth Mr. William John Parry, Bethesda.

Llyfr o 116 o dudalenau, yn cynnwys adroddiad cyflawn a chywir o helynt ryfedd y sefyll allan yn Chwarel y Penrhyn y flwyddyn ddiweddaf. Yn deilwng o'r hunan-lywodraeth canmoladwy a ddangosid gan y chwarelwyr yn yr achos hwn, nid oes dim yn cael ei osod i lawr yma ond y ffeithiau a ddygid i sylw yn yr achwynion, gyda yr ohebiaeth a gymerodd le mewn perthynas iddynt, hanes yr ymchwiliad, a dyfarniad y canolwr. Y mae y demtasiwn o ysgrifenu dim ar yr helynt ei hunan wedi ei gochel yn ofalus, ac ni roddir dim o'r tystiolaethau a ddygid ger bron yn ystod yr ymchwiliad; teimlid, mae yn ddiammheu, ei fod yn llawn ddigon cyhoeddi y cwynion yn noethion fel yr ysgrifenid hwynt i'r canolwr, a'i ddyfarniadau yntau arnynt yn ei adroddiad i Arglwydd Penrhyn. Fe *grybwyllir* hefyd am ymddiswyddiad y goruchwylwyr, a'r drefn y penderfynodd ei Arglwyddiaeth ar i'r gwaith gael ei gario ymlaen am y dyfodol. Mae yn debyg fod hwn i'w gymeryd fel adroddiad swyddogol gan y pwyllgor, wedi ei gyhoeddi dan olygiaeth gŵr ag oedd, os nad yn ysgrifenydd, eto yn cael ei ystyried yn ddeheulaw iddo. A dim mwy urddasol, cyflawn, a thêg, ni ellid ddymuno. Yr ydym yn falch o'n calon o'r hanesyddiaeth a weithredwyd gan chwarelwyr Llanberis a Bethesda yn 1874. Y mae y chwyldröad a ddygwyd oddiamgylch ganddynt wedi gwneyd pob peth yn newydd, ac wedi eu dirfawr ddyrchafu, nid yn unig yn ngolwg eu cydwladwyr, ond, mae yn ddiammheu genym, yn ngolwg eu meistri hefyd. Gresyn dirfawr fyddai i neb o honynt, yn y cyfnod presennol o lwyddiant dysglaer, "roddi ei flynyddoedd i'r creulawn" trwy anghymedroldeb.

*Taith i'r Dwyrain: sef Cyfres o Lythyrau a ymddangosodd yn y "Goleuad," gydag ychwanegiadau.* Gan y Parch. John Jones, Treborth.

Da genym weled y llythyrau hyn wedi eu casglu at eu gilydd a'u cyhoeddi yn llyfr. Mae dyddordeb anhysbyddadwy yn y Dwyrain, ac yr ydym yn ddiolchgar i bob teithydd deallus am ei argraffiadau mewn perthynas iddi. Yr ydym wedi darllen y llythyrau hyn gyda blâs neillduol. A phan feddyliom mor werthfawr i'r Cymry, sydd mor hoff o astudio yr Ysgrythyrau, bob cymhorth i ffurfio syniad mwy clir am y gwledydd sydd wedi eu gwneyd yn enwog byth ar gyfrif yr amgylchiadau pwysig a gymerodd le ynddynt; pan feddyliom hefyd mor brin ydyw ein llênyddiaeth Gymreig o deithiau dwyreiniol, ac fod y llyfr hwn, ar gyfrif ei gynnwys a'i radlonrwydd, mor gymhwys i'w roddi yn nwylaw lliaws ein cydwladwyr, nid allwn lai na dymuno iddo ledaeniad helaeth iawn.

TREFFYNNON: P. M. EVANS, ARGRAFFYDD.

# Y TRAETHODYDD.

## GWLEIDYDDIAETH A CHREFYDD.

Y MAE llawer o ddynion gwir dda yn ein gwlad sydd yn wrthwynebol iawn i bobl grefyddol ymyraeth o gwbl â phethau politicaidd, gan dybied fod gwleidyddiaeth yn beth nad yw yn perthyn iddynt. Edrychant ar grefyddwyr fel dinaswyr gwlad a theyrnas arall a gwell, ac y dylai pynciau gwleidyddol gael eu gadael i ddynion y byd, sydd yn byw yn y presennol ac er mwyn y presennol, heb roddi fawr ystyriaeth i bethau ysbrydol a phethau y byd a ddaw, "y rhai sydd yn synied pethau daearol." Mae ganddynt lawer o resymau o blaid eu golygiadau. Maent yn edrych ar wleidyddiaeth fel pwnc mor gynhyrfus, a phwnc sydd yn cymeryd gafael yn y meddwl i'r fath raddau, fel pan y rhoddir sylw iddo na theimlir fawr duedd i dalu sylw i hawliau crefydd, ac i ymarfer â'i defosiynau; yn fynych hefyd ceir ei fod yn cynnyrchu teimladau chwerwon, digofus, hollol anghristionogol, rhwng dynion a'u gilydd; a chyda hyn, yn amser etholiadau yn arbenig, y mae annuwioldeb yn cyrhaedd pwynt uchel a rhyfygus; gwelir dynion yn rhedeg yn wyllt mewn meddwdod a drygioni o bob math; maent yn barod at unrhyw ysgelerder, fe ddywedir, er mwyn sicrhâu llwyddiant eu plaid; ac ymysg gwleidyddwyr cyhoeddus eu hunain, y mae llawer o dwyll a chyfrwysder i'w cael, a hawdd ydyw gweled mai eu hamcan uchaf yn fynych ydyw, nid gwneyd deddfau uniawn a da, ac ymdrechu llywodraethu y wlad yn y dull goreu a mwyaf manteisiol i rinwedd a daioni, ond ennill buddugoliaeth i'w plaid. Rhaid i ni addef fod llawer o hyn yn wirionedd. Y mae llawer o bethau ynglŷn â gwleidyddiaeth sydd yn ein gofidio yn fawr; maent yn ddianrhydedd i'n harferiadau gwladol. Ond peth arall hollol yw edrych ar y ffeithiau hyn fel rhesymau digonol i arwain crefyddwyr—braidd nad oeddem yn dyweyd i'w cyfreithloni—i ymgadw yn llwyr o gylch gwleidyddiaeth. Yn hytrach, oddieithr y gellir dangos—ac yr ydym yn fwy nag ammheus am y posiblrwydd o hyny—fod cymeryd dyddordeb mewn pethau gwladol ac ymdrechu o'u plaid yn ddrwg ynddo ei hun, dylai y ffeithiau hyn fod yn rhesymau paham y dylai pob dyn da ymdaflu â'i holl enaid i helyntion gwleidyddiaeth, ac ymdrechu i'w rhyddhâu oddiwrth y

llygredigaethau sydd ynglŷn â hwynt, a'u codi i dir uwch a phurach. Yr ydym ni yn credu nas gellir dangos fod unrhyw anghydweddiad rhwng gwleidyddiaeth a chrefydd, llawer llai fod gwleidyddiaeth yn ddrwg ynddo ei hun; ac yr ydym hefyd o'r farn y dylai dynion crefyddol amcanu yn barhäus at ddwyn i mewn i wleidyddiaeth yr egwyddorion uchaf a phuraf, a thrwy hyny feddiannu yn enw eu Meistr ac er llês i'w deyrnas Ef y rhan hon o gylch meddwl a llafur dyn. Y mae yn sicr o fod yn wir nas gall y byd hebgor gwleidyddiaeth; hebddo fe fyddai pob peth cymdeithasol cyn pen nemawr amser yn bendramwnwgl; byddai diwedd ar drefn, llwyddiant, a hapusrwydd y wlad; ni byddai gan neb ddïogelwch i'w eiddo na'i fywyd. Yn ystâd bresennol y byd y mae gwleidyddiaeth yn hanfodol. Rhaid cael deddfau. Mewn teyrnas, fel mewn teulu; rhaid fod llywodraeth. Gan hyny y mae yn ddyledswydd ddiammheuol ar ddynion crefyddol i roi sylw i'r rhan hon o helynt cymdeithas a gwlad, ac ymdrechu i'w hydreiddio âg egwyddorion teyrnas nefoedd. Ar y tir hwn, ac ar y tir hwn yn unig, y gellir dysgwyl am gyflawniad o'r dymuniad a roddwyd gan yr Iesu yn ngenau yr eglwys, "Gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd."

Yr ydym yn meddwl ei fod yn syniad cyfeiliornus iawn i edrych ar grefydd fel yn cyfyngu ei hun i waith y cysegr—cânu mawl, gweddïo, darllen gair Duw, pregethu a gwrandaw yr efengyl, cymeryd rhan mewn gweithredoedd dyngarol, megys ymweled â'r cleifion, y cystuddiol, a'r rhai sydd â chysgodau y bedd yn ymdaenu o'u hamgylch, er lliniaru ychydig ar eu poen a'u gofidiau. Bid sicr, y mae a fyno crefydd â'r pethau hyn a'u cyffelyb; ac â'r pethau hyn yn fwy nag unrhyw bethau eraill mewn ystyr ymarferol. Hwynt-hwy yw ei chylch mwyaf priodol, cysegredig, a gogoneddus. Na thywyned yr haul ar ein gwlad pan y collant eu bri. Ni ddywedem yr un gair yn erbyn y pethau hyn am y byd. Ond er hyn oll, yr ydym yn llwyr argyhoeddedig na fwriadwyd erioed i grefydd ymgadw o fewn y cylch hwn. Yn hytrach y mae hi i gymeryd meddiant ar galon a meddwl dyn yn yr ystyr ehangaf, a dwyn y cwbl sydd ganddo—ei feddiannau, ei dalentau, a'i ddylanwad—dan deyrnged i'r Iesu a'i wasanaeth, ac i'w arwain ef i wneyd pob peth fyddo yn bosibl i hydreiddio cymdeithas â'i hegwyddorion pur a dyrchafedig, ac fel hyn gwneyd yr Iesu yn Frenin ar bob cylch o fywyd dynol. Hyn yw sylfaen ein gobaith am y byd, y gwelir ef ryw ddiwrnod yn rhydd oddiwrth bob chwŷn llygredig, ac y bydd sancteiddrwydd yn dysgleirio ar ffrwynau y meirch. Buasem yn rhoi i fyny bob dysgwyliad am weled cymdeithas yn rhydd oddiwrth ei drygau dybryd oni bae am y dylanwad puraidd yr ydym yn credu a gaiff Cristionogaeth ar y byd trwy ei chofleidwyr. Yr ydym gan hyny yn edrych arni fel dyledswydd arbenig ar Gristionogion i daflu yr oll ddylanwad sydd ganddynt i'r byd gwleidyddol, fel ag i'w adferyd o ddwylaw pobl annuwiol, ei ryddhâu oddiwrth ei lygredigaethau, a'i wneyd yn gynnorthwyol er llesâd uchaf cymdeithas.

Wrth "grefydd" golygwn y drefn hono o grefydd a gredir ac a arferir gan Gristionogion ar sail y dadguddiad Dwyfol. Byddai yn hawdd dangos y cysylltiad agos, er drwg neu er da, sydd wedi bodoli rhwng crefyddau eraill a gwleidyddiaeth. Yn wir, ymhob gwlad bron, ac ymhob oes, y mae y cysylltiad agosaf wedi ffŷnu rhyngddynt, ac y

maent wedi arfer dylanwad mawr ar eu gilydd. Ond y mae allan o'n bwriad ni yn bresennol i gymeryd i ystyriaeth faes mor ëang; cyfyngwn ein sylwadau at grefydd fel y mae yn ddealladwy yn gyffredin yn ein mysg. Wrth "wleidyddiaeth" golygwn weithrediadau gwladwriaeth fel y mae yn gynnwysedig o'r dynion hyny sydd yn meddu y dylanwad uchaf yn ngwneuthuriad a gweinyddiad deddfau gwlad. Y mae llywodraeth wladol yn bodoli i'r dyben o sicrhâu dïogelwch, heddwch, a llwyddiant y bobl, yn gyffredinol a phersonol; dysgwylir iddi edrych ar fod pob dinesydd yn mwynhâu ei iawnderau ei hunan yn mysg ei gyd-ddinaswyr, a bod llwyddiant y wlad yn ei pherthynas â gwledydd eraill yn cael ei sicrhâu a'i hyrwyddo. Mewn gwledydd lle mae y llywodraeth yn unbenaethol, nid oes gan y bobl ond ychydig i wneyd heblaw ymostwng i ba ddeddfau bynag a ffurfir iddynt; nid oes ganddynt na llais na llaw ynddynt o gwbl; y teyrn sydd yn gwneyd y cwbl fel tad drostynt. Ond mewn gwledydd sydd mewn rhan, fel y wlad hon, neu yn llwyr, fel America, yn gynnrychioladol, y mae yn disgyn i ddwylaw y bobl i ddewis y dynion sydd i ffurfio a gweinyddu y deddfau; ac o hyny cyfyd y pwys ar i bawb sydd yn meddu y fraint o bleidleisio yn etholiad aelodau seneddol, feddu syniadau gwleidyddol cywir, a'u bod yn arfer eu dylanwad goreu ar sicrhâu etholiad dynion fyddont yn debyg o bleidio a chynnorthwyo y mesurau a'r egwyddorion hyny a hoffir ganddynt, a pha rai y dymunent eu gweled wedi eu corffori yn neddfau eu gwlad. Mewn gwledydd felly, rhaid i bob dyn gyflawni ei ddyledswydd yn hyn, fel ymhob peth arall, yn ffyddlawn a chydwybodol. Ac yr ydym yn argyhoeddedig fod yr hwn sydd yn ymgadw rhag gwneyd ei ran o gwbl yn euog o guddio ei dalent mewn napcyn, fel y gŵr y cyfeirir ato gan yr Arglwydd Iesu yn nammeg brydferth ac ymarferol y talentau. Ac yn ein byw nis gallwn osgoi y casgliad y gelwir arno i roddi cyfrif am ei esgeulusdra gan y Barnwr mawr. Talent i'w defnyddio er llês y wlad yw dylanwad gwladol; ac y mae cuddio y dalent hon mewn napcyn yn gymaint pechod â'r cuddiad gwirfoddol o unrhyw dalent arall.

Fel y crybwyllasom, nis gellir ammheu fod cysylltiad agos wedi bod rhwng gwleidyddiaeth a chrefydd ymhob oes a gwlad; maent wedi dylanwadu ar eu gilydd yn fawr, er drwg neu er da. Yn Nwyflywiaeth bur yr Iuddewon, deillient o'r un ffynnonell. Duw oedd ffynnonell eu cyfreithiau gwladol fel eu crefydd. Trwy yr archoffeiriaid, a'r prophwydi, a'r barnwyr, gweinyddai Duw ddeddfau y wlad. Ato Ef yr oedd y bobl yn cyrchu am gyfarwyddyd mewn pethau gwladol, fel mewn pethau ysbrydol; i dderbyn cyfreithiau yn ogystal ag i gynnyg addoliad. Yr Arglwydd Jehofah oedd eu Brenin yn gystal a'u Duw. Pan yr archasant am frenin er mwyn bod megys cenhedloedd eraill, "dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel, Gwrando ar lais y bobl, yn yr hyn oll a ddywedant wrthyt; canys nid ti y maent yn ei wrthod, ond myfi a wrthodasant, rhag i mi deyrnasu arnynt" (1 Sam. viii. 7). Yr oedd Duw yn gweled o dan wraidd y cri a godent am fod megys cenhedloedd eraill. Ei wrthod Ef yr oeddent fel brenin a deddf-wneuthurwr iddynt; ni fynent mohono i deyrnasu arnynt. O'r pryd hwnw, o'r diwrnod y cyhoeddwyd Saul yn frenin ar Israel, cymerodd rhaniad le rhwng gwleidyddiaeth a chrefydd; cymerasant bob un ei ffordd ei hun

Yr oedd y rhwyg rhyngddynt weithian yn benlydan; ond eto parhasant i ddylanwadu y naill ar y llall, i fesur mwy neu lai, hyd nes y gwrthodwyd plant Israel fel cenedl, ac y gwasgarwyd hwy dros wyneb yr holl ddaear.

Wrth edrych dros yr hanesiaeth ysgrythyrol, yr ydym yn cael fod llawer, os nad y rhan fwyaf, o wroniaid y Bibl yn ddynion a gymerasant y blaen yn ngwleidyddiaeth eu hamserau a'u gwlad. Nid oeddent yn sefyll y naill ochr, rhag ofn cael eu llygru. Yn hytrach ymroddent â'u holl nerth i ddylanwadu ar wleidyddiaeth eu hoes. Nis gall y dynion duwiolaf ammheu eu duwioldeb. Yn ol y mesur o oleuni oedd ganddynt, rhodient gyda Duw. Ond y mae yn ddïau eu bod hwy mor enwog am eu gwleidyddiaeth ag am eu crefydd. Tra y maent mewn bri trwy yr oesoedd fel dynion Duw—dynion a gyflawnasant waith arbenig i'w cenedl, dynion oedd yn offerynau yn llaw Duw i ddyrchafu eu cenedl a'u gwlad, neu i'w gwaredu o law eu gelynion—y mae yn ddïau mai eu gallu gwleidyddol oedd i fesur helaeth y rheswm mwyaf uniongyrchol am eu sefyllfa uchel a'u dylanwad mawr ar y bobl. Yr oeddynt yn ddynion Duw; yn ddynion oeddynt, eithaf tebyg, yn treulio llawer o'u hamser mewn cymdeithas agos âg Ef, yn awyddus i wybod ac i wneuthur ei ewyllys: ond yr oeddynt ar yr un pryd yn wleidyddwyr mawr. Gellir dywedyd am danynt eu bod hwy, yn eu dydd ac yn eu cylch, fel "meibion Issachar, y rhai a fedrent ddeall yr amseroedd i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur" (1 Chron. xii. 32). Yr oeddent yn deall yn dda wleidyddiaeth eu hamserau a'u gwlad, ac yn abl i gymeryd y blaen yn y peth hwn; ac fel dynion yn caru eu gwlad, taflasant eu holl nerth i sicrhâu iddi wleidyddiaeth bur. Y mae yn ddïau fod Joseph, yr hwn a eisteddai yn nesaf at Pharaoh ar ei orsedd yn yr Aipht, yn wleidyddwr mawr. Ei grefydd a'i ffyddlondeb i'w Dduw oedd gwir sylfaen ei ddyrchafiad; ond y mae tu hwnt i bob ammheuaeth ei fod ef yn wleidyddwr doeth ac enwog, onidê, nis gallasai efe byth lanw y sefyllfa uchel y dyrchafwyd ef iddi, a'r hon a gadwodd yn ddifwlch hyd ddiwedd ei oes, gan dderbyn parch parhäus gan y wlad. Ni fuasai crefydd bersonol, pa mor enwog bynag y byddai, byth yn gallu ei gymhwyso i'w swydd uchel, ar wahan oddiwrth allu gwleidyddol. O barth i Moses, gŵr Duw—gŵr Duw yn fwy felly na braidd neb dyn arall erioed—y mae yn sefyll wrtho ei hun, heb neb i'w gymharu âg ef ymysg gwleidyddwyr y byd. Ei allu gwleidyddol, dan fendith ac ysbrydoliaeth y Nefoedd, a'i cymhwysodd ef i fod yn arweinydd, yn llywodraethwr, ac yn ddeddf-wneuthurwr i blant Israel yn yr anialwch. Oni buasai am ei allu gwleidyddol digymhar, ni fuasai byth yn abl i arwain a llywodraethu meibion Israel fel ag y gwnaeth. Nid oes genym ddirnadaeth am yr anhawsderau oedd ar ei ffordd i lywodraethu y dynion hyn ar eu ffordd o'r Aipht i Ganaan. Yr oedd y lliaws o honynt yn ddynion direol, direswm, mewn sefyllfa oedd ymron yn anwaraidd, o herwydd eu hîr gaethiwed a'u blinderau yn y caethiwed. Ond trwy law Moses, ffurfiwyd hwy gan Dduw yn bobl brïodol iddo ei hun, i fynegu ei foliant. Gallem gyfeirio hefyd at Dafydd, a Daniel, a Nehemiah, a Mordecai, ac Ezra, a lliaws o rai llai enwog. Yr oeddynt oll yn wleidyddwyr mawr, ac ni sonir gair yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd mewn ffordd o anfoddlonrwydd a beïo arnynt o herwydd hyn. Yn

hytrach, eu cymeriad a'u cyflawniadau politicaidd sydd i fesur helaeth wedi rhoddi iddynt enwogrwydd, ac wedi peri iddynt gael y fath sylw mawr yn yr Ysgrythyrau. Buasent wedi treulio oes ddinôd, ac wedi cael bedd heb sôn am danynt, oni bai am eu gwleidyddiaeth. Mewn amseroedd diweddar hefyd, y mae lliaws, duwioldeb pa rai nis gellir ei ammheu am foment, a gymerasant ran amlwg iawn er daioni yn ngwleidyddiaeth eu gwlad. Yr oedd Cromwell a'r Puritaniaid bron i gyd yn wleidyddwyr mawr, ac iddynt hwy ac i'r rhan a gymerasant mewn gwleidyddiaeth yr ydym yn ddyledus i fesur helaeth am y rhyddid crefyddol a gwladol yr ydym fel pobl yn ei fwynhâu.

Fel hyn, mor bell o fod yn anghydweddol â'u gilydd, y mae gwleidyddiaeth a chrefydd wedi bod yn gynnorthwyol y naill i'r llall,—crefydd y gwleidyddwr yn sancteiddio ei wleidyddiaeth, ac yn ei ysbrydoli i weithredu yn unol â'r egwyddorion puraf ac unionaf er llês ei wlad; a'i ddylanwad politicaidd yn dyrchafu ei grefydd i sylw a pharch mewn cylch ëang a phwysig. Y trueni, yn ol ein barn ni, yw, fod dynion crefyddol yn fynych yn ymgadw mor bell o'r cylch hwn o ddylanwad, ac yn ei adael i'r graddau y maent yn meddiant dynion diegwyddor ac anonest, ac yn fynych yn wir yn nwylaw dynion sydd yn hollol elynol i grefydd. Gŵyr pob un sydd wedi astudio hanesyddiaeth mai fel hyn y mae wedi bod i fesur helaeth iawn. Y mae yn drist darllen y bywgraffiadau a gyhoeddir o bryd i bryd o ddynion o sefyllfa uchel, ar gyfrif y dadguddiedigaethau a geir ynddynt o weithrediadau dynion o'r fath mewn amgylchiadau o'r natur yma; y maent yn dangos fod gwleidyddiaeth lawer pryd wedi bod yn llwyr yn llaw cymeriadau hollol annuwiol,—dynion a'u buchedd yn llygredig, a'u hegwyddorion yn ystwyth, yn barod i wneyd unrhyw beth fel ag i gadw y llywodraeth yn eu dwylaw eu hunain neu eu plaid; neu os nad ydoedd eisoes mewn meddiant ganddynt, i ddringo i fyny ati, eu harwyddair oedd, "Unrhyw beth am sefyllfa a gallu." Y mae crefydd a dynion crefyddol wedi cadw yn rhy bell yn ol, ac o herwydd hyny, nid ydyw crefydd wedi dylanwadu ar wleidyddiaeth y byd i'r graddau y buasai yn ddymunol, nac ychwaith wedi derbyn trwyddo y daioni a ellid ei ddysgwyl. Y mae dynion crefyddol gwleidyddol wedi bod yn brin; nid dynion yn ymroddedig i hyrwyddo rhyw sect neillduol neu ryw athrawiaethau Cristionogol neillduol yr ydym yn ei feddwl ond dynion Duw, dynion a'r wlad yn teimlo eu bod hwy yn ofni yr Arglwydd ac yn awyddus i wneuthur ei ewyllys, dynion brwdfrydig yn eu bywyd crefyddol, a'u brwdfrydedd dan ddylanwad deall clir a meddwl gwrteithiedig; dynion nas gellid ammheu mai egwyddorion teyrnas nefoedd oedd yn eu llywodraethu; dynion yn llawn cydymdeimlad â'r gorthrymedig, ac yn benderfynol i wneyd pob peth a allent er ffurfio deddfau fyddent yn cymeradwyo eu hunain o herwydd eu tegwch i bob dosbarth; dynion a lywodraethent yn annibynol ar bob plaid, ac na cheisient ddim ond daioni y wladwriaeth a llwyddiant uchaf ei holl ddinasyddion. Pe buasai ychydig nifer o'r cyfryw ddynion wrth lyw y wlad, a phe buasent yn cael eu cynnorthwyo a'u cadarnhâu gan fyddin gref o ganlynwyr y gellid dibynu arnynt ar bob cwestiwn o egwyddor, buasai golwg dra gwahanol yn bur fuan ar ein gwlad. Ni fuasai cynifer yn ein Senedd, prif ragoriaeth a chymhwysder pa rai yw eu cyfoeth, neu eu cysylltiad â

rhyw *monopolies* sydd ag eisieu eu hamddiffyn a'u helaethu. Y mae yn fanteisiol yn ddïau mewn llawer ystyr fod Seneddwyr ein gwlad yn ddynion cyfoethog; ond y mae yn felldith fawr pan mai eu cyfoeth yw eu prif gymhwysder. Y mae eisieu dynion yn y Senedd sydd yn deall anghenion yr amserau, ac yn abl i amgyffred yn glir y mesurau a gynnygir, gweled eu rhinweddau a'u ffaeleddau, a dyfeisio deddfau fyddont yn gymhwys i amgylchiadau y genedl a'r oes.

Nid yn gymaint i wneyd deddfau ar gyfer crefydd y mae eisieu y dynion hyn. Yn wir, nid yw crefydd yn briodol o fewn cylch eu gwaith. Braidd nad yw crefydd yn galw arnynt i arbed eu trafferth a'i gadael yn llonydd. Y cwbl y mae hi am gael yw llonyddwch a rhyddid i weithio ei ffordd trwy rinwedd ei gallu ei hun, gallu ei gwirionedd a gwerth ei bendithion, heb gael ei llesteirio mewn dull anghyfiawn a gormesol. Y ffaith o Eglwys Wladol sydd yn gosod angenrheidrwydd ar Seneddwyr y wlad hon i ymyraeth o gwbl yn eu hymdriniaethau gwleidyddol â chrefydd. Yr hyn sydd eisiau ydyw, fod gwladlywiaeth yn cael ei hydreiddio gan ysbryd crefydd, ei deddfau yn cael eu ffurfio ar egwyddorion cyfiawnder, ac yn cael eu gweinyddu mewn dull hollol anmhleidgar, yn rhydd oddiwrth bob ffafr i na dosbarth na phersonau. Hyn yw y peth sydd arnom eisieu. Fel y sylwodd yr enwog Dr. Arnold o barth i lênyddiaeth, mai ei angen mawr oedd nid ychwaneg o lênyddiaeth dduwinyddol, ond i lênyddiaeth gyffredinol gael ei ysgrifenu gan ddynion llawn o gariad at Dduw a chariad at ddynoliaeth; yr un modd, hyn yw un o brif anghenion gwleidyddiaeth; nid gwladlywiaeth parthed i grefydd, ond gwladlywiaeth yn cael ei ddwyn ymlaen dan ddylanwad ysbryd crefyddol,—ysbryd crefydd, sef cyfiawnder, purdeb, daioni, yn treiddio ei holl drafodaethau.

Bydd yn fanteisiol ymhellach i edrych ar Wleidyddiaeth a Chrefydd yn y dull canlynol: yn y lle blaenaf, gwleidyddiaeth yn wrthwynebol i grefydd; yn ail, gwleidyddiaeth yn gynnorthwyol i grefydd; ac yn drydydd, gwleidyddiaeth yn ddyledus i grefydd.

I. Gwleidyddiaeth yn wrthwynebol i grefydd, yn rhwystr iddi i fyned ymlaen. Y mae yn ddïau fod gwleidyddiaeth wedi bod felly dro ar ol tro, a bid sicr, y mae yn ffaith alaethus iawn yn ngolwg pob dyn da. Ac y mae yn bosibl bod a fyno hyn i fesur â'r ffaith bod llawer o'r cyfryw rai yn cilio oddiwrthi, ac yn ei ffieiddio, gan ddymuno na byddo gan ddynion crefyddol ddim a wnelont â hi. Maent yn edrych ar wleidyddiaeth fel yn wrthwynebol i lwyddiant a hapusrwydd eglwys y Duw byw. Beth bynag, mae y gwrthwynebiad yn ffaith—mae gwleidyddiaeth yn fynych yn wrthwynebol i grefydd. Yn lle bod yn gynnorthwyol i'w gilydd, ac yn gyd-ieuedig er prysuro milflwyddiant y byd, y maent yn tynu yn groes i'w gilydd, yn gweithredu dan ddylanwad egwyddorion gwahanol, yn ymestyn at amcanion gwahanol, ac y mae gwleidyddiaeth fel hyn yn fynych wedi rhwystro crefydd i gyrhaedd yr hyn sydd mewn golwg ganddi, sef crefyddoli y byd a'i ddwyn yn ol dan deyrnged i'r Duw byw yn efengyl ei Fab. Ond y mae yn ymddangos i ni mai gwell yw i ddynion crefyddol, dan yr amgylchiadau, yn hytrach nag ymneillduo a gadael i wleidyddiaeth fyned rhagddi yn ei gwrthwynebiad i grefydd, ymdrechu ei chael i'w dwylaw a than eu dylanwad eu hunain, ac fel hyn ei dwyn dan warogaeth i grefydd. Hyn, dybygem ni, yw y llwybr mwyaf rhesymol a doeth.

Y mae gwleidyddiaeth rai prydiau wedi bod mewn gwrthwynebiad agored i grefydd, wedi ymdrechu i'w niweidio a'i dinystrio. Er engraifft, gallwn gyfeirio at Ffrainc yn amser Danton, Robespierre, Marat, a'u plaid, yn amser y chwyldröad ofnadwy yn y flwyddyn 1787. Y pryd hwnw, dymchwelwyd yr hen gyfundrefn o lywodraeth gyda gwylltineb na welwyd ei debyg mewn un oes na chynt na chwedyn. Cymerodd y dynion hyn y llywodraeth i'w dwylaw yn chwyrn. Nodwedd arbenig eu gwladlywiaeth oedd ei bod yn sylfaenedig ar yr egwyddor o ddidduwiaeth. Ni fynent mo Dduw i deyrnasu arnynt. Ni chydnabyddent ei fodolaeth, ac yr oedd eu holl wladlywiaeth mewn gwrthwynebiad uniongyrchol i'w wasanaeth cyhoeddus. Anghefnogent bob peth crefyddol. Ymdrechent ryddhâu eu gwlad o bob cysylltiad â'r Duw byw,—Duw yr Ysgrythyrau. Ac eto yn ei le gosodasant i fyny dduwies Rheswm. Hon oedd yr eilun o flaen pa un yr oeddynt am i bawb blygu glin. Fel delw aur Nebuchodonosor, hon oedd y ddelw o flaen pa un yr oedd pawb i syrthio ac addoli. Tra y gweithredent yn y dull mwyaf afresymol eu hunain, Rheswm oedd y dduwies y proffesent ei gwasanaethu. A hyd yn nôd y dyddiau hyn, y mae dosbarth lled lïosog yn y wlad anffodus hono yn edrych ar y difodiad o grefydd neu ei besgymundod o'u gwlad fel y cam cyntaf at wladlywiaeth ddoeth. Y mae eu gelyniaeth at grefydd yn ddofn a dwys, ac y maent yn ystyried mai hi yw gwreiddyn holl ddrygau y wlad. Ac yn wir pan yr ystyriom y ffurf sydd yn gyffredin yno ar Gristionogaeth, nid ydym yn rhyfeddu cymaint. Y mae Pabyddiaeth a'i holl ofergoeledd yno wedi cadw y bobl yn gaeth mewn anwybodaeth; mae dylanwad yr offeiriaid wedi bod tu hwnt i'n dychymyg ni, a'r dylanwad hwnw wedi cael ei arferyd yn erbyn dysgeidiaeth rydd, ac er perswadio y bobl i dderbyn y credöau mwyaf ofergoelus, credöau sydd yn ddigon i wneyd byd o anffyddwyr. Nis gellir ammheu fod y cyfryw bethau yn arwain lluoedd o ddynion meddylgar i ddirmygu a gwawdio crefydd. Nid ydynt yn edrych ar grefydd fel ei dysgir yn y Gair dwyfol, ac ni chefnogir hwynt i fyned at yr Ysgrythyrau am eu dysgeidiaeth; edrychant arni yn unig fel yr arferir hi gan ei phroffeswyr a'i swyddogion. Beth bynag y mae crefydd yn ddyoddef, y mae dynion o feddyliau cryfion a gwrteithiedig yn ei ffieiddio, a hefyd dynion o deimladau tyner a dyngarol. Gyda'r gofid dwysaf yr ydym weithiau wedi darllen rhai o sylwadau Garibaldi, —dyn sydd wedi dangos ei hun y fath wron a'r fath wladgarwr. Mae y dyn mawr hwn wedi ysgrifenu o bryd i bryd rai pethau cryfion iawn yn erbyn crefydd; ond y mae i'w gofio mai yn erbyn crefydd yn y ffurf y mae efe yn dyfod i gysylltiad parhäus â hi, y ffurf Babyddol; ac yn y ffurf hon y mae crefydd wedi bod ar ei wlad yn iau orthrymus, ac yn achos drygau nad oes genym ni yn y wlad hon fawr syniad am danynt. Mae y ffeithiau hyn wedi crëu rhwyg rhwng llïaws o wleidyddwyr â chrefydd yn ngwledydd y Cyfandir, ac wedi gosod gwleidyddiaeth, mor bell ag y mae y dosbarth hwnw yn cyrhaedd, yn wrthwynebol i grefydd. Ac y mae yn bosibl fod perygl yn y dyfodol i grefydd yn y wlad hon yn y cyfeiriad hwn, perygl sydd fel yn agoshâu yn barhäus. Y mae yn ein Senedd-dai yn Mhrydain yn awr ddynion nad ydynt yn petruso proffesu eu hunain yn wrthwynebol i grefydd yr Arglwydd Iesu. Ac y mae yn amlwg fod yr ysbryd anffyddol hwn yn ennill nerth ofnadwy

mewn rhai trefydd yn ein gwlad. Fel dangoseg o hyn, nid oes dim yn fwy alaethus wedi cymeryd lle yn ddiweddar na'r nifer fawr o bleidleisiau gafodd Bradlaugh, archesgob anffyddiaeth ein gwlad, yn ei ymgais tua blwyddyn yn ol yn Northampton am eisteddle fel cynnrychiolydd y dref hono yn y Senedd. Yr oedd pob pleidlais, yn ddiammheu, yn bleidlais anffyddol, neu yn cydymdeimlo âg anffyddiaeth; ac fe gafodd, os ydym yn cofio yn iawn, yn agos i ddwy fil o honynt. Pan mae y fath ddynion yn ymwthio i'r blaen, ac yn cymeryd rhan bwysig yn ffurfiad gwladlywiaeth teyrnas, gellir dysgwyl iddo fod yn wrthwynebol i grefydd.

A siarad yn gyffredinol, y mae gwleidyddiaeth yn wrthwynebol i grefydd pan y mae ei phleidwyr yn cael eu llesteirio gan y gyfraith rhag gweithredu yn ol ei hegwyddorion ac ymarfer â'i seremonïau, pan nad yw yr egwyddorion a'r seremonïau hyny yn unrhyw anghyfiawnder âg eraill, nac ychwaith yn unrhyw droseddiad o egwyddorion sylfaenol moesoldeb. Pe byddai unrhyw anghyfiawnder i eraill yn cael ei wneyd, neu pe byddai unrhyw droseddiad o egwyddorion sylfaenol moesoldeb yn cymeryd lle, dyledswydd gwleidyddiaeth, ar ran hawliau cymdeithas, fyddai ar unwaith wrthwynebu hyny. Iaith brïodol gwleidyddiaeth i bob dyn yn ei gysylltiadau crefyddol yw, "Ti gei ganlyn argyhoeddiadau dy gydwybod i'r pwynt pellaf sydd yn bosibl, gyhyd ag na byddo neb arall yn cael niwed oddiwrthynt, ac na wnei di ddim fyddo yn groes i egwyddorion sylfaenol moesoldeb: pan y cyrhaeddi y terfynau hyn, ni chei di fyned ymhellach." Yn unol â'r iaith hon, ffurfiwyd y ddeddf a adnabyddir wrth yr enw, "*The Mortmain Act*," sydd yn gommedd i eiddo a meddiannau gael eu rhoi mewn ewyllys at amcanion crefyddol o fewn deuddeng mis i farwolaeth y testamentwr. Y mae yn berffaith hysbys fod eglwys Rhufain o bryd i'w gilydd wedi cyfoethogi ei thrysorfa tu hwnt i gyfrif â chyfoeth wedi ei wasgu oddiwrth ei haelodau cyfoethog ar eu gwelyau marw. Gwyddai yr offeiriaid Pabaidd yn dda pa fodd i wneuthur hyn. Ysgydwent o flaen y trueiniaid oedd yn marw boenau purdan, adgoffäent iddynt eu hannuwioldeb, bygythient hwy â fflamau ofnadwy digofaint Duw, a pherswadient hwy i roddi eu meddiannau i goffrau yr eglwys fel ag i sicrhâu gweddïau yr eglwys drostynt er mwyn iddynt gael gwaredigaeth fuan o'r purdan; a thrwy hyn gadäwyd llawer gweddw a phlentyn amddifad mewn tlodi dirfawr. I rwystro yr anghyfiawnder hwn y mae gwleidyddiaeth y wlad hon wedi cyfryngu, ac wedi penderfynu na chaiff y drwg yma fod mwy; na chaiff eraill ddim dyoddef trwy ofnau cydwybod wedi deffroi ar wely angeu gan offeiriadaeth hunan-geisiol. Ond lle na byddo unrhyw anghyfiawnder yn cael ei wneyd i eraill, nac ychwaith unrhyw droseddiad o egwyddorion sylfaenol moesoldeb yn cymeryd lle, nid oes gan wleidyddiaeth unrhyw hawl i ymyraeth.

Ond er heb hawl, y mae gwleidyddiaeth wedi ymyraeth dro ar ol tro. Beth oedd y deddfau cryfion a manwl o dan ba rai gorfu i Anghydffurfiaeth ddyoddef am flynyddau lawer yn y wlad hon, ond gwladlywiaeth o'r natur yma? "*The Five Mile Act*," "*The Conventicle Act*," "*The Test and Corporations Act*," a llïaws heblaw hyny, yr oll wedi eu hysbrydoli gan yr un egwyddor, a berthynant i'r dosbarth hwn. Yr oeddynt oll yn waith gwleidyddwyr wedi ymbrïodi âg egwyddorion ac arferiadau Eglwys Lloegr, yn benaf ar ei hochr Rufeinig, a phasiwyd

hwynt gan Senedd ein gwlad i'r dyben o sicrhâu uchafiaeth yr Eglwys hono, ac i anghymeradwyo a dinystrio yr arferiad o unrhyw seremonïau, a llwyddiant unrhyw athrawiaethau gwahanol. Offeiriaid ac offeiriadaeth cynllwyngar oedd tu cefn i'r cyfan; ond gwleidyddiaeth oedd y llawforwyn trwy yr hon y dygwyd y cwbl i weithrediad. A phwy all ddyweyd y niwed a dderbyniodd crefydd drwy y wladlywiaeth ormesol hon? Mae yr hyn a adroddir am ddyoddefiadau llawer o'r rhai a nacäodd gydymffurfio â'r deddfau eglwysig a ffurfiwyd gan Senedd ein gwlad yn creu arswyd yn ein calonau. Cawsant ddyoddef tlodi a gwarth ac erlidiau nad oes genym fawr syniad am danynt. Ac na feddylied neb fod yr ysbryd gormesol hwn wedi myned allan o fôd. Y mae ei ewinedd wedi eu tori fel nas gallant larpio na gwneyd nemawr niwed i neb fel cynt; ond y maent eto mewn bôd, ac y mae yr ysbryd erlidigaethus yr un ffunud â chynt. Pe byddai y gallu yn gyfatebol, cymerid oddiwrth Anghydffurfiaeth a Phrotestaniaeth yr oll o'u breintiau dinesig a chrefyddol. Ond trwy drugaredd, y mae ein llinynau ni wedi syrthio mewn lleoedd hyfryd, y mae i ni etifeddiaeth dêg. Trwy i'n cyndeidiau gael nerth i ymdrechu yn galed ac i ddyoddef yn fawr fel ag i ddadwneyd gweithredoedd niweidiol gwleidyddiaeth bwdr, sicrhasant iddynt hwy eu hunain, i'w plant, ac i'w gwlad ryddid llawn i addoli a gwasanaethu Duw yn ol argyhoeddiadau eu cydwybod a'u deall.

Y mae gwleidyddiaeth yn wrthwynebol i grefydd pan fyddo crefydd yn cael ei rhwystro gan y llywodraeth rhag cael llwybr clir i weithio ei ffordd trwy rym ei hegwyddorion ei hunan, pan na fyddo yn gwneyd unrhyw anghyfiawnder â phleidwyr credöau eraill, neu ddynion heb gredo o gwbl. Yr oedd felly yn arbenig yn ngwledydd y Cyfandir, lle ni chai y Bibl ei wasgaru, a lle y gwarafunid, dan awdurdod a gorchymyn y Pab a'i ganlynwyr, addysgiadau crefyddol croes i addysgiadau Eglwys Rhufain. Y cwbl a geisiwyd dros y Bibl ac athrawiaethau Protestanaidd oedd drŵs agored i weithio eu ffordd yn ol eu gwerth. Nid oeddid am i neb gael ei orfodi i dderbyn addysgiadau y llyfr neu y pregethwr. Y cwbl a ofynid oedd rhyddid; rhyddid i'r Bibl a'i wirioneddau gael cyfle i ddylanwadu ar gymdeithas, ac i ganmol eu hunain i sylw y wlad. Ond llais gwleidyddiaeth dan arweiniad Pabyddiaeth oedd, Na, nis gellir caniatâu y rhyddid hwn. A thrwy hyn rhwystrwyd yr efengyl i fyned rhagddi; cynnorthwyid offeiriadaeth dwyllodrus a gormesol yn hytrach na chrefydd; cynnorthwyid plaid, oedd yn ofni colli ei gafael ar y bobl yn hytrach na gwirionedd. Gorfu i'r rhai fu mor ëofn a dangos unrhyw ffafr i'r efengyl, yn enwedig ei phleidio, ddyoddef y caledi mwyaf; dygwyd hwy ymaith megys â llifeiriant; a rhoddwyd terfyn i'w llafur trwy eu gwthio i garcharau tywyll, i'r chwil-lŷs, a thrwy ddirwyon trymion, a gorfu i lawer o honynt wneuthur iawn am eu dewrder trwy alltudiaeth neu farwolaeth. Fel hyn y mae crefydd yn fynych wedi dyoddef yn echrydus, ac wedi cael ei thŷnu trwy y llaid. Y mae gorchymynion llywodraethau wedi myned allan yn ei herbyn. Y mae brenhinoedd y ddaear wedi ymosod, a'r penaethiaid wedi ymgynghori ynghyd yn erbyn yr Arglwydd ac yn erbyn ei Grist ef. Ond er hyn oll, y mae y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu wedi gweithio ei ffordd ar y ddaear, ac y mae yn debyg na fu amser erioed

ar ein gwlad pan yr oedd ei gwrs mor glir o ran rhwystrau gwleidyddol ag yn y dyddiau hyn. Ac os na fydd llwyddiant yr efengyl yn anghymharol o gyflym, wrth ddrŵs ei phroffeswyr y gorwedda y bai. Gwir fod rhwystrau eraill ar ei ffordd heblaw rhwystrau gwleidyddol; ond y mae yn fater pwysig fod y rhai hyn, i fesur helaeth, wedi eu symud, a bod drŵs agored iddi i gyhoeddi "anchwiliadwy olud Crist."

Ond y mae gwleidyddiaeth yn rhwystro llwyddiant crefydd mewn ffyrdd eraill heblaw trwy gyfreithiau sydd yn dwyn cysylltiad uniongyrchol â chrefydd; yn enwedig trwy gyfreithiau sydd yn dal i fyny ac yn cefnogi pethau sydd yn groes i grefydd Mab Duw. Gwneir hyn yn fynych mewn cysylltiad â phethau cymdeithasol. Er engraifft, edrycher ar wladlywiaeth ein gwlad o barth i werthiant dïodydd meddwol. Pa olwg bynag a gymerwn ar fanylion *Licensing Act* y Llywodraeth ddiweddar, ac ar yr un *Act* wedi ei chyfnewid gan y Llywodraeth bresennol, a beth bynag yw ein golygiadau mewn perthynas i'r *Permissive Bill,* nis gellir ammheu am fynyd fod cyfundraeth y tafarndai, fel y mae yn bod yn ein gwlad, yn wrthwynebol iawn i lwyddiant crefydd a rhinwedd. Y mae hyn yn anwadadwy. Y mae meddwdod a'i gyd-ddrygau yn cael eu meithrin yn fawr trwy werthiad dïodydd meddwol, ac y mae y gwerthiad hwnw yn cael ei gyfreithloni gan ddeddfwriaeth y wlad; ac nis gallwn osgoi yr argyhoeddiad fod ein gwleidyddiaeth yn y peth hwnw a phethau cyffelyb yn rhwystro llwyddiant crefydd. Y mae yn dangos i ni yn sicr yr angenrheidrwydd anhegorol am i wleidyddiaeth y wlad gael ei dôneiddio gan ysbryd crefydd. Ond nis gwneir hyn byth cyhyd ag y bydd gwleidyddiaeth yn nwylaw dynion sydd yn ddifater am grefydd, heb sôn am fod yn elyniaethus iddi,—dynion sydd yn fwy pryderus am ennill pleidleisiau mewn etholiad nag am wneyd yr hyn a deimlir gan eu calonau sydd yn iawn.

II. Gwleidyddiaeth yn wasanaethgar i grefydd—yn gynnorthwyol er lledaeniad ei gwirioneddau a'i hegwyddorion. Ac y mae yn bosibl iddi fod felly heb sengyd ar iawnderau neb.

Ymdrecha rhai ddangos gwasanaethgarwch gwleidyddiaeth i grefydd drwy gyfeirio at y cynnorthwy arianol y mae rhai Llywodraethau wedi roddi tuag at hyrwyddo addysgiadau crefyddol. Ond y mae yr amcanion sydd wedi arwain i'r cynnorthwy hyn gael ei roddi yn rhai peryglus iawn. Y mae llywodraeth yn bodoli yn arbenig i wneyd ac i weinyddu cyfreithiau y wlad rhwng dyn a dyn—cyfreithiau yn perthyn iddynt fel dinaswyr; penderfynu pa faint o drethi sydd yn ofynol er cario ymlaen waith y Llywodraeth, a pha fodd i'w codi; a pherthynas y wlad â galluoedd tramor. Hyn yw ei gwaith prïodol. Ond mewn rhai gwledydd, y mae yn dygwydd fod y Llywodraeth wedi cymeryd i undeb â hi ei hun ffurf neillduol o grefydd. Mae y ffurf hon yn ymddibynu ar opiniynau neillduol y rhai sydd yn llywodraethu, neu ar yr opiniynau sydd ar y pryd yn dygwydd bod mwyaf mewn bri a dylanwad, ac sydd wedi goddef iddynt eu hunain gael eu cymeryd i undeb â'r Llywodraeth fel y cyfryw. Pan y cymer yr undeb hwn le, mae y Llywodraeth dan fath o orfodaeth i gynnorthwyo a phleidio y ffurf neillduol hono ar grefydd. Braidd y gellir peidio gweled fod egwyddor beryglus iawn yn gorwedd o dan yr undeb hwn. Mae yn

bosibl yr etyb yn dda yn ngolwg y rhai hyny sydd yn proffesu yr un grefydd ag sydd mewn undeb â'r Llywodraeth. Gallwn yn hawdd weled paham y maent hwy yn gweled dymunoldeb yn y drefn hono o gario pethau ymlaen. Ond y mae yr egwyddor yn beryglus, ac hefyd yn anghyfiawn iawn tuag at y rhai sydd yn coleddu syniadau ac argyhoeddiadau crefyddol gwahanol i grefydd y Llywodraeth. Gallwn yn hawdd synied am yr undeb hwn dan amgylchiadau fyddont yn niweidiol iawn i lwyddiant crefydd. Cymerer, er engraifft, Madagascar. Gwyddom mai y rhan gymerodd Llywodraeth y wlad hono tuag at Gristionogaeth a arweiniodd i Gristionogaeth gael ei hymlid o'r wlad flynyddoedd yn ol. Ac ai nid yr un nodwedd a arweiniodd i'r holl erlid fu ar Brotestaniaid mewn gwledydd Pabaidd flynyddau yn ol, a'r hyn sydd yn ffurfio y fath anghlod ar hanes Cristionogaeth? Y mae yn hawdd iawn dyweyd, Protestaniaeth sydd ar yr orsedd yn y wlad hon, ac o herwydd hyny nad oes genym ddim i'w ofni, dim i'w anghymeradwyo. Mae yr egwyddor yr un. A thra mai Protestaniaeth sydd ar yr orsedd heddyw, ac mewn awdurdod, mae y foneddiges mewn ysgarlad yn chwareu â'r Llywodraeth gyda llawer mwy o ryddid ac ëofndra nag yr ydoedd ychydig flynyddoedd yn ol, ac y mae gweision ffyddlon iddi, yn ymwybodol neu yn anymwybodol, yn hyrwyddo ymlaen ei manteision hi gyda chyflymdra nas gwyddom beth all gymeryd lle cyn pen deg neu ugain mlynedd. Yr unig egwyddor gyfiawn i lywodraeth ydyw, rhyddid i bawb, ffafr i neb; y mae cydwybod y naill ddyn i'w pharchu fel y llall.

Yr ydym yn credu y byddai gwleidyddiaeth y wlad hon yn wasanaethgar i grefydd pe byddai iddi ryddhâu Eglwys Loegr o'i hundeb â'r Llywodraeth—undeb sydd yn ei gosod dan awdurdod y Llywodraeth. Pan y meddyliom o ddifrif, beth all fod yn fwy gwrthun na bod Llywodraeth wladol yn rheoli ac yn llywodraethu yr eglwys? Llywodraeth, y mae yn eithaf posibl, na fydd ei phrif ddynion yn meddu y gradd lleiaf o gydymdeimlad â chrefydd? Llywodraeth yn dewis swyddogion penaf yr Eglwys, ac yn eu dewis yn fwy o herwydd rhesymau politicaidd na rhesymau crefyddol? Senedd y gall fod rhai o'i haelodau yn wawdwyr crefydd, ac eraill yn unrhyw beth yn hytrach nag yn aelodau cywir o'r Eglwys, yn penderfynu beth yw ei hathrawiaethau a'i seremonïau i fod? Y mae y fath beth yn afresymol a gwrthun. Dylai yr offeiriaid eu hunain ymgodi megys un gŵr yn erbyn y fath gamwri. Dylent eu gwrthod gyda'r holl ddirmyg sydd yn bosibl i'w heneidiau. Ond eto hyn yw sefyllfa yr Eglwys Wladol. Y wladwriaeth sydd yn dewis ei phrif swyddogion, y Wladwriaeth sydd yn penderfynu ei hathrawiaethau a'i seremonïau. Y rhyfeddod yw ei bod yn gallu bod yn dawel am fynyd, ac nad ydyw oddiar eiddigedd sanctaidd am ei hiawnderau yn ymgodi gyda nerth i fynu gwared o'r iau sydd ar ei hysgwyddau. Mae yn ddïau na fuasai hi byth yn dawel am fynyd awr o dan y fath sarhâd oni bae am yr arian y mae yr undeb hwn yn sicrhâu iddi. Y mae hi yn foddlawn i'r caethiwed er mwyn y tâl; mae y tâl yn dallu ei llygaid rhag gweled chwithigrwydd ei sefyllfa. Yr ydym yn dal y buasai gwleidyddiaeth yn gwneyd gwasanaeth dirfawr i grefydd pe cymerai oddiar y Llywodraeth *gontrol* yr Eglwys, a gadael i Eglwys Loegr, fel pob eglwys arall, sefyll er ei thraed ei hunan,—myned ymlaen yn ei ffordd ei hun, lledaenu ei hegwyddorion ei hun, yn

penderfynu ei hathrawiaethau a'i seremonïau ei hun, a hefyd dewis ei holl swyddogion.

Y mae gwleidyddiaeth yn wasanaethgar i grefydd pan y mae yn sicrhâu i'w phleidwyr ryddid cyflawn i ymarfer â'i seremonïau ac i actio yn ol ei hegwyddorion. Yr ydym ni yn byw mewn gwlad lle y caniatëir y rhyddid hwn i bawb. Ni feiddia neb beri ofn i ni pan y ceisiwn addoli Duw yn ol argyhoeddiadau ein cydwybod. Beth bynag fyddo ein daliadau, yr ydym yn rhydd i'w coleddu ac i weithredu yn unol â hwynt, tra nad ydym ni yn sathru ar iawnderau eraill. Wrth gânu, gweddïo, pregethu, neu wrando, nid oes neb o honom yn teimlo unrhyw beth tebyg i bryder rhag cael ein dal yn cymeryd rhan yn y fath wasanaeth. Yr ydym yn berffaith rydd, yn berffaith ddiofn. Mae y rhyddid a'r dïogelwch hwn wedi dyfod i ni trwy wleidyddiaeth. Gallwn ddiolch i wleidyddiaeth am sicrhâu i ni y bendithion hyn. Mae gwledydd yn ein byd nad ydynt yn gwybod ond ychydig am danynt; maent yn hyn o dan iau gorthrwm ac erlidiau crefyddol. Byddai cyffesiad cyhoeddus o Grist a Phrotestaniaeth yn sicr o ddwyn arnynt ar unwaith erlidigaeth gref, erlidigaeth, fe ddichon, hyd at farwolaeth. Bu felly yn ein gwlad ni ddim llawer iawn o amser yn ol. Ond erbyn heddyw y mae ein gwleidyddwyr yn ddoethach, ac yn gweithredu oddiar egwyddorion tecach a mwy cyfiawn; yn raddol y maent wedi estyn allan i holl ddinaswyr ein gwlad y rhyddid, er nas gellir dywedyd y cydraddoldeb a fwynhëir gan yr holl gyfundebau crefyddol. Yr un modd y mae yn rhoddi rhyddid i ledaeniad gwirioneddau ac egwyddorion crefydd; rhyddid nid yn unig i gydymffurfio ein hunain â'i gofynion, ond hefyd i ymdrechu mewn pob modd cyfreithlawn a thêg i berswadio eraill i wneuthur yr un peth, i goleddu yr un opiniynau, ac i gymeryd rhan yn yr un gwasanaeth. Gallwn yn hawdd synied am amgylchiadau lle byddai rhyddid i bersonau o argyhoeddiadau neillduol i wasanaethu Duw yn unol â hwynt heb fod ganddynt ryddid i ymdrechu i'w lledaenu. Yn wir yr oedd felly yn Rhufain i fesur, tra yr oedd y ddinas hono dan lywodraeth y Pab. Yr oedd rhyddid gan y llŷs-genadon Prydeinig i wasanaethu Duw yn y ffurf Brotestanaidd, ond ni feiddient gefnogi y lledaeniad o egwyddorion Protestanaidd, llawer llai ymdrechu drostynt. Ond y mae gwleidyddwyr y wlad hon wedi sicrhâu i ni ddau beth: rhyddid i addoli yn ol ein golygiadau ein hunain, a rhyddid hefyd i ymdrechu perswadio eraill i gydweled ac i gydymffurfio â ni; rhyddid i Babyddion i berswadio Protestaniaid i ymwrthod â'u ffydd, ac i ymgymeryd â Phabyddiaeth; a rhyddid i Brotestaniaid berswadio Pabyddion i ymwrthod â Phabyddiaeth, ac i ymgymeryd â Phrotestaniaeth; ac yn yr un modd gyda phob math arall o grefydd—Mahometaniaeth, crefydd *Buddha*, neu *Brahma*. Nid oes gan wleidyddiaeth ddim i wneyd o barth penderfynu pa gyfundraeth o grefydd sydd yn wir a pha gyfundraeth sydd yn dwyllodrus. Y mae pob cwestiwn o'r natur hyny tu allan i'w chylch. Ei gwaith prïodol mewn perthynas i hyn yw rhoddi drŵs agored i bob crefydd i weithio ei ffordd, ac i'r wîr grefydd gymeradwyo ei hun trwy ei gwirionedd, a thrwy y bendithion sydd yn dyfod trwyddi i'r rhai sydd yn ei choledd. Nid ydyw crefydd—y grefydd nad ydyw ond gwirionedd—yn gofyn dim yn amgen oddiar law gwleidyddiaeth; a phan y

mae yn cael hyn y mae gwleidyddiaeth yn wasanaethgar iddi. Y mae gwendid crefyddau gau yn amlwg iawn pan y ceisiant ymguddio o fewn muriau uchel Llywodraeth sydd yn cau allan bob crefydd arall, y maent yn rhy wan i sefyll cystadleuaeth â chrefyddau eraill. Saif y wir grefydd yn gadarn ac yn ddiofn pa nifer bynag fyddo ei gwrthwynebwyr a'r rhai sydd yn cydymgais â hi. Ac y mae anghyfiawnder mawr wedi cael ei wneyd lawer pryd i Gristionogaeth trwy i'w phleidwyr a'i hedmygwyr ymdrechu i'w *phropio* i fyny a lledaenu ei dylanwad trwy ddeddfau gwladol sydd yn cario gorfodaeth ar gydwybodau dynion.

Y mae gwleidyddiaeth yn wasanaethgar i grefydd trwy wahardd arferion sydd yn groes i egwyddorion moesoldeb. Y mae cysylltiad agos rhwng moesoldeb a chrefydd. Mae yr hyn a ddysgir ac a gefnogir gan foesoldeb, yn cael ei ddysgu a'i gefnogi gan grefydd. Mae cylch crefydd, bid sicr, yn ehangach na chylch moesoldeb; ond y mae yn ei gynnwys oll. Ac ni cheir gwleidyddiaeth byth yn cyflawni gwaith mwy priodol a goruchel na phan yn gwrthwynebu anfoesoldeb ac yn ymdrechu i'w ddifodi; neu yn ol syniad a draethwyd ychydig amser yn ol gan Mr. Gladstone, yn ei wneyd mor anhawdd ag a fyddo yn bosibl i wneuthur drwg, ac mor hawdd ag a fyddo yn bosibl i wneuthur da. Ac i'r graddau y mae moesoldeb yn cael ei hyrwyddo mewn gwlad Gristionogol, y mae crefydd hefyd. Y mae crefydd yn cymeryd tir ehangach ac uwch, ac yn cynnwys amryw bethau nad yw o fewn terfynau moesoldeb. Y mae egwyddorion i'w byw a gwirioneddau i'w credu sydd yn ffurfio crefydd fel ei dysgir yn y Bibl, nad ydynt i'w cael o gwbl mewn moesoldeb. Nid oes dim yn eglurach na'r posibilrwydd i ddyn fod yn ddyn moesol heb ei fod yn ddyn crefyddol. Ond ar yr un pryd, nis gallwn lai na chredu fod gwleidyddiaeth wrth hyrwyddo moesoldeb mewn gwlad Gristionogol yn wasanaethgar i grefydd. I'r graddau y bydd hyn yn cymeryd lle, gallwn gredu fod dylanwad Cristionogaeth yn lefeinio cymdeithas. Pan y gwelom wleidyddiaeth mewn ymdrech yn erbyn rhyw ddrwg cyhoeddus, yr ydym yn credu fod Cristionogaeth yn cael ei hyrwyddo. Ond fel y dywedodd y Meistr wrth Nicodemus, "mae yn rhaid eich geni chwi drachefn," rhaid i ninnau ddyweyd yr un gwirionedd wrth y dynion mwyaf moesol a deallus. Er hyny, fel y mae cyfreithiau gwlad yn dyfod yn fwy cyfiawn, a'i moesoldeb yn gwellhâu, yr ydym yn gweled fod y lefain yn gweithio ei ffordd—y lefain a osodwyd gan Grist yn nghanol cymdeithas, yr hwn nad yw i aros hyd nes y bydd wedi treiddio clamp toes cymdeithas drwyddi.

III. Gwleidyddiaeth yn ddyledus i grefydd. Y mae yn ddyledus iddi fel y mae pob peth arall, i'r graddau y mae crefydd yn cymeryd gafael yn, ac yn dylanwadu ar, feddwl a chalon dyn. Tuedd crefydd ydyw puro a dyrchafu pob peth. Y mae yn bwrw allan o ddyn ei hunan ac o gymdeithas, bob ysbryd aflan, a phob peth isel a llygredig. Dyna yw ei thuedd uniongyrchol. Mae yn wir y ceir lliaws o engreifftiau lle y gellir tybied ei bod yn methu gwneyd hyny. Ceir llawer sydd yn proffesu eu bod yn canlyn yr Iesu ac yn cymeryd arnynt eu bod yn ddynion defosiynol a chrefyddol, yn euog o bethau sydd yn bob peth yn hytrach nag yn unol âg addysgiadau gweddeidd-dra, heb siarad am foesoldeb, a llawer llai am Gristionogaeth. Mewn

ardaloedd lle y mae crefydd yn llewyrchus, y mae arferion yn ffynu sydd ymhell o fod yn deilwng o gymdeithas Gristionogol. Ond er hyn i gyd, tuedd crefydd ein Harglwydd Iesu Grist yw bwrw allan bob pechod, dadwreiddio yn llwyr bob drygioni, a dadblygu pob peth sydd yn ddyrchafiad i ddynoliaeth. Dywedir am y cristion yn bersonol, ei fod ef yn grëadur newydd, wedi ei grëu o newydd yn Nghrist Iesu i weithredoedd da; a'r un modd y gellir dweyd am wlad sydd mewn gwirionedd yn eiddo i Fab Duw,—Efe yn teyrnasu ynddi, ac arni, ac yn ffurfio ei deddfau a'i harferion,—y mae yn wlad newydd—yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth o newydd. Purir ei holl weithrediadau. I'r graddau y mae Cristionogaeth yn ymwreiddio mewn gwlad, y mae hi yn rhoi tôn i bob peth a wneir ynddi. Ac yn mysg pethau eraill, y mae hi wedi rhoi tôn i wleidyddiaeth ein gwlad ni; ac i'r graddau hyny y mae ein gwleidyddiaeth yn ddyledus iddi.

Y mae gwleidyddiaeth y wlad hon yn ddyledus iddi *am y wêdd ddyngarol* y mae wedi roddi iddi. Gŵyr pob un sydd wedi sylwi ar gwrs crefydd yn y wlad hon y blynyddoedd diweddaf, fod ei nodwedd ddyngarol wedi dadblygu yn fawr; fod dynion crefyddol wedi ymroddi yn fwy nag erioed i liniaru trueni ac i ychwanegu hapusrwydd cymdeithas. Y mae hyn wedi cymeryd lle yn arbenig yn ein trefydd mawrion; ac nid oes yr un nodwedd ymarferol yn fwy cydweddol âg ysbryd crefydd fel ei hamlygwyd yn mywyd yr Arglwydd Iesu. Gŵyr pawb pa mor uchel oedd y nodwedd hwn yn nghymeriad a gweithredadau yr Iesu. Yr oedd Efe yn llawn tosturi tuag at bawb oedd mewn tristwch a phoen, ac yn barod i wneyd unrhyw beth i leihâu eu gofidiau. Rhodiodd oddiamgylch gan wneuthur daioni. Ei amcan parhäus oedd esmwythâu blinderau y rhai trwmlwythog. Ac y mae crefyddwyr y blynyddoedd diweddaf hyn fel pe wedi drachtio yn fwy helaeth o ysbryd yr Iesu yn y peth hwn, ac wedi ymgysegru i ddilyn ôl ei draed yn fwy ffyddlawn na chrefyddwyr yr un oes o'r blaen. Ac er ein llawenydd y mae yr un nodwedd fel pe yn dyfod yn fwy amlwg yn barhäus yn ngwleidyddiaeth ein gwlad. Y mae yn bosibl ddarfod i hyn ddechreu mewn modd amlwg iawn gyda dechreuad yr ymdrech gan Hannah Moore a Wilberforce i ddifodi caethwasanaeth o'n tir. Pan ddechreuodd y bobl dda hyn ac eraill ddyrchafu eu llef ac ysgrifenu yn erbyn caethwasiaeth, nid oedd gan y byd ddim gwell i'w wneyd na chwerthin am eu pen a'u gwawdio. Ond gweithiasant ymlaen, heb eu tarfu na'u troi yn ol gan na hwtiadau, nac enllibau, na gwawdiau y bobl, nes y cyrhaeddasant eu hamcan o weled cyfraith ar Ddeddflyfr Prydain Fawr yn dadgan nad oedd modfedd o'i thir i gael ei drin gan gaethwas, ac fod pob caethwas mor rydd ag unrhyw dywysog y foment y rhoddai ei droed ar unrhyw ran o'n tiriogaeth. Ac o'r amser hwnw hyd yn awr, y mae Prydain yn parhâu mewn ymdrechiadau i gynnorthwyo ac i sicrhâu rhyddid y caethwas ymhob man; ac y mae yn ddïau na erys hi ddim yn y peth hwn hyd nes y bydd rhwymau pob caethwas ar y ddaear wedi myned yn rhydd am byth.

Yr un modd, y mae llawer o ddeddfau wedi eu pasio yn y blynyddoedd diweddaf sydd yn dwyn yr argraff ddyngarol yma yn amlwg iawn; megys y cyfreithiau er amddiffyn plant yn erbyn hunanoldeb a chaledi

meistriaid a pherthynasau. Mae yn bosibl y gall y cyfreithiau hyn ymddangos mewn rhai engreifftiau yn hytrach yn galed, yn gwasgu yn hytrach yn drwm ar rïeni sydd mewn dygn dlodi. Ond nid ydyw yr engreifftiau hyn ond eithriadau mewn cymhariaeth i'r nifer fawr o blant sydd yn cael eu gorthrymu a'u gŷru yn unig drwy or-awydd ariangar meistriaid dideimlad, a meddwdod a gwastraff diddarbod rhïeni annuwiol ac anystyriol. Y mae yn ddïau fod llawer o hyn yn cymeryd lle er yr holl ddeddfau sydd wedi eu pasio i ddïogelu y plant a sicrhâu iddynt addysg a pharotöad ar gyfer gyrfa bywyd; ond amcan y cyfreithiau yw lleihâu y drygau hyn mor bell ag y byddo yn bosibl. Ac nid oes dim sydd yn fwy Cristionogol na bod deddfau gwlad yn myned rhwng rhïeni dideimlad, a rhwng meistriaid dideimlad ac ariangar, a phlant, gan daflu tarian dros y rhai bach, eiddil, sydd yn analluog i amddiffyn eu hunain. Y mae yn glod i wleidyddiaeth ein gwlad ei bod yn gweithredu yn y cyfeiriad hwn, ac yr ydym yn hòni i grefydd yr anrhydedd o ddylanwadu arni fel ag i weithredu felly.

Ac oni ddylem yn y fan hon gyfeirio at yr ymdrechion clodwiw a wneir yn y blynyddoedd diweddar i impio i mewn i wleidyddiaeth ein gwlad yr egwyddor o gyflafareddiad rhwng teyrnasoedd a'u gilydd pan y cyfyd cwerylon rhyngddynt, neu ryw bethau nas gallant gyttuno arnynt? Hen arfer teyrnasoedd oedd, os dygwyddai i gweryl bychan godi rhyngddynt, tŷnu allan y cleddyf o'r wain mewn moment, a dyna ddwy deyrnas yn nghanol rhyfel ofnadwy, yn lladd ac yn ysbeilio eu gilydd, ac am y trechaf yn dinystrio eu gilydd. Mae rhywbeth fel hyn yn Ffrainc rhwng dinaswyr a'u gilydd, i fesur dychrynllyd. Os cyfyd cweryl rhwng dau ddyn, neu os tybia un ei fod ef wedi cael cam neu sarhâd gan un arall, rhuthrir mewn amrantiad at y cleddyf neu y pistol, a hwnw fydd yn cael penderfynu rhwng y ddau grëadur ffol. Mae yn rhyfedd i ni fel y mae yr arferiad yma wedi ffŷnu rhwng teyrnasoedd; fel y maent wedi rhuthro i faes y gwaed gyda'u byddinoedd, ac wedi dwyn dinystr ar wledydd, a hyny o herwydd rhyw bethau bychain y gellid yn hawdd eu penderfynu yn berffaith dêg ond gadael i ddau neu dri o ddynion, neu ychydig yn ychwaneg, i eistedd am ychydig fynydau uwchben yr anghytundeb. Ond na, y cleddyf oedd i benderfynu. Y trechaf ar faes y gwaed oedd i ennill, er i hyny gymeryd lle ar draul aberthu bywydau miloedd ar filoedd o ddynion diniwed, a gwasgaru dinystr a gofid tu hwnt i ddim y mae yn bosibl i ni ddychymygu. Ond trwy drugaredd ein Duw, yr ydym ni yn byw mewn amseroedd gwell; y mae gwawrddydd heddwch wedi tywynu arnom. Y mae yn ddïau fod un rhyfel ofnadwy wedi ei osgoi eisoes trwy gyflafareddiad, sef rhwng y wlad hon ac America. Ac os anghofir yn y dyfodol, fel y gwneir yn ddïau, ran fawr o weithredoedd y Llywodraeth ddiweddar, fe fydd y weithred hon o benderfynu y cweryl rhwng Lloegr ac America o barth i bwnc yr Alabama trwy gyflafareddiad, yn seren foreu yn ffurfafen gwleidyddiaeth ein dyfodol. Ac onid ydyw hon yn addewid bendant o eiddo crefydd, y daw amser pan y bydd heddwch yn teyrnasu, "ac na ddysgant ryfel mwyach?" I grefydd y mae gwleidyddiaeth yn ddyledus am gymeryd y nodwedd ddyngarol hwn arni.

Y mae crefydd yn tueddu i wneyd gweithredoedd gwleidyddiaeth yn *fwy cyfiawn*. Dywed yr hen Lyfr, "Cyfiawnder a ddyrchafa genedl."

Nid oes o fewn ei dudalenau yr un dywediad yn fwy gwir. Swynir llawer gan ysblander byddin gref a sefydlog sydd fel pe yn herio teyrnasoedd y byd, fel yr oedd Goliath yn herio byddinoedd Israel. Swynir eraill gan fywiogrwydd masnachol, gan eu gweithfeydd a'u hystordai, eu ffyrdd haiarn, a'u porthladdoedd yn llawn o bobl ymroddedig i'w gwaith. Yn ol syniad y byd hwn, pethau o'r natur yma yw gogoniant gwlad. Ond "cyfiawnder a ddyrchafa genedl;" cyfiawnder ei deddfau, ac uniondeb ei masnachwyr. A thuedd dylanwad crefydd ydyw gwneyd gwleidyddiaeth yn fwy cyfiawn, a chefnogi pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy, ymysg y bobl. A'r pethau hyn ddaw âg anrhydedd a sefydlogrwydd i wlad.

Y mae gwleidyddiaeth yn ddyledus i grefydd hefyd am y *parch a ddangosir i'w chyfreithiau.* Pan na fethrir cydwybod, y mae crefydd yn ddieithriad yn dysgu parch ac ufudd-dod i gyfreithiau gwlad. Y mae dynion crefyddol, fel rheol, yn ufudd iddynt oll. Diffyg crefydd sydd yn arwain i'r holl droseddau a gyflawnir, y rhai sydd i'r fath raddau yn anurddo hanes ein gwlad. Y mae rhai sydd yn *proffesu* crefydd yn euog o bethau ffiaidd; ond nid yw y rhai hyn ond eithriadau. Mae y dynion sydd yn llenwi carcharau yn ddynion anwybodus o egwyddorion sylfaenol crefydd, ac yn gwbl ddibarch o honynt. Mae y miloedd ar filoedd sydd yn grefyddol yn ufuddhâu i gyfreithiau eu gwlad i'r manylrwydd mwyaf. Mae yr ufudd-dod hwn yn ddyledus, i fesur helaeth, i grefydd, gan ei bod yn gosod ar bawb i anrhydeddu y brenin, ac i barchu y rhai sydd wedi eu gosod mewn awdurdod arnom.

Ond rhaid i ni derfynu. Un peth fyddai yn dda i ni gofio a'i sylweddoli yn glir ydyw, fod dyfodol ein gwlad yn ymddibynu i fesur helaeth ar ei gwleidyddiaeth. Y mae llawer o bynciau cymdeithasol yn ymgodi i'r arwyneb, ac y maent yn sicr o hawlio yr ystyriaeth fwyaf difrifol a llwyr; ac y mae y modd y bydd iddynt gael eu penderfynu yn sicr o benderfynu i fesur helaeth ddyfodol Prydain Fawr. Os penderfynir hwynt ar dir ëang a chyfiawn, yna fe fydd y dyfodol i'n gwlad yn llawn bendithion; ond os i'r gwrthwyneb, cawn ein gadael i suddo i sefyllfa gyffelyb i'r Yspaen. Fe ymddibyna pa un a benderfynir y cwestiynau hyn felly ar gymeriad y dynion hyny i ddwylaw pa rai yr ymddiriedir ein gwleidyddiaeth. Os dygwydd iddo syrthio i ddwylaw dynion annuwiol—dynion nad ydynt yn ofni Duw, nac yn gofalu am lwyddiant ysbrydol y bobl,—yna nid oes genym ddim i'w ddysgwyl ond i'n gwleidyddiaeth fyned yn ol a gwaethygu, a gellir prophwydo yn ddiffael gwymp ein gwlad. Y mae yn ffaith sobr fod dynion anffyddol mewn rhai trefydd yn ennill dylanwad. Y mae yn ffaith a ddylai agor llygaid y rhai sydd yn cydymdeimlo â theyrnas nefoedd, ac yn awyddus i'w gweled hi yn myned rhagddi. Byddai yn anmhosibl i alanastra mwy alaethus syrthio ar ein gwlad nag i'r dosbarth hwn ennill nerth, ac ymwthio i swyddau uchel. Yr hyn yr ydym yn awyddus i'w weled yw, pawb sydd yn ofni Duw, ac yn ymserchu yn yr Arglwydd Iesu a'i wasanaeth, yn taflu eu dylanwad i'r byd gwleidyddol, ac fel hyn ymdrechu i brysuro y diwrnod pan y bydd gwleidyddiaeth ein gwlad yn cael ei nodweddu gan y cyfiawnder sydd yn dyrchafu cenedl. Yna, fe

drig pob dyn dan ei winwydden ei hun, neu a siarad yn fwy cydweddol â hanes y wlad hon—yn ei amaethdŷ neu ei siop, heb neb yn meiddio peri iddo ofn. Yr ydym yn y modd mwyaf difrifol yn annog pawb, yn enwedig ein dynion ieuainc, i ymdrechu cael syniadau clir a chywir ar y materion politicaidd a ddaw dan eu sylw, gan sylwi yn arbenig ar eu cysylltiad â llwyddiant masnachol, moesol, a chrefyddol y deyrnas. Arweiniai hyn hwynt i gefnogi llênyddiaeth wleidyddol brïodol, ac i bleidleisio mewn etholiadau oddiar egwyddor dda, ac nid mympwy zêl. Ac fel hyn gellid gobeithio y bydd i grefydd a gwleidyddïaeth fyned rhagddynt law yn llaw i wrthweithio drygau ein gwlad ac i brysuro milflwyddiant y byd,—gwleidyddiaeth yn rhoddi corfforiad ymarferol i grefydd, a chrefydd yn coroni gwleidyddiaeth â dylanwad sancteiddiol.

---

# COF-GOLOFN MR. CHARLES.

Y MAE côf-golofn Mr. Charles, erbyn hyn, wedi ei gorphen a'i gosod i fyny, wedi talu am dani, a'i dadorchuddio, yr hyn, wrth gymeryd amryw a gwahanol bethau i ystyriaeth, sydd yn ymddangos yn rhyfedd ac annealladwy dros ben. Y mae llawer o bobl yn fyw ag ydynt wedi gweled y gôf-golofn hon â'u llygaid eu hunain, ac oblegid hyny yn barod i dystiolaethu mai nid crëadigaeth ffugiol o eiddo dychymyg neb ydyw; ond ei bod yn sylwedd gwirioneddol o gàreg, yn hyn a hyn o fesur, yn hyn a hyn o bwysau, ac yn sefyll ar hyn a hyn o dir. Er hyny, rywfodd, nid gorchwyl hawdd ydyw credu y ffaith. Nis gallwn yn ein byw ymryddhâu oddiwrth ryw fath o ofn, rhag y dichon i ni ddeffro ryw foreu, a chanfod, er ein gofid a'n siomedigaeth, mai breuddwyd gwâg oedd y cwbl yn ei chylch; neu, ynte, fod y golofn ei hunan, trwy ryw gyfaredd annirnadwy, yn ystod ychydig oriau o dywyllwch, wedi cwbl ddiflanu a myned o'r golwg. Y mae y gwirionedd am dani mor ddyeithr ac anghredadwy, fel oni bae ein bod, tua yr un adeg, wedi gallu credu a fforddio rhoddi anrheg lled deilwng i gymwynaswr byw, y buasem yn barod i dybied mai y dygwyddiad mwyaf hynod a gymerodd le yn Nghymru yn y ganrif bresennol oedd cael y wlad mor gyffredinol i dalu cymaint a hyn o warogaeth i goffadwriaeth cymwynaswr sydd wedi marw. Wrth osod y ddau beth rhyfedd a grybwyllwyd yn ochr eu gilydd, ac wrth edrych arnynt yn fanwl o bob cyfeiriad, nis gallwn lai na thybied mai dyma gyflawniad llythyrenol a chyfangwbl y brophwydoliaeth sydd yn rhoddi ar ddeall fod amser i ddyfod pan y genid cenedl mewn diwrnod. Pa fodd bynag am hyny, y mae yn dra thebyg yr addefa pawb eu bod yn arwyddion gobeithiol iawn gyda golwg

ar y dyfodol, heblaw eu bod yn brofion gwerthfawr nad yw llafur ac ymroddiad, diwydrwydd ac ymdrech, hunanymwadiad mawr, a dyfalwch diysgog amryw lafurwyr gonest a chydwybodol, wedi bod yn hollol ddieffaith yn yr amser a aeth heibio. Y maent yn profi fod yn bosibl i ddynion, trwy barhâu yn gwneuthur daioni, a thrwy barhâu mewn addfwynder i ddysgu y rhai gwrthwynebus—fod yn bosibl iddynt, o'r diwedd, ar ol llawer o ddyddiau, gyrhaedd cydwybod cenedl gyfan o bobl, a hono hefyd yn genedl a ddichon fod wedi hen arfer cuddio ei theimladau a mygu ei serchiadau naturiol i'r fath raddau ag i wneuthur bron yn anmhosibl i neb allu deall ei fod yn wrthddrych ei ffafr, hyd nes y dygwydd iddi o honi ei hunan gael ei chynhyrfu i deimlad ac ystyriaeth trwy aflonyddwch ac anesmwythyd yn ei chydwybod.

Yn sicr, nid ydym ni wrth naturiaeth yn genedl o bobl anniolchgar, er ein bod bob amser yn dra hoff o rwgnach, ac o ran agwedd gyffredin ein hysbryd yn tueddu at fod yn ystyfnig ac anfoddog. Yn ychwanegol at y nodweddion clodwiw hyn, y mae yn rhaid chwanegu fod ein gwybodaeth yn gul, ein profiad yn fychan, a'n rhagfarnau yn gryfion—pethau sydd yn meddu tuedd uniongyrchol i'n gwneuthur yn hynod feddylgar a phwyllog pan y mae hawliau a theilyngdod ein cymydogion yn dygwydd ymwthio i'n sylw, ac yn awgrymu i ni hefyd y prïodoldeb, yn gystal a'r tegwch, o sicrhâu i ni ein hunain bob mawredd a pharch dichonadwy, cyn ymostwng i ddangos unrhyw frys neillduol am barchu ein gilydd. Ar yr un pryd, gweddus yw cydnabod fod hyn yn ganlyniad naturiol dylanwadau afiachus sydd wedi bod yn gweithredu arnom trwy yr oesoedd, a hyny mewn amgylchiadau anffafriol; yn gystal a'u bod hefyd yn effeithiau anocheladwy dysgeidiaeth dwyllodrus ac anmherffaith. Yn hytrach na bod yn bobl heb ein dysgu, yr ydym wedi ein camddysgu; cyflwr, gan ei fod yn fwy anesgusodol, sydd gymaint a hyny yn fwy gofidus. Dynion o ysbryd rhagorol oedd yr ail oes o ddysgawdwyr Ymneillduol a fu yn Nghymru. Ni ellir meddwl yn rhy uchel o honynt, na siarad yn rhy barchus am danynt, ac ni ellir byth brisio y filfed ran o'r gwaith mawr a gyflawnwyd ganddynt. Er hyny, goddefer i ni gymeryd yr hyfdra i farnu, eu bod, yn ngrym a thanbeidrwydd eu zêl dros eu Meistr mawr, a than ddylanwad teimlad o ddibrisdod hollol o honynt eu hunain, tra yn sicrhâu llwyddiant amserol eu hymdrechion yn yr adeg hono, ar yr un pryd, yn crëu â'u dwylaw eu hunain anhawsderau mawrion ar ffordd llwyddiant y gwaith mewn amseroedd dyfodol. Gallasent hwy y pryd hwnw, heb ddim ammheuaeth, a chydag ychydig o drafferth, gychwyn, ar raddfa fechan y mae yn wir, ond ar seiliau cedyrn a pharhäol, y rhan fwyaf o'r sefydliadau daionus y gorfüwyd ymladd yn galed a dyoddef llawer drostynt, mewn amseroedd dilynol. Yr ydym yn cyfeirio, fel y crybwyllwyd eisoes, at yr ail oes o Fethodistiaid, gan olygu yn benaf yr oes a ymddangosodd ar ol dyddiau Harris, Rowlands, a Mr. Charles. Tua thriugain mlynedd yn ol, fel ein hysbysir gan hen bobl sydd yn cofio y dyddiau hyny, yr oedd holl faich gweddïau yr eglwysi yn cynnwys dymuniadau taerion am i'r Arglwydd anfon gweithwyr i'r cynhauaf. Dyma oedd yn cael ei ystyried y pryd hwnw fel angen penaf a mwyaf cyffredinol yr holl wlad o gŵr bwy-gilydd. Yr ydym oll yn gwybod fod y gweddïau hyn wedi eu hateb mewn modd amlwg a phenderfynol iawn, trwy

ymddangosiad amryw wŷr grymus a galluog, yn meddu ar ddoniau a chymhwysderau gweinidogaethol o'r dosbarth blaenaf, y rhai a ymaflasant yn eu gwaith o ddifrif, fel pobl wedi dyfod i deimlo mai gwae fyddai iddynt oni phregethent yr efengyl. Ond yr oedd ein tadau y pryd hwnw, yr un modd a ninnau yn yr oes hon, yn rhy dueddol i anghofio fod yr Arglwydd yn dysgwyl i'r eglwys nid yn unig ofyn am bethau mawrion, ond hefyd wneuthur ei goreu tuag at ateb ei gweddïau ei hunan. Nid oes dim yn amlycach na bod y rhan fwyaf o'n gweddïau yn gyffredin, yn gyfryw ag y gallwn ni ein hunain wneuthur llawer tuag at eu hateb yn effeithiol, os byddwn yn ewyllysio hyny. Pan y mae y gŵr cyfoethog, cysurus, sydd wedi ei amgylchu â digonedd, yn gweddïo dros y tlodion sydd yn dyoddef eisieu ac anwyd, byddai yn ddigon hawdd iddo ateb y weddi hono trwy anfon ei was â basgedaid o fwyd i'r caban gwael agosaf ato, lle y mae hanner dwsin o blant bychain noethion, newynog, a Duw o'r nef yn edrych ar bob un a ddêl heibio trwy eu wynebau llwydion. Wrth weddïo am lwyddiant yr efengyl, buddiol i ni fyddai cofio na chostia Bibl cyflawn i bagan tywyll, anwybodus, didduw, yn yr eithaf ond ychydig geiniogau; llai fyth a gostia gair tirion, neu annogaeth garedig i'r dyn sydd yn byw yn y drŵs agosaf atom. Y mae yn lled sicr pe cymerem sylw manwl, y gallem ganfod, fod y rhanau hyny o'n gweddïau sydd yn aros trwy y blynyddoedd heb eu hateb, yn cael eu gwneyd i fyny o erfyniadau y byddai yn hawdd i ni eu hateb ein hunain, dim ond i ni ymdrechu gwneuthur felly. Yr un modd y gellir dyweyd am y tadau, yn enwedig y tadau Methodistaidd,—yn neillduol yr ail oes o honynt. Gadawsant y rhan fwyaf o'u gweddïau heb wneuthur ond ychydig ymdrech i sicrhâu atebiad cyflawn iddynt. Cafwyd llu mawr o weithwyr i'r cynhauaf; ond daethant i'r maes heb ond ychydig iawn o ddarpariaeth wedi ei wneuthur ar eu cyfer, ac yr oedd eu gwresogrwydd hwythau mor fawr fel nad oeddynt yn cymeryd amser i ystyried yr anfanteision yr oeddynt o herwydd hyny yn cael eu gosod o danynt, na'r cam yr oeddynt trwy hyny yn ei wneuthur â'r tô nesaf o bobl y gelwid arnynt i gario allan eu cynlluniau. Yr ydym yn dywedyd eu bod yn gwneuthur *cam*—yn hollol anfwriadol wrth reswm—nid â'r tô nesaf o bregethwyr neu flaenoriaid, ond yn benaf â'r eglwysi; oblegid y mae pob anfantais y gosodir swyddogion crefydd i lafurio o danynt—y dynion y tybir eu bod yn meddu y cymhwysderau amlycaf i fod yn ddefnyddiol—yn troi allan yn y diwedd yn llawer mwy o niwed gwirioneddol i'r eglwysi eu hunain nag i neb arall. Ac edrych ar y mater wrth bob rheol ddynol, y mae yn rhaid i ni deimlo fod enwad o bobl yn cychwyn allan ar delerau fel hyn, yn rhwym o ddiffygio yn fuan neu yn hwyr, heblaw ei fod, hyd yn nôd yn ystod parhâd ei egni dechreuol, yn rhwym o fod mewn cyflwr hollol ddiamddiffyn; yn agored i ymosodiadau oddiallan, a dirywiad oddimewn. Nid ydyw yn ddim amgen nag anturio i'r cefnfôr mewn basged, gan ymddiried y canlyniadau yn gwbl i ffawd a damwain. Effaith hyn eto oedd, fod y dosbarth mwyaf hunangar a diwaith, y pryd hwnw, fel yn bresennol, yn dyfod i weled fod ffyddlondeb digyffelyb rhai o'u brodyr yn rhoddi cyfle manteisiol iddynt hwy i fod yn segur, ac i ddianc yn bensych oddiwrth bob peth a fyddai yn gofyn naill ai traul ai trafferth, ac oblegid hyny yr oeddynt yn dyfod i

ddeall mai doethach iddynt fyddai gadael i holl bwysau y gwaith syrthio ar ysgwyddau ychydig o bersonau, mewn cymhariaeth. Ac o hyny hyd heddyw, yr ydym wedi cadw i fyny yr arferiad o "yru y cî a gerddo" gyda chysondeb a diwydrwydd canmoladwy dros ben. Ni ddywedem ormod wrth ddywedyd fod degau o eglwysi wedi eu cadw wrth eu gilydd, yn ystod y deugain mlynedd blaenorol i 1860, yn unig trwy ymdrechion diflino ychydig bersonau unigol yn y gwahanol ardaloedd; ac yr oedd y personau unigol hyny yn gyffredin yn arfer teimlo yn dra gweiniaid ac analluog, ond ar yr un pryd yn barod iawn i wneuthur unrhyw beth, a phob peth yn eu gallu hwy, a hyny yn benaf am eu bod yn gorfod credu, os na wnaent hwy y gwaith, na wnai neb arall mohono. Buasai yn llawen iawn ganddynt hwy, druain, sefydlu Bugeiliaeth Eglwysig, ond nid oedd hyny o fewn eu gallu; ac yn y cyfamser, nid oedd ganddynt ond ymroi i fugeilio eu hunain goreu y gallent. Yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, yr ydym wedi bod yn claddu yr hen dadau crybwylledig y naill ar ol y llall, yn areithio wrth eu beddau, yn cwyno ein colled am danynt, yn annog i efelychu eu ffydd, ac i ystyried diwedd eu hymarweddiad; ac nid oes ammheuaeth nad yw hyny wedi gwneyd llês mawr i ni.

Y mae yn ymddangos fod Mr. Charles a'i gydlafurwyr wedi cychwyn y gwaith ar raddfa ëang a rhyddfrydig iawn. Yr oedd dyn a allasai fyned ymlaen i adeiladu capelau "*trwy ffydd*," yn rhwym o fod yn gweled ymhellach nag anghenion neillduol y dyddiau yr oedd yn byw ynddynt, ac yn deall hefyd y byddai gan yr ardaloedd ddigon o le i weithio er i gapel fod eisoes yn barod iddynt. Er hyny ni wnaeth llawer o ardaloedd, am lawer o flynyddoedd ar ol ei farwolaeth ef, odid ddim ond ymgrogi gyda chapelau. Suddent i ychydig bunnoedd o ddyled gyda eu capelau, ac erbyn y byddai y ddyled hono wedi ei thalu, byddai yn amser gwneyd rhywbeth iddynt eilwaith. Y mae yn werth sylw, a *buasai* yn werth ystyriaeth ddifrifol flynyddoedd yn ol, mai y capelau hyny a adeiladwyd yn ol cyfarwyddyd a than arolygiaeth Mr. Charles, ydyw yr unig gapelau a barhasant i wasanaethu y Cyfundeb, ac i ateb i anghenion y boblogaeth, hyd nes y daeth cyfoeth a chwaeth blynyddoedd diweddarach i grëu teimlad cyffredinol am feddu rhai gwell. Yn lled ddiweddar, yr oedd llawer o'r adeiladau hyn yn hen gapelau brâf, defnyddiol, ac heb yr un ffyrling o ddyled ar rai o honynt, bron er cyn bod neb yn cofio. Yr oedd Mr. Charles wedi sefyll yn wyneb yr anhawsdra yr oedd Ymneillduaeth yn llafurio dano yn Nghymru, mor dêg ac mor ddifloesgni ag y gwnaeth Dr. Chalmers yn Scotland; yn unig fod ei ganlynwyr wedi cymeryd mantais ar hunanymwadiad eu dynion goreu i gario pob peth ymlaen yn y ffordd rataf ag oedd yn bosibl. Yr oedd Mr. Charles yn dal i fyny "bwnc yr arian" yn dêg o flaen y wlad, heb na phetrusder nac yswildod, er ar yr un pryd yn ymwybodol o dlodi cyffredinol y boblogaeth. A phe buasai swm yr arian a gasglwyd ganddo yn ei oes at wahanol achosion yn wybyddus, y mae yn ddiammheu y buasai yn anghredadwy yn ngolwg llawer nad ydynt yn deall mawredd a helaethrwydd cyffredinol y gwaith a gyflawnwyd ganddo. Ond yr oedd llawer o'i olynwyr ymhell oddiwrth fod yn credu yn yr un moddion, ac oblegid hyny anturiwyd i'r môr "heb râff, heb lyw, heb angor;" ac oni bae fod *trade winds* y nefoedd ar y pryd yn

chwythu mewn cyfeiriad ffafriol, buasai llestr Methodistiaeth Gymreig er ys llawer o amser wedi myned yn deilchion ar y creigiau. Nid oes dim yn fwy nodedig na'r gwahaniaeth mawr rhwng y cwrs a gymerodd Eglwys Rydd Scotland wrth adael y Sefydliad Gwladol a throi allan i'r byd, ragor y Methodistiaid Cymreig. Yr oedd yr eglwys hono wedi codi dros *ddau cant o filoedd o bunnau* cyn ei bod yn ddau fis oed! Ymhen y flwyddyn, yr oedd ganddi *dri chant a hanner o filoedd;* ymhen pum' mlynedd yr oedd y swm hwn wedi cyrhaedd *miliwn a hanner;* ac erbyn diwedd y nawfed flwyddyn yr oedd agos yn *dair miliwn o bunnau!* Y mae yn wir y gellir dadleu fod llawer o bethau yn fanteisiol i ddwyn hyn oddiamgylch yn Scotland, nas gellir dyweyd eu bod felly yn Nghymru. Yr oedd y cyffro digyffelyb a gynnyrchwyd trwy yr Ymraniad yn fantais fawr; heblaw ei fod wedi dygwydd yn 1843, ac nid tua chan' mlynedd cyn hyny. Peth arall ydyw fod mawrion y tir, yno, yn cymeryd rhan yn y symudiad, ac felly fod llawer mwy o gyfoeth y wlad yn cael ei roddi at alwad yr arweinwyr. Ofer yw gwadu, ac nid oes un achos am geisio gwadu, nad oedd y Methodistiaid Cymreig mewn amgylchiadau hynod anffafriol; ond eto, y mae yn rhaid cyfaddef fod eu diffyg ymdrech yn ymddangos yn fwy amlwg hyd yn nôd na'u diffyg gallu, a'u hanmharodrwydd yn llawer iawn mwy amlwg na'u hanfanteision.

Y mae'n debyg fod y darllenydd yn cadw mewn côf ein bod yn golygu pe buasai pob tô o Fethodistiaid wedi talu cymaint o sylw i amgylchiadau allanol crefydd ag a wnaeth Mr. Charles a'i gydlafurwyr, y buasai gwêdd wahanol iawn ar bethau erbyn heddyw, nid yn unig mewn ystyr arianol, ond,—yr hyn sydd yn llawer pwysicach—mewn offerynoliaeth a gallu peirianyddol, i ddwyn gwahanol ranau y gwaith ymlaen ymhob cymydogaeth; a'r hyn sydd yn bwysicach fyth, buasai gwahaniaeth mawr yn sefyllfa crefydd ysbrydol trwy y wlad, ac mewn canlyniad i hyny yn nghyflwr meddyliol, ac yn agwedd ysbryd a theimlad y boblogaeth tu ag at bawb a phob peth o'u hamgylch. Yr oeddynt hwy wedi llwyddo i osod i fyny beiriant crefyddol ag oedd yn bur agos i fod yn berffaith, er nad oedd ar y cyntaf ond bychan iawn o ran maint, ac egwan o ran gallu. Yr oedd er hyny mor berffaith ag y dichon i drefniant dynol fod. Yr oedd yn wynebu yn dêg ar roddi addysg grefyddol i bob dyn, a rhoddi addoldŷ i bob ardal. Ond rywfodd, er gwaethaf pob gwersi yr ydym wedi eu cael hyd yma, a llawer o'r rhai hyny yn wersi yr ydym wedi eu prynu—yr addysg oreu o bob addysg,—yr ydym beunydd yn gollwng dros gôf mai amcan Rhagluniaeth yn rhoddi diwygiadau mawrion ydyw, er mwyn rhoddi cychwyn a chyfeiriad i'r gwaith, ac nid er mwyn ei gario ymlaen. Y mae gwerth yr effeithiau daionus sydd yn deilliaw oddiwrth bob diwygiad yn dibynu i raddau helaeth ar ffyddlondeb a diwydrwydd mewn cario allan ei egwyddorion. Anghofio hyn ydyw yr achos fod cyfnodau wedi bod yn ein hanes, na wyddid "beth ein cnawd, ai cîg ai pysgawd." Yr oeddym yn treiglo math o Abred meddyliol, fel pobl wedi syrthio i gysgu ar y tir a reibiwyd, gyda hyn o wahaniaeth, yr hwn hefyd drwy drugaredd sydd yn wahaniaeth pwysig, ein bod yn achlysurol yn llwyddo i ddeffro ac ymysgwyd, yn hytrach na pharhâu i gysgu i farwolaeth. Y mae dwy ochr i achos crefydd yn y byd hwn o'r dechre, y ddynol a'r ddwyfol, ac y mae yn

rhesymol iawn dysgwyl i'r naill roddi cam ymlaen bob yn ail â'r llall. Bob amser pan y mae nerthoedd ysbrydol oddi fry yn cael eu tywallt i attal rhwysg ac i dori grym yr archelyn, y mae yn arwydd i ninnau ymwroli ac ymosod ar bob mân ellyllon, a bwbachod, a drychiolaethau, sydd yn arfer cadw ein hysbryd mewn dychryn hygoelus, ac yn ein hattal i gyflawni ein dyledswyddau. Methu deall hyn yn ddïau ydoedd yr achos fod mor ychydig o gynnydd wedi cymeryd lle yn y deugain mlynedd cyntaf o'r ganrif bresennol, mewn cymhariaeth i'r deugain mlynedd blaenorol i hyny. Fel y cydnabyddwyd eisoes, yr oedd rhai personau, yn ystod yr amser crybwylledig, yn llafurio yn galed—yn llafurio nid fel rhai yn dysgwyl llwyddiant mawr, ond fel rhai yn ymladd am eu bywyd, yn hytrach nag am fuddugoliaeth: a bu llawer o honynt feirw heb allu credu eu bod yn canfod ond rhagolygon ammheus, a'u calon yn ofni yn fawr am arch Duw. Er pob ymdrech o'r eiddynt hwy yn eu gwahanol ardaloedd, ni ddarfu iddynt lwyddo ond yn unig i beidio colli llawer o dir; ac y mae yn sicr na buasent yn gallu gwneuthur cymaint a hyny, oni bae fod y Nefoedd yn y cyfamser yn eu ffafrio â chynnorthwy ambell bregethwr tanllyd, effeithiol, yr hyn oedd yn profi yn allu gwerthfawr tuag at ddal pethau wrth eu gilydd, a chadw toraeth y bobl yn awyddus i wrando yr efengyl. Gwnaethpwyd ychydig o gynnydd mewn rhif, yn ddiammheu, yn ystod y blynyddoedd dan sylw, ond ymhob ystyr arall gellir barnu fod y wlad yn gyffredinol yn bur agos yn yr un cyflwr ag y gadäwyd hi gan Mr. Charles a'i gydweithwyr ddeugain mlynedd yn flaenorol i hyny.

Yr arwydd diammheuol cyntaf o ddeffröad yn ein mysg oedd yr awydd cyffredinol a deimlid am gael côf-golofn i Mr. Charles; a chafwyd prawf penderfynol ein bod wedi gorphen agor ein llygaid pan y dadorchuddiwyd hi. Y mae y golofn hon yn profi nid yn unig fod gobaith y bydd i ni wella bob yn dipyn, ond ein bod eisoes wedi gwella llawer mwy nag y dichon ein bod yn alluog i ddeall ar hyn o bryd, a'n bod eisoes wedi cyrhaedd tir y gallwn yn rhesymol deimlo yn falch o hono. Mwy na gwerth y gôf-golofn i Mr. Charles, na neb arall, ydyw y prawf siriol y mae yn ei roddi i'r byd o adnewyddiad iechyd a hoenusrwydd y cyfansoddiad Methodistaidd. Y mae cael enwad o bobl i barchu a gwerthfawrogi coffadwriaeth gweithiwr cydwybodol, yn awgrymiad lled bendant mai nid gorwedd ar eu glythau y maent, na phlethu eu dwylaw i gysgu. Y mae y golofn hon yn llawer mwy gwir na'r ystadegau, ac yn llawer mwy cysurus a chalonogol hyd yn nôd na chylchlythyr y Gymdeithasfa. Er na chostiodd ond chwe' chant o bunnau, a chostiodd ddigon hefyd o ran hyny, hyny ydyw, ni waeth colofn chwe' chant na phe buasai yn chwe' mil—y mae yn profi fod genym ddigon o ddawn i barchu y dynion goreu, a digon o synwyr i ddeall pwy yw y rhai goreu; mewn gwirionedd y mae yn profi mai nid *byddin bapyr* ydym. Y mae yr ystadegau yn werthfawr, os oes i ni fodolaeth yn rhywle heblaw yno, ac os gellir cael gafael sylweddol arnom yn rhywle oddieithr mewn argraff, ac os medrwn osod allan ein cyflawniadau mewn ffurf fwy arhosol na ffigyrau, cynnygiadau, penderfyniadau, a diolchiadau. Dyma sicrwydd nid am agwedd yr achos, ond am ysbryd y boblogaeth; mater sydd o ran ei natur a'i ganlyniadau yn annhraethol fwy pwysig. Gallem fyned ymlaen am gan' mlynedd eto i longyfarch

ein hunain, ac i amgylchu ein gilydd âg ystadegau, heb ein bod ar ol hyny ond ychydig iawn pellach ymlaen; oblegid mewn gwlad efengyl y mae yn anhawdd i neb beidio ystyried ei hunan yn perthyn rhywfaint i ryw achos neu gilydd; ond y mae hyn yn profi fod y bobl yn ystyried yr achos yn perthyn iddynt hwythau, ac yn hytrach na lladd pob ysbryd gwaith, a gwrthwynebu pob ymdrech o eiddo eu cymydogion, eu bod yn dyfod i deimlo yn awyddus eu hunain i roddi eu hysgwydd wrth yr olwyn, ac i gymeryd rhan bersonol yn nygiad ymlaen bob peth sydd yn dda a chanmoladwy. A meddylier mai nid meistr tir oedd Mr. Charles, na meistr chwarel, nac aelod seneddol, dim ond gweinidog yr efengyl; ïe, yn wir, llai fyth na hyny, nid oedd ond pregethwr gyda y Methodistiaid. Oni bae fod hyn yn rhy wir i'w ammheu, buasai yn llawer rhy dda i'w gredu. Gwerthfawr dros ben ydyw ein cael i ddeall fod yn bosibl i ddim ond pregethwr ein gosod dan ddyled mor fawr iddo, fel mai yr unig beth yn ngallu cenedl o bobl hyd byth tuag at ei thalu ydyw cydnabod ei bodolaeth. Talu! nid ydym ond yn rhoddi rhwym-ysgrif i Ragluniaeth ein bod wedi derbyn yr eiddo. Am dalu, ni a dalwn pan fyddwn yn alluog i dalu am bob peth arall yr ydym wedi ei gael! Nid profi i'r byd fod Mr. Charles wedi bod yn byw yn y Bala, nac yn unman, ydyw yr amcan; ond profi ein bod ni yn gwybod, yn credu, ac yn ymffrostio, yn hyny—profi ein bod yn cydnabod mai nid ffûg oedd ei fywyd, mai nid gwallgofrwydd oedd ei amcanion, ac mai mater o bwysigrwydd neillduol i ni ydyw gwneuthur ein goreu tuag at gario allan ei gynlluniau. Er mwyn profi hyn gwnawn iddo gôf-golofn o fŷnor gwŷn caboledig, naddwn linellau ei wynebpryd yn y graig gallestr, a cherfiwn yr enw Thomas Charles â phin o ddur i aros dros byth.

Un anhawsder pwysig ar ein ffordd hyd yma i werthfawrogi yn brïodol ein dynion mawr, ydyw fod genym gynifer o honynt. Mewn gwirionedd, yr ydym oll yn ddynion mawr, neu yn perthyn i ddynion mawr, yr hyn sydd yn well fyth, gan ei fod yn sicrhâu i ni fwy o sylw, heblaw ei fod yn gwneyd gwahaniaeth mawr yn ein hymddangosiad a'n pwysigrwydd personol ni ein hunain. Y mae yn wir fod arwyddion amlwg i'w canfod yn y dyddiau presennol ein bod yn dechreu dyfod i farnu yn wahanol ar y mater hwn, er fod hyny, a chymeryd golwg hunangar ar y pwnc, yr hon wrth gwrs yw yr olwg fwyaf pwysig arno, gan ei bod yr agosaf atom—yn beth i raddau i ofidio o'i herwydd. Fel pwnc o ymresymiad, gan hyny, y mae y mater hwn yn anwrthwynebol, heblaw fod ein profiad hefyd wedi cael allan, fod y dyn sydd yn teimlo felly yn ddyn sydd yn byw ar delerau cysurus iawn âg ef ei hun, yr hyn yn y rhan fwyaf o amgylchiadau sydd yn deimlad hynod o werthfawr. Yr ydym yn cydnabod gyda y gonestrwydd mwyaf fod hwn yn deimlad hapus neillduol i ddyn a ddichon fod heb ddim byd i'w wneyd ond cadw ar delerau da âg ef ei hun, gan fod y cyfryw ddyn yn gyffredin yn credu ei fod wedi ei eni o bwrpas i hyny, a bod llawer o bobl eraill wedi eu geni er mwyn ei gynnorthwyo; ond os dygwydd iddo fod yn barnu yn wahanol am amcan ei fodolaeth, ac mewn canlyniad yn teimlo yn wahanol am fesur ei deilyngdod, fel mater o angenrheidrwydd, y mae graddau ei hapusrwydd yn rhwym o ddyfod yn gwestiwn o natur ammheus. Nid oes dim byd amlycach yn y cyfamser na bod Rhagluniaeth yn barnu yn wahanol iawn i ni ar y pen yma. Ei rheol hi yn

gyffredin ydyw rhoddi *un* dyn mawr i wlad neu genedl ryw unwaith bob can' mlynedd, ac y mae yn dysgwyl i'r gweddill, o leiaf ymfoddloni i fod y peth ydynt, a gwneuthur eu goreu yn ol hyny o allu sydd ganddynt. Y mae yn werth ein hystyriaeth hefyd, a'n myfyrdod heblaw hyny, mai anfynych y mae hi yn anfon ei dyn mawr i'r byd a phrofion ei fawredd wedi eu hysgrifenu yn ei dalcen; ond yn gyffredin mae yn cael yr un manteision a chywion yr estrys—yn cael ei adael, yn ol pob ymddangosiad allanol, i'w dynged ei hunan, ac i ddylanwadau ansicr amser a damwain, i ymladd ei ffordd trwy y byd, ac i ysgwyddo ymlaen trwy y llïaws, gan deimlo mai y neillduolrwydd mwyaf pendant sydd yn perthyn iddo ef ydyw ei *fychander*. Ac heblaw ei fod yn gwbl ymwybodol o hyn fel mater o ffaith, y mae bob amser yn cyflwyno ei hunan i'w feddwl fel mater o deimlad. Er hyny y dynion hyn, dynion yn teimlo am danynt eu hunain eu bod yn fychain, sydd wedi gwneyd pob gwaith pwysig a gyflawnwyd yn ein byd ni trwy yr oesoedd: dynion *mor* fychain fel ag i allu ystyried eu hunain yn ddigon dyddim i gyflawni mân swyddau afrifed, na buasai neb arall yn meddwl am eu cyflawni, yn dychymygu fod eisiau eu gwneuthur, nac yn alluog i weled eu bod wedi eu gwneuthur, hyd yn nôd ar ol eu gorphen. Gwnaeth Mr. Charles lawer o waith felly yn ei ddydd. Yr oedd mor fychan, mor ddihoced a diymhongar, fel nad oedd tybiaeth o'i urddas a'i bwysigrwydd ef ei hunan byth yn gwneuthur caledwaith yn annerbyniol ganddo. Gallasai yn hawdd ddyweyd fel yr apostol Paul—engraifft berffaith o weithgarwch ac ymroddiad cristionogol—nad oedd yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nad gwerthfawr ganddo ei einioes ei hun, os gallai orphen ei yrfa, a'r weinidogaeth a dderbyniasai; os gallai gyflawni yn gydwybodol yr hyn y teimlai ei fod o dan rwymau i ymdrechu ei gyflawni. Nid llwyddo oedd ei amcan ef, ond bod wrthi o hyd yn ceisio gwneyd rhywbeth. Dyna un rheswm mawr ei fod yn y diwedd wedi llwyddo mor hynod. Yr oedd y gwaith yn chwyddo ac yn myned yn fawr o dan ei ddwylaw, ac ar yr un pryd yn gosod mawredd anwadadwy arno yntau oedd yn ei gyflawni. Y mae yn amlwg y gofala hyny o fawredd a fyddo mewn dyn am dano ei hunan, ond rhaid iddo ef yn bersonol ofalu am ei ddyledswydd. Gwerthfawr fyddai ein cael i ddychymygu daioni, ac i ddyfeisio pa fodd i fod yn ddefnyddiol. Beth pe byddai i ni ymdrechu dyfod yn ddigon o faint i fedru dwyn allan ambell lyfryn bychan "pris dimai" i blant? Nid yw llyfr "pris dimai, neu ddwsin am chwe' cheiniog," mewn un modd yn ymddangos yn bwysig nac urddasol fel hysbysiad yn y newyddiadurion; ond er hyny y mae yn un o angenrheidiau mwyaf amlwg y dyddiau hyn. Beth pe y casglai rhai o gyhoeddwyr anturiaethus y dyddiau hyn eu holl ymadfertboedd ynghyd, gan roddi ar lawn-waith holl rym anghymharol eu hagerbeirianau, i edrych a allai eu sefydliadau brofi yn ddigon o maint i ddwyn allan y cyfryw lyfr i blentyn, "pris dimai?" Byddent felly yn gwneyd rhan o'r gwaith mawr a gyflawnwyd gan Mr. Charles. Dylasai fod genym erbyn heddyw filoedd o fân lyfrau yn argraffedig, yn cynnwys amrywiaeth o hanesion, a gwersi difyr ac addysgiadol i blant. Byddai hyn mor debyg o roddi oes y byd i'r iaith Gymraeg â dim a allem wneuthur, trwy feithrin llênyddiaeth a allai gyrhaedd pob tŷ, a chynnyrchu ysbryd darllen a myfyrio yn mynwes pob plentyn. Ond y gwirionedd ydyw nad oes

genym eto offerynau nac arfau priodol at ddysgu plant—nac ond ychydig ymgais yn cael ei wneuthur at gyflenwi y diffyg. Y mae llwyddiant digyffelyb *Trysorfa y Plant* yn profi yn eglur na raid i neb ofni cyhoeddi llênyddiaeth o'r natur yma. Nid oes dadl na thalai yn well nag odid ddim, gan y byddai galw eilwaith am yr un llyfrau o leiaf bob pum' mlynedd. Ond er pob peth yr ydym yn ormod pobl i ymgymeryd â phethau fel hyn—y gwaith yn anad un peth y dylem fod wrtho yn wastadol. Nid oes modd cael neb i ysgrifenu y cyfryw lyfrau, na neb i'w hargraffu pe yr ysgrifenid hwynt. Bendithiol iawn fyddai i ni yn y dyddiau hyn, gael ambell ddyn fel Mr. Charles yn teimlo yn ddigon bychan i dalu sylw neillduol i'r plant, ac i edrych ar y rhan yma o'r gwaith mawr, ar lawer cyfrif y rhan fwyaf pwysig a difrifol. Wedi'r cwbl, y mae holl oes y dynion mwyaf yn cael ei chymeryd i fyny yn gyffredin gan gyfres o bethau sydd yn ymddangos ynddynt eu hunain yn fychain. Nid yw prif helyntion ac amgylchiadau eu bywyd ond bychain a dibwys ynddynt eu hunain. Wrth eu hystyried yn ngoleuni dygwyddiadau a nodwedd neillduol y dyddiau yr oeddynt yn byw ynddynt, y maent bron yn ymddangos yn ganlyniad hollol naturiol oddiwrthynt, fel ag i beri i ni deimlo am lawer un sydd wedi gwneuthur pethau mawrion, y buasai braidd yn anmhosibl iddo ymddwyn yn wahanol. Ni wnaeth Crist ei hunan pan oedd yn y byd hwn *ond byw a marw;* yn unig ei fod wedi gwneyd hyny yn iawn, a chyda difrifwch a gonestrwydd hollol. Dichon pe buasem yn ei ddilyn yn ystod ei wahanol symudiadau am ddeng mlynedd ar hugain, y buasem yn teimlo fod y rhan fwyaf o ddygwyddiadau a gweithredoedd pob diwrnod, ar y cyfan, yn unffurf ac annyddorol. Dyna hefyd ddylai fod uchelgais penaf pob un o honom—dim ond byw a marw. Erbyn y byddwn wedi gorphen hyny bydd ein holl werth gwirioneddol yn y farchnad wedi ei ddwyn allan a'i droi i ryw fantais, neu bydd holl grëadigaeth Duw wedi cael colled ynom, a ninnau wedi ein condemnio fel eiddo twyllodrus ac anonest, yn prisio ein hunain yn rhy uchel, a hwyrach yn arfer cael ein prisio felly gan eraill, er niwed mawr i werth a defnyddioldeb pob nwyddau cywir a didwyll yn yr un farchnadfa. Gall dyn sydd wedi credu am dano ei hunan ei fod yn fawr, deimlo yn dra chysurus wrth fyfyrio ar hyny, ac wrth edmygu mewn synryfeddod a hunanbarchedigaeth addoliadol yr holl wahanol bethau mawrion y mae yn eu canfod ynddo ei hunan; a gall hefyd, hwyrach, lwyddo i gael ardal neu ddwy o fân boblach diniwed i gredu yr un peth am dano; ond yn y diwedd, y peth pwysicaf iddo ef, ac i bawb arall ydyw, nid yr hyn sydd ynddo, ond yr hyn a ddaw allan o hono, ac a gymero ffurf ddefnyddiol ac ymarferol. Y peth mawr iddo ef ydyw gallu chwanegu, pe na byddai ond un hatling fechan at y cyfalaf anmhrisiadwy sydd gan Ragluniaeth eisoes yn troi yn marchnad y byd, —nid marchnad moethau nac addurniadau, ond marchnad llafur, llafur caled difrifol, ac ymladdfa law-law, ddydd a nos yn ddibaid, ddiorphwys, yn erbyn annhrefn, anwybodaeth, ac anfoesoldeb.

Y mae yn debyg na thybia neb am fynyd ein bod yn dadleu nad oedd Mr. Charles yn ddyn mawr, yn unig ein bod yn golygu mai ei weithgarwch oedd yn ymddangos amlycaf, ac yn tynu mwyaf o sylw y pryd hwnw. Trwy hyny y dygwyd ei enaid i afael âg anhawsderau, yr hyn yn y diwedd a fu yn foddion i ddwyn ei fawredd a'i hynodrwydd personol

i'r golwg. Yr ydym yn gwybod hefyd fod llawer yn y dyddiau hyny heb ddeall ei fod yn ddyn mawr, ond yn gorfod cydnabod ei fod yn ddyn da,—canmoliaeth na roddir yn gyffredin ond ychydig o bris arni mewn cyferbyniad i'r llall. Nid oedd nifer y gynnulleidfa yn yr odfa a gynnelid ganddo yn nghapel y Bala bob nos Wener ond pur ychydig—doethineb boblogaidd yn barnu nad oedd yn ddyddorol, a bod ei ddawn "yn debyg i ddawn Robert Griffith, Dolgellau," pechod ag yr ydym yn hollol analluog i amgyffred yn brïodol erchylldra ac anferthwch ei gynnwys, ac o ganlyniad, fawredd ac ofnadwyaeth yr euogrwydd a ddichon fod yn canlyn oddiwrtho. Ar yr un pryd, byddai y rhai a ofalent yn gyson am fod yn y cyfarfodydd hyny, yn teimlo eu bod yn cael eu talu yn dda, a bod gwrandawiad astud i'r sylwadau oedd yn cael eu gwneuthur yn ateb dyben rhagorol. Mae bywgraphwyr Mr. Charles yn gallu dyweyd wrthym nifer yr odfeuon llwyddiannus, grymus, effeithiol, a gafodd, pan yr oedd mewn modd diammheuol yn cael ei nodi allan fel Saul mab Cis, o fysg ei holl frodyr; ond nid oes ganddynt un math o amcan o werth a maint y gwaith a gyflawnwyd ganddo. Gwaith, gwaith, gwaith, o foreu hyd hwyr, oedd ei holl fywyd ef drwyddo. Nid oes ammheuaeth na fuasai wedi aros yn yr Eglwys Sefydledig pe cawsai rywbeth i'w wneyd ganddi. Chwi, awdurdodau goruchel yr Eglwys Gyffredinol, a ellwch chwi roddi hanes gwaith i mi yn rhywle? Yr ydych mewn modd grasol a gostyngedig iawn yn cymeryd achos ac anghenion ysbrydol y boblogaeth o dan eich gofal; ai nid oes genych olwg ar ddim byd i mi i'w wneuthur? Yn Llanymawddwy, neu yn Sir Amwythig, neu yn Ngwlad yr Hâf,—nid yw o un gwahaniaeth, os câf rywbeth i'w wneyd genych yn lle bod yn segur. A ellwch chwi roddi hanes gwaith, pe na baech yn yr eithaf byth yn sôn gair am y cyflog? Mi a gerddaf bob cam i Lanymawddwy, neu Lanwddyn, neu Sir Amwythig, os rhoddwch ganiatâd i mi geisio gwneyd rhywbeth. Gwrthododd awdurdodau goruchel yr Eglwys Gyffredinol roddi dim gwaith iddo, a chyflogodd Rhagluniaeth ef heb fynyd o betrusder. Os nad oedd gan yr Eglwys Gyffredinol ddim byd neillduol eisieu ei wneyd y pryd hwnw yn Nghymru, a Lloegr, a'r Alban, a'r Iwerddon, a'r byd, yr oedd gan Rywun arall waith mawr eisieu ei gyflawni. A chlywodd Mr. Charles lais yn dyweyd wrtho, "Dos, gweithia. Os ydyw awdurdodau goruchel yr Eglwys Gyffredinol yn barnu mai maes eu llafur penodol hwy ydyw bwyta y breision ac yfed y melusion, rhoddaf ar ddeall iddynt cyn pen can' mlynedd, mai nid pechod ysgafn ydyw cadw gweithiwr yn segur. Yn lle bod yn dawnsio o gwmpas yr awdurdodau goruchel i ddysgwyl am rywbeth i'w wneuthur, y mae Cymru o'th flaen, a'r byd o'th flaen, ac y mae genyt naw mlynedd ar hugain o amser o'th flaen—dim ond naw mlynedd ar hugain!"

Y mae yn anghredadwy swm y gwaith y llwyddodd Mr. Charles mewn oes mor fèr i'w gyflawni. Y mae llawer yn cael ei ddyweyd ar hyn yn hanes ei fywyd, ond nid yw yn ddïau yn cynnwys cymaint a chrybwylliad am y ganfed ran o'r cwbl a wnaethpwyd ganddo. Gallai fod yn fuddiol galw sylw at rai o wahanol ranau y peirianwaith syml, ond grymus ac effeithiol iawn, oedd ganddo yn dwyn y gwaith ymlaen yn Nghymru yn unig.

I. Ysgolion Cylchynol. Ychydig erbyn heddyw y mae neb yn ei

wybod yn fanwl am y ysgolion hyn, heblaw yn unig fod ganddo ryw drefn i symud yr athrawon o'r naill ardal i'r llall, ac i wneuthur y defnydd goreu o honynt yn ystod eu harosiad ymhob cymydogaeth, er llês tymmorol ac ysbrydol y trigolion. Yr oedd yn dewis ei athrawon o fysg pob dosbarth, a llawer o honynt ymhell iawn oddiwrth fod eu hunain yn ddysgedig, ond er hyny yn awyddus i wneyd eu goreu, ac yn gwneuthur eu goreu bob amser hyd eithaf eu gallu. Yr oedd merched yn cael eu defnyddio ganddo yn gyffredin yn y gwasanaeth hwn, a llawer o honynt yn profi yn ddefnyddiol a gwasanaethgar iawn. Y mae yn amlwg hefyd mai y Bibl oedd y prif lyfr a ddefnyddid yn yr ysgolion hyn. Gallai fod yn fendithiol iawn i Ymneillduwyr zelog, goleuedig, egwyddorol, cydwybodol, rhyddfrydig, ac felly yn y blaen, *ad infinitum*,—gallai fod yn llês mawr iddynt sefyll yn ystyriol uwch ben y mater yma, yn enwedig y dosbarth hwnw o honynt sydd yn teimlo yn wresog iawn o blaid "*addysg*," ond heb erioed fe allai gymeryd y drafferth o wneuthur iddynt eu hunain ddarnodiad têg a chyflawn o gynnwys y gair. Yn ffodus i effeithioldeb ysgolion cylchynol Mr. Charles, nid oedd ond ychydig lyfrau i'w cael y pryd hwnw ond y Bibl, ac yn fwy ffodus fyth, yr oedd hwnw yn dygwydd bod y llyfr goreu y gallasai yntau yn y dyddiau annedwydd hyny osod ei ddwylaw arno. Nid yw yn ymddangos chwaith fod Mr. Charles wedi teimlo dim drwgdybiaeth neillduol tuag at y llyfr hwnw, ac na ddarfu iddo, yn niniweidrwydd ei galon, erioed ddychymygu ei fod yn llyfr peryglus i'w ddefnyddio yn yr ysgolion dyddiol. O leiaf, y mae yn ymddangos ei fod yn credu, fel ambell un mwy dwl a phendew na chyffredin yn y dyddiau hyn, fod ei absennoldeb yn llawer mwy peryglus na'i bresennoldeb; a chan nad oedd Cyngreiriau Addysg yn bethau adnabyddus yn y dyddiau hyny, ac felly nad oedd *peidio* ei ddysgu wedi cael ei gydnabod fel un o nodau pendant Protestant a Christion, ni theimlodd yntau fod un angenrheidrwydd neillduol am ei adael allan. Y mae yn wir mai efe ei hunan oedd yn talu am yr addysg a gyfrenid yn yr ysgolion hyn; ond nid yw hyny yn profi dim ond yn unig, os bydd dyn yn teimlo fod unrhyw beth, trwy ymdrech mawr yn werth talu yn llawn am dano, y rhaid ei fod hefyd yr un mor werthfawr i'w gael am ddim neu am hanner y pris. Y mae yn ddigon hawdd dadleu yn alluog a doniol yn y dyddiau hyn dros gau y Bibl allan o'r ysgolion, ac yn ddigon hawdd perswadio llawer o bobl fod egwyddorion tragywyddol, ac elfenau hanfodol cyfiawnder diwrthdro yn galw am hyny, ac mewn canlyniad gasglu ynghyd gyfarfodydd mawrion poblogaidd, yn Birmingham, a lleoedd eraill, i geisio chwythu ychydig o fywyd i egwyddorion tragywyddol—y mae hyn oll yn ddigon hawdd; ond nid peth mor hawdd ydyw tynu i lawr *addysg* y boblogaeth i ddim ond mater o gyfiawnder masnachol, ac esbonio pob anhawsder sydd yn perthyn iddo gyda y cwestiwn pwy sydd i dalu. Y mae profiad ein cenedl ni ar y pen yma yn hynod o glir a diamwys. Ni theimlodd Mr. Charles ddim anhawsdra o gwbl gyda hyn, ac y mae yn bur sicr fod ei athrawon ef yn llawer mwy annysgedig, ac analluog i esbonio y Bibl, na'r rhan fwyaf o athrawon trwyddedig y dyddiau presennol. Y mae perygl i ni, wrth ymorchestu yn barhäus i'r frwydr, mewn rhyfyg ac anystyriaeth, a chyda theimlad o hunanhyder afresymol, roddi y tir uchaf i'r gelynion i sefyll arno, heb fod ganddynt mewn gwirionedd

ddim yn agos gymaint o hawl iddo a ni ein hunain. Gwerthfawr iawn yn ddiddadl fyddai ein cael i sefyll uwch ben y mater hwn yn dêg a rhesymol. Ni fu erioed yn Nghymru er marwolaeth Mr. Charles gynifer o bobl yn gwybod càn lleied am y Bibl ag sydd ynddi yn bresennol. Yr oedd y rhan fwyaf o grefyddwyr ei amser ef, a dyweyd y lleiaf, wedi myned o dan ryw fath o addysg Fiblaidd, led effeithiol hefyd; ond y mae llawer yn bresennol heb erioed gael hyny, er y dichon eu bod wedi eu magu yn yr eglwys, a hwyrach wedi bod yn aelodau yn yr Ysgol Sabbothol. Yr ydym yn cael profion adnewyddol yn barhäus fod yn bosibl i ddyn fyned trwy holl ddosbarthiadau yr Ysgol Sabbothol, o'i "lyfr corn," hyd nes y byddo wedi myned "i'w Fibl," heb ddysgu bron ddim yn y diwedd, ac heb gyrhaedd unrhyw dir uwch mewn gallu a gwybodaeth, na'i wneuthur yn fater o syndod mawr fod yn bosibl i neb ymdderu am flynyddoedd â chymaint o fanteision, ac ar ol hyny fod yn gwybod càn lleied.

II. Yr Ysgolion Sabbothol. "Bod yr enaid heb wybodaeth nid yw dda"—dyna oedd yr erthygl gyntaf yn nghredo Mr. Charles; ac arferai yr ymadrodd uchod, os nad ydym yn camgymeryd, ymddangos ar wyneb-ddalen yr argraffiadau cyntaf o'i lyfrau. Dyna oedd amcan mawr ei fywyd, rhoddi gwybodaeth i'r enaid; ac ni chollodd olwg ar hyny am gymaint a diwrnod. Yr oedd yn anmhosibl dyfeisio cynllun mwy naturiol, ac ar yr un pryd, mwy pwrpasol i anghenion y dyddiau hyny na'r Ysgol Sabbothol, a gobeithio na welir byth genhedlaeth o bobl yn byw yn Nghymru yn ystyried ei bod yn anmhwrpasol mewn unrhyw amseroedd. Nid oedd dim y buasai yn fwy naturiol i ddyn yn teimlo awydd angherddol am gyflawni gwaith, ac am roddi gwaith i eraill, na meddwl am y cynllun syml o gael y bobl ynghyd ar y Sabbothau i ddarllen y Bibl. Gwahoddid y rhai nas gallent ddarllen yno i wrando. Llyfr Duw ydyw y llyfr, a gall wneyd llês i chwi glywed ei eiriau. Bob yn ychydig yr oedd y gwrandäwyr hyn yn dyfod i deimlo dyddordeb mawr yn yr hyn oedd yn myned ymlaen, a dywedir, os na allai llawer o honynt esbonio adnodau y Bibl, y gallent eu *gweddïo* gyda nerth ac eglurder mawr. Yr oedd rhoddi gwaith i lawer o ddwylaw yn nodwedd neillduol yn holl drefniadau Mr. Charles. Dyna un rheswm pwysig dros fod holl aelodau eglwysig yr oes hono yn Fethodistiaid mor drwyadl, am eu bod yn cael eu gosod mewn gwaith hyd y byddai yn bosibl. Yn wir, yr oedd llawer heb fod yn aelodau eglwysig yn dwyn mawr zêl dros yr enwad, am eu bod yn cael eu harwain, trwy ryw foddion neu gilydd, i deimlo dyddordeb yn ei amgylchiadau. Y mae genym ni yn y dyddiau presennol lawer iawn o aelodau o ysbryd gweithgar a diddiogi, y byddai yn fendith fawr iddynt hwy, ac yn llawer o gysur a heddwch i eraill, pe y gellid eu gosod mewn gwaith. Gan y dosbarth uniawngred, cyfansoddiadol o honom, y maent, fel rheol, yn cael eu hystyried yn bobl beryglus; gan eu bod yn cael eu gorfodi i dreulio y rhan fwyaf o'u hoes ar y meinciau gwrthwynebol. Dylid cofio fod yn hollol naturiol i ddynion sydd eu hunain yn llawn ysbryd gwaith, yn enwedig os gadewir hwy yn segur, fyned i feirniadu yn bur fanwl a llym ar bawb arall sydd yn gweithio. Pe y caent eu hunain ddigon i'w wneyd, byddai eu beirniadaeth yn fwy têg, a'u syniadau yn fwy cymedrol ar lawer o bethau, heblaw y byddent hwy a'u teuluoedd yn cael eu rhwymo wrth yr enwad,

ac yn dyfod i deimlo fod perthynas neillduol rhyngddynt âg ef. Yn y cyfamser, dylid bod yn ofalus iawn rhag nodi y bobl hyn allan fel gwrthryfelwyr, ac yn enwedig eu hystyried, yn ddieithriad, cyn erioed eu hadnabod yn iawn, na chymeryd amser i'w hastudio, na thrafferth i'w deall, yn ddosbarth o bobl sydd yn ddiffygiol mewn crefydd a duwioldeb. Nid anmhosibl ydyw suro eu hysbryd, a chamddeall eu hamcanion, a thrwy ymddwyn atynt fel gwrthryfelwyr, o'r diwedd, eu hargyhoeddi hwy eu hunain mai gwrthryfelwyr ydynt.

Cwestiwn o bwys mawr yn y dyddiau presennol ydyw effeithioldeb yr Ysgol Sabbothol. Nid ei nifer, mewn aelodau nac athrawon, nac amledd ei chyfarfodydd dau-fisol, na'i chymanfaoedd blynyddol, na lliosogrwydd ei phleserdeithiau gyda y gerbydres, na'i chyfarfodydd tê, na'i chyfarfodydd cerddorol; ond ei heffeithioldeb fel moddion syml i gyfranu addysg grefyddol, a gwybodaeth o'r Bibl; i gynnyrchu awydd darllen yn yr ieuenctyd, ac i feithrin arferion da, tirion, caredig, yn y plant. Byddai yr hen bobl, os nad ydym yn camgymeryd, yn dysgu plant yr Ysgol Sabbothol i fod yn ofalus am eu ceiniogau, i ddyweyd y gwir, i ufuddhâu i'w rhïeni, i barchu hen bobl, ac i fod yn dirion wrth grëaduriaid direswm. Os na chymerir mantais gyffelyb ar y sefydliad gwerthfawr hwn yn y dyddiau hyn, yr ydym yn sicr yn gollwng ein gafael o erfyn pwrpasol iawn, a wnaeth ddaioni dirfawr yn amser ein tadau. Ai gormod fyddai gobeithio fod yn mwriadau Rhagluniaeth, rywbryd cyn hir, ein bendithio âg apostol i'r Ysgol Sabbothol—dyn wedi ei ddwyn i deimlo mai cenadwri fawr ei fywyd ydyw dal i fyny lusern gwybodaeth ysgrythyrol o flaen y bobl? Byddai yn bosibl, yn ddiammheu i'r Cyfarfod Misol benodi swyddog ar gyfer y gwaith hwn, ond prin y gellid barnu y gwnai hyny y tro. Llawer gwell fyddai iddo ef ei hunan gymeryd ei genad, ac ymaflyd yn ddiseremoni yn y gwaith. Nid anmhosibl fyddai i ddyn wedi ymroddi yn hollol i hyn, adnabod, mewn amser, yn bersonol, y rhan fwyaf o athrawon yr Ysgol Sabbothol yn Ngogledd Cymru. Lawer adeg o'r flwyddyn, gallai gynnal amryw gyfarfodydd bob wythnos gyda yr athrawon—cyfarfodydd i ddarllen, i weddïo, neu i ymgynghori. Gallai olygu cyhoeddiad bychan, yn cael ei ddwyn allan at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol, a llanw diffyg ag sydd yn bresennol yn rhwym o fod yn bwysig. Pa ddiolch bynag a dderbyniai dyn a lafuriai felly yn ystod ei fywyd, y mae yn ddiddadl y gwnai lês mawr, ac y llwyddai mewn amser i godi yr Ysgol Sabbothol i dir mor uchel, fel ag i wneuthur ei dylanwad yn fwy ar y wlad nag y gellid tybio ei bod un amser wedi bod yn ei feddu o'r dechreuad hyd yma.

III. Gwasg grefyddol. Nid ydym yn proffesu ein bod yn gwybod beth oedd natur y cysylltiad a fodolai rhwng y diweddar Mr. Saunderson â Mr. Charles; ond yr ydym yn cael lle i dybied fod rhyw fath o ddealltwriaeth rhyngddynt, ac mai Mr. Charles a fu yn offeryn i'w gael i breswylio yn y Bala. Y mae yn fwy na thebyg y buasem heddyw yn amddifad o lawer o lyfrau gwerthfawr, ac yn eu plith lyfrau Mr. Charles ei hun, oni bae fod yr argraffdŷ hwn wedi ei agor yn yr adeg hono. Yr oedd Mr. Charles yn deall yn burion y byddai sefydlu gwasg mewn lle cyfleus yn gynnorthwy dirfawr iddo ef gario allan ei wahanol amcanion, ac y mae yn wybyddus ei fod wedi gwneuthur defnydd helaeth o honi. Gwerthwyd o'r *Geiriadur* fwy nag odid un llyfr arall a argraffwyd yn yr

iaith o'r dyddiau hyny hyd heddyw. Ac y mae yn angenrheidiol i ni gofio ei fod yn llyfr drud y pryd hwnw, a bod yr arian yn brin yn y wlad. Felly hefyd y gellir dyweyd am y rhan fwyaf o'r llyfrau a gyhoeddwyd yn yr oes hono, yr oeddynt yn talu eu ffordd hyd yn nôd fel anturiaethau masnachol. Yr oedd William Williams, yn ychwanegol at y llês yr oedd yn ei wneuthur trwy ei ysgrifeniadau, yn llwyddo hefyd i wneyd peth elw arianol o honynt. Y mae hyn yn profi fod y wlad wedi ei deffro i ryw raddau i deimlo ei hangen am wybodaeth, a bod ymdrech mawr yn cael ei wneyd gan y tadau i gyflenwi yr angen hwnw. Dichon "Llyfrfa" i'r Corff fod yn gynllun digon doeth a rhesymol; ond y mae yn rhaid cael rhywbeth heblaw hyny; y mae yn rhaid meithrin trwy bob moddion, ysbryd llafurio a darllen; ac y mae yn sicr pe buasai hyn wedi cael ei wneuthur trwy y blynyddoedd, y buasai Llyfrfa enwadol yn llai angenrheidiol, gan y buasai y wasg Gymreig wedi gwneuthur llawer mwy o wasanaeth i grefydd nag y mae, hyd yn nôd eisoes, wedi ei wneuthur.

IV. Bugeiliaeth Eglwysig. Nid pawb, fe allai, sydd yn barod i gydnabod, ac y mae yn dra thebyg mai ychydig iawn sydd yn barod i gydnabod, fod Mr. Charles wedi sefydlu Bugeiliaeth Eglwysig braidd ymhob ardal trwy y wlad, yn unig ei fod ef yn arfer galw angelion ei eglwysi yn flaenoriaid, enw, yn wir, sydd, ar y cyfan, yn llawn mwy dymunol, heblaw ei fod hefyd yn gynnwysfawr ac awgrymiadol iawn. Yr hyn sydd yn bwysig ydyw ein cael ni i gredu fod bugeiliaeth yn bod yn y wlad hon o'r dechreuad, a hyny i raddau llawer iawn mwy cyffredinol nag y mae yn bresennol. Yr oedd yr hen flaenoriaid yn bugeilio yr eglwysi mewn gwirionedd. Y mae y *blaenor* Methodistaidd yn engraifft o weithgarwch ac yn elfen o ddefnyddioldeb nad yw hanes eglwys Crist mewn unrhyw wlad wedi cyflwyno hyd yma ddim byd y gellir ei ystyried yn gymaint ag esiampl o beth tebyg iddo. Clywir ambell *ddïacon* yn y dyddiau hyn—nid blaenor, cofier, ond dïacon; desgrifiad newydd o swyddog, a bron rywogaeth newydd o gristion—clywir *ef* yn cwyno nad oes "dim pregethwyr" yn yr oes hon. *Yr oedd* yr hen flaenoriaid yn ddïaconiaid. Byddai Mr. Lloyd, Plâs-yn-dref, yn arfer dyweyd wrthynt beunydd mai ystyr y gair dïacon oedd "gwas trwy'r llŵch," ac y mae genym bob sicrwydd mai anfynych y byddent hwythau yn anghofio hyny. Y mae un peth yn ddigon sicr, y byddent yn myned trwy lawer o anhawsderau mwy sylweddol na llŵch, os deallant fod gwaith eisieu ei gyflawni. Yr oeddynt yn yr ystyr helaethaf a mwyaf llythyrenol wedi eu gosod yn fugeiliaid ac yn athrawon. Er prawf o hyn, ni raid i ni ond edrych ar yr awdurdod diderfyn, ymron, sydd yn nwylaw y blaenor Methodistaidd hyd heddyw. Y mae hyn yn dangos yn amlwg mai y blaenor oedd y gallu mwyaf pwysig o lawer yn nghyfansoddiad y Corff y pryd hwnw fel yn bresennol; ac y mae hanesiaeth yn rhoddi ar ddeall mai arno ef y disgynai yn fwyaf neillduol gyflawniad cyson a rheolaidd y gwaith o ddysgu, goleuo, a hyfforddi y wlad. Y mae yr awdurdod sydd yn meddiant y blaenor hyd y dydd hwn, ar unwaith yn cymeryd yn ganiatäol mai efe yw y dyn callaf, doethaf, mwyaf dysgedig, a mwyaf duwiol, yn yr eglwys neillduol y mae yn perthyn iddi. Y mae y gallu i wneyd llês cyffredinol i'r eglwysi yn nwylaw y blaenoriaid; nid oes gan y preg-

ethwr ddim tir o gwbl o dan ei draed ond hyny o ddylanwad a ennillo, ac y mae yn rhaid iddo ennill hwnw yn gyffredin o dan lawer iawn o anfanteision. Y mae o bwys dirfawr gan hyny i'r gallu mawr hwn sydd yn nwylaw y blaenoriaid, gael ei droi bob amser i'r fantais oreu er llês y cyfundeb, gan fod genym eisoes ddigon o brofion eu bod hwy yn alluog i sicrhâu llwyddiant uniongyrchol unrhyw waith da yr ymaflant o ddifrif ynddo. Dealler na ddymunem byth weled y blaenor Methodistaidd wedi dirywio i ddim byd ond dïacon, nac ychwaith ein bod yn dadleu am ychwaneg o awdurdod i'r pregethwyr. Yr ydym yn credu fod yn well o lawer iddynt fod heb ddim awdurdod; ond yn unig dymunem weled y dosbarth hwnw o'n swyddogaeth grefyddol sydd yn perchen yr awdurdod, yn estyn eu hamddiffyniad, a'u nodded, a'u cefnogaeth fwyaf gwresog i'r dosbarth arall sydd erbyn hyn yn ddinodded, ac yn dibynu bron yn hollol ar eu cydweithrediad hwy, nid yn unig am fodd i ymgynnal yn y gwaith, ond hefyd am lwyddiant ar eu llafur a'u hymdrechion gyda y gwaith.

Yr ydym yn awr wedi cymeryd brâs-olwg ar y moddion a'r offerynau yr oedd Mr. Charles yn eu defnyddio er mwyn symud ymlaen. Yn ychwanegol at yr holl bethau hyn, y mae yn rhaid cymeryd i ystyriaeth werth mawr ei arolygiaeth bersonol ef ei hunan; y cymhwysder oedd ynddo i gario dylanwad cyffredinol ar y wlad, a'i adnabyddiaeth o lawer o fawrion a phendefigion Lloegr, trwy ddwylaw y rhai y llwyddodd i gael cannoedd lawer o bunnau at gario y gwaith ymlaen. Ysgrifenodd filoedd o lythyrau at bersonau unigol, ac y mae braidd bob un o honynt sydd ar gael yn cynnwys cyfeiriad neu annogaeth at ryw waith neu gilydd y buasai yn fuddiol ei gyflawni. Nid oedd odid ddyn yn yr holl deyrnas, yn y dyddiau hyny, ag a fyddai yn ceisio gwneyd rhyw ddaioni, nad oedd Mr. Charles yn gwybod am dano, ac yn ei gynnorthwyo yn ei ymdrechion; ac yn gyffredin iawn byddai ei ran ef yn bur helaeth. Yr oedd ganddo law yn sefydliad Cymdeithas Genadol Llundain, Cymdeithas y Biblau, Cymdeithas y Traethodau, a Chymdeithas yr Ysgolion Sabbothol. Yr oedd y ddwy gymdeithas ddiweddaf a enwyd yn hollol Seisonig o ran eu hamcanion, ar y cyntaf; ond dylanwadodd Mr. Charles arnynt i gyhoeddi a lledaenu llawer o lyfrau gwerthfawr yn yr iaith Gymraeg. Er dwyn oddiamgylch yr amrywiol bethau hyn, y mae yn anhawdd dychymygu maint ei lafur. Ychydig yn ddiammheu sydd yn gwybod erbyn hyn am y gwaith mawr a wnaed ganddo yn Ucheldiroedd Scotland; prin yr oedd yn ail i ddim ond a wnaed yn Nghymru. Heblaw hyny, bu ar daith yn yr Iwerddon, a bu yn foddion i ledaenu yno gannoedd lawer o Fiblau; ac nid oes ond yn unig oleuni y dydd mawr a ddengys faint y daioni a effeithiwyd trwy hyny.

Ynghanol ei holl lafur dybryd, ei drafferthion blinion, ei brofedigaethau chwerwon, ei lesgedd cyffredin mewn iechyd corfforol, ac yn ychwanegol at y cwbl, yr erlidigaethau chwerwon a gyfodwyd yn ei erbyn lawer pryd—peryglon oddiwrth werin anwybodus, a pheryglon mwy fyth oddiwrth frodyr gau,—y mae yn sŷn canfod yr iechyd a'r sirioldeb cysurus oedd yn ei feddwl a'i ysbryd yn barhäus. Nid oes hanes am dano ef yn ymladd â neb. Ni chyfododd erioed mewn cyfarfod misol i ateb neb. Pan ddygwyddai ambell frawd, yn meddu mwy o awydd am gyfleusdra i siarad nag i gymeryd ei ddysgu, wrthwynebu

unrhyw beth a ddywedid neu a gynnygid ganddo, ni fyddai byth yn codi i'w ateb trwy ail siarad ar yr un peth; yr unig sylw a wnai fyddai ymgrymiad moesgar ar ei ben yn nghyfeiriad y brawd hwnw. Yr oedd yn gwneuthur hyny hefyd nid mewn dull uchelfrydig a ffroenuchel; ond mewn dull tawel, deniadol, a charedig iawn. Cystal a dyweyd wrtho, Pob rhyddid i chwi frawd i ddyweyd eich meddwl ar y mater, ond nid wyf fi, er hyny, yn gweled fod eisieu chwanegu dim at yr hyn a ddywedais o'r blaen, llawer llai dy̆nu dim oddiwrtho. Nid yw yn ymddangos ychwaith y byddai yn treulio ond ychydig iawn o amser yn y cyfarfodydd misol, a'r cymdeithasfäoedd, i annog i ymdrech gyda y gwahanol gynlluniau a fyddai ganddo mewn llaw ar y pryd, na byth yn ymostwng i ddadleu eu rhesymoldeb, ac i ddal i fyny eu cymhwysder fel moddion i gyrhaedd yr amcanion mewn golwg; eithr bob amser byddai yn cymeryd y naill a'r llall o'r pethau hyn yn ganiatäol, a chyda ffydd ddiysgog yn eu llwyddiant diweddol, yn cynghori pawb i wneyd eu goreu gyda hwynt. Gellid barnu mai ceidwadwr yr oedd ef yn ystyried ei hunan braidd ymhob peth; ac er hyny, nid oedd neb mwy rhyddfrydig nag ef trwy yr holl wlad. Yr oedd ymhob amgylchiadau yn llawn addfwynder a chymedroldeb. Yr oedd hyn hefyd yn fantais fawr tuag at gario pethau ymlaen yn y dyddiau hyny; ei fod yn ddyn hollol glir oddiwrth bob peth a allasai ymddangos yn benboethni eithafol. Nid oes dim yn profi hyn yn fwy amlwg na'r parch mawr a delid iddo gan lawer o aelodau callaf yr Eglwys Wladol. Ymhen pymtheng mlynedd ar ol iddo ymneillduo o'r eglwys, yr ydym yn cael hanes am dano yn cael ei benodi i ranu arian, a godwyd yn Lloegr, gan nifer o foneddigion haelfrydig, tuag at gynnorthwyo personiaid a churadiaid tlodion yn Nghymru. Y mae hyn ynddo ei hunan yn dangos pa fath ddyn oedd Mr. Charles, ac yn amlygu yr ysbryd ardderchog oedd yn ei lywodraethu.

Y mae yn sy̆n meddwl mor ychydig yr ydym wedi ei ddysgu yn uniongyrchol oddiwrth Mr. Charles. Y mae yn ddiammheu yr addefa pawb fod dylanwad Mr. Elias i'w ganfod arnom fel enwad, hyd heddyw, yn fwy na dylanwad Mr. Charles, er nad oes dim cymhariaeth o gwbl rhwng y naill a'r llall. Yr oedd y naill wedi ei godi a'i gymhwyso i osod argraff bresennol ar un oes neu ddwy o bobl mewn gwlad fechan anadnabyddus, a'r llall wedi ei gymhwyso i osod argraff arosol ar y byd mawr yn gyffredinol. Nid ydym ar un cyfrif yn dyweyd dim yn ddiystyr am Mr. Elias, dim ond yn unig alw sylw at y gwahaniaeth mawr rhyngddo a Mr. Charles. Y maent yn perthyn i ddau ddosbarth gwahanol o ddynion mawr, nad yw mewn un modd yn weddus nac yn dêg eu cymharu â'u gilydd. Yr hyn yr ydym yn ceisio ei ddangos ydyw ein bod yn efelychu llawer mwy ar Mr. Elias nag ar Mr. Charles, a bod ei ddylanwad yn llawer mwy amlwg arnom yn ein holl ysgogiadau. Y rheswm dros hyn yn ddiammheu ydyw fod Mr. Elias yn ddyn poblogaidd iawn, a bod poblogrwydd yn rhywbeth pur ddymunol i'r pregethwyr i ymestyn ato, ac hefyd yn beth rhad a didrafferth iawn i'r eglwysi i'w gefnogi; tra y mae dyn gweithgar yn ddyn sydd yn y cyffredin yn "blino Israel" trwy fod yn eu cymhell yn barhäus i fod yn ymdrechgar a llafurus. Y canlyniad ydyw ein bod fel enwad, ac yn wir fel cenedl, wedi myned i roddi mwy o bwys ar gael ychydig bersonau i bregethu yn

dda, yn rymus, ac yn effeithiol, nag ar gael y lliaws i ddysgu, i ddeall, ac i wrando yn dda. Yr ydym ni ein hunain wedi creu llawer o'r anhawsderau yr ydym yn gorfod ymladd yn eu herbyn yn y dyddiau hyn, trwy osod y pregethwr o flaen y dysgawdwr, yr areithydd o flaen yr athraw, a'r ymadroddwr hyawdl a phoblogaidd o flaen y gweithiwr dystaw, dirodres, sydd mewn gafael dyddiol â rhagfarnau, anwybodaeth, a mympwyon y boblogaeth. Y mae uchelgais yr ieuenctyd yn cael ei droi i gyfeiriad twyllodrus, a chefnogaeth a chymeradwyaeth yr henafgwyr i bob peth sydd yn boblogaidd, ac yn ymddangos yn ddïogel, yn tueddu i'w camarwain yn anocheladwy. Nid poblogrwydd Mr. Charles mewn un modd oedd ei neillduolrwydd. Byddai yn lled boblogaidd weithiau, am ryw wythnos neu ddwy; ond fel rheol, gellir ei ystyried yn ddyn hynod anmhoblogaidd. Dilynid wythnos o boblogrwydd yn gyffredin gan flwyddyn neu ddwy, neu ragor, o fyw yn y cysgod, ac o ymdrechu a gweithio caled o dan anfanteision, ac yn ngwyneb anghefnogaeth dirfawr. Nid rhyfedd, gan hyny, ein bod mor hir yn dyfod i deimlo mai efe ydyw y dyn mwyaf teilwng o gael ei ddilyn a'i efelychu genym yn ein holl amcanion a'n symudiadau gyda yr achos mawr. Gwerthfawr yn wir ydyw canfod cymaint o ysbryd Mr. Elias yn ein cyfarfodydd cyhoeddus a'n cymanfäoedd; ond mwy gwerthfawr fyth fyddai cael ysbryd Mr. Charles yn ein cynnadleddau—dawn, a gallu, ac uchelgais diddiwedd am gario holl ranau y gwaith ymlaen gyda deheurwydd ac effeithioldeb, ymhob cŵr o derfynau y cyfundeb.

Pan yr oedd y gôf-golofn yn cael ei dadorchuddio, yr oedd un hen chwaer ymysg y dyrfa, yn codi ei dwylaw tua'r nef, ac yn dywedyd,—"Yr anwyl fo'n gwarchod! dyma ni o'r diwedd wedi myned yn Babyddion i addoli delwau!" Gobeithiwn fod prophwydoliaeth y chwaer uchod yn gywir mewn rhan. Yr ydym yn dymuno hyn yn fwy hyderus am ein bod yn sicr nad oes ond ychydig berygl i *ni* fyned yn Babyddion yn anad dim pobl yn y byd. Yr ydym yn llawer tebycach o fyned yn baganiaid nag yn Babyddion, ac nis gwyddom am ddim gwell er ein cadw rhag hyny na'n cael i *addoli* mwy ar Mr. Charles. Casgler holl weithwyr a llafurwyr Cristionogol Cymru i benlinio o amgylch ei fedd, a chasgler holl blant yr ysgolion Sabbothol i floeddio a llawenychu o gwmpas ei gôf-golofn.

# CYWYDD BERWYN.

*GAN CYNDDELW.*

BERWYN dêg wyneb araul,
Gwesttŷ llòn, neu gastell haul;
Tŵr y moeldes, tŷ 'r maldod,
Llawn ỳni byw, llona 'n bod,
A nef wèn dêg fy nau daid,
A nifer o'm henafiaid;
Sil bur ceseiliau Berwyn
O ddir hawl oedd y rhai hyn;
Dyddan fugeiliaid oeddynt,
Mal y llòn drigolion gynt;
Rhai digrif, heinif ar hynt,
I'w dydd diwaid oeddynt;
Hen oeswyr, diflanasant
I fòl nos fel ewyn nant.
  Ond Berwyn goryn digêl,
Yn iachus a phen uchel,
Sydd yn dalwyn Ferwyn fyth;
E drig ef yn dragyfyth,
Yn awel uchel iechyd
Y llŷs ban holl oesau byd;
Ei eirioes ben aros bydd
Acw 'n ieuanc a newydd;
Wyrf hâf, oer auaf hefyd,
O ran hoen yr un o hyd;
Cyd a byth y cwyd ei ben
Er hyf ofwy 'r ffurfafen.
  Mae'th ben gwỳn, Ferwyn fawrwyllt,
Mor uthr a mawr a threm wyllt;
Berwyn hen, ai barwn wyd?
Arswyddawl y'th orseddwyd,
Yn hydr ynad ar Wynedd,
Neu Bowys hael benes·hêdd.
  Pan fo tirion hinon hâf
Terwyni fodd tirionaf,
A graid tês yw y gwrîd tau
Der addurn ar dy ruddiau;
Ar dy ael gordawelwch,
Hofia uwchlaw afiach lŵch,

Aml ddyffryn dan dorwyn darth
A cheugwm ac erch ogarth.
Wyt hafdŷ hundŷ hoendeg,
Breninllwyth y Tylwyth Têg;
Teulu hêdd mewn tawel hîn,
Nawdd breiniol Nudd eu brenin,
A'i râd oddef ro'id iddynt,
Pan ar heulfre 'n gware gynt;
A chawri hoew chwarëynt
Ar dy frigwyn goryn gynt,
Gan brancio ymgampio 'n g'oedd,
Neu draws gamu dros gymoedd,
Dir eidiaw a dyredeg,
Difyru 'u tad foreu têg!
  O fodd ti ni fyddit heb
Len wawn ar dy lòn wyneb,
I chwareu hud â chawr hen,
Neu â chawres iach hirwèn;
Gware â Nudd fel gŵr nôd,
Gorwylio mîg yr Elod,
Rhiniaw i feib yr hen fyd,
Byw warwyfa 'r boreufyd.
  Un bur enwog oedd Bronwen,
Chwidir hi yn ei Chadair hen;
Yn nawdd Budd hona oedd ben
Dir freiniau Cadair Fronwen;
Byw 'n y llall uwch ben y llŷn,
Crib arall y Cawr Berwyn,
Yn deyrn syw ar gadarn sêdd,
Cawn Ferwyn mewn cynfawredd;
Ar un twyn mae teyrn y tês,
Ar hwn yna 'r frenhines;
Cawr a chawres eres ynt,
Cyridwen a'r Cawr ydynt;
Gŵr syw mewn gwarëus awg,
A banon y grib enwawg;
Y ddau hyn, a'r forwyn, fydd
Yn hyntiaw dros geunentydd,
A mynych daflu meini
Dros gymoedd, llŷnoedd, a lli;
Gwnant orchestion bron heb rif;
Cromlechau 'n dyrau dirif
A godant, trwy 'u hergydiaw
Bron i drefn o'r bryniau draw.
Rhyw fîn nos rhy ëofn aeth
Eu herch wyniawg orcheiniaeth;
Yn union aent o'u nenawr,
A'u pwynt yw Cwm Pant y Cawr;
A bwrient wib i orawr
"Craig y Mŵn," i'r Cèryg mawr;—

E fyna rhai 'n feini rhydd,
Grym anwyl! rhwyga 'r mynydd!
Cèryg anferth, crug enfawr,
O'r greigfant lusgant i lawr;
Tra awchus fryd y trichawr
Yw pontio Cwm Pant y Cawr;
Pont fawr dros y pant a fydd,
Rheng dew faen rhwng dau fynydd;
Cyn y boreu goleu gânt,
Y bont aruthr bentyrant,
Er argau yr awyrgylch
Ag un bŵa 'n gyfan gylch.
  Pan oeddynt ar yr hynt fawr hon,
A'u tremwyllt feichiau trymion,
Y ceiliog o'r llwyn celydd
A'i gynar dôn gânai 'r dydd!
Och! ar unwaith dychrynant,
Ymaith ar unwaith yr ânt,
A llymhurt ffwrdd y llamant,
Yn y niwl diflanu wnant,
Ys saethant o'u taith seuthug
Ar ffô fel rhyw gawri ffûg!

Yn foreu awn i Ferwyn,
I'w frîg iach ar foreu gwŷn
Yn Awst, a mynwn eistedd
Ar y foel oreu a fedd;
Dymunol flodau mynydd
Iach eu sawr i'w wychu sydd;
Llawn o siffrwd brwd yw 'r bryn,
Trydar ceiliogod rhedyn,
A'r gwenyn yn corgânu
Fal un llais, wrth fela 'n llu;
Adar bàn cysongan sydd
Ar ei heulog orielydd;
A'r hedydd ar ei aden,
A'i gân bêr yn uchder nèn,
Pob dawn yn lleisiaw 'n un lli,
Cel agenawg glogwyni
Adlefant sain dylifedd,—
Llafar haf, a lleufer hêdd.

Araul hygar oleugyrch
O Ferwyn gawn firain gylch;
I'r gogledd dyhedd dihaul,
Llàn y rhew lle huna 'r haul;
Gwel gannoedd o glogwyni,
Meirion, Arfon, bron heb ri';
Byd ogylch heibio Degeingl,
Ac wele draw gwlad yr Eingl

I'r dwyrain fro arderydd,
Hen Deyrnllwg faes amlwg sydd.

A'r orawr draw y fawr dref wèn,
Dir hyfryd hyd i'r Hafren;
Hen Bowys man bu awen
Cyd ei pharch yn codi 'i phen.
Am oriau cawn yn Merwyn
Gylchdremu a syllu 'n sy̆n,
Gan orchwim adgynnyrchu
Hanes faith hen oesau fu;
Llysoedd brenhinoedd hynod,
Manau claer fu 'n mynu clod,
Dinasoedd fu 'n dwyn oesau
A gwledydd i'w rhydd fawrhâu,
Manau y doeth mwy nid ŷnt,
Tandde fu 'n mhob tŷ ynddynt.
Ymhob rhith oer chwith yw 'r chwedl,
Ing yw hanes fy nghenedl;
Aeth Powys a phob llŷs llòn
I lawr, do, yn falurion,—
Dirywio gyda 'r awen,
A marw o'i thir mae 'r iaith hen!

Dir fu 'n prawf!—os darfu 'n prid
Wych deyrnedd a chadernid,
A 'r haelion hen wehelyth,
Mae Berwyn yn Ferwyn fyth;
Ac ar Ferwyn wy̆n ei wàr
Llïosi mae llus a mwyar;
Cefn y fâl ddihafal hon
Yw lle goreu y llygaeron;
Digymhar yw'r mwyar mad,
"Mwyar Doefon" mawr dyfiad;
Mwyara a llusa'n llòn
Mewn byd wyf man bu Daefon,
A difyr f'ai cael Doefon
Ar garn y bregger ein bron,
Yn foreu'i caid a'r fig gwy̆n
Mor bur a mwyar Berwyn.
"Mwyar Doewan," mae'r duwiau
Mewn hwyl am gael eu mwynhâu!
Nudd a'i hîl yn niwedd hâ'
Yn Merwyn sy'n mwyara,
Hyd nes bydd y mynydd mêl
Fal engyn ŵyl Fihangel.
Y mwyar yw grym awen
Nôdd a hâd y mynydd hen;
Mawr yw twf y mwyar tau,
Rholiaw mêl o'r cymylau

Yr ydwyt ar ryw adeg
I roi tŵf i'r mwyar têg.
Minnau un reddf a'r mynydd,
A'm ffrith ben mwy ffrwytho bydd,
Mewn awen, mwy yn ewybr
Ymroi i grynhöi grawn wybr,
Addfed rawn, cnŵd iawn, cyn dêl
Olaf ing gŵyl Fihangel.

Ond Berwyn, brif fryn y fro,
Oleudeg sy'n briglwydo;
Ni fedda'n freinfawr fri,
Braisg lenyrch, na brysg-lwyni,
Na derw mawr hyd orallt,
Na bedwen, neu geubren gallt;—
Dy wallt fwriaist wyllt Ferwyn,
Barug wnaeth y brig yn wŷn;
Darfu swyn y tewlwyn tau,
Heneiddiaist gan flynyddau,
A'th lwyni mewn syrthni sydd
Yn eigion dy fawnogydd.
Darfu'th hâf, daeth gauaf gwŷn
I guro ar dy goryn,
A denodd blwng dywydd blin,
Iâsawg uthrwynt ysgethrin,
Gauaf oer a'i gyfarwaith,
A gwestl y dymhestl ar daith.
Oer Ferwyn! gartref eira,
Gwesttŷ llwm, neu gastell iâ,
Ni feddi'r hen gawri gynt;
Dy gawri ydyw gyrwynt,
Hîn hyll yn llawn gwyll a gŵg,
Cymylau'n cau am olwg,
A dryc-hîn gerwin gorwyllt,
Awyrlif yn gefnllif gwyllt,
A chenllusg, a chroch wynllif,
Yn ebyr llawn berw a llif.

Ferwyn oer, farwn eira,
Llwyr o'i gylch mae lluryg iâ;
Hen riawd mewn llawdr llwydrew,
O'r wasg i'r iâd a'r wîsg rew,
Ac eira ar ei goryn,
Bron a gwêdd y "Barwn gwŷn;"
Crîb deryll cerbyd oerwynt,
Ac anghysbell gafell gwynt;
Deg mil o dew gymylau
Ydyw'r mentyll tywyll tau,
A'r gwestëion, weigion wŷr,
Y moelion ffûg ymwelwyr,

Amlwydion gymyl ydynt,
A niwl hen anolo'i hynt,
Ac ysbrydion flinion floedd,
Yn cânu cyrn dryc-hinoedd;
Milain daw cymylau'n dyrch
Ar hynt i lawr o'r entyrch,
A'r storm yn rhysio a darmain,
Mal ar hwrdd yn moliau rhai'n,
A thrydau gwyllt rhuthradwy,
Yn tröelli'n nerth teryll nwy,
A thyrfan broch a therfysg,
Dreigiau, mellt, drwg i'w mysg,
I guro o bob gorawr
Ar goryn y gòrwỳn gawr.
   Ond Berwyn yn Ferwyn fydd
Er iâs dirmyg oer stormydd,
Er dryc-hin, mal brenin bro,
O'i fatel mỳn hâf eto;
Hîr fydd ei ben arfeiddiawl
Fyny i hŷf hòni 'i hawl.

Fy moreu fu y' Merwyn,
Ofer a gwâg foreu gwỳn,
Afradus foreu ydoedd,
Boreu gwỳn fel barug oedd;
Ond darfu ei flin erwin awg,
Aeth heibio fel taith hebawg;
Minnau'n awr a mhen yn wỳn,
O fy hiraeth am Ferwyn,
A genais hyn o gŵyn serch
Edwinawl i'm adanerch.

Gwedi f'oes a gloes y glỳn,
O! am orwedd yn Merwyn;
Od oes byth gael dewis bedd,
I Ferwyn âf i orwedd;
Tua'r lle bu dechreu'r daith,
Af yn ol i fy nylaith;
Gan Ferwyn câf gynfawredd,
Ei graig fawr yn gàreg fedd,
A'i stormydd, tragywydd gân
I ffysgiaw fy ngorphwysgân;
Ac o Ferwyn cyfeiriaf
I lawen ŵyl teulu Nâf,
I fyw'n y nef, gartref gwỳn,
Hir ŵyl bur ar ol Berwyn.

Seithug fel barug Berwyn,
Yw hoenus daith einioes dyn;
Un hâf ac un gauaf gwyw
In' nodwyd, ein rhan ydyw;

Berwyn ddeil mewn pybyrwch
Ddyrnod traws ddu oerni trwch;
Er holl ŵg oer aua' llaith,
I'w foelydd daw hâf eilwaith;
Minnau mor fèr yw'm heinioes,
Buan âf fi i ben fy oes,
Heb obaith ail daith, na dydd
Ail wanwyn o lawenydd.
Ond O! am hêdd ddiwedd oes,
Mwyn loniant mewn ail einioes,
Ail einioes uwch haul anian,
Byw glwys anfarwoldeb glân,
Uwch bryniau a llethrau'r llawr,
Yn nwyf eilfyd nefolfawr,
A byw yn iach heb un nos,
Nac ofn, na dryc-hin cyfnos,
Fry yn hŷf ar fryniau hêdd,
Hoenfawr ŵyl anfarwoledd;
Byd brâf fydd cael hâf o hyd
O lònfawr dawel wŷnfyd,
Ac awen dirf ac ieuanc,
Pen i'w thrin heb boen na thranc.

---

# MANYLDEB DEDDFAU NATUR.

## II.

### SERYDDIAETH.

Yr ydym wedi bod yn syllu ar y ddaear am ddigon o amser, ac y mae y llygad a'r meddwl wedi blino gyda'r gwaith, ac yn teimlo braidd yn lluddedig. Ceisiwn yn awr edrych tuag i fyny, ar gartrefleoedd y goleuadau ysblenydd sydd yn arfer ymddangos i ni yn oriau y nos. Ond gan mai gwaith blin ydyw edrych tuag i fyny, a chan fod yn bur hawdd, wrth syllu ar brydferthwch y lloer, syrthio i ddwfr, nid ydym yn bwriadu bod yn faith gyda y gangen hon o wybodaeth. Mwy buddiol i ni, ond odid, fel i'r dysgyblion gynt, fyddai prysuro i droi tua Galilea—gwlad ein genedigaeth, o herwydd tua'r cartref, ar y ddaear, y gwelwn ni, ac y gwnawn fwyaf, wedi y cyfan. Dywed llawer fod

pethau naturiol wedi eu bwriadu i'n dysgu am bethau ysbrydol. Yn ystod oriau y nos, pan y byddo dwndwr y dydd a'i orchwylion drosodd, dechreua y nefoedd ddangos ei pherlau gyda'r fath wychder a dysgleirdeb llachar, ac eto gyda'r fath dawelwch a thangnefedd, fel ag i godi awydd yn yr ysbryd i esgyn i ryw seren fach, i orphwyso ynddi am byth mewn tawelwch a hedd. Pan y byddo yr haul wedi machlud o'n golwg, bydd y sêr yn ei weled ac yn mwynhâu ei wrês a'i oleuni. Llawer Cristion sydd yn paentio ei nefoedd oddiwrth hyn, ac yn tybied pan y bydd y ddaear yn gorwedd yn ei thywyllwch caddugawl diweddaf, y caiff ef fod yn y wlad uwch sêr y nef, lle y bydd Haul y Cyfiawnder yn aros heb fachlud am dragywyddoldeb. A oes esgusawd yn angenrheidiol am droi o'r ffordd fel hyn? Megys ag y trŷ y teithiwr lluddedig oddiar brif-ffordd faith a llychlyd i gŵr maes gwyrddlas a blodeuog, ar làn afonig felodaidd ei dwndwr, felly hefyd y mae mor naturiol ag ydyw i'r wreichionen ehedeg tuag i fyny, i ddyn ar ei daith trwy y byd hwn droi i'w ddychymyg neu at adnod o'r Bibl i ymhyfrydu yn y wlad lle "gorphwys y rhai lluddedig" wrth yr "afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel y grisial."

Y cyfan fwriadwn wneyd ydyw syllu ar symudiadau y bydoedd fry, a cheisio dangos, nid yn unig eu bod yn symud yn ol deddfau penodol, ond hefyd eu bod yn cadw at y deddfau hyny yn fanwl er y dydd eu crëwyd.

Nid ydyw y ddawnsfa o amgylch y *May-pole* yn cael ei harfer yn awr ond mewn chwareudai tua y Nadolig. Ond gallwn dybied wrth y desgrifiad geir o honi, nad rhyfedd iddi barhâu cyhyd mewn bri ar fro a bryn gan ein tadau. Oddiar ben pawl neu bren crogir llïaws o rubanau amryliw; cymer plant lled fychain, wedi eu gwisgo yn hardd, afael yn y rubanau, a dechreuant ymwëu trwy eu gilydd, gan ddawnsio o amgylch y pren, hyd nes y byddont wedi gorphen plethu y rubanau yn drefnus a rheolaidd, ac y byddant fel gwlawlen fraith uwchben y chwarëuwyr. Meddyliai dyn nad oeddynt yn gofalu am drefn, a'u bod yn llamu heibio i'w gilydd yn draphlith, fel y dewisai pob un ar y pryd; ond yn fuan gwelir hwy yn dechreu troi yn ol, ac yn amgylchu y pawl mewn cyfeiriad croes i'r cyntaf, ac yn dadblethu y rubanau; ac wrth weled mor naturiol y dadblethir y gwaith, ac y saif pob un ar y diwedd yn y man y cychwynodd, deallir yn eglur fod y gofal mwyaf manwl wedi ei gymeryd wrth blethu yn gystal ag wrth ddadblethu, Ar yr olwg gyntaf, buasem yn tybied, wrth glywed fod y sêr a'r planedau yn olwynu ar eu gyrfäoedd yn ol miloedd o filldiroedd yr awr, eu bod fel gwyllt-feirch, heb drefn o gwbl ar eu symudiadau; ond erbyn syllu, gwelir eu bod, fel rhyfel-feirch, wedi eu dysgyblu, ac fod pob un yn gofalu am ei lle a'i hamser prïodol. Pan yn rhodio heolydd ein trefydd mawrion, byddys yn aml yn sy̆nu nad âi mwy o'r cerbydau a'r bobl ar draws eu gilydd. Ond erbyn dysgu eu harferion, gwelwn eu bod yn cadw at ddeddfau penodol, a phan y cyferfydd dau gerbyd, fod y ddau yn dal ar eu llaw aswy; a phan y dymuna un fyddo yn ol fyned ymlaen, rhaid iddo fyned heibio ar yr ochr ddeheu. Mewn trefn i yru y cerbyd yn llwyddiannus, rhaid nid yn unig wybod y rheolau, ond meddu anifail ufudd, a'r moddion prïodol i'w yru ymlaen; ac os bydd 3 neu 4 ceffyl, mae yn ofynol cymeryd mwy o drafferth. Wrth sylwi ar y

*coaches,* ceir hwy yn lled fanwl ar y cyfan gyda'r amser—oddeutu pum' mynyd, fe allai, ar ol. Ond byddai raid cael dyn lled gywrain ac ar y manylaf i fyw yn y byd anmherffaith hwn, i sylwi, nid yn unig fod yr amser yn cael ei gadw, ond pa ran o'r olwynion fyddai ar lawr ymhob gorsaf; a lled hynod fyddai gweled cerbyd yn cael ei yru bob dydd, yn ei amser prïodol, ac fel ag y byddai yr un fodfedd o'r olwyn yn disgyn ar yr un fodfedd o'r ffordd bob amser. Rhaid fyddai cael mwy manyldeb drachefn i ŷru y cerbyd fel ag i fod chwarter awr yn gynarach y naill ddydd na'r llall, a modfedd wahanol o'r olwyn bob dydd yn rheolaidd ar yr un fodfedd o'r ffordd. Ond rhywbeth fel hyn geir yn nhaith y ddaear o amgylch yr haul, ac o gylch ei hechel ei hun. Ac nid yn unig ein daear ni sydd yn cyflawni gorchwyl fel hyn, ond llawer o sêr a phlanedau llawer mwy na'r byd, ac yn teithio fil cyflymach trwy entrych y ffurfafen o amgylch yr haul, o amgylch eu gilydd, ac o gylch eu hechelydd eu hunain; ac eto i gyd, gellir cymeryd ymddangosiad rheolaidd un o honynt i gywiro amser ein horiawr bob nos! Un o'r pethau y bu y byd yn hir yn ei gredu ydyw y ffaith fod y ddaear yn troi o amgylch yr haul, ac yn troi o amgylch ei hechel mewn pedair awr ar hugain. I droi o amgylch yr haul, cymer 365 d. 6a. 8′. 9″. Nid ydys byth yn fanwl i'r awr gydag amser yr agerlongau a fordwyant rhwng y wlad hon ac America, a hyny o herwydd eu bod yn agored i lawer o wrthwynebiadau, megys y gwyntoedd, a llifeiriant y llanw. Ond beth bynag all fod yn rhwystr i'r ddaear olwyno yn rheolaidd trwy y gwagle, ceidw ei hamser i'r eiliad; ac nid yn unig hyny, ond gofala am chwareu têg i'w holl ranau, a deil y cŵr prïodol o honi ei hunan i wynebu yr haul. (Gellir yma nodi y ffaith fod y ddaear 50″.10 yn ol o fod yn ei lle ar y cyhydedd bob blwyddyn, a hyny o herwydd symudiad bychan pegynau echel y ddaear. Ond nid yw ond dangos manyldeb annhraethol fwy wrth ddyweyd y daw i'w lle i'r un man yn union bob 25,868 o flynyddoedd. Afreidiol yma ydyw esbonio *Precession of the Equinoxes,* gan y cymerai lawer o le ac amser. Mae a draethwyd yn ddigon.) Drachefn nid ydyw yr haul ei hunan yn sefydlog. Y mae yntau yn chwyrnellu ar ei yrfa, ond nid bob amser gyda'r un cyflymder. Dibyna hyny ar ei bellder oddiwrth y ddaear, a'r rhan o'r *ellipse* y byddo yn ei deithio. Buom rai gweithiau yn cael difyrwch wrth edrych ar *juggler* yn chwareu pump neu chwech o beleni o'r naill law i'r llall, ac yn synu at ei ddeheurwydd yn gallu eu cadw yn glir â'u gilydd. Ond mae miloedd o'r bydoedd uwchben yn carlamu trwy eu gilydd, ac eto cadwant mor fanwl at eu deddfau, fel na chymer yr un gwrthdarawiad byth le. Ar ol ystyriaeth fanwl a dybryd efrydiaeth, gwelwyd fod yn rhaid mai yr un gallu a gadwai yr holl blanedau i amgylchu yr haul, ac y dilynent lwybrau o'r un ffurf, er y gwelid yn amlwg oddiwrth yr amser gymerent i gyflawni eu cylchoedd, fod eiddo rhai o honynt yn feithach nag eiddo y lleill. Hyn arweiniodd yr enwog Kepler i chwilio am berthynas neillduol rhwng eu pellder oddiwrth yr haul, a'r amser a gymerent i gyflawni eu cylchoedd. Ond yn gyntaf oll ymchwiliodd i symudiadau yr haul; canfyddodd mai *ellipse* ydyw ei lwybr ymddangosiadol; yna chwiliodd allan ei gyflymdra. Pe tynid llinell o'r haul, ac yntau yn symud i'r ddaear, cyrhaeddai y llinell hon tros yr un arwynebedd bob dydd; ond gan mai nid *circle* ydyw taith yr haul, rhaid fod y llinell yn

amrywio mewn hŷd o herwydd *eccentricity* yr *ellipse.* Felly hefyd amrywia cyflymder yr haul ar ei daith; a gwelwyd nad ydyw yr haul, er mor urddasol ac arglwyddiaethol yr ymddengys, yn rhodio bob amser yr un fath. Cerdda weithiau, tithia dro arall, a charlama yn chwyrn ar droion; ond gofala am wneyd yr un fath bob amser yn yr un rhan o'i daith. Ceir ambell geffyl, os yn arfer teithio yr un ffordd yn aml, yn gwybod pa le i gerdded a pha le i redeg. Ewyllys ei feistr ydyw ei ddeddf, ac y mae yntau wedi dysgu ufuddhâu iddi. Felly hefyd yr haul, dealla yntau ewyllys ei Feistr, yr hon sydd wedi ei mynegu iddo mewn deddf, a cheidw at y ddeddf ymhob rhan o'i yrfa anferth. Ar ol chwilio a dyfeisio llawer, cafwyd y cyfartaledd rhyfedd a ganlyn rhwng pellder y planedau oddiwrth yr haul, a'r amser gymerent i gyflawni eu gyrfäoedd:—"*The squares of the periodic times of any two planets are to each other in the proportion of the cubes of their mean distances from the sun.*" Anhawdd ei roddi yn eglur yn y Gymraeg, felly dodwn esiampl yn unig. Pe cymerai Mars 6 diwrnod, a Jupiter 4 diwrnod i amgylchu yr haul, ac os ydyw Mars 10 milldir oddiwrth yr haul, yna, i gael pellder Jupiter, gwasanaetha y gosodiad a ganlyn:

$6^2 : 4^2 : : 10^3$ : pellder Jupiter; neu $(6\times6) : (4\times4) : : (10\times10\times10)$ :

Yr ydym yn nodi y ddeddf hon am ei bod y gywreiniaf, a'r bwysicaf, a'r ehangaf ei gweithrediad a ganfyddodd meddwl dyn erioed. Dangosodd ar unwaith fod y planedau oll yn perthyn i'r un teülu, a'u bod nid yn unig yn cadw eu hamser eu hunain, a'u llwybrau eu hunain, ond eu bod yn gwneyd hyn er eu hattyniad y naill at y llall, ac at yr haul, ac eto fod hyn yn ddïogelwch iddynt rhag gwrthdarawiad. Amser a lle a ballai i ni egluro llawer deddf arall sydd yn fanwl, tra na ddylem adael allan ddeddf llanw a thrai, fe allai, o herwydd ei bod mor adnabyddus, nid oes angen helaethu arni. Mae yn engraifft dda o'r "*Irregular regularity*" a nodwyd. Nid yw y llanw byth yn d'od i'r làn yr un amser ar ddau ddiwrnod dilynol, ond ufuddhâ i'w ddeddf yn fanwl. Mae yn fwy rheolaidd a chyson ei arferion a'i addoliad na'r un mynach. Ni phâr pelydrau hyfryd haul yr Equator iddo ddiogi ac anghofio ei ymweliad â Môr y Gogledd; ac ni cheidw iâ a rhew y Gogledd ef rhag rhedeg i gusanu glànau Affrica. Ni wrendy ar gaeth na rhydd, Iuddew na Groegwr, ar wynt na gwlaw, ar haul nac eira. Mae wedi ymsuddo mewn serch â'r lloer, ac y mae wedi tyngu llŵ o ffyddlondeb iddi er ys oesoedd, ac wedi ei ysgrifenu â'i waed yn y creigiau tros byth.

LLYSIEUAETH.

Yn y gangen hon daw *lle* dan yr enw ffurf, ac yn ffurfiau gwahanol lysiau, yn benaf, y canfyddwn fanyldeb eu deddfau, er y gellir hefyd yn hawdd ganfod manyldeb gweithrediadau eu deddfau yn yr amser a gymer y blodau i ymddadblygu. Nid yw natur byth yn gweithio heb foddion rheolaidd ac effeithiol, ac mae y ffaith na welir yr un llysieuyn, o'r *creeper* distadlaf i'r dderwen gauadfrig, heb beiriannau cynnydd, yn brawf o fanyldeb natur. Ni cheir na phlanhigyn na choeden heb gelloedd, o'r brigyn uchaf hyd y gwreiddyn dyfnaf ynddynt, i dynu a derbyn

nôdd a chynnaliaeth i'r pren. Deddf arall ddaw i'r amlwg yn union i'r sylwgar ydyw, fod perthynas neillduol bob amser rhwng tyfiant y canghenau a'r dail ac ymëangiad y gwreiddiau yn y ddaear. Ceir yn yr hen feirdd Lladinaidd grybwylliadau am hyn yn y dderwen. Tybient hwy fod ei gwreiddiau yn ymestyn tua Tartarus, mor belled ag yr oedd brigau tua'r nefoedd. Buasid yn meddwl mai amgylchiadau yn hollol fuasai yn penderfynu cyfeiriad y llysiau a amgylchynant goedydd. Gwelir llawer cymeriad dynol, er meddu ar ewyllys rydd, eto yn dibynu yn hollol ar amgylchiadau i'w gyfarwyddo. Ond am y llysiau mwyaf eiddil, ufuddhânt i'w deddf yn gyson, a thröant yn yr un cyfeiriad bob amser. Ceir y *Convolvulus*, y *Passion Flower*, a'r *French bean* bob amser yn troi o ddê i aswy o gylch y pren; tra y ceir dosbarth arall, megys yr *hop* a'r *honeysuckle*, yn amgylchynu y pren o aswy i ddê. Gwelir yma ddwy ddeddf, ac er mai hollol ddibwys ydyw y cyfeiriad gymerir gan y naill a'r llall, eto nid ydyw y ffaith ond dangos yn eglurach lwyr fanyldeb y deddfau. *Lle* yn benaf a ddangosir yn yr uchod; ond yn y balmwydden ceir mantais neillduol i weled cydgyfarfyddiad amser a lle; o herwydd gellir dyweyd oed palmwydden i sicrwydd wrth ei hŷd. Y mae yn tyfu yr un faint bob blwyddyn, ac y mae hyny fel rheol yn ogymaint yn y naill goeden a'r llall. Ceir nodiadau gwahaniaethol eglur rhwng dau ddosbarth ëang o goedydd. Ceir *canol* coed y naill ddosbarth yn galed, tra y mae y tu allan yn feddal. Yn y dosbarth arall ceir y canol yn feddal, a'r tu allan yn galed. Heblaw hyn, gwelir math neillduol o ddeilen ar y dosbarth cyntaf, sef un ai gwythïenau yn rhwydwaith, tra y ceir deilen neillduol ar y dosbarth arall, sef un yn meddu gwythïenau yn cydredeg o'r canol at yr ymylau. Ni welir byth ddeilen y dosbarth olaf ar y cyntaf, na deilen y dosbarth cyntaf ar bren o'r ail ddosbarth. Y maent mor fanwl a gofalus, ac yn llawer mwy felly nag ydyw ein teuluoedd pendefigaidd gyda'u harf-beisiau. Ymhellach, wrth sylwi ar ddail yr un gangen, gwelir ambell waith y dail yn gydwastad ar y planhigyn; ond pryd bynag y maent felly, ceir hwy yn croesi eu gilydd gan wneyd ongl o 90 o raddau, sef *rightangle*. Ond deddf a berthyn i ddosbarth arall a ddengys fanyldeb pellach. Pan geir planhigyn a'r ail ddeilen heb fod yn union uwchlaw y llall, mae pedair eraill yn sicr o ddilyn heb fod uwchlaw eu gilydd, ond mae y chweched yn sicr o fod yn union uwchlaw y gyntaf; a rhaid rhoddi dau dro o amgylch y paladr cyn y deuir o hyd i'r chweched ddeilen. Beth yw amcan deddf o'r fath nis gwyddom, ond fe wyddom i sicrwydd y dilynir hi i'r manylrwydd eithaf gan ddosbarth helaeth o blanhigion. Wrth gymhwyso y ddeddf at ddynion—pe bendithid rhïeni â theulu fel teulu Brigham Young, a phe cedwid y ddeddf hon, yna byddai y chweched, y deuddegfed, y deunawfed, y pedwerydd ar hugain, &c., o'r plant yn union yr un fath â'u gilydd, o ran taldra, pryd a gwêdd, tymher, &c., &c.

Pan ystyriom amcan y bywyd llysieuol, a'i fod yn gwneyd ei ran at gadw i fyny y bywyd anifeilaidd, yr ydym yn dyfod i deimlo mwy o ddyddordeb yn ei weithrediadau; ac yn cael ein swyno gan y deddfau cywrain a bâr i'r llysiau a'r dail gadw eu hunain yn fyw, a'r awyr yn bur trwy ddwyn ymaith y *carbon* a'r *carbonic acid* yn ymborth iddynt eu hunain, a gadael yr *oxygen* at wasanaeth dyn ac anifail.

Pwy na ddymunai fyfyrio am y blodau cain a welir yn ymryson

harddu ein byd yn misoedd hâf. Meddyliwn yn aml eu bod wedi dyfod i'r byd ar draws eu gilydd heb drefn o gwbl. Ond wrth edrych yn fanylach, gwelwn fod i bob dosbarth o flodau eu deddfau cyffredinol, ac fod i bob blodeuyn ei ddeddfau neillduol ei hunan; ac ni cheir y rhai'n yn myned yn erbyn eu gilydd, eithr cydunant er nerthu y blodeuyn. Ceir un dosbarth o blanhigion yn rhoddi allan yn gyntaf y blodau agosaf i'r paladr, ac yna y blodau ar y canghenau, fel yr eir ymhellach oddiwrth y pren. Ceir dosbarth arall yn dechreu blodeuo yn y gwaelod, a'r rhai uchaf yn ddiweddaf. Ni cheir *centripetal inflorescence* y llynedd yn *centrifugal inflorescence* eleni, na'r *centrifugal* eleni yn troi yn *centripetal* y flwyddyn nesaf. Na, fel deddfau y Mediaid a'r Persiaid, pob un yn ol deddfau ei ddosbarth bob blwyddyn,—a dyma hanfod amrywiaeth a phrydferthwch y blodau. Heblaw dilyn eu deddfau o ran lle ac amser eu hymddangosiad, dilyna y blodau eu deddfau eu hunain yn eu hanau. Hyd yn nôd yn ngwyneb diffygion yn y ddaear, neu mewn manteision i dyfu, eto ceir ymhob blodeuyn nifer penodol ei rywogaeth o resi o ddail. Gall blodeuyn o herwydd cam a chaledi fod yn wael ei ffurf ac yn fychan ei faintioli, eto ceir yno berffaith *symmetry* yn ei wahanol ranau. Yr hyn a wna gymeriad dynol yn berffaith a phrydferth ydyw cyd-dyfiant a diwylliant yr holl elfenau ynddo. Mor anfynych y ceir dyn heb esgeuluso, os nad lladd, rhyw gyneddf ynddo ar draul porthi un arall. Ond am y blodau hyfryd mae eu gwahanol ranau yn dilyn eu deddf yn ddiysgog, ac y maent yn hollol *symmetrical*. Ceir manyldeb neillduol mewn amser gydag agoriad ac ymddadblygiad blodau. Gall un hyddysg yn eu hanes ddyweyd y mis, os nad y dydd o'r flwyddyn, trwy sylwi pa flodau sydd yn agored. Yn wir, maent mor fanwl mewn ysbaid diwrnod fel y gwnaeth Linnæus beiriant a alwai yn "Awrlais Llysieuol," yn yr hwn y dangosid pob awr o'r dydd trwy agoriad blodau neillduol. Pa sawl crëadur dynol sydd wedi dyfod i'r byd i dreulio ei unig oes, ac eto wedi oedi rhoddi perarogl ei flagur hyd ddydd y bedd. Ond wele y blodeuyn bychan gyda'r *un* diwrnod i ymagor, a phrydferthu, a phereiddio y byd, ac eto mewn ufudd-dod i ddeddfau manwl natur gofala am fod mor brydlon â'r haul ei hunan. Ceir rhai fel y blodau dynol y cânai Gray iddynt "yn agor yn y nos;" ceir eraill yn cau yn gynar yn y ddydd. Haul y boreu yn unig sydd yn dygymmod â hwy. Ceir y llysiau, hyd yn nôd yn mhlygiad cyntaf eu dail, yn ffyddlon i'w rhywogaeth, ac yn agor yn drefnus heb yr un dyryswch. Mae blodau o waith llaw yn brydferth yn eu lliwiau, ond pan gymerir y chwyddwydr i syllu arnynt maent yn bur wahanol i flodau natur. Mae gofal yr arlunydd gyda chymysgu y lliwiau ac arfer ei bwyntel yn ddiarebol. Ceir yn y blodau naturiol drefniant neillduol ar gyfer y lliwiau, a rhoisai y pendefig mwyaf cyfoethog yn Mhrydain ei holl etifeddiaeth i'w meddu. Cyrhaedda natur ei rhagoriaeth mewn lliwio, trwy ei manyldeb yn dilyn deddfau fferyllol. Cedwir y lliwiau yn gwbl ar wahân mewn celloedd bychain; trwy ddeddfau fferylliaeth, dechreua y ddeilen sugno ei dogn o bob lliw, ac nid oes ddeilen arall yn yr holl grëadigaeth allai dŷnu yr un elfenau yn ol yr un cymesuredd o'r celloedd. Pan orphenir y darlun, gwelir ôl bysedd Crëawdwr natur arno. Gofalodd Efe am i bob deilen ar bob rhosyn feddu ei *wardrobe* ei hunan, ac anrhegodd bob deilen âg addurn na phryna mŵngloddiau Peru ei gyffelyb.

Pan y symudwn o'r blodeuyn at y ffrwyth—at berffeithiad y llysiau a'r prenau, gwelwn ddwy ddeddf arall yn dyfod i'r golwg er mantais i'r hadau. Tra yr egyr y naill ffrwyth er mwyn i'r hadau gael chwalu ar hyd wyneb y pridd, syrth y llall gyda yr hadau, ac erys o'u hamgylch yn ymborth iddynt ar ddechreuad eu tŵf; a phaham? Am na thyfai y diweddaf mewn pridd neu wrtaith pur, o herwydd na feddant yr ymborth prïodol i'r hedyn. Ceir yn hadau y dosbarth cyntaf ychydig ymborth gyda'r hâd; a cheir ymhob hedyn dair rhan, sef y gwreiddyn, dechreuad y dail, a dechreuad y goes neu baladr. Ymddadblygiad o'r rhai hyn ydyw y llysieuyn yn ei berffeithrwydd. Ond fe allai mai y man mwyaf manteisiol i gael golwg ar fanyldeb natur gyda llysiau ydyw yn nharddiad cyntaf y llysieuyn, sef yn ngweithrediadau gwahanol ddeddfau a materion yn eu dylanwad ar eu gilydd. Rhaid cael lleithder, gwrês, ac awyr; ond gwell, ar y dechre, gau allan oleuni. Edrycher ar yr haidd wrth fragu, yr hwn sydd mewn lle manteisiol i darddu ac egino. Troir y *starch*, yr hwn sydd yn anghymhwys fel maeth i'r grawn, a'r hwn nid yw yn ddadansoddedig mewn dwfr—troir hwn yn siwgr. Cymysga hwn â'r dwfr, ac yna cymerir ef i fyny gan y gwahanol gelloedd yn faeth i'r llysieuyn. Defnyddid y cyfan o'r siwgr gan yr eginyn pe cawsai dyfu; ond gan fod ar ddyn eisieu y siwgr, sycha yr ŷd, a gwna frâg. Gwelwn yma gyfnewidiad fferyllol cywrain, ac y mae dylanwad gweithrediad y deddfau yn hyn yn dyfod yn wasanaethgar i ddeddfau ymhellach ymlaen, a cheir yma lïaws mawr o fân ddeddfau, a'r cyfan yn cydweithio yn y pethau lleiaf i ddwyn allan harddwch a pherffeithrwydd. Pe cauid llysiau mewn lle tywyll, ac yna y gollyngid pelydr o oleuni o rhyw gyfeiriad i mewn, plyga y llysiau yn y cyfeiriad hwnw. Profa hyn attyniad rhyngddynt hwy â'r goleuni. Dywedir am y *snow-drop*, fod ei flodeuad yn dibynu ar lawer o bethau yn nhrefn natur. Oni bae fod y ddaear y maintioli ydyw, ac yn troi yn ol y cyflymder y mae, ac yn dal wyneb neillduol at yr haul, ac felly yn y lle prïodol ar yr *equinox*, ac oni bae fod tymheredd y ddaear a'r awyr yr hyn ydynt, ni flodeuai y *snow-drop* o gwbl!

Yr ydym yn awr wedi gorphen gyda Llysieuaeth. Gwelsom fod, nid yn unig bob dosbarth o flodau yn dilyn deddfau cyffredinol, ond fod pob blodeuyn yn meddu ei ffurf a'i ranau prïodol, a'r rhai hyny yn meddu eu cymesuredd a'u lliwiau prïodol; ac eto mae pob deddf, er cymaint o ddeddfau eraill sydd yn ymyraeth â'r un blodeuyn, yn cadw ei hamcan ei hunan mewn golwg, ac yn mynu ei ffordd i'r manylwch eithaf. Mae yr amrywiaeth diderfyn yn rhyfeddod, ond mwy rhyfeddod o lawer ydyw gweled y *drefn* sydd yn teyrnasu trwy yr holl amrywiaeth. Gwna deddfau Llysieuaeth yn unig i ni synu; ond nid ydyw y rhai hyn ond fel tywodyn ar y traeth o'u cymharu â holl ddeddfau natur.

## Y BYWYD ANIFEILAIDD *(Zoology).*

Yr hyn yr ymdrinir âg ef dan y penawd hwn ydyw—crëaduriaid yn meddu bywyd, ac yn gallu ymsymud yn ol eu hewyllys. Bywyd ydyw y llinell derfynol rhwng gwaith dyn a gwaith y Crëawdwr. Gall yr arlunydd wneyd darlun, a'r cerflunydd wneyd delw, o ddyn a delw o'r llysieuyn neu y pryf, ond dim ychwaneg. Nis gallai holl *genius*

Reynolds baentio pryf byw. Gwnaeth un cerflunydd medrus ddelw mor berffaith, fel y dywedai un ddaeth wedi hyny yn fwy enwog nag yntau, nad oedd ond un peth yn eisieu i'w gwneyd yn berffaith. Pan ofynwyd iddo beth oedd hyny, atebodd, "Gallu i siarad." Yr oedd yr hen gerflunydd yn eithaf boddlon, ac nid eiddigeddodd wrth Awdwr lleferydd. Mae gwaith dyn yn berffaith heb fywyd ynddo; ond nid ydyw gwaith Duw. Gall y ddelw fod yn brydferth a chywrain, ond yn ei phethau allanol yn unig y mae felly, tra mai yn y mewnol y ceir hanfodolion bywyd. Gall tegan-oriawr y plentyn feddu ffigyrau, a bysedd a gwydr ar ei hwyneb; ond o'r tu fewn y mae yn syrthio yn fyr o fod yn oriawr. Dibyna bywyd, bid siwr, ar bethau allanol, i raddau, fel y rhaid i'r oriawr ddrutaf feddu bysedd, neu fod yn ddifudd. Ond y man y ceir manyldeb dihysbydd mewn bywyd ydyw, yn nghyfaddasder y peiriannau mewnol i'r amgylchiadau allanol, ac yn y ffaith pe buasai un peth bychan iawn o'i le yn fewnol, y darfyddai am fywyd yn uniongyrchol. Ceir yn ol y cyfrifon mwyaf rhesymol, fod yn y corff dynol dros 202,606,149,200 o wahanol ranau ac amcanion. Yn awr, mae gweled y plentyn bach yn dyfod i'r byd, ac yn tyfu i fyny yn raddol yn unol â deddfau natur, ac yn dyfod i feddu yr oll o'r uchod, yn myned ymhell tu hwnt i amgyffred dyn ei hunan. Er mwyn cael golwg eglur ar feusydd ëang y gangen hon, edrychwn, i ddechreu, ar ffurfiau ei gwrthddrychau, yna ar eu bywyd, a thröwn i ambell gilfach yma ac acw, i edrych ar neillduolion teulu neu ddau, ac i sylwi ar gysondeb eu harferion a rheoleidd-dra eu gorchwylion.

Dyfynwn air o Milne Edwards: "If a naturalist familiar with the fauna of this country visit distant regions he sees in proportion as he advances, the earth peopled with animals new to him, and these species next disappear in their turn to make room for other species equally unknown to him." Nid yw hyn ond rhagymadrodd i barotöi un ar gyfer yr amrywiaeth diderfyn a geir yn y bywyd a'r grëadigaeth anifeilaidd. Tuedda rhai i gredu nas gall yr hwn a fedd amryw orchwylion fod yn fanwl iawn. Ond syniad pur arwynebol ydyw hwn. Mae'n wir y ceir llawer dyn amddifad o fanyldeb yn trin llawer o bethau; ond os tâl sylw digonol i bob peth, arwydd o fanyldeb ydyw. Yr oedd y Phariseaid yn or-fanwl. Paham? Nid am eu bod yn degymu eu harian i'r ddimai, ond am eu bod hefyd yn degymu y mintys a'r anis, a chymaint oll ag a feddent, &c. Gyda'r bywyd anifeilaidd ceir amrywiaeth dihysbydd, ond ceir hefyd y terfyn rhwng y naill ddosbarth a'r llall wedi ei osod i lawr yn eglur i bob dyn, a hyny nid yn unig yn arferion allanol yr anifeiliaid, ond yn ngweithrediad eu cyrff yn fewnol ac allanol, fel ag i'w cyfaddasu i'w harferion arbenig. Mordwyed y naturiaethwr o dueddau Ffrainc i ororau deheuol Affrica, a chaiff weled crëadigaeth newydd o anifeiliaid, yr elephant, yr afonfarch, y rhinoceros, a'r giraffe, &c. Gwel adar a thrychfilod hollol wahanol yn eu ffurf a'u harferion. Gadawed Penrhyn Gobaith Da a glanied yn Madagascar, ac wele anifeiliaid gwahanol eto. Eled oddiyno i'r India, gwel elephant gwahanol i un Affrica; ac os aiff oddiyno i New Holland, ac o New Holland i'r America, caiff ymhob gwlad rywogaethau gwahanol, a'r oll yn prifio yn ol eu deddfau eu hunain, yn cadw eu harferion eu hunain, ac yn gwahaniaethu yn hollol oddiwrth eu gilydd. I brofi a therfynu hyn

mewn ychydig eiriau, dyfynwn eto o M. Edwards: "This localization of species, whether aquatic or terrestrial, is so well marked, that a naturalist a little experienced cannot mistake at the very first sight the origin of Zoological collections made in one or other of the great geographical division of the globe which may be submitted to his examination. The fauna of each of these divisions presents a peculiar aspect, and may be easily characterized by the presence of a certain species more or less remarkable." Yn y moroedd mawrion ceir crëaduriaid hollol wahanol, ond cedwir deddf gyffelyb yma eto. Ceir yr un crëaduriaid bob amser yn yr un rhanau o'r dyfroedd, ac mor fanwl y ceidw y crëaduriaid at y ddeddf osodwyd iddynt, fel y cyfeiria y pysgotwr morfilod ei long yn ddibetrus tua'r Gogledd, ac y cyfeiria y genweiriwr cartrefol ei gamrau tua rhyw bwll penodol, ac os ydynt yn fedrus yn eu celfyddyd, nid yw'r naill na'r llall ond anfynych yn aflwyddo. Gellir bod yn bur sicr mai gweithrediad deddf sydd yma, a bron na thybiem fod cosp yn dilyn diffyg mewn talu sylw i'r ddeddf. Y ddeddf ydyw telerau bywyd. Aiff pob crëadur, ond dyn meddw, i'r man y caiff y gynnaliaeth oreu i'w gyfansoddiad, a'r tymheredd mwyaf cydnaws â'i iechyd. Mae hyn yn reddf mewn crëaduriaid; ond pan yr anghofia yr *ourang-outang* cynffonog ei hunan, neu pan anghofia ourang-outang Darwin y reddf sydd ynddo mor bell ag i ddyfod i'r wlad yma, neu i dalu ymweliad â'r Gogledd, buan iawn y clafycha ac y syrth yn aberth i'r darfodedigaeth.

Rhyw allwedd fach sydd yn agor ystafelloedd ëang eu cynnwys ydyw y ffaith y gall naturiaethwr ddesgrifio holl gorff a'r mwyafrif o arferion crëadur, yn nghyda'i faintioli, oddiwrth un asgwrn o hono, yn gystal a phe cawsai *skeleton* cyfan ger ei fron. Ceir y fath unoliaeth a chydgordiad yn egwyddorion adeiladaeth pob un fel y gellir yn ddibetrus ddyweyd, nid yn unig i ba ddosbarth y perthyna y crëadur, ond pa rywogaeth ydyw, a beth ydyw ei neillduolion unigol. Dyfais gywrain yn yr Amgueddfa Brydeinig fuasai gallu gwneyd yr allweddau yn y fath fodd fel ag y gallai un wrth edrych ar yr allwedd, pe heb weled yr amgueddfa erioed, ddyweyd nifer yr amrywiol rywiogaethau a dosbarthiadau yn yr ystafell. Ond dyma y cywreinrwydd all un *dant* ei hòni, ïe, pe perthynai i grëadur a fodolai 5000 o flynyddoedd yn ol. Wrth sylwi ar hyn dywed Edwards, "Between every part there reigns the strictest mutual dependence so as to forbid all the idea of *chance* in its construction, all are in the strictest accord. Some of these harmonies are so obvious that the naturalist may from the observation of a single organ—a tooth for example, deduce nearly the whole natural history of the animal." Ni raid i ni hefyd ond edrych ar y crëaduriaid sydd i fyw yn y dwfr, a'r rhai sydd i fod ar y tir, na welir gwahaniaeth amlwg iawn hyd yn nôd o'r tu allan. Mae cyrff y rhai sydd i fyw bob amser o dan ddwfr yn llawer meddalach, a gallant fyw ar lai o *oxygen* na'r lleill. Tuag 20 y cant o *oxygen* sydd yn yr awyr, a hwn yn unig a dŷnir i mewn gan yr anadl yn gynnaliaeth i'r corff; ond nid oes ond ychydig iawn y cant o *oxygen* mewn dwfr, a chan ei fod yn anhebgorol i fywyd crëaduriaid tirawl, byddant hwy feirw mewn dwfr. Gŵyr llawer fod pethau yn ysgafnach mewn dwfr nag mewn awyr, ac y mae gwahanol ranau cyrff y pysgod yn ymledu mewn dwfr; ond gyda'u bod allan, yn crebachu

ac yn ymsyrthio ar eu gilydd, ac yn cau i fyny beiriannau anadlu, fel er fod cyflawnder o *oxygen* yn yr awyr, nisg allant ei gael i'r corff. Dengys ffurf allanol y corff beth sydd yn gymhwys tuag at gynnal bywyd; ond y mae pethau mewnol yn myned ymhellach drachefn i brofi fod yr Hwn a welai bob peth ag oedd, a'r sydd, ac a fydd, wedi crëu pob peth ar gyfer ei amgylchiadau, neu wedi cyfaddasu amgylchiadau ar eu cyfer hwynt. Llawer iâr bryderus sydd wedi bod yn clwcian ar làn y dwfr wrth weled ei chywion estronol yn mŷnu myned i'r elfen ddinystriol. Y gallaf o honynt y clywsom am dani erioed oedd un a neidiai ar gefn cyfeilles o ŵydd, ac yn ei chŵch dïogel a ddilynai y cywion ol a blaen ar hyd y llŷn. Mae yn ddïau mai cwestiwn sydd wedi llwyr ddyrysu pen llawer iâr yw, paham y rhaid i'w chywion hi gael myned i'r llŷn, tra y boddlona cywion ei chwaer yn y buarth? Mae'r iâr yn deall ei deddf ei hun, ac yn ei chadw; ond nis gall ddeall deddf a berthyn i rywogaeth arall. Buasai amcanu ei chadw yn farwolaeth iddi. Yr oedd ei pherchenog yn gwybod na welwyd erioed gyw iâr yn dyfod o ŵy hwyaden, ac mai i'r dwfr yr âi pob peth a ddeuai o ŵyau aderyn yn byw llawer ar y dwfr. Ond nid yn unig yr oedd dyn yn gwybod mai i'r dwfr yr oedd y cyw i fyned, ond yr oedd y cyw ei hun yn deall, ac yr oedd y ddeddf mor hawdd ei darllen ar ei draed, ei bîg, ei blŷf, a'i esgyrn, ac ar holl waith ei gyfansoddiad, fel y dechreuai y cyw dwy awr oed ei fywyd mor ddeheuig a phe buasai yn benteulu. Mae yn debyg mai y corff dynol sydd yn meddu mwyaf o fanwl ddeddfau i'w reoli, ac ar hwn y cawn sylwi yn ddiweddaf; ond cyn hyny, tybiwn nad annyddorol i bwy bynag all ddarllen hyn, ac mai nid diwasanaeth i brofi y testun, fyddai ychydig o esiamplau o "*reddf*" mewn anifeiliaid; ynghydag esiampl o wneuthuriad un pryf bychan. Tyfa dosbarth cyfan yn ol yr un cynllun, mewn ufudd-dod i'r un deddfau.

Mae gan Mr. Lyonet ysgrif ar un trychfilyn bychan, y "*Cossus Caterpillar.*" Rhaid cael ugain o ffigyrau i egluro gwneuthuriad y pen yn unig, yr hwn ei hunan a gynnwys 228 o ewynau, a cheir yn y corff 1647 o honynt, a 2066 yn yr *intestinal tube;* y cyfan yn 3941. Ceir ynddo 94 o brif wythïenau, a 18 o fân agorfäu i gadw cymundeb rhwng y tu mewnol a'r awyr, ac y mae o amgylch yr agorfäu bychain hyn lawer o wahanol ranau. Ymrana y prif gelloedd yn 1326 o ganghenau. Ond ceir holl amrywiol ranau y peirianwaith cywrain hwn mewn corff nad yw ond *dwy fodfedd* o hŷd.

Mor fanwl y ceidw pob peth ei nodau gwahaniaethol yn ei adeiladaeth a'i arferion. Ni welir cî un amser yn tyfu gwlân ar ei groen, ac ni cheir ef yn meddu clust neu gynffon, neu droed dafad. Ni welir yr un ysgyfarnog hyd yn nôd yn cyfeiliorni càn lleied fel ag i gymeryd croen y *cwningen*. Nid yw yr un o anifeiliaid Lapland yn meddu croen a gwisg brydferth anifeiliaid y dehau. Ni newidia yr Ethiop ei groen, na'r llewpard ei frychni.Ië, ond cofier mai "deddfau natur" yw y testun, ac nid *gwaith natur*. Credwn ein bod gyda'r testun o hyd. Pan y crëodd Duw y gwahanol rywogaethau ar eu dechreu, gwnaeth hwy yn ddosbarthiadau, a rhoes ddeddfau cyffredinol i bob dosbarth. Rhoes hefyd ddeddfau prïodol i bob rhan o'r dosbarth, ac yna *îs-ddeddfau* i bob unigolyn yn ei ddosbarth. Dywed rhywun mai dygwyddiad ydyw i'r planhigyn ddyfod yn bren afalau, ac mai y dail yn unig sydd yn

debyg. Ond yn lle hyny, gall y naturiaethwr ddyweyd oddiwrth y ddeilen leiaf, nid yn unig pa bren ydyw, ond pa rywogaeth o'r pren afalau, a'r fath yw ei ffurfiad o'r tu fewn. Gall *dyn* newid arno ei hunan ychydig weithiau, a gwneyd ei hun yn bur debyg i anifail; ond mae deddfau llysiau ac anifeiliaid mor fanwl, fel nad â yr afallen yn ddraenen, na'r fieren yn olewydden; a chymered dyn 100 o ganghenau yr helygen i'w planu, ac fe dyfa helygen o bob un; o herwydd dyna y ddeddf. Felly hefyd edrychwn ar "*reddf*" mewn anifail yn weithrediad deddf o eiddo Awdwr natur. Gan mai *manyldeb* sydd yn ofynedig yn y testun, yn hytrach na nodi llïaws o engreifftiau, cymerer ond tair neu bedair i fanylu arnynt.

Mae genym o'n blaen yn awr hanesyn am gî o rywogaeth y Newfoundland, yr hwn yn Holland a ruthrodd i'r dwfr ar ol ei feistr, a chan afael yn ei ysgwydd a ymdrechodd ei dynu allan; ond er mwyn cadw pen ei feistr uwchlaw y dwfr, gollyngodd yr ysgwydd a gafaelodd yn nês i'r pen, a llwyddodd i'w ddwyn yn ddïogel i dir. Mae y *gwaedgi* bob amser yn sicr o allu arogli llwybr yr hwn y byddo yn ei ddilyn. Ond mewn dwfr collir yr arogl. Felly ar ol croesi afon cymer y cî lwybr o ffurf hanner-cylch oddiwrth làn yr afon tua'r tir, ac yna yn ol at yr afon, er mwyn croesi llwybr y dyn. Ceir a ganlyn gan Mrs. Lee am *pointer* o eiddo ei thad. Pan yn hela, collwyd Clio. Ymhen tros ddwy awr aed i chwilio am dani, a chafwyd hi ar ei chwrcwd ar ben llidiard. Yr oedd nythiad o betris o fewn dwy lath i'w ffroen. Rhaid ei bod wedi eu gweled pan *yn neidio* tros y llidiard. Yr oedd wedi aros yno nes oedd ei choesau mor anystwyth, fel y buwyd yn hir yn eu rhwbio cyn iddi allu cerdded. Gwasanaetha yr uchod i ddangos manylwch greddf mewn cŵn. Llawer hanesyn rhyfedd geir am y llwynog cyfrwys, a mynych y diangodd y cadnaw pan yr anobeithiasai dyn. Hyd y gall, rhêd bob amser gyda'r awel; os na ddyga hyn ef i ddïogelwch, rhêd yn hŷd-groes iddi, fel ag i fanteisio oddiwrthi. Cyfeiria tua'r llanerch fwyaf coediogol, a dewisa y llwybr anhawddaf i'w ymlidwyr ei deithio; un llawn o ddrain a mieri, neu â dwfr ar hyd-ddo. Ni wastraffa ei nerth yn y dechreu, ond rheda yn ol cyflymder ei ddilynwyr.

Gofala yr iâr, pan yn gori, ddychwelyd i'w nŷth cyn i'r ŵyau oeri. Pe unwaith yr arosai yn rhy hir, dinystrid y cyfnewidiad fferyllol cywrain yn yr ŵy; ond daw yr iâr yn ol yn brydlon, pe gorfyddai ddyfod heb gael yr ymborth yr aeth allan i'w ymofyn. Gwna hyn yn ol deddf a osodwyd i'w natur, nas gŵyr y ceiliog ddim am dani. Wrth edrych ar nythod adar, gwelir fod adar o'r un dosbarth yn gwneyd eu nythod o'r un maintioli, ac o'r un defnyddiau, ac yn gosod y rhai hyny yn yr un drefn. Nid yw nŷth y ferch byth yn rhagori ar eiddo y fam; maent yr un fath er cyn côf. Bron na ddychymygem ein bod yn troi tudalenau llyfr wedi ei ysgrifenu yn iaith yr adar ar ddydd eu crëad, neu y dydd y gollyngwyd hwy o'r arch, ac na welwn "ddeddfau nythu" ar amserau wedi eu nodi. 1. Y lle prïodol, desgrifiad; 2. Y maintioli; 3. Y sylfaen; 4. Y cnŵd agosaf at y sylfaen; 5. Y cnŵd nesaf; 6. Y plŷf; 7. Amser eistedd, &c., &c. Beth sydd yn anmhrïodol yn y dychymyg? Ymddengys y deddfau yn fwy cysegredig yn eu golwg o lawer na deddf Sinai i'r Israeliaid, a thra y mae yr olaf wedi tori pob gorchymyn yn eu deddf, ac wedi dirmygu ei Rhoddwr, ceir y cyntaf yn cario allan eu

deddf i'r manyldeb eithaf, a phob boreu yn moli yr Hwn a'i rhoes am ei ddaioni. Ceir yr adar fyddant yn newid gwlad, yn gwneyd hyny ar yr un amser bob blwyddyn, yn myned i'r un lle, ac yn ehedeg mewn ffurf neillduol fyddo fwyaf manteisiol iddynt. Llawer aderyn ieuanc wedi ei fagu yn ddiweddar, na theithiodd y llwybr erioed o'r blaen, a welwyd wedi cyflawni rhan o'r daith, yn disgyn yn lluddedig ar hwylbren llong i orphwys a derbyn adgyfnerthiad ar gyfer y gweddill o'r daith. Nid yw y gôg byth yn gwneyd nŷth; dewisa nŷth aderyn llai o lawer na hi ei hunan. Paham hyny? Am mai llwyd-y-clawdd, brith-y-fuches, neu yr ehedydd bach, yn unig ddaw â'r ymborth prïodol i'r aderyn ieuanc. Buasai bwyd y fronfraith a'r fwyalchen yn wenwyn marwol i'r gôg, a gofala hithau am beidio gadael ond *un* ŵy yn nŷth yr aderyn bach, fel y byddo i'r cyw gael digon o le a digon o ymborth. Eto *dodwya* amryw weithiau yn ystod y tymmor, ond bob tro mewn lle gwahanol. O ryfedd a manwl ddeddfau Natur!

*Gwenyn.* Ceir ymhob cŵch dri dosbarth: y *drones,* neu wenyn gwryw, y gweithwyr, a'r frenhines. Mae y frenhines yn fwy na'r lleill; y *drones* yn drwchus ac anystwyth; a'r gweithwyr yn fychain a bywiog, gyda thrwynau hirion, a'r coesau ol wedi eu cyfaddasu i weithio. Gweithiant eu celloedd yn chwe'-ochrog, cyn i ddyn ddysgu *geometry;* a hwy awgrymodd i ddyn mai y ffurf yma roddai fwyaf o le pan y rhaid adeiladu llawer o gelloedd gyda'u gilydd. Mae y celloedd bob amser o'r un faintioli; yn awr yn ngardd Ioan Pedr yn y Bala, fel ar lànau culfor Corinth cyn ymfudo o'r gwenyn i wledydd eraill. A rhai i chwilio am ddefnyddiau eraill i adeiladu; ac er teneued a chywreinied y parwydydd rhwng y celloedd, ceir hwy bob amser yr un drŵch. Gofalant am yr ochrau oll o'r un maintioli, a'r onglau oll o'r un nifer o raddau. Gofyna y wybodaeth berffeithiaf o rifyddiaeth yn ei changhenau uchaf i osod tair ochr cell wrth eu gilydd yn yr ongledd prïodol. Yn ngeiriau y doniol Sidney Smith, "It would take a Senior Wrangler at Cambridge 10 hours a day for 3 years together to know enough mathematics for the calculation of those problems with which not only every queen bee, but every undergraduate grub is acquainted the minute it is born." O ddeddfau anhyblyg *Mathematics!* maent fel deddfau cyfiawnder ei hun; ond wele y wenynen fach yn eu cario i weithrediad gyda'r manylwch mwyaf. Dywed Lord Brougham fod ysgolheigion gwych wedi bod yn chwilio allan pa ongledd roddai fwyaf o le yn y gell a'r cŵch. Dywedai Maraldi 109° 28'. Roenig drachefn, ar ol llafur dybryd, gafodd allan mai 109° 23' a 70° 34. Ond y wenynen oedd yn iawn ac nid hwy. "These angles," medd efe, "never vary in any place, and it is scarcely less singular that the breadth of all bees' cells are everywhere precisely the same, the male cells being 5/18th, and the worker's 13/80th of an inch in breadth, and this in all countries at all times!" Yr un deddfau a lywodraethant eu cymdeithasau ymhob rhan o'r byd. Teimlai y wenynen Gymreig o droed y Wyddfa yn gartrefol ar unwaith pe ar ymweliad â chwaerfrenhines yn ystlysau Libanus. Pan oedd y Shah yn y wlad hon, rhaid oedd dodrefnu ystafell mewn dull dyeithr i'n gwlad ni i'w wneyd yn ddedwydd. Ond pa un bynag ai yn Ewrop ai Asia, yn Affrica ai America, ai yn ymyl drŵs yr hwn a gloddia aur fel cèryg yn mŵn-

gloddiau Awstralia y bydd y wenynen, ceir ynddi yr un diwydrwydd, yr un cywreinrwydd, yr un deheurwydd, yr un cynnildeb, a'r un ffrwythlondeb. Paham? O herwydd manyldeb gweithrediadau deddfau natur. Pan gollir y frenhines, os na bydd un o'r hâd brenhinol yn aros, cymerir un o'r hâd cyffredin; adeiledir ystafell frenhinol, rhoddir ymborth rhagorach iddi, a chyn pen ychydig ddyddiau daw allan yn nghyflawn ogoniant brenhines. Nid diberygl cyfodi dyn o'r werin ar yr orsedd; ond gwna y frenhines fyddo wedi hanu o'r hâd cyffredin cystal brenhines a'r un fu erioed. Cyn i haid ymadael, cedwir y frenhines ieuanc yn garcharor caeth hyd ymadawiad yr hen frenhines, yr hon, fel Athaliah gynt, a roddai yr holl deulu brenhinol i farwolaeth pe cawsai gan y gwarchodlu, ond ni chaniatëir iddi ganddynt hwy. Ni chaiff hyd yn nôd brenhines y cŵch dòri y deddfau, ac y mae y rhan fwyaf o wledydd Ewrop wedi deall y buasai yn dda cael deddf i'r penadur ymysg dynion hefyd. Can gynted ag y daw y frenhines ieuanc allan o'i chell o fêl, ymaflir ynddi gan awydd angherddol i ddinystrio yr holl chwïorydd brenhinol; gadewir ei ffordd iddi, a buan y cyflawna y dinystr.

*Y Pryf Copyn.* Daw hwn i'r byd gyda gallu i nyddu gwê gywrain, ac i'w chyfleu fel ag i rwydo ei ymborth. Y mae ei beiriant nyddu yn fwy cywrain na dim ddaeth i feddwl dyn erioed. Dyry ar unwaith dros 4000 o edafedd, mor feinion fel ag i fod yn anweledig. Maent mor fychain, fel y rhaid cael 16,000,000,000 o honynt i fod gymaint a blewyn o wallt dyn. Ond nid ydyw y peiriant oll yn fwy na thywodyn ar làn y môr; eto mae yn hollol dan lywodraeth ac ewyllys y pryf; pâr iddo sefyll neu weithio fel y myno. Mae gan y pryf hwn ei "*drawing room,*" lle y gorphwys i aros am ymwelwyr, ac y mae ganddo bellebyr yn ei hysbysu o ddynesiad y cyfryw. Adeiledir gwëoedd o wahanol ffurfiau gan wahanol fathau o'r pryfaid, ond ni welir byth y naill bryf yn gwneyd y wê a arferir gan y llall. Ar ol gosod y *radii* i lawr, gwna a pryf brawf arnynt bob amser, ac yna gwna gylchoedd cystal a'r un cwmpawd, a'r oll yn meddu yr un canolbwynt. Hyn, ond odid, sydd ddigon ar *instinct.* Meddyliasom ysgrifenu tipyn ar y *beaver;* ond yr oedd mêl y wenynen mor felus, a'i *mathematics* mor ddyrys, a daliwyd ni drachefn yn ngwê y pryf copyn, fel y tueddir ni i ymattal. Ceisiwn dynu tua'r terfyn gyda brenin pob cywreindeb—dyn, a chydag ychydig sylwadau cyffredinol.

### MANYLDEB GWEITHREDIADAU DEDDFAU NATUR MEWN DYN.

Hwn, yn ddïau, ydyw teyrn pob cywreinwaith. Fe'i hanrhydeddir gan yr holl grëadigaeth, a hyd yn nôd gan ei Grëawdwr. Gwir iawn yr anrhydedda y Goruchaf y distadlaf o'i grëaduriaid; ond anrhydedda ddyn uwchlaw pawb a phobpeth. Gosododd urddas ar ei gerddediad, ar ei wyneb, ac yn neillduol ar ei feddwl. Anhawdd, yn wir, ydyw gwybod pa ran o hóno i'w dewis i ddangos ein testun. Ai y troed cadarn a defnyddiol, ai y llaw gywrain ac ystwyth, ai ynte yr ymenydd, yr hwn sydd rhy ryfedd i allu esbonio ei hunan. Ond nid gyda'r un o'r rhai hyn yr ymdröwn; edrychwn yn hytrach ar beiriannau sydd yn gweithio yn annibynol ar ewyllys dyn ei hunan, ac ar weithrediad manwl y rhai y dibyna bywyd dyn.

Fe gollai llawer plentyn bach ei gysgu, a breuddwydiai bethau rhyfedd yn oriau y nos, pe wrth iddo edrych ar *forcing pump* yn gweithio, y sicrheid ef fod peiriant yr un fath yn union yn gweithio yn barhäus o'i fewn ef ei hunan, ac nid yn codi dwfr, ond *gwaed*. Cawsai freuddwydion llai digrifol a mwy brawychus, ond odid, pe credai fod o'i fewn dân parhäus fel tân y *steam engine*, yn llosgi ac yn difa ei frasder a'i anadl yn wastadol fel tanwydd.Ië, mae lle i ofni y breuddwydiai fod Æolus ei hunan yn trigo o'i fewn, pe wrth weled ei fam yn chwythu y tân gyda'r fegin, y dywedai un wrtho fod ganddo ddwy gyffelyb yn gweithio o'i fewn yn ddibaid. Beth pe gwyddai y tair ffaith, a hefyd y cyflymder yn ol pa un y mae llawer o'r llaeth maethlon a yfa yn troi yn waed, a llawer o'i ymborth blasus yn troi yn gnawd, a'r prysurdeb gyda pha un y cludir y nôdd o'r naill gŵr o'r corff i'r llall, fe ryfeddai ei fod yn gallu cysgu o gwbl. Pe'i argyhoeddid fod yn rhaid i dwll bychan yn ymyl ei galon gau ac agor tua 4,500 o weithiau mewn awr, neu y byddai farw, mae lle i ofni y trengai o bryder ac ofn cyn pen ychydig oriau. Ië, pe gwyddai fod yn ei lygaid *Microscope* a *Telescope* mwy cywrain na feddai yr un seryddwr erioed fu yn ymddifyru yn nhrymder nos ynghanol trigolion y dyferyn dwfr ar flaen y nodwydd, neu ynte yn syllu ar y planedau, ac yn cyfoethogi ei feddwl wrth fyfyrio ar ehangder goreuredig yr wybren, a'i mil myrdd o sêr. *Eto dyma ffeithiau y llygad.* Beth ydyw? Dim ond ymehangiad pen yr *optic nerve.* Un *optic nerve* sydd gan ddyn, ond y mae amryw grëaduriaid a dwy, neu dair, neu bedair; medd rhai gannoedd o lygaid, a medd y *dragon fly* 20,000. Ar flaen y *nerve* uchod ceir y *retina*, yr hon sydd yn derbyn oddiallan ac yn cyfleu i'r meddwl argraffiadau cywir o bob gwrthddrych o'i hamgylch. Prin mae yr un *photographer* yn y deyrnas hon yn troi allan dros 500 o ddarluniau yn y dydd; ond derbynia a chyflwyna y *retina* gynifer a hyny mewn ychydig fynydau; ac nid yn unig dengys y ffurf gywir, ond y lliwiau hefyd yn fwy cywir a phrydferth nag y gallai yr un Chinee eu paentio. Tŷn ddarluniau o bell ac agos. 'Fel prawf o allu mawr un anifail, dywedir ei fod yn agor ei safn i yfed yr *afon;* ond y mae llygad bychan dyn y cyfryw fel yr yfa bob gwrthddrych o'i amgylch, ac y mae y glust yn llyncu pob sŵn, "eto ni ddigonir y glust â chlywed na'r llygad â gweled." Mae yn y llygad wlybyroedd *(humours)* yn gweithredu fel *lenses.* Pan fyddo ar y seryddwr eisieu *lens*, cymer ei ddernyn gwydr, a gwna o hono *un* math o *lens* yn unig; a rhaid iddo fod yn gydnabyddus â deddfau manylaf *geometry*, a meddu ar law gywrain i weithio mewn trefn i gael *lens* fel y dymuna. Ond yn y llygad, mae yr *umours* yn gwneyd mil a mwy o wahanol *lenses* yn y dydd, ac yn cyfnewid eu ffurf i'r hyn fyddo yn eisieu, mewn eiliad o amser. Mor fanwl gyda'r *trains* a pheiriannau ein gweithfëydd ydyw gwŷr yr olew, y *porter* gyda llestriad o *palm oil* yn edrych y celloedd uwchben yr echelydd, a'r *engine driver* gyda llestr, a'i wddf fel gwddf y crëyr glâs, yn cerdded o amgylch y peiriant nerthol i roddi olew yn y treuliau. Ond er mor fychan y llygad, mae efe yn gwneyd ac yn cludo ei olew ei hun. Gwaith cywrain ydyw cael tri gwydr yn meddu *focus*, pob un i gydweithio gyda'r llall, a'u gosod yn y *telescope*, fel ag i ddangos pethau pell yn agos ac eglur; ond ceir yn y llygad dri defnydd gwlybyrol, y rhai sydd yn trefnu eu hunain bob amser fel ag i grynhöi pelydrau

goleuni ar y *retina*. Ar y *Crystalline Lens* ceir crwba o'r ddeutu, hon ydyw mwyadur y llygad, a gellir ei symud gyda'r fath hwylusdod fel na theimla dyn ddim oddiwrth ei waith yn ei chyfaddasu at bethau pell neu agos. Mae 6 o ewynau yn symud y llygad. Ceidw yr aeliau y llygaid rhag llwch a gormod o oleuni. Pe buasai goleuni iddynt yn dyfod oddi waered, mae'n sicr mai o'r ochr isaf i'r llygad y buasai yr ael; ond gan mai yr haul oddiuchod sydd i lewyrchu, yna o'r tu uchaf y ceir yr amddiffyn. Ceir 8 o agoriadau yn cludo gwlybwr o'r llygaid i'r trwyn, i lanhâu y cyntaf, ac i ystwytho yr olaf; fel y defnyddir dwfr i lanhâu ein dinasoedd, ac yna ei cludir i ireiddio a gwrteithio y tir oddiamgylch. Y mae hefyd yn y llygad o 30 i 40 o bigau bychain yn codi o *gland* o dan y llygad, ac y mae sylwedd olewyddol yn cyfodi trwyddynt, yr hwn sydd yn derfyn i'r dwfr yn y llygaid, fel y tywod i dònau y môr; ac y mae hwn o'r fath natur fel na lyna y naill amrant yn y llall. Ond pan fyddo teimladau dyn wedi eu cynhyrfu, gweithia *glands* y llygaid yn gyflymach, ac ni all y gwlybwr fyned i lawr yr agorfäu a nodwyd. Yna daw deddf y cyfeiriwyd ati eisoes i ffurfio effaith y teimlad yn berl prydferth; ymgasgla yn ddyferyn yn nghongl y llygad, cychwyna yn araf dros y grûdd, disgyna i ddwylaw deddf attyniad, a chwympa i'r ddaear i'w anghofio gan bawb ond Awdwr natur a'i deddfau. Mor rhydd yr agorir y llygad, ac y cauir ef drachefn; mor fynych ei symudir; mor llïosog ydynt yr argraffiadau wneir arno; mor gywrain ei adeiladaeth; ac eto ni theimla dyn ddim oddiwrtho yn ei symudiadau mynych a chyflym hyd nes y daw rhywbeth i ymyraeth â'i ddeddfau, ac yna teimlir grym y deddfau gwanaf. Ni welir dagrau galar na llawenydd, dagrau tad na dagrau plant, nad ydynt yn tarddu ac yn cael eu ffurfio yn llygaid, ac yn disgyn dros ruddiau yr Ariad fel yr Ethiop, yr Iuddew fel y Cenedlddyn, y pagan barbaraidd ar lanau y Caveri, fel y Cristion duwiol ar lanau yr Ogwen, a hyny yn ol deddfau llïosog, ond manwl, eu gweithrediadau—deddfau diwyro natur. Y *gwaed* yn y gwythïenau sydd fel y môr yn dygyfor, neu fel preswylwyr entrych y ffurfafen yn olwynaw yn ddibaid yn fân ronynau o lestr i lestr, ac o wythïen i wythïen, gan ofalu dyfod yn ol i'w ffynnonell i ail gychwyn bob hyn a hyn o amser. Caiff ei buro yn fwy manwl nag y purwyd ŷd erioed, yn fwy manwl nag y pura y fferyllydd ddefnyddiau y feddyginiaeth ar effeithiolrwydd yr hon y dibyna bywyd ei gyd-ddyn. Mae y galon fel *main spring* yr oriawr yn cadw yr holl beirianwaith i fyned ymlaen, yn rhanedig i 4 ystafell, i bob un o'r rhai y daw gwythïenau penodol. Cychwyna y gwaed o gell rhif 1. Ar ol i hon dderbyn cyflenwad o'r gwythïenau; crebycha, a chwystrella y gwaed i gell 2; gŷr hon y gwaed trwy *artery* i'r *lungs*. Yma ceir celloedd wedi eu gwahanu gan ogr o fân flew, a thrwy offerynoliaeth yr awyr a anedlir, purir y gwaed. Cymer *oxygen* o'r awyr a gollyngir *carbonic acid* yn ol, a newidia y gwaed ei liw o fod yn ddu neu rûddgoch i fod o liw côch, prydferth, ac iachus, ac yna dychwel i gell 3, yr hon a'i gorfoda i gell 4, yr hon eto yn ei thro a grebycha ac a'i chwystrella i'r *aorta*, ac anfona hon ef gyda'r gwythïenau dros yr holl gorff mor fanwl fel nas gellir rhoddi blaen nodwydd yn y croen heb iddi fyned i gell neu wythïen yn cynnwys gwaed. Trwy rwydwaith y *lungs* hefyd y gollyngir nôdd i'w ranu i ewynau y corff. O eithafoedd y corff dynol daw y gwaed yn ol wed'yn i gell 1, ac yna ail deithia ei lwybr

arferol. Ond pan deflir y gwaed o'r llestri uchod, o herwydd ei fod yn llon'd y gwythïenau, tuedda i ddyfod yn ol. I rwystro hyn, fodd bynag, ceir dorau ar byrth y celloedd, a'r rhai hyny fel dorau *docks* ein porthladdoedd, nid yn unig yn dueddol i gau, ond yn cael eu gorfodi i gau gan y gwaed o'r tu ol—fel y pâr y dwfr a gyfodir i'r cauad bychan ar waelod cell yr *air pump*. *Valves* yw y rhai hyn, a chyda yr aiff y gwaed trwodd llifa o'r tu ol iddynt, gan eu gwthio yn erbyn genau y gell. Gwnant yr un modd yn y rhanau hyn, wedi eu cymeryd o anifail marw, fel mai peth hollol beiriannyddol ydyw. Clyw y glust sŵn agoriad y *valves* yn amlwg. Y maent o wneuthuriad pur denau, eto daliant nerth oddeutu pwys o waed. Agorant a chauant 75 o weithiau y fynyd, neu 4,500 o weithiau yr awr; a phe bae un o honynt yn tori, neu yn gwrthod gweithio, profai hyny yn farwolaeth i ddyn ar unwaith. Mor ryfedd ac anchwiliadwy ydyw doethineb yr Anfeidrol! Rheswm da paham y mae deddfau natur yn fanwl eu gweithrediadau. Nis gall ein gorchwylion penaf ni fwy na pheri colli bywyd; ond y mae gweithrediadau lleiaf deddfau natur yn peri neu rwystro i'n bywyd ni gael ei gymeryd ymaith. Nis gall malais penaf dyn, wedi ei gynhyrfu gan yr ysbryd gwaethaf, fyned tu hwnt i ladd ei gydgreadur; ond gall toriad y wythïen leiaf yn y galon wneyd hyny. Wele, ynte, delerau bywyd dyn. Rhaid iddo fod yn feddiannol ar y peiriannau tu fewnol; ond dibyna hefyd ar gyfaddasder elfenau allanol natur. Cynnwysa awyr *oxygen* a *nitrogen* yn ol y cymesuredd o 1 i 4. Pe bae yr *oxygen* ond ychydig bach yn drymach suddai yr awyr anedlir gan ddyn ac anifail, chaem haint a marwolaeth yn arglwyddiaethu arnom. Pe bae yr *oxygen* a'r *nitrogen* heb fod yn union y cyfartaledd y maent, nis gellir mynegu y canlyniadau. Pe bae yr awyr yn 1 o *oxygen* ar gyfer 3 yn lle 4 o *nitrogen*, buasai yn *aquafortis*, ac mor wenwynig fel y buasai tri anadliad o hóno yn troi yn farwolaeth i bob dyn. Nid yn unig, ynte, mor fanwl ydyw gweithrediadau y deddfau, ond mor bwysig ydyw eu manyldeb!

I ddwyn hyn o lafur i derfyn, rhoddwn engreifftiau eithafol (i'n golwg ni) o'r amrywiol ganghenau.

Wrth edrych i'r rhan fach o'r ddaear sydd yn wybyddus i ni, gwelwn gannoedd o filoedd o wahanol fathau o gyrff cyfansawdd, pob un o'r rhai sydd wedi ymffurfio o ran lle, a chymysgu o ran amser, yn ol deddfau penodol. Meddant eu neillduolion arbenig, yn ol pa rai y gweithredant tuag at eu gilydd, ac nid ydynt byth yn gweithredu heb ddeddf. Yn y byd llysieuol ceir tros 56,000 o rywogaethau o blanhigion a llysieuau. Yn wir, gellir dyweyd fod yr holl lysiau ar dir a môr yn 500,000. Y mae yn perthyn i bob un o'r rhai'n gannoedd, ac i lawer filoedd, o gellau o ffurfiau arbenig. Cymerant eu hamser penodol i dyfu i gyflawn faintioli. Medd un ddeilen ½ modfedd o hyd, tra y medd y llall, fel y *Tallipot* o Ceylon, ddeilen a gysgoda 15 neu 20 o bobl rhag y gwlaw. Gwahaniaetha pob llysiau mewn ffurf, arogl, a maintioli, ac yn yr amser a gymerant i dyfu. Gallai Israel beidio adnabod eu Duw, ond y mae pob un o'r llysiau a'r coedydd hyn yn gweithredu yn ol y ddeddf a osododd y Crëawdwr iddo, ac yn dwyn y ffrwyth dysgwyliedig. Yn y *Palma cereres* ceir ar un ochr i'r ddalen 172,000 o fân gelloedd. Mae y *Rose Leaf Plant* yn un ran o 2,985,984,000,000,000 o ambell goeden geir yn Guinea a Brazil, ac eto llenwir y gofod mawr sydd rhwng y

rhai'n â llysiau a choedydd o bob gradd, mewn ffurf a maintioli, ac amser eu tyfiant, a chadwant felly 3 deddf neillduol bob un. Caem felly yn y byd llysieuol tua 8,957,952,000,000,000 o ddeddfau. Eto pa le mae eu sŵn, neu drwst eu cerddediad, a pha ddwy o honynt sydd yn ymrafaelio?

Yn y byd anifeilaidd gwelir gyda chŵyddwydr, yr hwn a fwyhâ wrthddrych 500,000 o weithiau, drychfilod sydd, er eu mwyhâu felly, ond prin yn weledig. Ceir morfil yn 120 troedfedd o hŷd ac 20 troedfedd ei lêd: ceir yma felly raddfa yn estyn o 1 i 34,560,000,000,000,000,000. Eto llenwir y gofod hwn gan grëaduriaid o bob gradd, yn tyfu i'w maintioli prïodol, yn byw yn eu lleoedd prïodol, yn ymborthi ar eu hymborth neillduol, yn cenhedlu yn ol eu deddfau neillduol; ac eto pob un o honynt yn adnabod ei le ei hun, ac yn boddloni arno. Wele fanyldeb ar fanyldeb; ac eto gallwn gasglu nad ydyw dyn yn canfod yr hanner o'r hyn sydd yn bod.

Tröwn ein golwg tua'r wybren; mae arwynebedd yr haul yn 40,000 o filiynau o filldiroedd ysgwâr; ond dywedir fod y seren Lyra yn 54 o filoedd o weithiau yn fwy, felly yn 36,842,932,671,875,000,000,000 o filldiroedd ysgwâr; ac eto mae rhifedi y sêr uwchlaw amgyffred dyn. Nid ydyw y Goruchaf yn gwneyd dim heb drefn, heb ddeddf; ac nid yn unig mae y cyrff enfawr hyn yn teithio yn ol deddfau penodol, ond hefyd yn dal wrth eu gilydd, ac y mae pob elfen ynddynt yn bod ar wahân, ac mewn cymdeithas âg eraill yn ol ei deddf ei hun. Eto rhaid i ni addef fod cyfundraethau mor berffaith mewn dyferyn o ddwfr ag sydd yn y grëadigaeth uchaf. Ceir trychfilod mewn un dyferyn, o ba rai y nofiai 10,000 yn hwylus trwy grai y nodwydd ddur. Ymddengys fod deddfau eu bywyd yn bur groes i ddeddfau bywyd dyn, a'r anifeiliaid yr ydym ni yn eu gweled. Ceir miliynau mewn modfedd ysgwâr, a cheir mewn milldir 23,888,000,000,000,000 o honynt; a phe cyfrifai dyn filiwn mewn 7 niwrnod, buasai raid i 80,000 o bobl ddechreu cyfrif ar ddydd y crëad i'w rhifo erbyn heddyw. Eto medd pob un o'r rhai hyn ranau neillduol; gwelir amryw o'u symudiadau tumewnol, ac y mae eu symudiadau yn dibynu ar eu hewyllys; dangosant eu bod yn meddu cryn radd o ddoethineb, a'u bod yn hoff o gymdeithas eu gilydd—hen ddeddf yw hon sydd mor wir am yr haul a'r lleuad ag am Adda ac Efa, am deulu y planedau a theulu y dyfnder, am blant yr Indiad yn ei *wigwam* a phlant y Cymro ar gàreg yr aelwyd ar fron yr Elidir neu lechwedd Carnedd Llewelyn. Dwy elfen bwysig yn y byd ydyw cariad ac annibyniaeth, a dibyna prydferthwch cymeriad, yn gystal âg arddunedd golygfa mewn natur, ar y graddau i ba rai y gall dyn ddangos hoffder at, ac ymlyniad wrth, eraill, ac ar yr un pryd gadw ei annibyniaeth. Nid ydym yn gwybod y gall dyn ddangos cymaint o annibyniaeth a *dignity* wrth wneyd un peth ag a all wrth *ymgrymu*. Dyma y *crucial test* ar fanyldeb deddfau natur, a daliant y prawf yn ardderchog.

# SEFYLL ALLAN.

Mae yn ymddangos mai yn y flwyddyn 1811 y cymerodd y sefyll allan cyntaf o bwys el ag y mae genym hanes am dano. Yn mis Chwefror y flwyddyn hono, yr oedd y fasnach hosanau yn Nottingham a'r gymydogaeth mewn sefyllfa mor isel, fel yr oedd nifer mawr o'r gweithwyr wedi eu darostwng i dlodi a chaledi mawr. Ar yr 11eg o Fawrth, ymgynnullodd nifer llïosog o wehyddion o'r wlad, y rhai a ddynodid fel y *frame-work knitters*, yn nhŷ'r farchnad, a phenderfynasant ddial ar eu cyflogwyr, y rhai oeddynt wedi gostwng y prisiau am wneuthur hosanau. Penderfynwyd hefyd ffurfio undeb gyda gweithwyr y dref, i'r amcan o godi yr ennillion, ac o ddinystrio y peiriannau a dybient hwy yn anfanteisiol i lafur y llaw, ac yn enwedig y peiriannau llydain, yn y rhai yr oeddid yn gwau amryw o hosanau yr un pryd. Dinystriwyd 200 o'r peiriannau hyn mewn tair wythnos. Cyflawnid y difrod hwn ar hyd y nos, gan gwmnïau o hanner dwsin neu fwy, y rhai a äent dan yr enw *Luddites*, ac yr oeddynt yn cyflawni eu gwaith mor ddirgelaidd a deheuig, fel y buwyd amryw fisoedd cyn llwyddo i ddal braidd neb o'r drwgweithredwyr, a hyny er danfon milwyr i'r lle i gadw gwyliadwriaeth, ac ustusiaid o'r brifddinas i wneuthur ymchwiliadau. Fe farna y darllenydd am y canlyniadau, pan ddywedwn fod nifer y teuluoedd allan o waith ar y 30ain o Ionawr, 1812, yn nhri phlwyf Nottingham, yn ddim llai na 4,248, yn cynnwys 13,350 o bersonau, sef yn agos i hanner poblogaeth y lle, y rhai oeddynt yn ymddibynu am eu cynnaliaeth ar dreth y tlodion. Ymledodd y drwg i Siroedd Leicester, Derby, Lancaster, a York, a pharhäodd, i fesur mwy neu lai, hyd y flwyddyn 1817. Cyflawnwyd llawer o'r troseddau gwaethaf. Yn 1813, crogwyd 18 o'r *Luddites* yn York am lofruddiaeth a llosgi meddiannau. Yn yr un flwyddyn pasiwyd deddf Seneddol yn gwneuthur pwy bynag a ddinystriai beiriant at wau hosanau yn euog o farwolaeth. Ac yn y blynyddau 1816 a 1817, alltudiwyd saith o'r *Luddites* o Nottingham, a dienyddiwyd amryw o'r arweinyddion yn Swydd Leicester. Ond er pob dial ac ymdrech, i lawr yr oedd y cyflogau yn aros, a syrthiasant yn agos i'r hanner yn y blynyddoedd 1815 hyd 1819; ac yr oedd ennillion y rhai a weithient yn cael eu gwneyd yn llai fyth oblegid eu bod yn cyfranu at gynnaliaeth y rhai anghyflogedig a berthynent i'w hundeb. Ac ni chododd y cyflogau hyd 1823, pryd y cymerodd masnach dro er gwell, ac y cafwyd gwaith digonol i'r holl ddwylaw. Hanes torcalonus ydyw eiddo y gwehyddion hosanau yn yr amseroedd y cyfeiriwn atynt, ac os yw yn ddichonadwy cyfreithloni sefyll allan, y mae eu hachos hwynt yn un o'r rhai goreu a ellir ei gymeryd i'r amcan. Ond fel hyn y

dywed Mr. J. Ward yn ei *Workmen and Wages* (London, Longmans, Green, & Co., 1868), tudal. 44 :—" Er cyflwr truenus y gwehyddion peiriannol *(framework knitters)*, a'r drygau sydd raid iddynt ymdrechu yn eu herbyn, y mae sefyll allan wedi gwneuthur yn anfesurol fwy o ddrwg nag o dda iddynt, pan yn cael ei ddefnyddio i'r amcan o symud eu cwynion. . . Cafodd sefyll allan y gwehyddion yn 1817—1818 effaith ar ein masnach allforol mewn hosanau sydd yn cael ei deimlo hyd heddyw. Yn y blynyddoedd hyny, y prynwr hosanau tramor, pan yn methu cael y cyflenwad arferol oddiwrth y gwneuthurwr Seisonig, o herwydd y sefyll allan, a aeth i Germany i wneuthur ei bryniadau. O'r adeg hono cafodd y Germaniaid afael ar y fasnach allforol mewn hosanau, yr hon yn eu dwylaw sydd wedi cynnyddu yn ddirfawr, a'r hon a gawsant yn benaf trwy sefyll allan aml y gweithwyr yn y wlad hon. Chemnitz yn Saxony a gododd i fyny yn gydymgeisydd â rhai o'r trefi llaw-wneuthurol yn y dosbarth hosanau, ac mewn marchnadoedd anmhleidiol, y mae yr hosanwyr Saxonaidd am hir amser wedi ein rhedeg yn galed, yn enwedig mewn nwyddau o brisiau isel."

Y mae yr un awdwr yn rhoddi hanes am sefyll allan y nyddwyr cotwm yn gyntaf yn 1810, yn Manchester, Stockport, Macclesfield, a lleoedd eraill, ac mor bell i'r gogledd a Preston; wedi hyny yn 1824, yn Hyde, a thrachefn yn 1829, ac eilwaith yn 1830. Yn 1836 cymerodd sefyll allan le yn Preston, yr hwn a barhäodd am dair wythnos ar ddeg; ac fe rydd y manylion addysgiadol a ganlyn olwg darawiadol ar y colledion a achosir gan sefyll allan y gweithwyr. Y nifer a adawodd eu gwaith yn wirfoddol ydoedd 660 o nyddwyr cotwm, ac mewn canlyniad yr oedd dim llai na 7840 o bersonau eraill a ymddibynent arnynt, yn cael eu gorfodi i fod yn segur; mewn geiriau eraill, yr oedd pob nyddwr a safai allan yn taflu deuddeg o ddynion allan o waith. Cyfrifir y golled arianol yn gant a saith mil o bunnau a throsodd; ac yr oedd o ugain i ddeng mil ar hugain o bobl wedi eu darostwng i gyflwr o newyn. Gan fod y ffigyrau o'n blaen, ni a'u rhoddwn i lawr :—

| | £ |
|---|---|
| Cyflogau y 660 nyddwr am 13 wythnos, yn ol £1 2s. 6c. | 9,652 |
| Ennillion 1,320 o blant, yn ol 5s. 6c. | 4,719 |
| Arian 552 o wehyddion, goruchwylwyr, ac eraill, yn ol cyfartaledd o 9s. | 38,142 |
| Colled y gwehyddion *(handle-loom)* | 9,500 |
| Colled celfyddydwyr ac eraill | 8,000 |
| Y golled i'r meistri | 45,000 |
| Colled masnachwyr | 4,986 |

O gyfanswm y ffigyrau hyn, y mae yn rhaid tynu allan £2,500 o gynnorthwy plwyfol ac elusenau personol, £1,000, a roddwyd gan y meistri; £4,290 o gyfraniadau yr undeb; a £5,013 o ennillion am ran o'r amser. Ond ar ol tynu allan y swm hwn o £12,803, nid oedd colled uniongyrchol y gweithwyr mewn ennillion yn ddim llai na £57,210. Yr oedd gwaith pob nyddwr yn sefyll allan yn achosi colled o £86 iddo ef ei hun a'i gydweithwyr, £70 i'r meistri, a £7 10s. i fasnachwyr y dref; a hyny am dymmor mor fyr a thair wythnos ar ddeg. Ac i ba beth y bu y golled hon? Y diwedd ydoedd i'r dynion ofyn am brisiau îs na'r hyn y safasent allan yn eu herbyn. Rhywbeth yn debyg ydyw

hanes y sefyll allan yn Wolverhampton yn 1850, yn Birmingham yn 1858, Swydd Stafford yn 1864, a thua'r un amser yn Leeds. Y mae colledion y gweithwyr mewn canlyniad i'w sefyll allan mewn gwahanol leoedd tua'r adeg hon yn cael eu cyfrif yn agos i dri chan' mil o bunnau. Pe buasai y dynion hyn wedi cynnilo yr arian a wariwyd yn hollol ofer ar sefyll allan, gallasent fod wedi rhoddi gwaith parhäus i 1,425 o ddwylaw, ac wedi sicrhâu ennillion yn cyrhaedd y swm o £21,375 y flwyddyn yn ychwanegol at eu cyflogau, neu ddigon i ychwanegu 214 at nifer y cyflogwyr. Gwelodd Coventry hefyd sefyll allan yn 1854 ac 1858; a Burslem a Hanley, a'r lleoedd cysylltiedig yn Swydd Stafford, yn y blynyddoedd 1834 a 1836, a chyfrifir colledion yr olaf yn cyrhaedd y swm mawr o £188,610 i weithwyr yn unig. Cyffelyb eilwaith ydoedd helynt y sefyll allan gymerodd le amryw droion yn Swydd Caerefrog, ac eiddo yr adeiladwyr yn Liverpool a Llundain. Y mae yr hanes yn profi mai nodweddion dieithriad sefyll allan ydynt colled, trueni, a siomedigaeth.

Nid ydyw hanes sefyll allan yn Nghymru eto wedi ei ysgrifenu. Y mae yn y Dywysogaeth dair prif fasnach, sef mewn llechi, glô, a haiarn. Dygir y blaenaf ymlaen yn benaf yn Ffestiniog, Llanberis, a Bethesda, lle y cyflogir rhai miloedd o ddwylaw; ac ar y ddwy arall yr ymddibyna yn fwyaf boblogaeth fawr Morganwg a Mynwy. Gyda golwg ar Ffestiniog, "Ni ellir dyweyd," fel yr ysgrifena gohebydd parchus atom, "yn briodol y bu yma sefyll allan erioed. Gellid cyfeirio at amryw amgylchiadau yn ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf y bu rhyw ran o'r gweithwyr mewn amryw o'r chwarelau yn anghyttuno â'u meistri, ond ni pharhäi yr anghyttundeb ond am amser bŷr, ychydig oriau yn unig weithiau, ac ni fyddai un math o ddealltwriaeth rhwng y gweithwyr â'u gilydd fel dosbarth. Yn y mwyafrif o'r amgylchiadau hyn y gweithwyr fyddai yn manteisio trwy gael mwy o bris am eu llafur." Bu sefyll allan yn Bethesda mor bell yn ol a thua'r flwyddyn 1825. Ni fu yr un wedi hyny tan 1865, a chymerodd y sefyll allan diweddaf le yn 1874. Ni pharhäodd y cyntaf ond ychydig ddyddiau; parhäodd yr ail am bythefnos; a'r olaf am dair wythnos ar ddeg. Ond yn y Deheudir y mae amryw o ymdrechfëydd celyd ac ystyfnig wedi cymeryd lle rhwng eiddo a llafur, ac yn enwedig yn ystod y pum' mlynedd diweddaf. Bu sefyll allan yn 1871 ac yn 1873, ac nid yw y wlad ond yn dechreu ymuniawni ar ol y sefyll allan diweddaf 1874—5, yr hwn a barhäodd dros bum' mis o amser. Cymerodd y sefyll allan cyntaf le yn Nghwm Rhondda tua'r flwyddyn 1840, ac yr oedd yr un rhyw anffawd wedi digwydd yn Merthyr mor gynnar a'r flwyddyn 1831, hanes bŷr o'r hwn a roddir gan Mr. Charles Wilkins yn ei *History of Merthyr Tydfil.*

"Tuag amser cynhyrfus ac afreolus y flwyddyn 1831, dygwyd i mewn egwyddor yr Undebau Crefftol i blith y gweithwyr. I'r Saeson yr ydym yn ddyledus am bethau newyddion yn benaf, ac am hwn yn neillduol. Wythnos ar ol wythnos ymledai yr egwyddor; dechreuodd y dynion feddwl, gan fod cyfoeth yn orfaelaeth, o bod y meistri haiarn yn ymffurfio yn gymdeithas, a thrwy hyny yn alluog i wneuthur eu hammodau eu hunain gyda'u gweithwyr, y dylent hwythau hefyd ymuno mewn amddiffyniad. Gan weithredu ar yr ymresymiad hwn penderfynasant sefyll allan. Cymerodd hyn le yn Hydref, 1831. Y gweithwyr a gymerasant ran yn benaf yn y

sefyll allan oeddynt eiddo gweithfëydd Plymouth a Dowlais. Gwrthododd dynion Cyfarthfa a Phenydaren âg ymuno yn y sefyll allan, ac i'r ymlyniad diysgog hwn o'u tu hwy y mae yn rhaid prïodoli dychweliad ffodus pob dosbarth i weithio.

"Dechreuodd y rhai a safent allan gydag unfrydedd a zêl. Ffurfiwyd cymdeithasau dirgel mewn llïaws o dafarnau, y rhai, mewn canlyniad, a wnaethant fasnach helaeth; ac ynddynt gofynid trwyddair, fel yn amseroedd y *Whiteboy* yn yr Iwerddon, cyn y gellid cael mynediad i mewn. I'r cymdeithasau dirgel hyn yr oedd ysbïwyr yn cael eu talu yn dda yn arfer myned, ac, o dan rith bod yn rhai o honynt hwy eu hunain, yn cael pob hysbysrwydd dichonadwy i oruchwylwyr y meistri haiarn. Nid oedd y goruchwylwyr, modd bynag, yn tueddu i gymeryd, fel efengyl, yr oll a glywent gan ddynion oeddynt yn ddyhirod, ac nas gellid ymddiried ynddynt hyd yn nôd yn eu hocedwaith; ac am hyny gwrandawent y cwbl, ychwanegent hyny at yr hyn a wyddent, ac yna trwy holiadau, wedi eu gosod yn fedrus, caent allan y gwirionedd.

"Parhäodd y sefyll allan am wyth wythnos; y dynion yn cael eu cynnal mewn rhan gan y rhai oeddynt yn parhâu i weithio yn y gweithiau cymydogaethol, treth a delid yn rhwydd, yn y grediniaeth ffôl eu bod yn cynnal rhai oeddynt yn ymladd dros egwyddor. Wedi i'r cwbl fyned drosodd, ac wedi i'r dynion, gyda chyrff wedi eu gwanhâu, ddychwelyd at eu gwaith, yn llawer gwaeth na phan ei gadawsant, dechreuodd ynfydrwydd eu gwrthwynebiad wawrio ar eu meddyliau; a gyda hyny daeth gwirionedd arall i'r golwg. Iddynt hwy eu hunain yn unig yr oedd yn rhaid prïodoli yr achos o'r cyflogau cymhariaethol isel yr oeddynt yn eu cael. Yr oeddynt wedi arfer dwyn i mewn niferi llïosog o ddynion o bob sîr yn Nghymru i adnabyddiaeth gyflawn o'r manylion mewn cysylltiad â gweithio haiarn a mŵn, ac felly, trwy wneuthur llafur yn rhad, gwnaethant y cyflogau yn llai. Ac mewn canlyniad, yr oedd i'w sylwi, ar ol y sefyll allan, fod y dynion yn gwylio yn fwy dirgelaidd y wybodaeth a ennillid trwy brentisiaeth caled a maith yn ogofëydd y ddaear, a cherllaw gwrês dallol y ffwrnes; ac y mae hen weithwyr yn dyweyd wrthym i'r wybodaeth gyrhaeddwyd trwy y sefyll allan hwnw, a'r profiad a brynwyd trwy hir ddyoddefaint, leshâu a gwella llawer ar weithwyr Merthyr Tydfil." (Tudal. 305—306).

Am fanylion pellach hanes sefyll allan, rhaid i ni gyfeirio ein darllenwyr at y gyfrol gan Mr. Ward a nodwyd eisoes, ac hefyd at waith Ffrancwr ar Undebau Crefftol Lloegr, yr hwn sydd wedi meistroli y pwnc yn drwyadl, ac wedi ysgrifenu mewn arddull sydd yn bleserus i'w ddarllen. Teitl y llyfr hwn ydyw "*The Trades Union of England*," by M. Le Comte De Paris; Translated under the Author's direction by Nassau J. Senior, M.A.; Edited by Thomas Hughes, M.P. London: Smith, Elder, & Co. 1869. Y mae enwau Mr. Senior a Mr. Thomas Hughes mewn cysylltiad â'r gwaith, ar unwaith yn gymeradwyaeth uchel iddo. Y mae y ddwy gyfrol yn gyfryw âg y byddai yn ddaioni dirfawr i weithwyr Cymru, yn enwedig glöwyr Morganwg a Mynwy, i'w ddarllen yn fanwl, ac astudio yn ofalus y ffeithiau pwysig a llïosog a adroddir yn ddyddorol a ffyddlawn ynddynt. Fe gyhoeddwyd gwaith hefyd mewn cysylltiad â sefyll allan y Deheudir yn 1871, ac yn awr y mae ystadegau y sefyll allan mawr 1874—5 yn cael eu parotöi i'w hychwanegu ato. Mae yn ofidus genym, yn ol yr hysbysrwydd ydym wedi ei dderbyn, y bydd pris y gyfrol mor uchel a gini. Gwaith i'w osod yn nwylaw masnachwyr yn unig fydd hwn; tra mae y gweithwyr sydd yn sefyll mewn angen yn benaf am atebion parod wrth law i'r gofyniadau pwysig, Pa faint gollodd y gweithwyr mewn ennillion yn ystod y sefyll allan? Beth oedd swm y cymhorth plwyfol a gyfranwyd? Beth oedd cyfanswm y cyfraniadau elusenol? Pa faint oedd colledion y masnachwyr? Beth ydoedd y golled i'r meistri? a llïaws o gwestiynau eraill. Y mae yn wir i'r wasg ddyddiol, ac yn enwedig y *South Wales*

*Daily News*, gyflenwi llawer o ffeithiau a ffigyrau yn ystod yr ymdrech, a da fuasai genym erbyn hyn pe buasem wedi cadw ei rifynau; ond fe ŵyr pawb am y damweiniau sydd yn dygwydd i'r papyrau newyddion sydd yn dyfod i'n tai. Gwnaeth Arglwydd Aberdâr wasanaeth pwysig wrth gyfleu hysbysrwydd awdurdodol gyda golwg ar safle masnach a'r colledion a achosid gan y sefyll allan. Ac yr ydym yn ystyried y byddai yn fantais werthfawr, os nad anmhrisiadwy i'r gweithwyr yn gyffredinol, pe gosodid yn eu dwylaw lyfryn yn cynnwys mewn dull hylaw ffrwyth yr ymdrafodaethau a gymerodd le, gydag ystadegau manwl a chyflawn, a hanes cryno am bob sefyll allan yn Nghymru o'r dechreu hyd yn bresennol. Ac ni a obeithiwn na fydd byth yn angenrheidiol estyn yr hanes ymhellach. Credwn y byddai golwg gryno a bywiog ar yr anghydwelediadau sydd wedi bod rhwng cyflogwyr a gweithwyr, gyda'u canlyniadau yn y ffurf o sefyll allan, o dan law feistrolgar, yn fwy na thebyg o effeithio i sicrhâu na chaiff ein gwlad hoff ei blino mwyach gan y drwg hwn.

Y mae dau beth yn eglur oddiwrth yr hanes yr ydym yn awr wedi myned trwyddo; yn gyntaf, mai amcan pob sefyll allan yw cadw i fyny, neu godi, cyflogau y gweithwyr; ac hefyd fod cysylltiad agos rhwng sefyll allan ac Undebau Crefftol. Nid yw sefyll allan yn gynnyrch angenrheidiol i'r undebau hyn. Ond y mae yn annichonadwy cynnal sefyll allan heb undebau. A gellir dyweyd ymhellach fod yr undebau yn aml yn uniongyrchol wedi achosi sefyll allan. Y mae undebau y gweithwyr erbyn hyn wedi colli eu hamcanion elusengar i fesur mawr yn y wêdd ymosodol y maent wedi ei chymeryd fel sefydliadau i amddiffyn hawliau y cyflogedig, ac i wneuthur ammodau â'r meistri. Gyda golwg ar hawl y gweithwyr i ymuno â'u gilydd i wylio eu manteision, ac yn enwedig, i gynnorthwyo eu gilydd mewn afiechyd a methiant, nis gall fod yr ammheuaeth leiaf. Fel y dywed Mrs. Fawcett, priod y Proffeswr dysgedig, yr Aelod Seneddol dros Hackney, yn ei *Political Economy for Beginners*, (London: MacMillan & Co., 1872), gwaith bychan hylaw a rhâd, yn yr hwn y mae dysgeidiaeth ei gŵr yn ei gyfrol fawr ef ar yr un testun wedi ei chrynhoi o fewn terfynau cyfleus, a'i gyfaddasu i rai yn dechreu yr efrydiaeth: "Y mae defnyddioldeb yr undebau crefftol fel cymdeithasau dyngarol yn anwadadwy. Rhwymir pob aelod mewn undeb crefftol gan reolau ei gymdeithas i dalu swm penodol bob wythnos i'w chyllidau. Pan yn glâf, neu wedi colli ei waith, y mae yn derbyn cynnorthwy o'r cyllidau hyn, ac ar ei farwolaeth y mae ei deulu yn derbyn swm penodol o'r un ffynnonell. Yn wir, y mae undeb crefftol yn gwmni yswirio. Y mae y cynnorthwy a roddir gan undebau crefftol mor fawr, fel na wyddys un amser am aelodau o'r fath undebau â'r Seiri Unedig neu y Peirianwyr Unedig yn derbyn cynnorthwy plwyfol. Y swydd arall berthynol i undeb crefftol, sef amddiffyn manteision y gweithwyr trwy sicrhâu iddynt y raddeg uchaf sydd yn ddichonadwy o gyflogau, yw yr hon trwy ba un yr adwaenir undebaeth oreu, a dyma sydd wedi ei wneuthur mor anmhoblogaidd gyda'r dosbarthiadau arianog. Oblegid er nad yw yr undebau yn angenrheidiol gysylltiedig â sefyll allan, nis gellid dwyn ymlaen sefyll allan yn llwyddiannus heb ryw drefniad o'r fath ag y mae undeb crefftol yn ei gyflenwi. Er y colledion y mae gweithwyr a chyflogwyr yn aml wedi eu dyoddef mewn

canlyniad i sefyll allan, nid oes ond ychydig a haerent nad oes gan weithwyr hawl i ymuno â chymdeithbas i amddiffyn yr hyn a gredant ei fod yn fanteisiol iddynt" (tudal. 139—140). I'r un perwyl hefyd y dywed Mr. J. R. McCulloch, yn ei waith ar yr amgylchiadau sydd yn penderfynu graddeg cyflogau y gweithwyr. *(A Treatise on the Circumstances which determine the Rate of Wages and the Condition of the Labouring Classes, including an Inquiry into the influence of Combinations. Second Edition.* London: G. Routledge & Co. 1854): "Nid oes dim yn ymddangos yn fwy rhesymol na bod gweithwyr at eu rhyddid i ymuno a ffurfio cymdeithasau i'r amcan o drefnu y telerau ar ba rai y gwerthant eu llafur" (tudal. 78). Ac y mae y golygiad hwn yn cael ei gadarnhâu gan awdwr un o draethodau y *Cobden Club*, yr ail gyfres, a gyhoeddwyd yn 1871—2, pan y mae yn dadgan gyda sicrwydd (gobeithiwn ei fod yn gywir), mai prif amcan aelodau goreu a mwyaf deallus yr Undebau Crefftol Seisonig ydyw, nid sicrhâu y raddeg uchaf o gyflogau sydd yn ddichonadwy, ond gwneuthur gwaith y cyflogedig a moddion ei gynnaliaeth yn llai ansicr. Ond ymhellach ymlaen yn yr un traethawd, y mae Mr. Gostick yn cyfaddef, pan yr edrychir ar yr undebau ar wahan oddiwrth eu gweithrediadau fel cymdeithasau elusengar, mai moddion yn unig ydynt i barhâu rhyfel rhwng y ddau ddosbarth sydd yn cynnrychioli arian a llafur. Sefydliadau diweddar ydyw yr undebau crefftol; nis gellir olrhain eu hanes ymhellach yn ol nag ychydig cyn dechreu y ganrif bresennol. Y maent yn hollol wahanol i'r hen gwmnïau masnachol a ffurfiwyd yn y canol-oesoedd, yn y rhai yr ymunai gweithwyr â meistri perthynol i'r un galwedigaethau, i amcanion amddiffynol; ac i'r cwmnïau trefol a ffurfiasid cyn hyny, yn cynnwys masnachwyr a gweithwyr o bob dosbarth, ac i'r rhai weithiau y perthynai pendefigion, gyda'r dyben o ddïogelu bywyd ac eiddo. Fe geir ychydig o olion yr hen gymdeithasau hyn yn Llundain hyd y dydd hwn, yn y cwmnïau masnachol mawr, megys y "*Merchant Taylors,*" y rhai nid ydynt fasnachol eithr yn unig mewn enw. Ac y mae yr adgof am yr hen "*guild*" yn cael ei gadw yn fyw yn yr enw a roddir ar y brif ystafell drefol mewn llïaws o ddinasoedd a threfi ein gwlad. Yn yr undebau crefftol, nid oes ond gweithwyr yn unig yn aelodau, ac fel rheol, crefftwyr o'r un alwedigaeth yn unig; ond yn bresennol, y mae tuedd i uno y mân undebau mewn sefydliadau mawr, ëang, a chenedlaethol. Un o'r hynaf o'r undebau hyn ydyw eiddo y Peiriannwyr. Rhifa yr aelodau rhwng deng mil ar hugain a deugain mil, gyda chyllid blynyddol yn tŷnu at gan' mil o bunnau, a gwaddol yn amrywio rhwng can' mil a chant a hanner o filoedd o bunnau. Mewn adroddiad sydd yn awr o'n blaen, yr ydym yn gweled i'r gymdeithas hon dreulio y swm anferth o £721,655 yn y deunaw mlynedd o 1851 hyd 1868. Yr oedd nifer yr undebau yn Mhrydain Fawr yn y flwyddyn 1867 wedi cyrhaedd y rhif uchel o ddwy fil. Ac mewn blynyddoedd diweddarach, y mae ymdrechion mawrion wedi eu gwneuthur i gario ymlaen y sefydliadau hyn, ac i fwyhâu eu dylanwad, trwy geisio eu corffori a'u gwneyd yn undebau mawr cenedlaethol. Ond yr ydym dan yr argraff fod undebaeth wedi colli tir yn y misoedd diweddaf, yn Nghymru o leiaf, os nad yn Lloegr hefyd. Collodd llawer eu hymddiried yn eu blaenoriaid, oblegid eu hymddygiad annoeth gyda

golwg ar sefyll allan diweddaf y Deheudir. Hefyd wrth geisio gwneuthur ymerodraeth o fewn ymerodraeth o'r undebau crefftol, y maent yn myned yn rhy fawr i gael meistrolaeth arnynt gan y dynion sydd yn uchelgeisio i'w rheoli. Ac yn mherthynas y cwestiwn â Chymru, yr ydym yn ammheus iawn a ydyw yr undebau hyn yn gyfaddas i'n cenedl ni. Nid ydyw yr elw oddiwrthynt yn dyfod yn ddigon buan i ateb tymher frysiog y Cymro. Y mae y rhwymedigaeth i dalu yn rheolaidd swllt, mwy neu lai, yn yr wythnos, mewn gwaed oer, heb gymhelliad cryf ac amlwg, hefyd yn anghydnaws â'n naturiaeth ni fel cenedl. A thra y parhäo arweiniad yr undebau yn nwylaw dynion o syniadau ammheus, y mae yn drugaredd annhraethol fod corff mawr ein cydwladwyr wedi eu meddiannu mor lwyr gan ddylanwad crefydd, fel nas gallant gydymdeimlo â hwynt. A hefyd yr ydym ni yn genedl mor heddychol; tra yn teimlo yn eiddigeddus dros ein hawliau, ac yn cael ein cyffwrdd at y byw pan y sethrir ar ein hiawnderau, eto y mae yn groes i'n tuedd genedlaethol i ymuno â sefydliadau ac mewn cymdeithasau sydd yn gwisgo gwêdd ymosodol. Gwir fod ymhlith y Cymry rai dynion dilywodraeth, ïe, dyhirod perffaith, yn ymroddi i feddwdod ac anfradlondeb, ac heb ymdeimlo yn y mesur lleiaf â chyfrifoldeb bywyd. Ac y mae ysbrydoedd eraill, gwaeth na hwynt, wedi dyfod atom dros yr Hafren, y rhai ydynt wedi arllwys eu gwenwyn i'r cyfryw feddyliau ag a gaent yn agored i'w dylanwad. A thystiolaeth un o'r dynion mwyaf craffus a helaeth ei wybodaeth yn holl ardaloedd gweithfäol Morganwg ydyw, mai cymeriadau drygionus o'r fath hyn fu yn brif foddion i barhâu y sefyll allan diweddaf dros gyhyd o amser. Yr oeddynt yn cadw dynion diniwed mewn dychryn, ac yr oedd blaenoriaid a goreuon ein haelodau eglwysig yn gwbl analluog i wrthweithio dylanwad y cyfryw ddynion ymhlith y gweithwyr. Ond er hyn oll nid ydym yn ammheu hawl y gweithwyr i ymuno yn gymdeithas i wylio eu manteision, a hyd yn nôd, ar brydiau, i arfer mesurau eithafol er sicrhâu eu hiawnderau, ac i symud ymaith feichiau gormes a thrais. Y mae yn ddïau y gellir ar y tir hwn gyfiawnhâu gwaith y chwarelwyr yn Bethesda yn sefyll allan y tro diweddaf, yn gymaint ag yr arferwyd pob moddion cyrhaeddadwy er symud yr achos o'r anghydwelediad cyn iddynt sefyll allan. "Barn gyffredinol y gweithwyr yn y dosbarth hwnw ydyw, nad dymunol yw sefyll allan o gwbl;" a gallwn yn hawdd ddeall, dan yr amgylchiadau, yr hyn a ychwanega ein hysbysydd,—"gwellhäwyd moesau y dynion yma, ymddangosent fel yn cydnabod presennoldeb llaw Duw yn yr holl fater." Ac yn gymaint a'n bod wedi cyfeirio at foesau y gweithwyr mewn cysylltiad â sefyll allan, y mae yn hyfrydwch genym feddwl fod Arglwydd Aberdâr wedi rhoddi tystiolaeth uchel, trwy y wasg ddyddiol, tua therfyn y sefyll allan diweddaf yn y Deheudir, i ymddygiad da cyffredinol y gweithwyr yn ysbaid y misoedd pryderus oeddynt wedi myned heibio.

Eithr y mae y prif ofyniad yn aros i'w ystyried: A ellir cyfreithloni sefyll allan fel moddion i gadw i fyny neu godi cyflogau y gweithwyr? Mae yn amlwg mai dyma eu prif, os nad eu hunig amcan. Yr ydym yn edrych ar y sefyll allan diweddaf yn Bethesda fel yn gwbl eithriadol. Mae yn wir fod a fynai hwnw âg ennillion, eithr nid yn benaf. Ond unig amcan sefyll allan y glöwyr a'r mŵnwyr yn y Deheudir ydoedd

cadw i'r lan y cyflogau. Mae yr hanes a roddwyd eisoes yn dangos yn fwy effeithiol na'r geiriau cryfaf a allwn ni ddefnyddio, fod sefyll allan yn beth hollol wrthun ynddo ei hun. Tuedda Mr. a Mrs. Fawcett i'w ddarnodi yn rhy ysgafn o lawer. "Nid yw yn fwy na llai," medd yr olaf, ac y mae hi fel pob gwraig dda yn cydweled â'i gŵr, "na gwrthodiad o du y gweithwyr i werthu eu llafur ar y telerau a gynnygir iddynt gan y rhai sydd yn dewis ei brynu." A defnyddia gymhariaeth y masnachwr a'i nwyddau i brofi ei fod yn iawn iddynt wneuthur hyny. Mae hawl gan y masnachwr i ofyn ei bris ei hun am ei nwyddau, ac i wrthod gwerthu os na chaiff y pris a ofyna. Felly y gweithiwr, meddiant gwerthadwy neu nwyddau yr hwn yw ei amser a'i lafur. Ond y mae gan y masnachwr nwyddau eraill yn ei faelfa o brisoedd îs. Ac os nad oes ganddo ef bethau sydd yn ateb y prynwr, mae masnachdŷ arall yn agored yn ymyl, lle y caiff gyflenwad o'r hyn y mae yn ei geisio. Heblaw hyny, nid yw y masnachwr sydd yn gwerthu am bris penodol yn cloi i fyny ei faelfa. Cwyd yn foreu, egyr ei ffenestri, gesyd ei nwyddau yn drefnus a deniadol, a gwna ei oreu i werthu yr hyn sydd ganddo. Ond y mae sefyll allan yn myned ymhellach. Y mae y gweithiwr sydd yn troi allan o'i waith yn cloi i fyny ei nwyddau. Y mae y fasnach yn peidio. A'r hyn sydd yn gwneuthur y peth yn ddifrifol iawn ydyw, fod y nwyddau gofynol heb fod ar werth yn yr holl gymydogaeth, nac fe allai yn yr holl gwm, na'r holl wlad. Ni chaiff neb arall ychwaith ddyfod i gyflenwi y diffyg. Mae undebaeth megys gwarchae yn cadw y terfynau, i rwystro masnachwyr eraill mewn llafur i ddyfod i mewn i'r cylch i werthu eu nwyddau gwerthfawr. Nid yw y gymhariaeth, gan hyny, yn cyfateb. Yr ydym, yn wir, yn foddlawn i dderbyn y wireb a ddyfynir gan Mrs. Fawcett,—"Mae hawl gan bob un i wneyd yr hyn a ewyllysia, ar yr ystyriaeth nad yw yn troseddu ar ryddid cyffelyb unrhyw berson arall." Mae hyn mor wir mewn gwleidyddiaeth ag ydyw fod dau a dau yn gwneyd pedwar mewn rhifyddiaeth. Eithr fel y mae plant yn aml yn gwneyd camsyniadau wrth osod ffigyrau at eu gilydd a chyfrif, o herwydd anghofio neu fod yn analluog i gymhwyso y wireb hono a'i chyffelyb; felly y mae plant sydd fwy a henach yn esgeuluso y cymhwysiad o wirebau gwleidyddol ac iawn drefnol. Pe buasai y wireb a nodwyd yn cael ei gweithio allan yn y sefyll allan diweddaf yn Ngwent a Morganwg, ni fuasai yr un pwll glô yn nghymoedd Rhondda ac Aberdâr wedi ei gau ond am ychydig iawn o ddyddiau, a rhai o honynt, mae yn fwy na thebyg, ddim o gwbl, oblegid yr oedd cannoedd o'r gweithwyr yn ddigon parod ac awyddus i weithio, ac yr oeddynt yn gweled afresymoldeb hollol yr ymdrech yngwyneb sefyllfa masnach; ond ni feiddient am eu bywyd, o herwydd y dychryn y cedwid hwynt ynddo, a'r camarweiniad a gawsent gan ddyeithriaid o'r tu hwnt i Glawdd Offa. Os oedd gan un hawl i wrthod gwerthu ei lafur am bris penodol, nid oedd ganddo yr hawl leiaf i rwystro ei gymydog i werthu os dewisai; ïe, os gwrthodai ardal gyfan o weithwyr, ni fyddai ganddynt dir rhesymol i achwyn pe llenwid eu lleoedd gan eraill. Y mae y fasnach mewn llafur, fel pob masnach arall, i fod yn wirioneddol ac yn berffaith rydd. Heblaw hyny, yr ydym yn anturio i ddal, pe buasid wedi gweithredu yn ol y wireb grybwylledig, na fuasai y clöad allan wedi cymeryd lle yn Merthyr a Dowlais. Yn un

peth, nid oes dadl na chafodd y gweithwyr yn sefyll allan Rhondda ac Aberdâr gynnorthwy oddiwrth y gweithwyr mewn gwaith yn y lleoedd hyny cyn y clöad allan. Gwir fod hyn wedi ei wadu. Ac y mae yn ddiammheu fod llawer o wŷr Merthyr ac Aberdâr yn ddiniwed ar y pen hwn. Ond yr oedd y rhai a gynnorthwyent y sefyllwyr allan yn troseddu ar iawnderau cyflogwyr y dynion hyny. Ar yr un pryd, yr oedd gwaith y meistri yn clöi allan eu dynion yn myned ar draws iawnderau y rhai dieuog o'u dwylaw. Dichon, modd bynag, fod rhywun yn barod i ofyn, Beth am hawliau undebaeth? Cofus genym glywed am offeiriad unwaith yn siarad mewn cyfarfod Biblau, a dywedai, "Eglwyswr ydwyf fi, a phe gwyddwn fod rhywbeth yn y Fibl Gymdeithas yn groes i'r Eglwys, ni fuaswn i yma heno yn ei phleidio." Crynwr oedd y dirprwywr dros y fam-gymdeithas y tro hwnw, a phan ddaeth ei dro ef i anerch y cyfarfod, dywedodd, "Crynwr ydwyf fi, ond pe meddyliwn fod rhywbeth mewn Cryniadaeth yn groes i'r Fibl Gymdeithas, ni fyddwn i yn Grynwr am fynyd yn hwy." Yr ydym ninnau yn darfod â'r undebau, pa un bynag ai eiddo'r meistri ai y gweithwyr, pan y maent yn tueddu yn y mesur lleiaf i fod yn groes i hawliau personol a rhyddid masnachol. Ac y mae iawnderau eraill hefyd, a'r rhai hyny yn bwysig iawn, sydd yn cael eu troseddu yn alaethus mewn sefyll allan. Mae gan wragedd a phlant gweithwyr hawl i ddysgwyl eu bwyd, eu dillad, eu lletty, a chysuron angenrheidiol eraill oddiar law y rhai sydd yn gyfrifol am danynt. Mae hawl gan y masnachwyr i ddysgwyl cael eu talu am y nwyddau a brynir ganddynt. Mae yma yn wir faes ëang o hawliau yn ymagor o'n blaen, dros ffiniau yr hwn, ac yn wir, trwy ei hŷd a'i lêd hefyd, y mae sefyll allan yn tori. Braidd y mae yn angenrheidiol cyfeirio at y rhai sydd wedi cynnilo, a gosod ychydig o waddol heibio yn yr ariandŷ. Ond y mae gwaith y nifer lliosocaf o feibion llafur yn peidio gweithio, mor drychinebus a phe byddai i'r ffynnonau dyfroedd sychu, neu i'r ddaear beidio a chynnyrchu ei ffrwyth. Os meddylir fod y cymhariaethau hyn yn eithafol, cymerer eraill sydd yn nês, megys arian y cyfoethog yn peidio rhoddi elw, masnachwyr gwlad yn nacâu rhoddi allan eu nwyddau, y rheilffyrdd wedi eu cau i fyny, y gwragedd wedi aros oll yn eu gwelyau; wel,—waeth peidio ychwanegu esiamplau. Ac i fyned i waelod y pwnc, gan gymeryd i ystyriaeth y gofyniad i'r segurwyr, "Paham y sefwch chwi yma ar hŷd y ddydd yn segur?" a'r hanes ysgrythyrol am y gŵr a "ddododd ei dalent mewn napcyn," y mae sefyll allan yn beth, oddigerth dan amgylchiadau neillduol o eithriadol ac eithafol, sydd yn tori ar draws iawnderau o natur uwch na hawliau personol, a masnachol, a gwleidyddol; mae yn drosedd hyd yn nôd ar foesoldeb ei hun.

Fel moddion i godi ennillion y gweithiwr, mae sefyll allan yn waeth na bod yn ofer. Fel y profa yr hanes a roddwyd, y mae yn dymchwelyd ei hunan. Tra mae y gweithwyr yn sefyll allan, collant eu cyflogau; mae elw y gwaith i'r meistr hefyd yn peidio, yr hyn sydd yn ychwanegiad at golled y dwylaw, oblegid y lleihâd y mae yn ei achosi yn swm yr arian sydd ganddo ef i'w gosod allan. Hefyd y mae y gofyn yn y farchnad sydd yn arfer cael ei chyflenwi â nwyddau o'r gwaith fyddo wedi ei gau, mewn canlyniad i'r diffyg, yn cael ei drosglwyddo i farchnadoedd eraill. A chaniatâu y dylid codi y cyflogau, nid trwy sefyll allan y mae cyrhaedd

hyny. Gwir fod sefyll allan wedi bod yn achlysur i chwyddo yr ennillion lawer tro, eithr nid erioed yn achos o hyny. Rhaid edrych am y ffynnonell o'r gwahaniaeth yn nghyflogau y gweithwyr, y cwymp a'r codiad, i gyfeiriad arall. Y mae y gwahaniaeth hwn yn ymddibynu ar y cyfartaledd rhwng y cyflog-gyllid *(wages-fund)* a'r boblogaeth. Os cynnydda y blaenaf, ac i'r llall aros yr un, fe gwyd y cyflogau. Os amlhâ y trigolion, ac i'r cyflog-gyllid leihâu, bydd hyny yn anfantais i'r gweithiwr. Os bydd y cynnydd o'r ddau tu yn gyfartal, nid effeithia hyny y naill ffordd na'r llall ar ennillion y llafurwr. "Y gweithwyr ymhob man," medd McCulloch, "yw rhaniedyddion, yr arian treigl y rhan. Ac o ganlyniad, y mae yn egwyddor sylfaenol nad oes dim moddion arall i godi'r cyflogau, ond trwy brysuro cynnydd yr arian treigl mewn cymhariaeth i'r boblogaeth, neu trwy arafu cynnydd y boblogaeth mewn cymhariaeth i'r cyflog-gyllid. Ac y mae yn rhaid i bob cynllun o ychwanegu yr ennillion, nad yw wedi ei osod ar lawr yn yr egwyddor hon, neu nad yw cynnydd cyfartaledd yr arian treigl uwchlaw y boblogaeth yn nôd ganddo, brofi yn ofer ac yn gwbl aneffeithiol," (tudal. 5). Ac i'r un perwyl yr ydym yn cael y diweddar Mr. John Stuart Mill yn ymresymu yn y drydedd bennod o'r pedwerydd llyfr o'i *Principles of Political Economy* (London, Longmans, Green, Reader, & Dyer, 1868), yr hwn sydd yn cymeryd golwg ëang ar y cwestiwn yn ei wahanol weddau: dyma ydyw ffrwyth ei ymresymiad,—"Yr ydym wedi ystyried, ar y naill law, y modd yr effeithir ar raniad cynnyrch i ardreth, elw, a chyflogau, gan gynnydd cyffredin y boblogaeth a'r arian treigl, ac o'r tu arall, pa fodd yr effeithir arno gan welliantau mewn cynnyrchiad, ac yn fwy neillduol mewn ffermwriaeth. Yr ydym wedi cael fod yr achos blaenaf yn lleihâu yr ennillion ac yn codi ardreth a thraul llafur; tra mai tuedd gwelliantau amaethyddol ydyw lleihâu yr ardreth; ac y mae pob gwelliant sydd yn gwneuthur yn rhad unrhyw erthygl o dreuliad y llafurwr, yn tueddu i leihâu traul llafur ac i godi yr ennillion," (tu dal. 437). Y mae cynnydd y boblogaeth yn lliosogi y cyflenwad o ddwylaw yn gofyn gwaith; ac os na fydd gwaith i'w gael ond i ychydig, y mae yn dyfod yn beth hawdd cael digon o weithwyr, ac y mae pris llafur o angenrheidrwydd yn syrthio. O'r tu arall, pan y mae cyflenwad da o'r cyflog-gyllid yn y farchnad mewn canlyniad i ofyn bywiog a brysiog am wahanol nwyddau, ac os bydd y gweithwyr yn brin, neu os na fyddant ond digon, y mae y cyflogau yn rhwym o fyned i'r làn. Dyma yw y ddeddf fawr gyffredinol sydd yn rheoli ac yn penderfynu graddeg y cyflogau, sef deddf gofyn a chyflenwad, yr hon hefyd sydd yr un fath yn rheoli gwerth pob peth. "Y mae cyflogau," medd Mr. Ward, o'r hwn yr ydym eisoes wedi dyfynu, "yn ymddibynu ar ddeddfau sydd yn hèrio llywodraethiad celfyddydol, ac nis gall y trefniad mwyaf cywrain effeithio arnynt a'u hagweddu ond i fesur bychan. Y mae graddeg cyflogau yn ymddibynu yn gwbl ar ddeddf cyflenwad a gofyn, fel pris pob nwyddau, byddont a fyddont; a'r gofyn effeithiol, yr ewyllys a'r gallu i brynu, yn gyfunedig â'r cyflenwad, sydd mewn gwirionedd yn rheoli pris gwerthu pob peth,—ac yr un modd eiddo llafur." Y mae y gweithwyr eu hunain yn deall y mater hwn o un ochr, fel y gwelir oddiwrth rai o reolau eu hundebau sydd yn cyfyngu nifer y crefftwyr, ac yn rhwystro i neb gael ei gyflogi os na fydd wedi myned trwy brentisiaeth

reolaidd, ac yn aelod o'r undeb perthynol i'w alwedigaeth. Ond un diwrnod, dyma y farchnad yn gostwng; mae digon o nwyddau ar law, ac nid oes ond ychydig o ofyn am gyflenwad newydd. Nid oes dim digon o waith i'r holl ddwylaw fel o'r blaen. Beth a wneir? Rhaid gostwng y cyflogau, hyny yw, rhanu y cyflog-gyllid llai rhwng yr un nifer o ddynion; neu rhaid i'r gweithwyr gynnal nifer o'u brodyr yn segur; neu rhaid gollwng ymaith nifer o'r dwylaw. Nid oes dim gwahaniaeth rhwng y ffordd gyntaf a'r ail. O'r ddwy, y gyntaf yw yr oreu, canys y mae pob un wrth ei waith a neb yn segur, er fod ennillion yr oll o'r dwylaw yn llai. Ac am y drydedd ffordd, y mae yn greulondeb mawr. Yn y trefi hyny, ac y mae un o honynt yn Nghymru, lle y mae sefydliadau gan y Llywodraeth i adeiladu llongau rhyfel, fe deimlir y creulondeb hwn yn dost ymron bob blwyddyn. Pleidleisir swm penodol gan y Senedd ar gyfer pob un o'r sefydliadau, ac yn gyffredin, tua diwedd y flwyddyn gyllidol, mae yr arian yn myned yn fach, ac am chwech wythnos neu ddau fis gwelir hanner dwsin neu fwy, weithiau gymaint ag ugain, yn dyfod allan a'u hofferynau gwaith ganddynt bob nos Sadwrn. Ac y mae y *panic* hwn, sydd yn cymeryd lle ymron yn flynyddol, yn haws i'w ddychymygu na'i ddesgrifio. Yr ydym wedi dangos yr hyn ydoedd sefyllfa y fasnach lô y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd pyllau glô, ymron yn ddirif, wedi eu hagor, a phoblogaeth Morganwg a Mynwy, ac yn enwedig eiddo Cwm Rhondda, wedi cynnyddu yn anferth, nes yr oedd y cyflenwad yn orlawn; ac mewn canlyniad, disgynodd y gofyn, a dyma y prisiau hefyd yn dyfod i lawr. Ac wedi i'r cyflog-gyllid fyned yn llai, yr oedd yn dilyn, fel taranau yn dyfod ar ol lluched, y rhaid i'r swm a ddeuai i law pob gweithiwr fyned yn llai. Ac felly y bu, ac felly y rhaid iddi fod bob amser dan yr unrhyw amgylchiadau. Mae yr argraff ar lêd fel pe byddai cyflogau gweithwyr yn ymddibynu yn gwbl ar ewyllys a mympwy y cyflogwr. Ni fu mwy o gamsynied erioed. Mae graddeg ennillion y llafurwr yn dibynu mwy arno ef ei hunan nag ar ei feistr, sef ar ei gynnildeb, ei foesau, ei ddiwydrwydd, a'i fedr. Nid ydym yn dyweyd nad yw y gweithwyr yn aml wedi cael cam gan y meistri a chan y llywodraeth. Eithr ein pwnc yn bresennol ydyw ceisio argraffu ar feddwl y wlad, ac yn enwedig y dosbarth gweithiol, ei fod yn ynfydrwydd o'r mwyaf i amcanu rheoli y cyflogau trwy ddeddfau Seneddol ar y naill law, na threfniadau o eiddo yr undebau crefftol o'r tu arall, nac ychwaith trwy gynghorau undeb y meistri. Ac fel y dywedodd y *South Wales Daily News* drosodd a throsodd yn ystod y sefyll allan diweddaf, pan y mae y gofyn yn myned i'r làn, y mae sefyll allan yn afreidiol i sicrhâu codiad yr ennillion; ac ar y llaw arall, y mae yn hollol annichonadwy i'r sefyll allan mwyaf cyndyn lwyddo i gadw i fyny, a llawer llai, godi y cyflogau, pan y mae y cyflenwad yn fwy na'r gofyn.

Os ydyw sefyll allan, gan hyny, yn ofer i'r amcan o gadw i fyny a chodi cyflogau y gweithwyr, ac yn beth sydd ynddo ei hun mor wrthun, pa fodd y gellir ymgadw rhagddo? Yn un peth, y mae yn angenrheidiol fod dealltwriaeth da rhwng meistri a gweision. Hyderwn fod yr erthygl yn ein rhifyn diweddaf ar y berthynas hon wedi cyfranu rhyw gymaint er cyrhaedd yr amcan dymunol hwn. Y mae yn anhawdd darnodi terfynau y cyd-ddealltwriaeth. Mae yn ddïau ei fod yn cyn-

nwys meithriniad y teimladau goreu, a gofal am fanteision a chysuron y naill y llall, a pharodrwydd i gyfarfod â'u gilydd ar dir têg. Nid yw yn perthyn i'r gweithiwr wybod holl helynt masnach ei gyflogwr, nac i'r meistr i ymyraeth yn holl amgylchiadau ei weision. Mae mesur o gysegredigrwydd yn perthyn i gysylltiadau agosaf y naill a'r llall, nad yw yn fanteisiol nac yn weddus i fyned i mewn i'w cyfrinach.

Credwn hefyd y bydd i gynnydd addysg effeithio yn ddaionus yn yr un cyfeiriad. Bydd yr oes sydd yn codi, ni a obeithiwn, wedi ei choethi yn yr ysgolion dyddiol, yn teimlo yn rhy lednais i ymaflyd mewn arf mor arw a chreulawn â sefyll allan. A thrwy yr amaethiad meddyliol sydd yn cymeryd lle dan law yr ysgolfeistr, a thrwy wasg iachus a goleuedig, cynnyrchir arferion o lanweithdra a chynnildeb, os nad o foesoldeb hefyd, a fydd yn rhwystr nerthol ar ffordd sefyll allan. A chyda cynnydd gwybodaeth, deuir i ddeall, ymhlith pethau eraill, egwyddorion gwleidyddol a masnachol yn fwy trwyadl, fel y bydd gweithwyr yn gystal a meistri yn gallu cyfrif y draul mor gywir fel na fydd perygl myned i ryfel mwyach.

Yr ydys yn argymhell cyflafareddiad hefyd fel meddyginiaeth. Y mae ein ffydd yn wan iawn yn y moddion hwn. Yn un peth, y mae yn gostus anghyffredin. Peth arall, y mae ansicrwydd mawr yn perthyn iddo. Ac hefyd, anaml, os byth, y mae yn rhoddi boddlonrwydd i'r ddwyblaid. Ond gwell cyflafareddiad na sefyll allan. Y mae rhai gwleidyddwyr, megys Proffeswr Fawcett, yn annog ar fod y gweithwyr yn cael cyfranau yn y gweithfäoedd, ac felly yn dyfod mewn rhan yn berchenogion. Y mae hyn wedi gweithio yn dda mewn rhai lleoedd, er nad yn llwyddiannus mewn manau eraill. Ar yr un egwyddor, er nad i'r un graddau, y mae wedi dyfod yn ddamcaniaeth boblogaidd yn y Dê, ymhlith y gweithwyr, y dylent hwy gael cyfran o'r elw, ac y mae cynnygiad ar droed i sefydlu yr hyn a elwir y raddeg lithrol *(sliding scale)*. Pan y bydd y glô yn codi swllt y dunnell yn Nghaerdydd, y maent hwy i gael codiad cyfartal, ac i'r gwrthwyneb. Fel rheol, yr ydym yn barnu mai gwell yw perchenogaeth unigol na chwmnïol. Mae y ddïareb, "gwaith pawb, gwaith neb," yn rhy gymhwysiadol at gwmnïau, yn enwedig os byddant yn llïosog. Ac os gwna y dynion sefyll ar gael rhan o'r elw, y perygl ydyw y bydd yn rhaid iddynt fod heb gyflog ar rai adegau, a hyny am hir amser. Y mae yn ffaith fod rhai o'r meistri cyn hyn wedi cario ymlaen eu gweithfëydd yn ddiennill, ac ar brydiau gyda cholled. Ac y maent wedi gwneyd hyn er mwyn eu gweithwyr, a bid sicr yn y gobaith am amseroedd gwell. Ac o ran hyny ymhob gwaith, o leiaf y mae rhai gweithwyr yn gwneyd gwaith, megys tòri glô pwdr, nad yw yn talu i'r cyflogwyr. Ein cyngor ni i'r gweithwyr ydyw, na fyddo iddynt ymhel â phwnc yr elw. Eu mater hwy ydyw y cyflog, ac y mae yn gyfreithlawn iddynt gael yr uchaf a allant ei sicrhâu. Ac os yw yn ymddangos i'r gweithwyr weithiau fod y cyflogwyr yn gwneyd arian mawr, cofier o'r tu arall, fod cyfoeth mawr wedi ei suddo wrth sefydlu y gweithiau, a bod gofal a phryder ac arian mawr yn angenrheidiol i'w cario ymlaen. Nid dynion i eiddigeddu, ond i dosturio wrthynt, a chydymdeimlo â hwynt, yn fynych ydyw perchenogion y gweithiau mawrion. Ychydig iawn sydd yn meddu ar y nerth meddwl angenrheidiol i ymgynnal dan bwysau

eu cyfrifoldeb. Ac eilwaith, mewn perthynas i'r raddeg lithrol, ofnwn mai trefniad mympwyol a chelfyddydol hollol ydyw. Ac er y gall fod yn beth digon diniwed bob amser, ac ar rai achlysuron yn fanteisiol, i dri o'r meistri a thri o gynrychiolwyr y gweithwyr gyfarfod â'u gilydd, yn awr ac eilwaith, y mae hyn i'w gofio,—bydd yn draul nid bychan ar y gweithwyr, ac yn drafferth fawr, o bryd i bryd, i ethol y cynnrychiolwyr, a mwy na thebyg yn achlysur i llawer o anghysur: a themtir ni i ofyn, Pa beth a wneir yn y cyfarfodydd hyn? Ein cyffes onest ydyw, nad ydym yn dysgwyl nemawr neu ddim da o'r cynghorau cynnrychioliadol hyn, yn enwedig pan mae y gweithwyr yn ymddangos yn benderfynol i ethol dyeithriaid i'w cynnrychioli. Mae ein hyder yn llawer cryfach mewn moddion moesol,—cynnydd addysg a moesoldeb, sobrrwydd a chynnildeb, ymddiriedaeth meistri a gweithwyr yn eu gilydd, parodrwydd y cyflogwyr i fwyhâu ennillion eu dwylaw pan y gallant wneyd hyny heb ddrygu eu hunain, ac ymostyngiad y dynion i dderbyn canlyniad anocheladwy lleihâd y gofyn yn y farchnad—nag mewn trefniadau celfyddydol, pa mor gywrain a thêg bynag y byddont. Ac yr ydym mewn modd arbenig yn dymuno galw sylw y crefyddwyr sydd yn y gweithiau haiarn a glô at y lle a ddylent hwy ei gymeryd, a'r dylanwad a ddylent ei arfer ymysg eu cydweithwyr. Chwythed y dyhirod gelanedd, llanwed ffyliaid yr awyr â bloeddiadau, cynhyrfed y Saeson siaradus y teimladau gwaethaf; eithr bydded blaenoriaid ac aelodau eglwysig yn meddiannu eu hunain yn dda, yn blaenori mewn pwyll a chynghor, yn profi eu hunain yn ddewr, ac nid i'w dychrynu gan blantos. A chredwn na ddygwydd eto yn Nghymru—fel y bu yn y sefyll allan diweddaf, pan y darfu i 29,901 o ddynion, a 5,996 o fechgyn, sefyll allan am 21 wythnos, ac y clöwyd allan 22,614 am ddeuddeng wythnos; pan, yn ol y cyfrif yr ydym wedi ei dderbyn oddiwrth awdurdod uchel, nad oedd dim llai na gwerth tair miliwn ar ddeg a hanner o bunnau yn gorwedd yn segur a dielw, a'r golled uniongyrchol i'r gweithwyr yn agos i dri chwarter miliwn o bunnau.

# Y SENEDD-DYMMOR.

Y MAE y boneddigion anrhydeddus i ofal pa rai yr ymddiriedasom wneuthuriad ein deddfau, wedi cael seibiant eto oddiwrth eu llafur, ac yn awr yn ymroddi, lliaws o honynt, gyda dyhewyd canmoladwy, i ymlid y petris hyd ein mynyddoedd. Bydded iddynt helwriaeth dda, a llawer o hoender ac adnewyddiad nerth yn eu chwareuon iachusol. Ar ol y bywyd annaturiol y mae y rhan fwyaf o honynt yn arwain tra yn Llundain, y mae yn sicr yn ymwared bendithfawr iddynt eu cael eu hunain drachefn yn sathru y grug, yn mwynhâu awyr bur y mynyddoedd a'r morfëydd, ac yn byw yn fwy tebyg i'r hyn a ofynir gan ddeddfau eu crëadigaeth. Y mae yn fendith i Brydain fod ganddi gynifer o foneddigion yn awyddus i dreulio yr hamdden a'r gallu y mae Rhagluniaeth yn dirion wedi estyn iddynt, yn ngwasanaeth eu gwlad, a phan yn cael eu rhyddhâu oddiwrth eu llafur yn gallu tŷnu eu mwyniant oddiwrth bleserau mor syml.

Wedi yr holl ddeddfwriaethu sydd wedi cymeryd lle yn ein teyrnas, a'r cyfreithiau aneirif sydd, bellach, wedi eu ffurfio at ein gwasanaeth, y mae yn rhyfedd braidd fod dim lle wedi ei adael i unrhyw ychwanegiad at ein cyflenwad o ddeddfau. Ac eto tra y mae dynion yn fyw, a'u hamgylchiadau yn gyfnewidiol, mae yn amlwg fod yn angenrheidiol iddynt yn barhäus wrth drefniant llywodraethol a fyddo yn cadw eu cyfreithiau yn gyfaddas i'w hamgylchiadau. Ni fyddai yn anhawdd codi dadl dra golygus, oddiwrth y nifer anferth o lyfrau sydd wedi eu cyhoeddi yn y byd, i ddangos y dirfawr ynfydrwydd i neb feddwl am gyhoeddi yr un llyfr yn ychwaneg. Ac eto pa drychineb mwy nag a fyddai fod meddwl y byd wedi syrthio i'r fath farweidd-dra diymadferth ag a barai iddo ystyried na fyddai dim yn ychwaneg i'w wneyd mewn na deall na meddwl, ond ymfoddloni yn farw ar lafur yr oesoedd a aethant heibio? Pe na fyddai i unrhyw oes allu myned gam ymhellach na'i rhagflaenydd mewn gwybodaeth a doethineb, ac er iddi, yn wir, syrthio lawer yn fŷr o allu ei dilyn, eto y mae ei bywyd yn dibynu ar ei bod yn ceisio meddwl drosti ei hun, a hefyd yn gwneuthur rhyw gofnodion ffurfiol o ffrwyth ei myfyrdodau. Ac y mae yr un fath gyda golwg ar ddeddfwriaethu. O ran rhif, y mae ar ddeddflyfrau Prydain yn ddiammheu ddigon o ddeddfau iddi hyd ddiwedd y byd. Nid ydyw yn beth anghyffredin fod gwledydd yn gallu byw am oesoedd heb ond ychydig iawn o ddim ar lun deddfau, ond heb ddygwydd meddwl eu bod, ar y cyfrif hwnw, i dosturio nemawr wrthynt; fel y mae gwledydd eraill yn gallu treulio oesoedd lawer mewn ymostyngiad tawel i ddeddfau na feddylient am eu beirniadu na'u cwestiyno mwy nag y meddylient

am wneyd hyny â deddfau natur. Ond prin y mae sefyllfa felly ar gymdeithas yn un i'w hedmygu. Pa mor werthfawr bynag ydyw cael ambell i Solon a Lycurgus i ddehongli i ddynion lais natur gyda golwg ar drefn llywodraeth, a pha mor ddymunol bynag ydyw fod dynion yn ymddarostwng i arweiniad eu gwell ac yn ufuddhâu i ddeddfau da, y mae hanesyddiaeth yn dangos fod cyfnewidiadau yn barhäus yn cymeryd lle nad allai y dynion doethaf mo'u rhagweled, ac fod y deddfau goreu yn analluog i ymgyfaddasu at amgylchiadau cwbl wahanol i'r rhai y cawsent eu llunio ar eu cyfer. Y mae wedi dygwydd lawer gwaith fod un drychfeddwl newydd wedi trydanu holl gorff cymdeithas, a pheri chwyldröad, a chwalfa, a chrëadigaeth newydd ymhob cyfeiriad. Yr oedd dyfeisio y gelfyddyd o argraffu, cael gafael i bwrpas yn yr hen wirionedd Biblaidd fod yr holl boblogaeth i gael ei haddysgu, cael allan y gyfrinach yr oedd yr ager yn floesg yn ceisio rhoddi dadganiad iddi pan yn codi cauad y *kettle*, neu yn ymwthio yn bôst trwy ei bîg—a phethau eraill cyffelyb,—yn crëu cyfnodau newyddion a phwysig iawn yn hanes y byd. Fe roddir canmoliaeth neillduol yn y Gair Sanctaidd i rai am "eu bod yn deall arwyddion yr amserau, i wybod beth a ddylai Israel wneuthur." Wrth reswm y mae egwyddorion sylfaenol crefydd a moesoldeb yr un ymhob man, i bawb, a than bob amgylchiad. Y maent hwy wedi eu llunio er tragywyddoldeb gan yr Hwn a wyddai beth oedd mewn dyn, yr Hwn nad allai dim fod yn newydd iddo, sydd "yn mynegu y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed eto, yn dywedyd, Fy nghŷnghor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf." Ond gyda'r cyfnewidiadau helyntfawr y mae cymdeithas ddynol yn barhäus yn agored iddynt, mae yn amlwg fod arni angen neillduol am fod iddi "feibion Issachar" o hyd, y rhai fyddo yn gwybod beth a ddylai Israel wneuthur. Bid sicr, y mae ysgol o wleidyddwyr wedi bod ymhob oes, caffaeliad uchaf doethineb pa un ydyw nad oes dim sydd well na glŷnu wrth yr hen drefn ar bethau. Y maent wedi gwneyd hyny, heb ystyried dim am allu y nerthoedd newyddion yr oedd ganddynt i ymwneyd â hwynt. Ac fel y gallesid dysgwyl, y mae yr ager y cymerid cymaint o ofal i'w gau i fewn, ac y dangosid y fath benderfyniad gorchestol i gael meistrolaeth arno, wedi gorfod myntumio ei ryddid weithiau mewn ffordd a brofai braidd yn anghysurus—yn ffrwydro y berwedydd, yn lladd y peirianydd, ac yn gwasgaru dinystr o'i amgylch ymhob man. Dyma athroniaeth chwyldröadau. Ac o'r tu arall, nid ydyw y lywodraeth berffeithiaf ond amcaniad gonest at gyfaddasu ei deddfwriaeth at amgylchiadau y bobl ar y pryd, gan fŷnu gweinyddiad o'i deddfau a ddygo y deiliaid i ddeall nad ydynt i gellwair â hwynt. Fe ofyna hyn fod deddfau a wnelsid ar gyfer amgylchiadau sydd wedi hen fyned heibio yn cael eu dadwneyd, neu eu gadael i farw; fod eraill a oddefo eu cyfaddasu at amgylchiadau gwahanol, yn cael eu cyfaddasu felly; ac ar gyfer amgylchiadau newyddion; fod deddfau newyddion yn cael eu ffurfio. Fel y mae y naill eithaf yn cynnyrchu y llall, y mae y reddf geidwadol sydd, ar y naill law, yn arswydo rhag goddef unrhyw gyfnewidiad, yn peri, ar y llaw arall, fod ysbrydoedd mwy anturiaethus yn dyfod yn or-awyddus am gyfnewidiadau; ac nid yn anfynych y mae zêl y rhai hyn, gan fel y maent yn cael eu meddiannu gan ryw un syniad llywodraethol, yn eu marchogaeth i'r fath raddau fel y gellid meddwl

wrthynt nad oes dim iachawdwriaeth ond mewn chwyldröadau. Pan y mae yr ysbrydiaeth yma, yn enwedig o hir gael ei ddal i lawr gan orthrech gallu direswm, yn mynu ffordd iddo ei hun trwy gynddaredd, fe ellir edrych am y canlyniadau mwyaf trychinebus. Ond yn ein gwlad hapus ni, y mae i'r ysbrydiaeth hwn, fel yr un gwrthgyferbyniol iddo, ei le yn y cyfansoddiad. Caiff y Ceidwadwyr a'r Rhyddfrydwyr anfon i'r Senedd y rhai y gallant ymddiried iddynt am eu golygiadau neillduol; y mae hyn yn sicrhâu fod y cwestiynau a ddygir ger bron yn cael eu trafod o bob safle y gellid dysgwyl unrhyw oleuni arnynt, ac yn gyffredin y mae *resultant* y nerthoedd yn ddeddfwriaeth ddoeth a dïogel.

Yr ydym yn awr wedi dyfod i derfyn ail eisteddiad y Senedd ymha un y mae llywodraethu y wlad wedi ei ymddiried i Mr. Disraeli a'i gyfeillion. Ar ol y dirfawr egni a ddangosasid gan y Senedd flaenorol,—egni ag oedd o angenrheidrwydd yn peri cryn anghyfleusdra i'r bobl ag yr oedd lles y wladwriaeth yn galw am aflonyddu arnynt,—dywedid mai y peth mawr yr oedd y deyrnas yn dyheu am dano ydoedd llonyddwch. Yr oedd y ddeddfwriaeth "arwraidd" wedi gorweithio pawb, ac yr oedd y wlad yn gwaeddi am seibiant fel anhebgor ei bodolaeth. O leiaf, felly y dywedai yr oraclau, ac felly yn neillduol y proffesai Mr. Disraeli ei hunan ddeall ystyr y mwyafrif ag yr oedd ei ffawd dda wedi ei anrhydeddu âg ef. Ond beth bynag am y cydgyfarfyddiad o ddamweiniau a dröai y fantol yn 1874, nid oedd neb yn deall yn well na Mr. Disraeli y fath gamgymeriad dybryd a fyddai dysgwyl i bobl Prydain orphwys a bod yn ddiolchgar tra yr oedd cynifer o hawliau cyfiawn yn cael eu diystyru, a chynifer o feichiau eisieu eu symud. Yr oedd yr amynedd a ddangosasai efe yn ystod ei drigias faith yn ngwlad ddigysur y Gwrthwynebiad, a'r medrusrwydd cyfrwysddrwg â pha un y llwyddasai dros gyhyd o amser i fwrw rhwystrau yn ffordd y rhai a amcanent wasanaethu y wladwriaeth, wedi ennill iddo y credyd o fod yn arweinydd digyffelyb. Ystyrid hefyd ei fod yn adwaen y meddwl Prydeinig yn rhagorol. A phan gofid am ddysgleirni ei ffraethineb, a naws ei ysmaldod, a mîn ei watwareg, gyda'i allu digymhar

I wneyd i'r rheswm gwanaf
Ymddangos fel y cryfaf,

a'r profiad helaeth a ennillasai ar drin dynolryw, yr oedd y prophwydi yn lled unfrydol yn eu dysgwyliad, os byth y gwelid ef mewn gallu drachefn, a thipyn o nerth yn ei fwyafrif, y byddai tymmor ei allu yn faith a dysglaer. Prin y mae y mwyaf eu dyhewyd o'i edmygwyr yn barod i gydnabod fod y ffeithiau yn cyfiawnhâu y dysgwyliadau hyny. Fe allai fod ei sefyllfa y fath fel nad allasai unrhyw ddyn ei llanw. Y dyrysbwnc oedd ganddo i'w wynebu ydoedd, Pa fodd i foddloni awyddfryd y meddwl Prydeinig am weithgarwch deddfwriaethol, ac ar yr un pryd beidio gwneyd dim? Y mae wedi ei wynebu yn dêg, ac wedi gwneyd ei oreu i gyflawni y caledwaith yr oedd ei dynged wedi osod o'i flaen. Ac mae yn debyg nad ydyw yn fwy na llai na chydnabyddiaeth o'i feidroldeb i ddyweyd ei fod wedi methu. Er cymaint o'r tymmor yn 1874 oedd wedi ei fwyta ymaith gan yr etholiadau, &c., eto fe antur-

iodd y Weinyddiaeth i ymhel â chwestiynau tra phwysig yn yr ychydig amser oedd wedi ei adael. Gan faint ei theimlad o rwymedigaeth i'r tafarnwyr, y rhai oeddynt wedi gwneyd cymaint tuag at ei dyrchafu i'w gallu, ymroddwyd yn egnïol i ddadwneyd cymaint o ddeddf Arglwydd Aberdâr ag a allasai fod yn gwasgu arnynt; ac heb fod unrhyw awydd am y fath beth yn cael ei ddangos gan y bobl—yn wir, yn nannedd eu gwrthwynebiad cryf a phenderfynol—helaethwyd ar eu temtasiynau i anghymedroldeb. Yr oedd y tafarnwyr yn bendithio Mr. Cross, ac yn cânu ei glodydd, gan ddywedyd, ebe Syr Wilfrid Lawson,

For he is a jolly good fellow
  Whatever the Rads may think;
He has shortened the hours of labour
  And lengthened the time to drink.

Ond yr oedd y golled yn nghydwybod y deyrnas yn llawer mwy na'r ennill, a theimlai Toryaid parchus yn ffiaidd ganddynt am allu nad oedd yn ormod ganddo arddel y fath gyfathrach agos â masnach nad oedd yn bosibl iddi ffynu ond ar draul dirywiad y deiliaid. Yr oedd yr adran arall o'r fyddin, yr hon, gyda phobl y "Bîr" a ymladdasai mor bybyr o blaid dychweliad Mr. Disraeli i awdurdod, sef myntai y "Bibl," neu offeiriaid yr Eglwys Wladol, yn pwyso am eu taledigaeth hwythau. Ac ni lyswyd a cheisio yspeilio deddfau Addysg o'u cymeriad cenedlaethol, gan roddi i sect yr hyn a fwriadesid i'r wladwriaeth. Ni ennillwyd ond nesaf peth i ddim trwy yr ystryw yma, ond fe gollwyd yn ddirfawr yn y cydymdeimlad poblogaidd yr oeddid mor awyddus i geisio ei ddangos fel wedi ei ennill o blaid Ceidwadaeth. A mewn trefn i foddhâu y dosbarth a olygid fwyaf cymeradwy o'r clerigwyr, ac offrymu i'r teimlad cyffredin o wrthwynebiad at Babyddiaeth, pasiwyd y ddeddf er rhoddi Defodaeth i lawr. Mae yn ammheus a oedd unrhyw amcan i hyny heblaw cadarnhâu pyrth Ceidwadaeth; ond mae lle cryf i feddwl mai yr effaith ydyw ysgaru miloedd o'r clerigwyr mwyaf dylanwadol yn y deyrnas yn anadferadwy oddiwrth y blaid, a pheri iddynt fwrw eu coelbren gyda'r Dadgysylltwyr. Yr oedd yn rhaid gwneyd rhywbeth; ac er disgyn ar bethau y gallesid meddwl na ddeuai nemawr niwed o ymyraeth â hwy, eto yr oedd y bŵa a drinid yn ei brofi ei hunan mor dwyllodrus fel mai y saethyddion eu hunain a dderbynient y niwed mwyaf o ymyraeth âg ef. Aeth yr eisteddiad heibio, a theimlid mai goreu po leiaf a ddywedid yn ei gylch; yr esgusawd goreu a ellid roddi drosto ydoedd y sydynrwydd â pha un y galwesid y blaid i gymeryd yr awenau. Dan y fath amgylchiadau golygid nad oedd yn bosibl iddynt gael hamdden i addfedu eu cynlluniau; ac nid oedd dim i'w wneyd ond gadael i'r deyrnas ddychymygu y dirfawr ddaioni ag oedd yn nghadw iddi, os daliai y grëadigaeth wrth ei gilydd hyd eisteddiad 1875.

Yr oedd Mr. Disraeli ei hunan yn teimlo, fel y rhyngodd bodd iddo ymddiried i'r byd ei gyfrinach yn nghiniaw yr Arglwydd Faer ar y pedwerydd dydd o fis Awst, fod yr eisteddiad hwnw i fod yn un *crucial*, yn brawf arnynt o'r natur fwyaf llymdost. Wedi bod am bum' mlynedd yn beirniadu eu gwrthwynebwyr fel rhai oeddynt yn barhaus yn cyflawni y camgymeriadau mwyaf dybryd, ac y gellid symio eu gwladweiniaeth i

"blundering and plundering," yr ydoedd bellach wedi disgyn i'w rhan hwy i ddangos gymaint yn well y gellid llywodraethu y deyrnas. Un erthygl sylfaenol yn eu credo ydoedd, nad oedd lle mwyach i gyfnewidiadau politicaidd. Ac eto, os oedd y cyfnewidiadau politicaidd mawrion a wnelsid yn ystod y pum' mlynedd blaenorol mor lawn o adwyth i'r deyrnas, paham na fuasai yr hwn a ddeuai ymlaen gyda'r fath rwysg a'r fath fwyafrif fel gwaredwr y genedl, yn ymgymeryd â'r cyfrifoldeb o'u dadwneyd? Mae yn debyg mai y rheswm am hyny ydoedd fod Canute yn gweled fod llanw y môr yn allu rhy fawr hyd yn nôd iddo ef feddwl am ei orchymyn yn ôl, ac mai y doethineb mwyaf iddo fyddai cilio oddiar ei ffordd. Yr erthygl arall yn nghredo ein gwaredwyr ydoedd, mai yn nghyfeiriad gwellhâd a dyrchafiad cyflwr y bobl y gelwid arnynt i ddeddfwriaethu. Yr oedd y Prif Weinidog dro yn ol wedi bod yn areithio yn Glasgow, a chan chwareu ar yr adnod *Vanitas vanitatum, omnia vanitas,* "Gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl," gwnelai allan, *Sanitas sanitatum, omnia sanitas,*—Iechyd o iechyd, ein iechyd yw y cwbl! A dyna galon y wladwriaeth newydd. "*Sanitary reform,*" diwygiad gyda golwg ar iechyd y bobl, "gan gymeryd i fewn yn y cyfenwad yna, a ddeallir mor anmherffaith, ymron holl ddylanwadau gwareiddiol dynoliaeth." Prin y mae yn werth meddwl am ymresymu â gŵr sydd yn chwareu â geiriau fel y gwna *juggler* â'i belenau, onidê buasem yn credu yn ddibetrus ein bod yn deall yn burion beth a ellid olygu wrth sôn am drefnu mesurau er dïogelu iechyd y bobl, heb feddwl am gymeryd i fewn "holl ddylanwadau gwareiddiol dynoliaeth," na dim byd tebyg i hyny. Yr oedd gwaith Mr. Disraeli yn dyfod ymlaen i gymeryd yr awenau ar y fath ddealltwriaeth, pa un bynag ai fel ceidwadydd iechyd ai fel apostol y dylanwadau gwareiddiol, yn cynnwys hòniadaeth mor ffrostfawr fel nad allasai neb ond efe eu gwneuthur; ac er mor sefydlog cyhyrau ei wynebpryd yntau, y mae yn dra rhyfedd sut y gallodd yngan y fath eiriau heb chwerthin yn wyneb y cwmpeini. Y mae gwelliantau dirfawr wedi cael eu gwneyd er ys llawer o flynyddoedd gyda golwg ar iechyd y bobl, a hyny cyn i Mr. Disraeli agor ei lygaid i weled fod y fath beth yn angenrheidiol: ac am y dylanwadau gwareiddiol, yr ydym ni wedi hen adnabod y rhai hyny yn y mesurau sydd yn dïogelu addysg y genedl fel y cyfryw, ac nid fel yn îs-wasanaethgar i amcanion sect; yn gostwng y llythyrdoll, ac yn symud ymaith drethi gwybodaeth, gan ddïogelu i'r bobl wasg râd; yn rhoddi llais i'r deiliaid yn newisiad eu cynnrychiolwyr yn y Senedd, gan eu dïogelu yn yr ymarferiad o hawl yr etholfraint rhag gormes y rhai a fynent eu sathru; yn rhoddi hawl i bob dyn wasanaethu ei Grëawdwr yn ol argyhoeddiad ei gydwybod, heb fod gan nac offeiriad na phendefig allu i aflonyddu arno, &c. Nid oes dim dylanwadau ag y mae gwareiddiad y deyrnas dan fwy o rwymau iddynt na'r rhai uchod, a'u cyffelyb; ond y mae y pethau hyn wedi eu cael i ni, ac nid ellir eu dwyn oddiarnom; ac y mae yn werth cofio, fel mater o hanesyddiaeth, eu bod oll wedi eu cael, nid trwy gymwynasgarwch Mr. Disraeli a'r marchogion dewr sydd yn awr yn myned allan gydag ef i ymladd rhyfel iechyd y bobl a'r dylanwadau gwareiddiol, ond er *gwaethaf eu gwrthwynebiad.* Ac a oes unrhyw ddylanwad gwareiddiol, neu rywbeth sydd a fyno hyd yn nôd â iechyd y bobl, sydd yn werth ei gymharu am amrantiad â chael ymwared oddiwrth y "fasnach uffernol,"

chwedl Mr. Moody, yn y dïodydd sydd yn meddwi pobl? Y mae ein holl ddylanwadau gwareiddiol yn cael eu gwrthweithio yn arswydus gan yr anfadrwydd hwn; ac y mae iechyd, a hyd yn nôd bywyd y bobl, yn cael eu dinystrio trwyddo, a hyny i'r fath raddau fel ag i wneyd yn fychan iawn, ac ymron yn ddim, mewn cymhariaeth iddo, bob trychineb arall. Fe ofynwyd am ymwared gan Mr. Disraeli, gwladweinydd y *Sanitas sanitatum*, a gweinidog mawr y dylanwadau gwareiddiol. Ond yn ofer! Ni cheir cau y ffaeau dinystriol hyd yn nôd ar y Sabbath, na hyd yn nôd yn Iwerddon, pan mae y wlad yn unllais yn galw am hyny. Pan ofynai Polonius i Hamlet beth a ddarllenai, ei ateb ydoedd "Words, words, words!" Felly y mae Mr. Disraeli yn delio mewn geiriau, a geiriau yn unig. Y mae yn fedrus ar wneyd y rhai hyny yn olygus a swynfawr, ac y mae llawer o'r rhai sydd yn tyngu yn ei enw yn ymollwng dan eu swyn i'r amryfusedd o gredu y rhaid fod geiriau mor ardderchog yn cynnrychioli gweithredoedd nerthol, a bendithion o annhraethol werth.

Yr oedd yr araeth ar giniaw y Maer yn yr ystyr yma yn un gampus iawn, ac yn nodedig Ddisraelaidd. Yr enw a awgrymir yn naturiol i feddwl pawb mewn gwrthgyferbyniad i'r eiddo Mr. Disraeli ydyw eiddo Mr. Gladstone. Yr oedd ysgrifenydd galluog yn y *Guardian* yn cymeryd achlysur oddiwrth yr araeth yn y Mansion House i nodi y gwahaniaeth amgylchiadau dan ba rai y gellid dysgwyl goreu y ddau mewn ffordd o areithyddiaeth. Ceir goreu Mr. Gladstone pan y mae yn llawn o fater, pan y mae ganddo gyllideb fawr, gyfoethog, fendithiol, i'w dadblygu o flaen ei wrandäwyr, neu pan y mae ganddo i'w osod ger bron fesur mawr sydd wedi bod yn ffrwyth dyfal astudiaeth, ac y mae ei ddygiad i fewn yn debyg o ffurfio cyfnod newydd yn hanes a llwyddiant y genedl. Y mae Mr. Disraeli o'r ochr arall yn siarad oreu pan nad oes ganddo ddim ar y ddaear i'w ddyweyd, ond yn ymollwng gyda'i ffansi a'i ddawn, gan beri i lygaid ei wrandäwyr serenu gan ogoniant ei *fire-works.* Mae araeth y naill, gyda ei chyfoeth arbenig o allu a dawn, yn gadael argraff ddofn ar y meddwl, mor *dda* ydyw; y mae araeth y llall, gyda chan lleied o fater ag a wasanaetho i'w dal wrth ei gilydd, yn gadael ar y meddwl yr argraff, mor *ddoniol* ydyw. Yr oedd yr Atheniaid yn mwynhâu yn fawr ddoniau rhai o'u hareithwyr, ac yn myned adref gan eu canmawl; ond wedi gwrandaw Demosthenes, byddent yn ymgreuloni, ac yn galw am arfau i fyned i ymladd yn erbyn Phylip. Prin y gall neb wrandaw Mr. Gladstone ar unrhyw achlysur na raid iddo deimlo oddiwrth ddifrifwch angherddol ei natur, a chael ei argyhoeddi nad ydyw pobpeth ei wybodaeth, a'i ddawn, a'i sefyllfa, yn werthfawr ganddo ond fel y gallont fod yn wasanaethgar i gyrhaedd rhyw amcan teilwng. Gallai dyn wrandaw Mr. Disraeli, o'r ochr arall, mor aml ag a fyno, a phrin, yn nghanol y coegni, a'r ffraethineb, a'r dawn diderfyn i gyd, y dygir ef i deimlo fod unrhyw amcan pwysicach mewn golwg na gwneyd gwrthwynebydd yn chwerthinus, neu gadarnhâu yn fwy fyth ffydd yr ysweiniaid Ceidwadol yn eu harweinydd. Yn yr ystyr yma yr oedd araeth y pedwerydd o Awst yn un hapus dros ben. Prin y gellir dyweyd ei bod yn profi dim, oddieithr mor fedrus ydyw Mr. Disraeli; ac eto yr ydoedd yn gadael ar feddwl llïaws mawr ryw fath o argraff fod ei weinyddiaeth y fwyaf a fu erioed yn Mhrydain, ac fod Senedd-dymmor 1875

y mwyaf ffrwythlawn mewn mesurau daionus y gwybu y deyrnas am dano erioed. Yr oedd rhai Toryaid, wrth reswm, yn gweled trwy y cwbl, ac fel yr hen foneddwr gonest y soniai y *Spectator* am dano, yn barod i ddyweyd, "There is not much left of Dizzy except his cheek!" Ac y mae llawer o honynt yn barod i felldigo eu tynged eu bod yn gorfod sefyll dan darian ei fath. Ond am y lliaws o honynt, y maent yn ymffrostio ynddo yn ddiderfyn, ac yn derbyn ei ymadroddion fel lleferydd yr oracl. Bid sicr, yr oedd ei sefyllfa, fel y cymerai drafferth i ddangos, yn dra anfanteisiol, am nad oedd y gwrthwynebiad yn gydrywiol; yn lle bod yn un, yr ydoedd mewn gwirionedd yn dri,—yn cynnwys eu rhagflaenoriaid mewn swydd, y rhai a fynent fod yn olynwyr iddynt; yr aelodau annibynol a'r Radicaliaid; a phlaid y llywodraeth gartrefol yn Iwerddon. Ond gellid meddwl nad allai hyny fod yn un anfantais, ond i'r gwrthwyneb. Y mae *divide et impera*, rhanu a llywodraethu, yn egwyddor sydd wedi ei phrofi ei hunan cyn hyn yn gynnorthwy gwerthfawr iawn i rai a geisient gadw gwastrodedd ar ysbrydion aflonydd. Pe buasai y Gwrthwynebiad i lywodraeth Mr. Disraeli yn berffaith gydrywiol, mae yn amlwg y gallasai beri llawer mwy o flinder iddo nag a wnaeth. Ac yn wir fel yr ydoedd, prin y cawn ei fod o gwbl wedi amcanu bwrw rhwystr yn ffordd y Llywodraeth. Fe wnaed hyny pan geisiwyd dadwneyd y diddymiad ar bwrcasu swyddau yn y fyddin, ac fe welodd y Prif Weinidog mai synwyr oedd deuparth gwroldeb. Am y mesurau eraill a ddygwyd ger bron, prin iawn yr oedd gwrthwynebu i fod arnynt. Yr oedd llawer o honynt mor ddiddrwg ddidda, fel mai prin yr oedd yn werth gan neb gymeryd sylw o honynt. Am y lleill, ag oeddynt o ryw werth, yr oeddynt wedi eu llunio oddiwrth ddefnyddiau a gasglesid gan eu rhagflaenwyr, os nad yn wir yn gorfforiad ar awgrymiadau penodol a wnelsid ganddynt,—pethau yn sicr nad allasai unrhyw lywodraeth, dan yr amgylchiadau, lai na'u cario allan. Ond fe gymerir dirfawr ogoniant oddiwrth y cwbl. Dyfynwn ddiweddglo yr araeth yn y Mansion House; y mae yn engraifft hapus o areithyddiaeth Mr. Disraeli.

"Dyna y crynodeb o waith y senedd-dymor y galwodd yr Arglwydd Faer arnaf i'w wneyd. Chwi wyddoch y pryder a deimlir yn y wlad hon ynghylch y cynhauaf. O Chwefror neu Mawrth hyd Awst fe wneir pob math o ddadganiadau, pob math o amcandybiau, pob math o chwedlau. Yn awr yr ydym yn clywed fod y gwlawogydd wedi bod yn ddiddiwedd, ac fod yr afonydd wedi dryllio eu ceulenydd. Yn awr yr haul sydd mor danbaid fel y mae y ddaear yn tori yn agenau. Weithiau mae y gwair oll wedi ei ddyfetha, ac weithiau y mae gwylltineb y gwyntoedd yn pasio dros ein cnydau ŷd, ac y maent yn gorwedd ar lawr, yn anrheithiedig, ac yn ddiobaith. Ond, fel y mae amser yn myned rhagddo, y mae hynawsedd gwrthweithiol Rhaglun-iaeth yn cynnyrchu effeithiau tra gwahanol. Y mae y gorlifiadau yn myned i lawr, ac y mae y dyoddefwyr yn galw am gawod. Mae y ddaear oedd yn cael ei chrasu yn dyfod yn dringar, ac y mae y cnydau oeddynt ar lawr yn cael eu cyffwrdd gan dyner awelon y deheu, ac yn cyfodi drachefn mewn cribau siriol ac eurog. Er y gallai fod ein cynhauaf gwair wedi ei andwyo yr ydym yn cael ad-daliad mewn gwreiddiau rhyfeddol. Fy arglwyddi a boneddigion, mae y cynhauaf seneddol yn debyg i gynhauaf natur. Mae pob math o chwedlau, amcandybiau, ac ystoraeon yn cael eu dyweyd o Chwefror hyd yn agos i ddiwedd Gorphenaf. Ychydig iawn, fe ddywedir, a geisiwyd wneyd, ac nid ydyw hyny wedi ei wneyd. Mae y gwrthwynebiad wedi bod yn anhydrin, ac y mae y gweinidogion wedi gwneyd camgymeriadau; ond y mae yr amser yn dyfod pan y mae y cynhauaf deddfwriaethol yn cael ei gasglu i'r ysgubor, a phan y mae pobl fwyaf doeth a deallus Lloegr yn edrych am y cynnyrch mawr, ac

yn gweled fod doethinebd deddfwriaethol eu cynrychiolwyr wedi ychwanegu at gyfanswm dedwyddwch y genedl. Fy arglwyddi a boneddigion, y mae genyf i ddiolch i chwi am yr anrhydedd a wnaethoch i mi a fy nghydswyddogion trwy yfed ein iechyd da."

Yr oedd yn anhawdd peidio cydymdeimlo âg Arglwydd Hartington pan yn cael ei ethol i fod yn arweinydd y blaid Ryddfrydig yn Nhŷ y Cyffredin. Buasai i unrhyw ddyn gael ei alw i le Mr. Gladstone, pe buasai efe wedi marw, a'r blaid a arweiniasid ganddo i'r fath fuddugoliaethau ysblenydd yn un, yn brofedigaeth neillduol. Pa faint mwy pan yr oedd Achilles wedi moni a chilio o'r neilldu; pan oedd y sefyllfa ranedig ar y blaid, a barasai hyny, eto yn aros; ac yn enwedig, pan oedd y gŵr a elwid i gymeryd y fath le mawr heb feddu nemawr gymhwysder mwy arbenig iddo na'i fod yn llai gwrthodedig nag un arall, na phetrusai neb na fuasai yn llawer cymhwysach, ond fod adran dra blaenllaw o'r blaid ar y pryd wedi dygwydd digio wrtho. Mae yn amlwg fod Arglwydd Hartington ei hunan yn teimlo yn ddwys oddiwrth chwithdod ei sefyllfa. Prin yr anturiodd wneyd nemawr ddim yn ystod yr eisteddiad o'r fath ag a allesid ddysgwyl oddiwrth arweinydd plaid fawr a dylanwadol, er ei bod ar y pryd yn y lleiafrif. Yn wir, ar y cynnygiad o estyn yr etholfraint yn y siroedd i'r un graddau ag y gwneir yn y bwrdeisdrefi, fe ymddygodd mor ffôl, trwy siarad yn erbyn teimlad oedd mor gyffredinol yn y blaid, a phe buasai ymron yn anobeithio gweled y Rhyddfrydwyr byth mwyach yn un, llawer llai felly dan ei arweiniad ef. Mae yn wir ei fod trwy siarad yn erbyn cynnygiad Mr. Trevelyan a myned allan o'r Tŷ heb bleidleisio, yn dangos rhyw fath o wroldeb ac annibyniaeth; ond buasai yn fwy cyson iddo bleidleisio hefyd yn erbyn y mesur a wrthwynebai yn ei araeth, ac felly godi i'w eithafnod y cymeradwyaeth a roddid i'w syniadau gan y Toryaid. Yn yr amgylchiad yma, mae yn sicr i Arglwydd Hartington syrthio i gryn fesur i'r amryfusedd yr aeth Mr. Forster iddo yn 1870, ac a brofodd mor andwyol iddo, sef myned i gynghrair â'i elynion i wrthwynebu ei gyfeillion goreu. Ond ar ol yr araeth ar giniaw y Maer, fe ddangosodd ddewrder mwy fyth trwy gymeryd mantais ar un o ffurfiau y Tŷ i wneyd sylwadau ar yr araeth hono, ac i fwrw golwg ar waith y senedd-dymmor. Diammheu iddo, trwy hyny, wneyd llawer tuag at adennill y tir a gollasai yn ffafr y Rhyddfrydwyr. Yr oedd i ŵr mor ieuanc anturio taflu y faneg o flaen ymladdwr mor brofedig â Mr. Disraeli, gŵr sydd yn rhyfelwr o'i febyd, ac wedi ymladd gornestau lawer â gwroniaid enwocaf y deyrnas, yn arddangosiad o bybyrwch ysbryd y gellid dysgwyl rhywbeth oddiwrtho. Mae yn wir nad oedd ei araeth ond tlawd a chyffredin yn ymyl y cyfoeth o addurniadau â pha raï y gwisgir areithiau yr hwn yr anturiai ei feirniadu. Yr ydoedd hefyd yn araf, ac oer, a dirym, mewn cymhariaeth i'r poethwynt ystormus a allesid ddysgwyl mewn amgylchiad o'r fath oddiwrth Mr. Gladstone. Ac eto nid ydoedd yn amddifad o ysbrydiaeth a gallu, a gwnaeth Mr. Disraeli ei hunan, yr hwn sydd yn hynod o ddyheuig mewn dadgan teimlad y Tŷ, gydnabyddiaeth dra graslawn o'i rhagoriaeth. Yr oedd cydnabyddiaeth Hartington o'r anhawsder a deimlai i chwalu y niwloedd lledrith oeddynt, y naill ffordd neu y llall, wedi ymgasglu o amgylch y mater, yn dra hapus. Yr oedd yr araeth y galwai sylw ati wedi taflu holl hanes y tymmor i'r fath ansicrwydd breuddwydiol fel,

o dan ei dylanwad, mai prin y gallai dynion wahaniaethu yn brïodol rhwng ffaith a ffûg. Ond y mae gwirionedd fel gwaewffon Ithuriel, ac nid all y gau oddef cyffyrddiad ysgafnaf ei nefol awch nad ydyw yn gorfod ymddangos yn ei lun ei hunan. Pa mor amddifad bynag allai fod araeth Hartington o rasau uchaf hyawdledd, yr oedd yn fawr yn ei ffyddlondeb i'r gwirionedd, ac yr oedd y ffug-chwedl ymffrostus a geisiasai y Prif Weinidog osod i fyny fel "hanes" yr eisteddiad, yn diflanu o flaen ei goleuni pur. Cydnabyddai yn rhwydd fod yr hyn a wnaethai y Llywodraeth gyda golwg ar ddeddfau llafur wedi bod yn ddoeth a gwrol. Ond tybiai na wadai yr Ysgrifenydd Cartrefol ei fod wedi cael llawer o gynnorthwy yn y defnyddiau a orweddent yn ei swyddfa, o gasgliad ei ragflaenwyr; yr oedd y Llywodraeth hefyd wedi cael cydweithrediad y Gwrthwynebiad, ac yr oedd y mesur fel y safai yn waith y Gwrthwynebiad. Ymffrostid yn y Mansion House nad oedd carcharu i fod mwyach am doriad cytundeb; ond yr oedd hyny i'w brïodoli i'r Gwrthwynebiad. Yr un modd, i'r aelod anrhydeddus dros Brifysgol Llundain yr oeddid i ddiolch fod y ddeddf yn erbyn dychryniad neu aflonyddiad wedi ei gwneyd yn gyffredinol, ac nid yn cael ei chyfyngu i ddosbarth penodol. Gwnelid llawer o'r anhawsderau pwysig oedd ar ffordd pasio y mesur hwnw; ond dangosai Arglwydd Hartington nad allai fod, dan yr amgylchiadau, ond ychydig iawn o anhawsder oddieithr a godai o wrthwynebiad y Llywodraeth ei hunan, ynghyda'i chyfeillion, i wynebu y fath fater. Cydnabyddid fod y Llywodraeth wedi galw sylw yn ystod yr eisteddiad at amryw gwestiynau pwysig oedd a fynent â sefyllfa gymdeithasol y bobl. Ond nid oedd hyny o nemawr werth pan nad oeddynt yn cael eu wynebu yn brïodol, a'u trin i ryw bwrpas. Yr oedd cymaint a hyny yn cael ei wneyd gan y *Social Science Congress*, ac ymddengys fod y Tŷ yn cael ei oglais yn fawr ac yn chwerthin yn galonog pan ddywedai yr areithydd ei fod wedi ymddangos iddo ef droion yn ystod yr eisteddiad y gwnelai y boneddwr gwir anrhydeddus a'i weinyddiaeth aelodau gweddol o'r *Congress* hwnw,—y boneddwr gwir anrhydeddus yn gwasanaethu fel llywydd, a'r rhai oedd yn ben ar y gwahanol *departments* yn arolygu trefnidedd gwladol, addysg, a'r adranau eraill. Myntumiai nad oedd y Llywodraeth wrth ymwneyd â'r cwestiynau oedd a fynont â sefyllfa gymdeithasol y bobl wedi sefydlu yr un egwyddor, ymgydio âg un anhawsder, na dadrys unrhyw ddyrysbwnc. Nid oeddynt wedi darostwng unrhyw orfaeliaeth o eiddo dosbarth ag oedd yn wrthwynebol i lês y boblogaeth. Fe wneid ymffrost mawr o'r hyn a wnelsid yn y mesur ar Iechyd Cyhoeddus. Ond nid ydoedd yn y diwedd ond mesur o gydgrynhöad, yn casglu at eu gilydd y trefniadau oeddynt eisoes mewn grym, ac heb ddim darpariaeth newydd ynddo o gwbl. Udganid gyda dirfawr ymffrost uwch ben y mesur ar Anneddau y Gweithwyr, a mŷnid genym gredu ei fod yn grëadigaeth newydd ogoneddus. Beth ydyw? Dim ond gwahoddiad i awdurdodau lleol i ddinystrio trigfëydd sydd yn anghymhwys i fod yn anneddau dynol, a gwneyd rhai eraill yn eu lle; dim ond helaethiad ar ddeddfau lleol oeddynt eisoes mewn bodolaeth. Yr oedd Edinburgh a Glasgow wedi cael actau iddynt eu hunain yn rhoddi gallu cyffelyb; ac wedi eu rhoddi mewn grym gan awdurdodau y trefydd hyny, prin y meddylient eu bod wedi gosod mewn gweithrediad holl ddylanwadau gwareiddiol dynoliaeth. Nid oedd mesur y Cym-

deithasau Cyfeillgar ychwaith ond peth rhyfeddol o ddiniwed i wneyd cymaint o sŵn yn ei gylch, ac yr oedd yn gadael pethau i raddau mawr fel yr oeddynt. Mae y Mesur ar Longwriaeth Fasnachol yn debyg o adael ei argraff yn ddyfnach na dim arall ar hanes deddfwriaeth 1875. Hònai Mr. Disraeli ogoniant neillduol oddiwrth y ffaith ddarfod i'w weinyddiaeth ef ddwyn yr achos dyrys hwn i derfyniad boddhäol. Ond y mae yr hanes gyda golwg ar hyn yn annhraethol wahanol i'r rhamant a ddyfeisid i foddhâu yr Arglwydd Faer a chwmni anrhydeddus y Mansion House. Yr oedd ymdrechion canmoladwy Mr. Plimsoll i ddynoethi drygioni llongfeddianwyr diegwyddor, y rhai, er mwyn budr elw iddynt eu hunain, a beryglent ac a aberthent yn y modd mwyaf dieiriach fywydau y morwyr, wedi gwneuthur yn anmhosibl peidio dwyn mesur i fewn y gellid golygu y byddai yn rhyw attalfa ar yr anfadrwydd, ac felly ddïogelu yn llawer mwy fywydau "y rhai a ddisgynant mewn llongau i'r môr." Gan faint ei awydd i gael rhyw ymwared i'r trueiniaid oedd mewn dirfawr berygl, a hyny yn fuan, yr oedd Mr. Plimsoll wedi boddloni i fesur y Llywodraeth, er ei fod gryn lawer yn llai perffaith nag y mynai iddo fod. Ond pan oedd adeg "cyflafan y gwironiaid" wedi dyfod, daeth yn gwestiwn rhwng y mesur hwnw ac un arall ar Ddaliadau Amaethyddol, pa un o'r ddau a aberthid. Yr oedd y cyntaf, fel y tybid, ac yn awr yr ymffrostia y Prif Weinidog ei hunan, yn debyg o ddïogelu rhag dinystr lïaws mawr o'n morwyr dewrion yn ystod y gauaf dyfodol. Yr oedd yr ail yn ymgais at ddeddfwriaethu ar fater ag yr oedd llawer o anesmwythder yn ei gylch, sef perthynas meistr tir a thenant; a rhag ofn yr hyn a fyddai gwaeth, yr oedd y tirfeddianwyr Toryaidd yn dra awyddus i basio mesur ag oedd wedi ei lunio mor gywrain fel ag i *ymddangos* yn ffafriol i'r rhai a ddyoddefent ddirfawr gamwri, ond mewn gwirionedd heb fod iddynt yn dda i ddim. Aberthwyd y mesur ar Longwriaeth Fasnachol, ar lwyddiant pa un yr ymddibynai cynifer o fywydau gwerthfawr, er mwyn boddio y tirfeddianwyr, a phasio yr *Agricultural Holdings Bill.* Pe na fuasai modd pasio y ddau, ni ddylasai fod amrantiad o betrusder yn meddwl neb pa un yr oedd pob teimlad o gyfiawnder a dynoliaeth yn galw am ei sicrhâu. Ond dangosai Arglwydd Hartington yn amlwg nad oedd dim anhawsder ar y ffordd i basio y ddau. Yr ydys yn cofio yn dda am y "*dramatic scene*" a gymerodd le ar waith y Prif Weinidog yn dadgan penderfyniad y weinyddiaeth o barth i'r ddau fesur hyn; fel y collodd Plimsoll ei dymher, ac yr arllwysodd ar ei wrthwynebwyr y fath gefnllif o dafod drwg ag a wnaeth hafog ar "ffurfiau y Tŷ," a gwaeth fyth, a ddygodd yr holl deyrnas i gydymdeimlo âg ef, ac i gondemnio gweinyddiaeth a wnelai mor ysgafn o gwestiwn a deimlid gan bawb mor ryfeddol o bwysig. Wedi deall ei gamgymeriad, trefnodd Mr. Disraeli fod mesur bŷr, yn cynnwys hanfodion yr hyn o ofynid, ac i fod mewn grym am flwyddyn, yn cael ei ddwyn i fewn. Yr oedd hyny yn burion; mewn eisteddiad sydd wedi bod mor lawn o gamgymeriadau, a chyda gweinyddiaeth sydd yn barhäus yn ail feddwl, ni fuasai neb yn cymeryd yn chwith fod Gweinidogion ei Mawrhydi, ar ol syrthio i'r fath ddyryswch, yn ceisio gwneyd y goreu o'r gwaethaf, ac yn dyfod allan o'r gors mor fuan ag yr oedd modd. Ond a ydyw y Prif Weinidog yn foddlawn ar i ni gymeryd y ffeithiau yn noethion fel y dygwyddasant? Dim o'r fath beth. Ond

yn gelfydd, fel y dywedai Mr. Bright, ar "wneuthur hanesyddiaeth," y mae yn meddu yr ëofndra i daeru nad oedd dim yn yr holl helynt a ddygwyddasai amgen na gweithiad allan ei gynllun gwreiddiol ef ei hunan. "Yn gweled y cwbl—yn rhagweled y cwbl," rhoddai ar ddeall ei fod yn fwriadol wedi crëu ystorm y "*dramatic scene*" er mwyn cryfhâu y teimlad cyhoeddus yn ffafr y mesur ar Longwriaeth, fel y gallai efe gario allan yr amcan yr ydoedd o'r dechreuad mor bryderus am ei sicrhâu! Gŵyr pawb, os oedd ganddo ryw deimlad o blaid y fath amcan cyn hyny, fod ganddo ffordd hynod iawn i ddangos ei deimlad. Pan ymddyheurid âg ef gyda golwg ar basio mesur llai, fel peth gwell na dim, ymgroesai gydag ysgorn arddunol rhag bod yn gyfranog o basio mesur "*fragmentary*" ar y fath achos—mesur cyflawn, neu ddim oll! Ond pan gododd y teimlad cyhoeddus gyda'r fath ddirfawr nerth, dyma fesur *fragmentary* iawn yn cael ei ffurfio, a'i basio fel wrth rym ager. Buasai marwolion yn gyffredin yn golygu nad oedd ond ychydig iawn o ddiolch i Mr. Disraeli am ildio dan y fath ddirwasgiad. Ond nid felly y mae efe yn deall y cyhoedd anwyl y mae y fath ddealltwriaeth dda rhyngddo â hwynt. Wrth arganmol boneddigeiddrwydd diderfyn rhywun y buasai ganddo i ymwneyd âg ef, dywedai un o'r prydyddion,—

He kicked me down stairs with such a good grace,
That I thought he was showing me up.

Mae y cyhoedd wedi bod yn delio yn lled ddiseremoni gyda Mr. Disraeli cyn hyn; ond y mae efe yn y cwbl yn methu gweled dim ond cariad difesur. Ychydig flynyddoedd yn ol, gorfodwyd ef, ar flaen y bidog, i basio mesur ar Ddiwygiad Seneddol, holl ddarpariadau pa un oedd yn myned yn nannedd ei argyhoeddiadau dyfnaf, y rhai yr ydoedd, ddegau o weithiau, wedi rhoddi dadganiad mor ddiamwys iddynt, fel y gallesid meddwl mai yr un peth fyddai gŷru yn eu hol olwynion y grëadigaeth a dysgwyl iddo ef gymaint a'u hail-ystyried. A ydoedd efe, mewn canlyniad, gan ei ffieiddio ei hunan a goleuni yr haul, yn chwilio am le i ymguddio o olwg y byd, a marw ynddo mewn dinodedd? Nac oedd. Ond yn hytrach yn llawenhâu yn y clod anfarwol oedd wedi dyfod i'w ran yn mherffeithiad ein cyfundrefn o gynnrychioliad! Ac yn gyffelyb gyda'r achos yma. Nid ydyw efe, bid sicr, mwy na'r arch-ffrostiwr gan Syr John Falstaff, i wneyd dim "*on compulsion.*" Pasid ei fesur "*fragmentary*" i ddïogelu bywydau ein llongwyr, nid dan *ddirwasgiad* oddiwrth deimlad y deyrnas, ond trwy *gynnorthwy* y teimlad hwnw. Nid ydyw efe uwchlaw cymeryd mantais ar y fath deimlad i gario allan amcanion buddiol! Nac ydyw, ddim uwchlaw unrhyw beth. Y mae *Punch*, mewn *cartoon* rhagorol a ymddangosodd y dydd o'r blaen, mewn cyfeiriad at y deddfwriaeth *permissive* sydd wedi bod mewn cymaint o fri y seneddymmor hwn—er fod y Llywodraeth yn arswydo rhag mesur o'r fath pe byddai rhyw berygl iddo ymyraeth â rhyddid y tafarnwyr i elwa ar ddinystr eu cyd-ddeiliaid,—yn dangos Hartington, yn holl esmwythedd a dillynder ei sefyllfa uchel, ac yn tŷnu ei *cigar* yn ysgafala o'i enau, gan gyfarch Disraeli a dyweyd y gwyddai mai ar oddefiad, ar *sufferance* yr oedd efe a'i Lywodraeth yn bodoli. "Sufferance, my dear Hartington," meddai yntau yn ol, yn llawn mor esmwyth a dillyn ac ysgafala, gan

ddal ei *cigar* gyda destlusrwydd digymhar, a dyfynu geiriau Shylock yn y *Merchant of Venice,*

Sufferance is the badge of all our tribe.

Pell iawn oddiwrthym ni fyddo gwarafun i Mr. Disraeli, neu i unrhyw ddyn, ei hawl gyfiawn i gymaint o waseidd-dra ag a chwennycho ei galon; ond y mae braidd yn ormod i amynedd dynol weled hyny yn cael ei glodfori a'i fawrhâu fel gwladweiniaeth ddoeth a gwrol. Wrth wasgar gwreichion mewn ffordd o gynnyg rhywbeth yn lle atebiad i gyhudd-gwyn, i *impeachment* mawr Arglwydd Hartington, edliwiai rhywbeth y mynai ei ddangos fel gwendid yn ei araeth, a'i fod "heb yr esgusawd o fod yn ei thraddodi ar ol ciniaw." Yn sicr, pan welwn ef ei hunan yn ymffrostio mewn gwneyd cymaint o wasanaeth i'r deyrnas gyda golwg ar dalu y ddyled wladol, pan, allan o'r miliynau a adawsid at ei law gan y Llywodraeth flaenorol, nad allodd, er parhâu treth yr incwm, hebgor cymaint a cheiniog at wneyd hyny; pan welwn ef yn ymffrostio yn llafur a doethineb ei ragflaenoriaid fel ei ragoriaeth diammheuol ef ei hunan a'i gyfeillion; a phan welwn ef, ar ol gwneyd y camgymeriadau mwyaf dybryd, ac yn gorfod ildio i'r anocheladwy trwy eu cywiro, ond yn y fan yn troi ar ei sawdl a chyda wyneb o brês yn haeru ei fod "yn gweled y cwbl, yn rhagweled y cwbl," ac yn hòni i'r cyfan y gogoniant o fod yn wladweiniaeth enwocaf yr oesoedd, y peth tyneraf a allwn wneyd ydyw taflu ei awgrymiad ef ei hunan gyda golwg ar yr *adeg* y traddodwyd ei araeth, fel mantell dros ei warth. Pell iawn fyddom oddiwrth ddysgwyl i ddynion cyhoeddus beidio ymollwng yn achlysurol mewn afiaith chwarëus i gellwair ac ysmalio hyd yn nôd gyda chwest-iynau cyhoeddus, os byddant yn dewis hyny; y mae chwarëusrwydd yn un o elfenau hanfodol ein natur, ac y mae i ddyn allu ei ddal heb anmharu yn brawf o natur dda, ac o iechyd rhagorol mewn corff ac ysbryd, heblaw ei fod yn ei gadw yn llawer mwy dymunol i ymwneyd âg ef. Ond y mae chwareu—os chwareu ydyw—sydd yn amcanu arwain teyrnas ar gyfeiliorn, er mwyn i'r chwarëuwr gael chwerthin yn ei lawes wrth ei gweled yn suddo i'r gors, braidd yn ormod. Y mae'r chwareu sydd gyda'r wynebpryd mwyaf difrifol yn taeru fod y gwŷn yn ddû a'r dû yn wŷn, a hyny gyda'r fath lwyddiant, fel y mae miloedd o bobl a dybir yn rhesymol, yn barod i'w dderbyn gyda y gymeradwy-aeth uchaf, ac yn proffesu credu ynddo fel gwirionedd mawr bywyd a dyrchafiad yr holl genedl, yn rhywbeth y dylai y rhai sydd mewn meddiant o'u synwyrau wrthdystio yn erbyn cael eu hystyried fel yn ei gydnabod. Ië, y mae yn ddyledswydd arnynt, o barch i wirion-edd, ac mewn tosturi at y trueiniaid sydd yn ddigon ehud i gymeryd eu camarwain mor waradwyddus, ddadgan a dysgu yn glir a diamwys mai gwŷn ydyw gwŷn ac mai dû ydyw dû, ac mai felly y byddant hyd ddiwedd y byd. Dywed yr *Examiner* y "dylai yr eisteddiad hwn ddysgu dau wirionedd iachusol i Mr. Disraeli—nad ellir cadw y Saeson mewn tymher dda yn barhaus gan arabedd yn unig, pa mor ddysglaer bynag; a'u bod yn gwrthwynebu yn gryf i gamgymeriadau gael eu hesgusodi â chelwyddau, pa mor gywrain bynag." Ac ychwanega, gyda chyfeiriad at y *Shipping Bill,* "Am unwaith, fe ddarfu i Mr. Disraeli ei ddad-

ddyrysu ei hun yn rhy fedrus. Buasai y wlad yn maddeu iddo, fe allai, am roddi y Mesur Llongwriaeth i fyny, ond nis gall byth faddeu iddo am y celwyddau a ddywedodd yn ei gylch."

Y mae Satan, yn Milton, gan gyfarch ei gydymaith Beelzebub, yr hwn, fel yntau, oedd mewn dygn boenau gan y digofaint, yn dywedyd,

Fallen Cherub, to be weak is miserable,
Doing or suffering.

Truenus bod yn wan, ai gwneyd ai goddef! Fe ellid meddwl nad anhawdd fuasai i Brif Weinidog Prydain Fawr, gyda'i fwyafrif o 60, gydnabod yr un peth. Y mae ei weinyddiaeth wedi bod yn wan. Y mae wedi bod yn hynod o wan mewn amcan. Prin y gallai ymaflyd mewn un egwyddor a allasai roddi unrhyw nerth i'w hamcan. Buasai hyny yn rhoddi unoliaeth i'w gwaith a'i codasai ymhell uwchlaw bod wrth drugaredd yr hyn a ddygwyddai. Buasai hefyd yn rhoddi cydnerthedd yn ei hymdrechion a fuasai yn dra thebyg o'u gwneyd yn llwyddiannus: a phe buasent yn methu, fe fuasai ganddynt rywbeth i syrthio yn ol arno y gallasent ei ystyried yn werthfawrocach hyd yn nôd na llwyddiant.

Victrix causa Diis placuit, set victa Catoni.

Yn lle hyny, gan anghofio eu traddodiadau eu hunain am egwyddorion sefydlog, chwiliai y weinyddiaeth am y pethau a olygent fwyaf diniwed yn ngwladweiniaeth eu gwrthwynebwyr i'w osod ar eu banerau, a dysgwylient gydag awch oedd ymhell o fod yn gydweddol â'u hurddas, am ba beth bynag a welai ffawd yn dda estyn iddynt. Mae yn wir y bu raid, er mwyn gwneyd yn dda eu hawl o fod yn cynnrychioli y "blaid gyfansoddiadol fawr," wneyd rhyw fath o osgedd at Geidwadaeth. Ond ymddangosai y Prif Weinidog yn rhyfeddol o ofalus rhag i'w blaid fawr fyned yn bendramwnwgl, neu rhag cyffroi y daeargryn y teimlai ei fod yn cysgu o amgylch ei draed. Nid oedd nemawr ddim y teimlai ei blaid fwy o wrthwynebiad iddo yn ngwaith y Senedd o'r blaen na diddymiad Pwrcas yn y fyddin, a diammheu y byddarai clustiau ei harweinydd gyda chrochlef am ddadwneyd hyny, fel ymyriad annheilwng â'i rhagorfreintiau. Mae yn sicr ei fod yntau yn gweled fod yn rhaid gwneyd rhywbeth yn y cyfeiriad hwnw. Ond er hyny ni anturiodd ei grybwyll yn araeth y Frenhines yn nechreu y tymmor fel peth oedd i ddyfod ger bron; a thrachefn yn niwedd y tymmor, tra yn rhoddi yn yr araeth Frenhinol ar y gohiriad baragraph i fater mor ddibwys a chofrestriad *Trades Marks*, ni fu yn wiw ganddo wneyd gair o grybwylliad am yr adferiad mawr cyfansoddiadol gyda golwg ar Bwrcas yn y fyddin. Gellid meddwl mai ei awyddfryd dyfnaf oedd gyru pethau yn eu blaen yn y modd mwyaf didramgwydd i bawb; ac er mwyn hyny, fel Mr. Anything yn Nhaith y Pererin, yr ydoedd yn barod i wneyd yr hyn a fynid. Am unrhyw ddiffyg neu anghysondeb a allai ddyfod i'r golwg mewn "gwladweiniaeth gyfansoddiadol" ydoedd i'r fath raddau helaeth wrth drugaredd damwain, nid oedd dim i'w wneyd ond ymddiried i ddawn ac arabedd y Prif Weinidog, gyda chynnorthwy unrhyw "gelwyddau," chwedl yr *Examiner*, ag a allent fod yn angenrheidiol, er

gwisgo y cwbl âg urddas hanesyddol, a pheri i'r deyrnas barhâu i gysgu yn dawel yn mreichiau ei noddwr mawr a'i harweinydd doeth.

Y mae llawer o ddawn rhagorol wedi cael ei wastraffu mewn beirniadu seguryd y blaid Ryddfrydig yn y tymmor hwn. Yr ydoedd yn ateb pwrpas Mr. Disraeli, wrth geisio ateb araeth Arglwydd Hartington, i edliw ei hanweithgarwch; er y gallesid meddwl oddiwrth yr araeth yn y Mansion House ei bod yn galed ryfeddol arno ef i geisio cario y gwaith cyhoeddus ymlaen pan oedd ganddo, ymron bob cam a gerddai, *dri* Gwrthwynebiad i'w cyfarfod ac i'w gorchfygu. Y gwirionedd yw, na ddarfu i'r Gwrthwynebiad wneyd odid yr un ymdrech i lesteirio y Llywodraeth i gario ei hamcanion ymlaen; i'r gwrthwyneb—yr hyn sydd yn dra newydd yn hanes ein Gwrthwynebiadau Seneddol—rhoddodd i liaws o honynt ei chynnorthwy mwyaf calonog. Yr ydoedd y Llywodraeth, gyda nifer mawr o honynt yn garedig iawn yn gwneyd gwaith y Gwrthwynebiad, ac nid oedd dim i'w wneyd ond bod yn ddiolchgar iddynt. Y mae wedi dyfod, yn "nadblygiad" rhyfeddol gwleidyddiaeth y dyddiau hyn, mai Llywodraeth Doryaidd, fel y dywedai un gwalch, ydyw—dynion Toryaidd a mesurau Rhyddfrydig. Ac y mae y rhai sydd yn gweled fwyaf clir i hadau y dyfodol yn tystiolaethu mai yr unig wladweinydd sydd yn fyw y gellid dysgwyl iddo gario allan Ddadgysylltiad yr Eglwys Sefydledig ydyw Mr. Benjamin Disraeli; prin y gellir eu perswadio y rhaid eu bod yn camgymeryd pan daerant fod y cynllun i "addysgu" y blaid at y fath bwynt a hwn yn awr yn cael ei addfedu ymysg llwyni paradwysaidd Hughenden, ac y rhaid fod yr egwyddor wedi ei darganfod sydd i brofi mai dyma y mesur mwyaf hanfodol gyfansoddiadol y meddyliwyd am dano yn y deyrnas erioed. Ond rhaid cofio nad all hwyliau Mr. Disraeli ddim gweithio ymlaen i'r fath amcan heb *wynt*, a rhaid i hwnw gael ei godi gan Ryddfrydwyr. Fe ellid meddwl fod "addysg" Mr. Gladstone ar hyn eisoes wedi myned yn bur bell, canys y mae yn amlwg fod cyrhaedd yr unig delerau ar ba rai y gallai efe fyntumio "fod Eglwys Loegr yn werth ei chadw," yn dyfod o ddydd i ddydd yn fwyfwy anobeithiol; ac y mae yn dyfod i edrych arni yn fwyfwy fel rhan o eglwys gatholig neu gyffredinol Crist, ac yn annibynol ar bob damwain o berthynas rhyngddi â'r Llywodraeth. Yn wir, y mae gŵr mor graff âg offeiriad Llanfairfechan yn dechreu anobeithio am Mr. Disraeli, ac yn bygwth yn ddifrifol, os ydyw mor ddrygionus a choledd y drychfeddwl ysgeler o agor y mynwentydd i'r "sismaticiaid" ddyfod iddynt i ddarllen rhanau o'r Gair ac addoli, wrth briddo y rhai y bu yn "felus ganddynt gydgyfeillachu â hwynt, ac y rhodiasant i dŷ Dduw yngbyd," y bydd iddo ef —— dynu ei nodded oddiwrtho! Pa fodd bynag nid ydyw Rhyddfrydiaeth Prydain i ymfoddloni heb barhâu i weithio, ac i weithio yn egniol, er sicrhâu pa iawnderau bynag sydd eto heb eu hestyn i'r wladwriaeth. Dan yr amgylchiadau, nid ydym ni yn gweled y gallasai Arglwydd Hartington, na'r blaid gydag ef, wneyd yn ystod yr eisteddiad hwn nemawr yn ychwaneg nag a wnaethant. Hyderwn, pa fodd bynag, ei fod ef erbyn hyn wedi ennill ei yspardynau, ac y cymer, yn yr eisteddiad nesaf, ran fwy blaenllaw mewn dysgyblu ei luoedd, ac mewn rhoddi iddynt, o leiaf, ryw gymaint o brawf ar ryfela. Mae yn ddiammheu fod yr ysbryd Rhyddfrydig sydd yn y Tŷ, fel yn y deyrnas, yn gryf a phenderfynol;

ac wedi y dihoeniad a ddilynodd y chwalfa ar allu y blaid, y mae bellach yn barod ac yn awyddus, ond cael llaw gref i ymaflyd yn yr awenau, i uno ei nerthoedd ac i amcanu gwneyd rhywbeth. Pa fodd bynag, y peth pwysig ydyw fod y Rhyddfrydwyr yn y deyrnas yn gofalu am danynt eu hunain. Ond iddynt hwy fod yn effro a gweithgar, nid hir y byddid heb gyfanu rhwyg, a golchi ymaith warthrudd Chwefror, 1874. Ni fydd pall am gyflawnder o wŷr da, gonest, a goleuedig, a fyddant yn barod i ddyfod ymlaen i'n gwasanaethu. Ac o gael dynion cymhwys i'n cynnrychioli yn y Senedd, ni fydd pall am Arweinydd. Fel y dywedai Mr. Bright yn ddiweddar yn Birmingham, pan fyddai rhywbeth neillduol eisieu ei wneyd, na welodd efe un amser na fyddai Rhagluniaeth yn gofalu rhyw ffordd neu gilydd am ddynion i'w wneyd. Pa un bynag ai Hartington, ai Gladstone, ai Disraeli, ai rhywun arall nad yw ei seren eto wedi cyrhaedd yr entrych, mae yn ddiammheu y daw y dyn hefyd gyda yr awr, ac y dygir rhyfel bwysig rhyddid ac iawnderau y deiliaid, yn y dyfodol, fel yn yr amser a aeth heibio, i lawn fuddugoliaeth. Ni wyddom beth a all ddygwydd mewn diwrnod. Fe ddywed ein cymydogion y tu draw i gulfor Dover nad oes dim yn dygwydd ond yr annysgwyliadwy. Ond beth bynag a ddygwyddo, na chaffer Rhyddfrydwyr Cymru yn hepian! Yr ydym yn ofni mai gwêdd adfeiliedig sydd ar lawer o'r Cymdeithasau Diwygiadol a sefydlwyd yma a thraw pan, o dan ein siomedigaethau, yr oeddem am wneyd cymaint er mwyn gwneuthur profedigaethau cyffelyb yn anmhosibl byth mwy. Ac mewn gwlad fel Cymru, lle y mae nosweithiau y bobl yn cael eu cymeryd i fyny mor lwyr gyda chyfarfodydd crefyddol, &c., mae yn debyg ei fod yn ormod o beth dysgwyl iddynt hebgor amser i gynnal cyfarfodydd gwleidyddol yn rheolaidd, heblaw fod yn dra anhawdd mewn nifer fawr o'n hardaloedd cael nemawr o fedr i wneyd cynnulliadau o'r fath yn ddyddorol. Dylai ein Haelodau Seneddol ei wneyd yn bwynt arbenig i fynu ymweled yn ystod y gauaf â holl brif ardaloedd eu hetholiadaethau; a byddai yn hawdd iddynt gael cynnorthwy dynion cymhwys er gwneyd eu cyfarfodydd yn rhai gwirioneddol dda. Byddai hyny yn sicr o ateb dyben daionus mewn perffeithio addysgiaeth wleidyddol yr etholwyr, a'u gwneyd yn barod, pa bryd bynag y byddo galwad am hyny, i weithredu yn deilwng. Dylai fod ymhob etholiadaeth hefyd bwyllgor sefydlog, yn cael ei wneyd i fyny o ddynion a fyddo yn cynnrychioli y prif ardaloedd, y gellid eu galw ynghyd ar rybudd byr, i ystyried unrhyw achos pwysig a allo gyfodi. Y mae llawer sêdd dda wedi ei cholli i'r blaid o herwydd ymgiprys ymgeiswyr ag yr oedd pob un o honynt yn rhy bengryf i feddwl am ildio, pan nad oedd yr un corff awdurdodedig i alw arnynt i wneyd hyny. Ac heblaw hyny y mae yn eithaf posibl fod dynion i'w cael a fuasent, o geisio ganddynt, yn dyfod ymlaen fel ymgeiswyr, ac a wnaethent lawer gwell gwasanaeth na'r rhai sydd yn eu gwthio eu hunain i sylw yr etholwyr. Ac uwchlaw y cwbl, gofaler am y cofrestriadau.

# Y FYNWENT.

Y Fynwent fawr! mor welw yw ei gwêdd,
O'i mewn mae Angeu 'n eistedd ar ei sêdd;
A'i holl ddifyrwch ar ei orsedd yno,
Yw agor drŵs i'r byd gael myned heibio!

Pan rydd yr enaid lâm i dragwyddoldeb,
Ar draeth y bedd y tafla ei farwoldeb;
A'i adael wna i dawel orphwys yno,
Nes bydd ei holl aflendid wedi ei buro.
Y fynwent ydyw glàn y byd amserol,
A'i draeth agosaf at y làn dragwyddol;
A braidd na chlywir aml dòn felusber
O dragwyddoldeb drwy y bedd,
Yn curo glànau amser!

Ymlwybrwn heibio mewn dystawrwydd sŷn,
Trwy 'r niwl pruddhäol sy'n gordöi y "glŷn;"
Y meini mudion safant ar bob llaw,
Gyfeiria 'n golwg tua 'r byd a ddaw;
Ac ambell faen a godwyd er ys oesau,
Dŷn ddeigryn heb yn wybod dros ein gruddiau.

Dystawrwydd mud sydd rhwng y beddau 'n tramwy,
Ei nerthol ddwfn hyawdledd sy'n ofnadwy;
A mwy gorchfygol ei ddylanwad ef,
Na llais y daran wallgof yn y nef;
Dystawrwydd bair i'r mwyaf ynfyd deimlo,
Mae angeu yn anadlu dychryn drwyddo!

Y baban bychan, tirion, etifedd Gwynfa wèn,
A'r hen a sanctaidd goron blynyddau ar ei ben;
Mae enw 'r ddau 'n gerfiedig ar gàreg lwyd ei gwawr,
A'u llwch yn gysegredig o fewn y fynwent fawr.

Ceir ynddi 'r goludog heb olud y byd,
A'r tlawd heb ei d'lodi yn gorphwys ynghyd;
Y truan anghenus, a'r teyrn ar ei sêdd—
Yr un yw gobenydd y ddau yn y bedd!

Yr hwn â'i athrylith fu 'n siglo y byd,
Fel 'storm yn cynhyrfu y môr yn ei gryd;
Gan ddyrnod marwolaeth dymchwelwyd ei sêdd,
Mae'n fud a diallu yn ngharchar y bedd!
Y bachgen serchglwyfus yn ngwanwyn ei oes,
Waherddwyd i garu ei fûn er ei loes;
Os cafodd ei ymlid o wyddfod y ferch,
Os torodd ei galon am wrthddrych ei serch;
Yn nghanol y fynwent henafol mewn hêdd,
Prïodwyd y ddau yn ystafell y bedd!

O fan cysegredig! bendigaid "dir angho',"
Mae 'n orlawn o swyn er fod angeu 'n ei wylio;
Mae 'r blodau sydd yno yn gwenu mor gûn,
Yn harddu gwynebpryd marwolaeth ei hun.

Os oes ambell flod'yn yn llawnach o wrid
Yn ngerddi brenhinoedd a mawrion y byd
Boed iddynt flaguro mewn *balchder* a *bri*,
Ond blodau *dirodres* y fynwent i mi;
O godiad y dydd i'w fachludiad brydnawn,
Llaw natur a geidw eu tlysni yn llawn;
A nefol brydferthwch dihalog eu gwêdd
A deifl adloniant ar brudd-der y bedd;
Gwasgarant eu peraidd aroglau yn llydan,
Yn fywyd ar randir marwolaeth ei hunan.

Fan draw mae yr ywen gauadfrig a chref,
Yn pruddaidd ddyrchafu ei phen tua 'r nef;
Ac fel pe 'n amneidio ar gerbyd y gwynt,
Ymbwyllo wrth basio pob bedd ar ei hynt;
Mae 'r hwn fu 'n ei phlanu mewn llafur diflino,
Yn awr dan ei brigau cysgodfawr yn huno.

Mor hawdd dan ei brîg yw addoli mewn hêdd,
Yn ymyl y byd sydd tu arall i'r bedd;
Ein calon a deimla mewn moliant ac ymbil,
Y byd yn y pellder, a'r nef yn ein hymyl!

Mae yno er ys oesau yn sefyll o hyd,
Gan wylio cynhebrwng galarus y byd;
Nid rhyfedd ei bod hi am *brudd-der* mor hynod,
Wrth gladdu 'r blynyddau mewn bedd yn ei chysgod.

Mor hoff gan y bardd yw cysgodau yr ŷw,
Heb ddim i dramgwyddo ar heddwch y clyw;
Ond ambell i nodyn o sobr garolau,
Y chwâ wrth addoli mewn hêdd ar ei brigau.

I'r tir cysegredig ni feiddia 'r un twrdd,
Dystawrwydd dyeithriol a'i ceidw i ffwrdd;
Hyawdledd digymhar y beddau mewn moment,
Darawa 'r cellwerus yn fud yn y fynwent!

Ai nid oes angelion dihalog eu gwawr,
O'u nefol drigfanau yn disgyn i lawr,
Gan ledu eu hesgyll i wylio marwoldeb
Rhai welsant yn glànio ar draeth tragwyddoldeb?
Oes, oes y mae angel ar aml i fedd,
Sydd heddyw yn dwmpath diaddurn ei wêdd;
Rhai gipiwyd i fyny uwch gofid a phwn,
Rhy sanctaidd eu buchedd i anial fel hwn;
Rhai nofient yn wrol er pob ystorm gref,
A nodwydd eu cwmpawd at orsedd y nef.
Mae llinell eu bywyd yn ddysglaer a thlos,
Fel ffrydlif o ddydd ar gymylau y nos;
Bu gras yn eu maboed yn siglo eu cryd—
Angelion mewn cnawd yn anialwch y byd!

Nid rhyfedd, gan hyny, fod engyl yn awr
I'r fynwent henafol yn disgyn i lawr,
Gan ledu eu nefol adenydd o hyd
Dros lwch y rhai brofwyd yn "flodau y byd;"
Dych'mygem wrth gerdded ymlaen ar ein hynt
Fod sï eu hadenydd yn pasio 'n y gwynt,
A brawddeg ofnadwy yn disgyn o'u min,—
"Mae angeu yn *effro*, a'r byd yn ei *hûn!*"

Y *blodau*, yr *ŷw*, a'r *angelion* ynghyd,
A gadwant y lle 'n gysegredig o hyd;
        Mae agwedd hiraethol
        Yr ywen gysgodol;
        Perarogl y blodion,
        A chwmni 'r angelion,
    Yn sugno serchiadau y byd
        I'r llanerch lle 'r huna marwolion,
    A thangnef yn gwylio eu cryd.

        Pan fyddo haul y nefoedd
          Yn machlud yn y môr,
        A'r hwyr yn dringo 'n ddystaw bach
          I selio 'i danbaid ddôr,
        Af finnau tua'r fynwent,
          O ganol twrf y wlad,
        I eistedd ar y gàreg lwyd
          Sy'n gwylio bedd fy nhad.

        Mae cofio ei gynhebrwng
          Yn myn'd i'r gladdfa brudd,
        Yn codi llanw galar dwys
          Dros geulan wyw fy ngrûdd;
        Cysuron llòn fy maboed,
          A'u nefoedd o fwynhâd,
        A aethant yn gynhebrwng mawr
          I ddystaw fedd fy nhad.

Cyn delo angel heibio,
  A nefol gawg y gwlith,
I'w hidlo yn ddefnynau glân
  Ar ruddiau 'r blodau brith,
Af finnau tua 'r fynwent,
  Mewn pryder a thristâd,
A chawg o ddagrau hiraeth dwfn
  I wlychu bedd fy nhad.

Eisteddaf ar ei feddrod,
  A blodyn yn fy llaw,
Ac, O! mi dybiwn glywed sŵn
  Ei lais yr ochr draw;
Ac er fod yno 'n crogi
  Gymylau o bruddhâd,
Y fan anwylaf dan y nef
  I mi, yw bedd fy nhad.

Galarus sŵn henafol gloch y llàn
A dòra ar dawelwch prudd y fan;
Disgyna 'i sain ar galon graig y dyn,
Fel gair o enau "*brenin braw*" ei hun!
I fewn drwy 'r porth y daw 'r cynhebrwng mawr,
A threigla ffrŵd dros lawer grudd i lawr,
Wrth ddwyn gweddillion marwol rhyw anwylyd
I huno 'i hûn ddiweddaf yn y gweryd.
Dychwela llawer un yn drist ei wêdd,
A'i galon ar ei ol yn ngwaelod bedd;
A thra fydd adgof yn ei fron yn chwyddo,
Ei serch fydd fel amddifad tlawd
  O fewn y gladdfa 'n wylo!

Cymylau llawnion o hiraethus ddagrau
A welir yn ymdòri ar y beddau,
Gan wlawio 'n fynych y cawodydd chwerwaf,
Nes iddynt dywallt y dyferyn *olaf!*
O! pa sawl gweddw, dan ei baich o alar,
Fu 'n plygu ei phen ar gàreg fedd ei chymhar?
Yn dwys och'neidio am ei "haral! hunan,"—
Yn wylo 'n hallt nes hidlo 'i heinioes allan!
Mae 'n rhaid fod calon angeu yn un galed,
Wrth ddwyn y byd i'r fynwent mor ddiarbed;
Amddifad yw ei fynwes o dosturi,
A byddar yw ei glust i'r daeraf weddi;
Mae llanw 'r eigion yn trywanu 'r creigiau,
Ond nid oes fôr all dòri calon angeu;
Ei gydymdeimlad yw dynoethi ei golyn,
A gwenu wnâ wrth wel'd ei lun mewn deigryn!

'N ol hwylio 'n mlaen, dros dònau geirw 'r byd,
A tharo 'n erbyn llawer craig o hyd,
Mor felus pan fachluda 'n haul i lawr,
Fydd bwrw angor yn y fynwent fawr!
A chael gorphwyso yn yr hafan hyfryd,
Lle na ddaw 'storom heibio yn ei cherbyd!
Rhy bell o'r byd yw 'r fangre dawel hono
I glywed llais ei hudgorn pan yn pasio;
Cawn orphwys yno mewn tawelwch hyfryd,
A huno ar ymylon porthladd eilfyd,
Yn iach o gyrhaedd holl ofidiau bywyd.

Ah! fynwent oer, er fod cymylau duon
Yn gorphwys ar dy fynwes brudd yn blygion,
Mae Haul Cyfiawnder a'i belydrau dwyfol
Yn gwneyd dy bruddaidd nos yn ddydd tragwyddol!
A gwelaf foreu 'n tòri uwch dy ben,
A dafla byrth dy feddau lêd y pen;
A'r meirw 'n esgyn yn gymanfa heiny'
Ar hyd heolydd dysglaer o oleuni
O fedd i farn, gan basio tân orseddau
Taranau 'r nef, ac adfail y planedau!
Y ddaear fydd i'r gwagle yn ymollwng,
A fflamau fyrdd a ffurfiant ei chynhebrwng;
Syrth angeu o'i orseddfa y "dydd hwnw,"
A chryma 'i ben ar ludw 'r byd i farw.

Ar derfyn f' oes, pan ddaw y bruddaidd foment
I'm cludo fel fy nhadau tua 'r fynwent,
Uwchben y bedd lle byddaf yn gorphwyso,
Boed ywen fawr gauadfrig yn fy ngwylio!

# Y BRIFYSGOL.

Pan sonid gyntaf am gael Prifysgol i Gymru, fe edrychid ar y peth fel y dychymyg mwyaf anymarferol y gellid meddwl am dano. Nid oedd prinder am ddoethion a benderfynent fod cario allan y fath amcan yn anmhosibl. Yr oedd oesoedd o waseidd-dra wedi ein darostwng yn gymaint, fel mai prin y gallem godi ein llygaid i fyny at y Llywodraeth, gan ddysgwyl unrhyw ymwared oddiyno. Mae yn wir fod gan Scotland, heb fod ei phoblogaeth nemawr fwy na dwbl poblogaeth Cymru, bump o Brifysgolion; ac fod gan Iwerddon, heblaw Prifysgol Dublin, a'r Sefydliad Brenhinol yn Belfast, Brifysgol y Frenhines, yn cynnwys Colegau Belfast, Galway, a Cork, a'r cyfan wedi derbyn symiau mawrion gan y Llywodraeth ar eu sefydliad, ac yn derbyn miloedd lawer bob blwyddyn at eu cynnaliaeth; a bod Cymru, er yn talu ei chyfran yn siriol tuag at y treuliadau cyhoeddus, a'i llywodraethiad yn fwy didrafferth a digôst nag un ran arall o'r ymherodraeth, *heb yr un Brifysgol o'i mewn*. Ond er y cwbl, yr oeddym wedi cynefino yn gymaint â'n darostyngiad, fel mai prin yr oedd hyny yn ein taro fel peth chwithig,—yn wir, yr oedd llawer yn ein mysg yn barod gyda'u rhesymau yn

Thick as autumnal leaves in Vallombrossa

yn erbyn cynhyrfu am unrhyw gyfnewidiad. Ac os oedd yn annhebyg y gellid ysgogi y Llywodraeth i wneyd dim mewn ffordd o estyn i Gymru gyfleusderau addysg uwchraddol, yr ydoedd yn ymddangos yn fwy anobeithiol fyth cael gan Gymru ei hunan godi y cyllid angenrheidiol a'i helpu ei hun yn hyn o beth. Onid oedd ein mawrion wedi hen fyned yn Saeson, a'r werin oedd yn byw o amgylch eu traed ymron mor ddyeithr iddynt a phe buasent yn cyfanneddu yn Japan? Fe wyddent eu bod yn arfer siarad Cymraeg, a'u bod hefyd, o ran y corff o honynt, yn myned i addoli i'r capelau Ymneillduol: ond yr oedd y ddwy ffaith yna wedi gwneyd gagendor rhyngddynt â hwynt a barai na theimlent nemawr fwy o gyfrifoldeb gyda golwg ar eu dyrchafiad nag a allesid ddysgwyl oddiwrth foneddigion Middlesex. Fe edrychid ar eu gwaith yn siarad Cymraeg fel ystyfnigrwydd, pan, mewn gwirionedd, yr oedd yn anmhosibl i'r trueiniaid, pe buasent yn dewis hyny, ddefnyddio yr un iaith arall; ac fe edrychid ar eu gwaith yn gwrthod yr addysg Seisonig a gynnygid iddynt ar delerau mor resymol ag iddynt yn unig ddyfod yn Eglwyswyr, fel ffolineb a wnelai yn hollol ofer meddwl am geisio eu cyfarfod ar unrhyw dir arall. A phan ddygwyddai

ambell Gymro, a ddylasai wybod yn well, ddyfod rhagddo yn y byd, ei unig syniad am fŷnu sefyllfa iddo ei hun a f'ai yn gydweddol â'i urddas, fyddai "anghofio ei bobl ei hun a thŷ ei dad," ac ymwthio rywfodd i gymdeithas y rhai yr oedd ei enaid yn addoli fel y bobl fawr, gan ei wneyd ei hun yn gaethwas ewyllysgar i'w holl ragfarnau. Y mae yr ysgorn â pha un y gwelsom y boblach hyn, ar fwy nag un amgylchiad, yn ymdrechu, gydag osgedd o'r fath fwyaf "*vulgar*,"—gair sydd, yn eu tafodiaith hwy, yn arwyddocâu yr ysgelerder mwyaf!—ac mewn Saesoneg oedd ymron yn rhy bwdr i ddal wrth ei gilydd er rhoddi dadganiad dealladwy i'r syniad mwyaf cyffredin, yn siarad am y "*these Wels*," wedi bod—wel, yn dipyn o brofedigaeth i ni. Pe buasech mor ddiniwed a meddwl nesâu at un o'r bodau ysblenydd hyn, gan ddywedyd yn ostyngedig, "Mr. ——, chwi wyddoch fod ein cydwladwyr yn dra sychedig am wybodaeth, ac fod llawer o honynt yn meddu cynneddfau rhagorol, fel y mae amryw Saeson parchus yn cydnabod yn rhwydd, ond eu bod yn dra amddifad o foddion addysg; mae yn wir, trwy diriondeb Rhagluniaeth, a'u hymdrechion egnïol eu hunain, fod ganddynt bellach gyflenwad da o ysgolion elfenol, ond y mae arnom eisieu addysg fyddo ychydig yn uwch na hyny, ac yr ydym yn credu pe caem Brifysgol i Gymru, y byddai llawer o'n gwŷr ieuainc yn sicr o ennill y gwobrau uchaf sydd gan fywyd i'w gynnyg iddynt, ac y byddai yn foddion i ddyrchafu holl dôn y meddwl Cymreig: yr ydych chwi drwy eich diwydrwydd canmoladwy wedi casglu ynghyd gyfoeth mawr, a gallech trwy gyfranu o'ch llawnder ychydig gannoedd at sefydliad a fyddai yn sicr o brofi yn fendith ac yn ddyrchafiad i Gymru, wneyd dirfawr lês, ac fe ennillech am oesoedd barch a chariad yr holl genedl. A gawn ni eich cynnorthwy?" A fuasai efe yn prysuro i chwilio am ei lyfr er ysgrifenu *cheque* i chwi am fil o bunnau, gan ddiolch yn fawr am eich hynawsedd yn galw gydag ef, ac yn gosod o'i flaen achos mor ryfeddol o deilwng a rhesymol? *Na fuasai!* Yn hytrach fe fuasai yn dal ei anadl mewn dychryn, fel pe buasech yn gofyn iddo ef, ddinesydd parchus, yn werth ei hanner can' mil, ymuno gyda chwi mewn ail frâd powdr gŵn; neu gyda goruchel ddirmyg, fe fuasai yn eich edrych i ddiflaniant. Ychydig iawn a ellid ddysgwyl oddiwrth y dosbarth yma. Ac yr ydoedd yn ymddangos yn dra anobeithiol cael gan bobl grefyddol Cymru gymeryd y mater hwn i fyny. Os oedd Prifysgol i fod o gwbl, yr oedd yn rhaid iddi fod yn gwbl genedlaethol. Ac a ydoedd yn bosibl fod i Eglwyswyr, mewn amcan o'r fath, unrhyw gyfathrach gyda'r Ymneillduwyr? O'r ochr arall, onid oedd yr Ymneillduwyr wedi ymgymeryd â beichiau na wybuasid yn eu holl hanes am eu cyffelyb? Onid oeddynt, ymhob cyfeiriad, yn adgyweirio ac yn helaethu eu haddoldai, ac yn adeiladu rhai newyddion, gan lanw yr holl Dywysogaeth â manau cyfleus i addoli Duw? Onid oeddynt hefyd yn deffro yn araf i ystyried y dylai y rhai oeddynt gyda'r fath ymroddiad yn "hâu iddynt bethau ysbrydol," gael "medi o'u pethau cnawdol" hwy, ac mai "felly yr ordeiniodd yr Arglwydd, fod i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl fyw wrth yr efengyl?" Ac mewn trefn i gael gronyn o amaethiad i feddyliau y rhai y dysgwylid iddynt eu "porthi â gwybodaeth ac â deall," onid oeddynt yn gwneyd eu goreu i sefydlu eu hathrofëydd enwadol, gan gasglu symiau mawrion i adeiladu colegdai, i dalu cyflogau eu hathrawon, ac i gynnorthwyo eu hefryd-

wyr? Ac yn ychwanegol, yn enwedig mewn rhai amgylchiadau, er mwyn gosod eu hathrofëydd ar sylfeini sefydlog, onid oeddynt hefyd yn gwneyd ymdrech egnïol i gasglu cronfëydd cryfion er eu gwaddoli? Ac heblaw cyfarfod â'r draul gynnyddol yn nghynnaliad y weinidogaeth, yr oedd rhai o honynt yn ymbarotöi at gasglu cyllid er cynnorthwyo eu gweinidogion pan yn cael eu rhwystro gan lesgedd neu henaint i barhâu yn y llafur cyhoeddus, ac er gallu estyn ychydig i'w gweddwon a'u hamddifaid, pan fyddent hwy wedi eu galw i'r orphwysfa. Ac onid oedd Cymru yn cael ei llanw yn brysur âg ysgolion Brytanaidd, ac onid ydoedd wedi cyfranu yn agos i 12,000p., i gyfarfod â 2000p. oddiwrth y Llywodraeth, er adeiladu Coleg yn Mangor i barotöi Athrawon ar gyfer yr ysgolion hyny; ac onid oedd cynnaliad yr holl sefydliadau hyn bob blwyddyn yn ddirfawr faich, a'r cwbl ymron, a hyny yn ychwanegol at eu holl feichiau eraill, yn disgyn ar ysgwyddau yr Ymneillduwyr? Dan y *fath* amgylchiadau, yn sicr ni fuasai yn rhyfedd pe buasent yn penderfynu fod galw arnynt i wneyd ymdrech er sefydlu Prifysgol i Gymru, yn ychwanegu y pwysau a dòrai gefn y camel. Ac yn ddiammheu, dan y fath amgylchiadau, fe fuasai yr oesoedd yn cymeryd y cyfeillion oeddynt wedi gosod eu bryd ar gael Prifysgol i Gymru yn berffaith esgusodol, pe buasent yn rhoddi yr amcan i fyny, gan benderfynu na ddaethai yr amser eto i wynebu ar orchwyl mor fawr.

Yn ffodus, pa fodd bynag, yr oedd ymysg y cyfeillion hyny rai ag ydynt, pan wedi gosod eu bryd ar rywbeth a olygant yn anhebgorol i Gymru, yn llafurio dan y dylni anobeithiol hwnw a brïodolai Napoleon I. i Wellington a'i wŷr, o beidio deall pan y maent wedi cael eu curo. Derbyniant gurfëydd aneirif yn y dymher oreu, a chyfodant i'r ymdrech drachefn mor galonog a phe na fuasent wedi eu gorchfygu erioed. *Y mae y peth i gael ei wneyd.* Y mae llês Cymru yn galw am dano; ac y mae hyny yr un peth iddynt hwy a bod y gorchymyn yn ei gylch wedi myned allan o lŷs nad yw yn bosibl bod yn ddiystyr o hono. Ac nid ydyw o nemawr wahaniaeth pa un ai ar yr ymdrech gyntaf ai ar y ganfed y llwyddir i gyrhaeddyd yr amcan; y mae y llwyddiant i ddyfod rywbryd, ac fe gredir ei fod yn werth dysgwyl am dano. Y mae rhywbeth yn arddunol mewn ffydd o'r fath yma, sydd yn gosod ei nôd o'i blaen yn ngoleuni clir gwirionedd a daioni; yn foddlawn i gyrchu tuag ato trwy flynyddoedd o galedwaith, ac aflwyddiant, a sarhâd; ac yn teimlo fod ei gyrhaeddyd yn y diwedd yn peri iddynt anghofio eu holl flinderau wrth ymgyrhaedd tuag ato,—ïe, ac yn y fan yn ei anghofio yntau hefyd yn mawredd rhyw amcan daionus arall sydd yn ymestyn tu hwnt iddo, ac y mae yn rhaid ei gyrhaeddyd yntau. Rhaid dywedyd fod y clod am y penderfyniad a wrthodai anobeithio, hyd yn nôd ar y tir isaf, am Brifysgol i Gymru, yn ddyledus, nid yn gymaint i Gymry Cymru, ond yn hytrach i nifer o'n cydwladwyr parchus sydd wedi treulio rhan helaeth o'u heinioes yn Lloegr, ond yn nghanol eu llwyddiant a'u hanrhydedd yno yn coledd teimladau hynod o gynhes at wlad eu genedigaeth, ac yn dyheu am ei dyrchafiad. Nid allai fod yn ddyeithr yn eu golwg fod llawer o'u cydwladwyr yn y Dywysogaeth yn araf i gymeryd y peth i fyny. Yr oedd rhagfarnau anorchfygol ar ffordd llawer hyd yn nôd i feddwl am y fath beth; yr oedd llawer gwladgarwr cywir hefyd yn methu gweled fod galwad am Brifysgol mewn gwlad nad ydoedd eto yn

agos wedi ei diwallu âg ysgolion elfenol, heb sôn am ysgolion gramadegol, wrth ba rai y gellid dysgwyl am efrydwyr i sefydliad uwch; ac am y cyfeillion caredig sydd yn ymgymeryd â phob cyfrifoldeb yn ngwasanaeth eu gwlad a'u cenedl, yr oedd eu breichiau hwynt, fel yr awgrymwyd yn barod, mor lawn o orchwylion pwysig eraill, fel y gellid yn hawdd eu hesgusodi am dybied fod ychwanegu hyn hefyd at eu siars, a dyweyd y lleiaf, yn llawn gymaint ag ydoedd yn rhesymol. Ac araf iawn y buwyd yn gallu ysgogi. Pob clod i goffadwriaeth Mr. William Williams, yr aelod dros Coventry, am ei fil punnau; fe ddaeth ychydig wŷr da eraill ymlaen yn ffyddlawn iawn. Ond cyn hir fe arafodd yr olwynion yn gymaint, fel y daeth gallu symud cam ymhellach i ymddangos ymron yn anobeithiol. Y mae cryn lawer o daeru wedi bod gyda golwg ar dadogaeth y drychfeddwl am Brifysgol i Gymru. Wedi y cwbl nid ydyw yn ymddangos yn bur glir pwy sydd yn meddu yr hawl iddo. Y tebygolrwydd ydyw ei fod, fel un o anghenion mawr ein gwlad ar y pryd, wedi ymgynnyg i feddyliau cynifer fel y mae yn anmhosibl nodi neb yn arbenig fel ei dad. Ond pe gellid i sicrwydd benderfynu yn meddwl pwy y rhoddwyd bôd gyntaf i'r syniad, nid ydym ni yn gallu gweled y rhoddai hyny hawl i rhyw lawer o ogoniant wedi y cwbl, yn enwedig, mewn cymhariaeth i'r glewder a ddangoswyd wrth ei gario allan. Yr oedd amgylchiadau y genedl yn gwneyd cyfodiad y drychfeddwl yn anocheladwy. A chynifer o ddrychfeddyliau ardderchog sydd wedi eu gadael i ddihoeni i farwolaeth gan wŷr a olygent ei fod lawer islaw eu hurddas i fyned i ymdrechu â'r anhawsderau oedd ar y ffordd i wneyd y drychfeddwl yn ffaith! O'r ochr arall, y mae y dyn sydd yn ymbrïodi âg amcan mawr, pa un bynag ai yn ei ben ef ai yn mhen rhywun arall y rhoddwyd bôd iddo ar y dechre, gan deimlo ei fod yn hanfodi i'r dyben o'i ddwyn oddiamgylch, yn profi yn gyfiawn ei hawl i fod yn un o gymwynaswyr y ddynoliaeth. Ac nid ydyw yn ormod dyweyd fod rhai o'n cydwladwyr da wedi ymwerthu mor lwyr i'r amcan o gael Prifysgol i Gymru fel y maent yn haeddu y parch dyfnaf oddiar law eu cenedl. Heblaw gwneyd cyfraniadau helaeth at gyllid y symudiad, y maent wedi treulio cannoedd lawer o bunnau mewn teithio er ei fwyn, ac y mae rhai o honynt yn enwedig wedi rhoddi eu hamser ymron yn gwbl mewn trefn i geisio gyru y gwaith yn ei flaen. Ac yn sicr nid ydyw eu bod hwy wedi eu llyncu mor lwyr gan yr amcan hwn fel ag i deimlo nad oes dim clod yn ddyledus iddynt, ond eu bod megys yn dilyn eu gorchwyl naturiol, gan deimlo, fel y clywsom un o honynt yn dyweyd yn ddiweddar, "*This is my business,*" yn gwneyd y clod a deilyngant yn llai, ond yn llawer mwy. Yr ydym hefyd yn dra rhwymedig i'r cyfeillion sydd wedi teimlo yn gymaint yn yr achos hwn fel ag i gyfranu symiau mawrion tuag ato. Y mae calon dda a phwrs cyfoethog ein cyfaill parchus o Landinam wedi bod i'r symudiad ymron yn gystal â mŵnglawdd. Ac y mae nifer mawr o wŷr da eraill wedi cyfranu yn dra haelionus tuag at sicrhâu i Gymru y daioni hwn. Prin iawn y gellir dyweyd mai ar y rhai sydd ymhob ffordd wedi llafurio mor egnïol o blaid yr amcan mawr yma y bydd y bai, os na welir ein Prifysgol wedi ei sefydlu ar sylfaen mor ddïogel fel y gall yr oesoedd ymlawenychu ynddi.

Mae yn dda iawn genym weled fod yr angenrheidrwydd am sefydliad

o'r fath wedi dyfod bellach yn bur amlwg yn ein plith. Mae braidd yn anmhosibl i'n darllenwyr ieuainc allu credu nad oes ond ychydig flynyddoedd wedi myned heibio er pan ydoedd yn angenrheidiol wrth lawer o allu a dawn i argyhoeddi ein cenedl fod eisieu dim addysg o gwbl i'r plant, heblaw a weinyddid yn yr Ysgol Sabbothol. Ond y mae genym erbyn hyn lïaws mawr o ysgolion elfenol da yn gwneyd gwaith pwysig yn ein gwlad. Ar yr un pryd, ni ddylid anghofio fod llawer iawn eto i'w wneyd mewn llïosogi eu nifer a'u gwneuthur yn fwy effeithiol, ac yn enwedig mewn cael holl blant y boblogaeth i fyned iddynt. Y mae o ddirfawr bwys fod y gwŷr da sydd wedi eu hethol i fod ar ein pwyllgorau a'n byrddau ysgol yn deall eu bod wedi eu gosod yn y fath sefyllfäoedd i ddyben annhraethol uwch na chynnrychioli eu henwad, neu sicrhâu iddynt eu hunain anrhydedd yngolwg eu cymydogion. Y maent, os yn werth eu halen, i fod yn addysgwyr, yn *educationists*, ac nid ydynt i adael càreg heb ei throi er sicrhâu addysg dda i holl blant eu hardaloedd. Ni fydd y plant o herwydd hyny yn llai cymhwys at unrhyw sefyllfa a all fod yn eu haros mewn bywyd; yn wir, fe fydd y ddysgyblaeth y gosodir hwynt dani a'r addysg a weinyddir iddynt yn yr ysgol yn sicr o'u gwellhâu yn fawr fel *crëaduriaid*, ac felly eu gwneuthur yn llawer cymhwysach at ba wasanaeth bynag a ellir ddysgwyl oddiar eu llaw, heblaw yn llawer mwy galluog i fwynhâu bywyd. Ac yr ydym oll bellach yn deall nad all yr addysg oreu a ellir roddi yn yr ysgolion hyn ddim arwain ein plant ymhell: ac am hyny yr ydym yn gosod gwerth mawr ar yr ysgolion gramadegol sydd yn ein plith, ac yn enwedig yn llawenychu fod yr hen ysgolion gwaddoledig wedi cael eu hagor i'r bobl yn gyffredin. Heblaw fod teuluoedd a all fforddio hyny yn dewis anfon eu plant i ysgolion felly yn hytrach nag i ysgolion y llywodraeth—er mewn llawer o amgylchiadau nad ydyw y fantais o hyny ond tra ammheus,—y mae yn nodedig o werthfawr fod ymdrech yn cael ei wneyd i gynnorthwyo y bechgyn goreu yn yr ysgolion elfenol i gario eu haddysg ymhellach yn yr ysgolion gwaddoledig. Ac fel mai gwerthfawr ydyw cael myned o'r ysgol elfenol i'r un ramadegol neu waddoledig, lle y mae y plentyn, tra eto dan ddysgyblaeth fel y cyfryw, yn cael ei arwain at efrydiau addfetach, felly y mae yn werthfawr iawn ei fod, pan wedi ennill meistrolaeth dda ar waith yr ysgol hono, yn cael mynedfa i sefydliad uwch, lle, tra bellach yn abl i ofalu am dano ei hun fel gŵr ieuanc, a than addysg gwŷr galluog a dysgedig, y mae yn gallu myned rhagddo mewn dysg a diwylliant, ac yn cyrhaedd graddau llawer uwch mewn addfedrwydd a nerth. Ac ni ddylai fod lle yn y Brifysgol ond i rai wedi eu cymhwyso eu hunain yn dda trwy addysg barotöawl. Camgymeriad dybryd ydyw anfon plentyn i'r ysgolion gramadegol i ddysgu yr elfenau. Ond camgymeriad mwy dybryd fyth, yn wir, "anwiredd i'w gospi gan farnwyr" fyddai ei anfon i'r athrofa, pan mewn gwirionedd yn anghymhwys i'r ysgol ramadegol. Nid ydyw yn bosibl i ni fel cenedl ymysgwyd yn rhy fuan nac yn rhy lwyr oddiwrth y syniad y gallai fod unrhyw gyfaredd mewn athrofa neu Brifysgol i wneyd penbwl yn ysgolhaig, yn unig am ei fod yn ddigon ffôl i ystwffio ei hunan arnynt. Byddai yn dda i rïeni hefyd ddeall mai hwsmonaeth ryfeddol o sâl ydyw anfon eu bechgyn pan yn ieuainc iawn i sefydliadau felly, pan y dylent, nid yn unig fod yn llawer addfetach eu galluoedd

a'u cyrhaeddiadau, ond y dylent yn arbenig fod dan ddysgyblaeth bechgyn, ac nid yn cael eu gollwng, pan heb allu eu defnyddio yn brïodol, i ryddid ac annibyniaeth gwŷr ieuainc. Ond i fechgyn sydd o ran oedran a chymhwysder yn addfed i'w mwynhâu, y mae manteision y Brifysgol o werth anmhrisiadwy. Yno, yn lle bod yn dragywyddol yn llwytho eu côf â ffeithiau a ffigyrau, ac yn ymddygnu yn ddiddiwedd gydag elfenau pethau, y maent yn cael fod maes ëang gwybodaeth yn ymagor yn ei ogoniant o'u blaen, a'u bod hwythau yn cael eu cyfarfod arno fel meddylwyr ac ysgolheigion. Bid sicr, nid ydyw yr alwad ar lafur yr efrydydd yn ddim yn llai; y mae yn wir yn fwy; ond yn gyfatebol i hyny, fe deimla fod gallu mwy wedi ei ddeffro o'i fewn, ac fod swm ei bersonoliaeth, a siarad felly, wedi cynnyddu. Mewn efrydiaeth barhaus ar orchest-gampau y meddwl dynol, ac mewn cyffyrddiad mynych uwch eu pen â meddyliau o nerth, a chyfoeth, a choethder yn ei athrawon, y mae, gyda brwdfrydedd gwir efrydydd yn cynneu o fewn ei ysbryd, yn ychwanegu yn feunyddiol at gyfoeth ei ddirnadaeth, ac yn dyfod o ddydd i ddydd yn fwy cryf, yn fwy coeth, ac yn fwy llednais, mewn gair, yn fwy o wir foneddwr. Fel y mae gosod dynion heb ddim cymhwysder ynddynt i fwynhâu manteision o'r fath, yn wastraff a ffolineb, felly y mae yn resyn o'r mwyaf, ac yn wir yn golled i ddynolryw, fod neb a allai wneyd defnydd da o honynt yn methu eu cyrhaeddyd. Ac mewn trefn iddynt allu gwneyd hyny, rhaid eu cael ynghanol y boblogaeth. Nid yw ond baldordd ffôl sôn am Rydychain a Chaergrawnt wedi eu hagor i Ymneillduwyr. Byddant hwy, er hyny, mor anghyrhaeddadwy i gannoedd o fechgyn Cymru a phe buasent yn y blaned Uranus. Pa fodd y buasai yn ddichonadwy fod y fath nifer anferth o'r Ysgotiaid wedi llwyddo, ac yn fynych er mawr dlodi, i gael addysg sydd wedi eu cymhwyso i'r sefyllfäoedd mwyaf anrhydeddus, oni fuasai fod eu hysgolion cyffredin yn rhai effeithiol, ac fod ganddynt Brifysgolion yn ymyl eu drysau? Gyda phrïodoldeb mawr y dyfynir o Mr. Matthew Arnold yn Adroddiadau y Brifysgol sydd ger ein bron,—"Os oes un peth y mae fy mhrofiad tramor wedi fy ngadael i yn argyhoeddedig o hono,—mor argyhoeddedig ag ydwyf o'n hangen am addysgiaeth uwchraddol,—dyma ydyw: y rhaid i ni gymeryd yr addysgiaeth yma at yr efrydwyr, ac nid gobeithio dwyn yr efrydwyr at yr addysgiaeth." Y mae hanes y Brifysgol Gymreig eisoes yn dangos fod nifer lled fawr wedi bod yn mwynhâu ei manteision ag y buasai yn anmhosibl iddynt gyrhaeddyd eu cyffelyb oni buasai am ei sefydliad. Yn anffodus ni olygid fod lle yn ein hathrofëydd enwadol ond i wŷr ieuainc a fwriadent eu rhoddi eu hunain i weinidogaeth yr efengyl; ar gyfer y rhai hyny y sefydlwyd hwynt, ac er mwyn sicrhâu eu hamaethiad hwynt y cyfrenid tuag at eu cynnal. Yr ydym yn meddwl mai gwell a fuasai cadw y fynedfa i'r sefydliadau hyny yn fwy agored i wŷr ieuainc eraill hefyd, gan godi y safon gyda golwg ar y cwbl. Ond fel yr ydoedd pethau, yr oedd cael cyfleusderau addysg dda i fechgyn na theimlent eu meddyliau yn cael eu tueddu at bregethu, yn ymddangos yn lled anobeithiol. Bellach dyma y Brifysgol yn agor ei phyrth i'r holl genedl. Ni ofyna air gyda golwg ar amcanion ei hefrydwyr yn y dyfodol, ond dyry iddynt oll addysg a'u cymhwysa yn effeithiol at ba beth bynag y tueddir hwynt i ymgymeryd âg ef. Gofyna yn unig am eu cael yn fechgyn o gymeriad

anrhydeddus, wedi meistroli elfenau gwybodaeth, ac yn rhai na fyddo arnynt ofn ymroddi i weithio. O'u cael felly, y mae pob sicrwydd y bydd i'r athrawon rhagorol y mae eu henwau eisoes yn gymaint o addurn i'r Brifysgol, wneyd dynion o honynt y bydd yn falch gan eu cenedl eu cydnabod. Fe allai mai y prif anhawsder bellach ydyw lle y sefydliad hwn yn ei berthynas â'r athrofëydd enwadol. Mae yn debyg y daw ein pregethwyr ieuainc i deimlo yn fwyfwy y dylent gael mwynhâu manteision y Brifysgol. Ac y mae hyny yn berffaith resymol. Wedi cyrhaedd y cymhwysder prïodol mewn gwybodaeth i fyned i mewn, mae yn ddïau y caent well cyfleusderau i fyned rhagddynt gyda'u gwahanol efrydiau mewn dysgeidiaeth gyffredinol nag a allent gael yn y colegau enwadol; heblaw y gallent edrych ymlaen at dderbyn cynnorthwyon sylweddol mewn ysgoloriaethau, &c.; ac y gallent yn fuan, mae yn ddiammheu, ddysgwyl ennill cydnabyddiaeth awdurdodedig o'u cyrhaeddiadau mewn "graddau." Ac yn sicr nid anffawd fyddai eu bod yn cymysgu, yn ystod eu harosiad yno, â gwŷr ieuainc cyffelyb o enwadau eraill, ac â gwŷr ieuainc heb fod yn bregethwyr, gan gael cyfleusdra i brofi eu metel mewn cydymgais â goreuon eu gwlad. Ond beth a ddaw o'n colegau enwadol? Nid ydym ni yn gallu gweled fod genym nemawr achos i bryderu ar y mater hwn. "O herwydd yr angenrhaid presennol," mae arnom ofn y rhaid i'r sefydliadau hyny, am dymmor o leiaf, foddloni ar barotöi efrydwyr i'r Brifysgol. Ond ni ddylent deimlo yn eiddigeddus o herwydd hyny, canys yr ydym yn hyderu y bydd y Brifysgol yn fuan yn talu yn helaeth iddynt am eu trafferth trwy ddychwelyd y gwŷr ieuainc hyny iddynt wedi eu dysgyblu yn dda mewn dysgeidiaeth gyffredinol, ac yn barod i ymgymeryd o ddifrif â'r efrydiau pwysig y mae meistrolaeth arnynt yn anhebgorol at waith y weinidogaeth. Y mae ein Colegau yn awr yn gorfod dysgu ymron bobpeth i'w hefrydwyr ond y pethau y dylent fod yn eu dysgu, a hyny ymron yn gyfangwbl. Am hyny y mae llïaws o'n pregethwyr ieuainc yn gorfod dechreu ar lafur eu hoes mewn sefyllfa dra anmharod. Wedi i'r Brifysgol ddarparu efrydwyr prïodol iddynt, gallai athrawon parchus a dysgedig ein Colegau fyned rhagddynt i'w haddysgu mewn Beirniadaeth a Deongliadaeth Ysgrythyrol, Duwinyddiaeth, Hanesiaeth Eglwysig, Hanes yr Athrawiaeth, perthynas Duwinyddiaeth âg Athroniaeth, ynghyda'r materion pwysig y gofynant hyfforddiad ynddynt gyda golwg ar Bregethu a Bugeiliaeth. Y mae gwaith mawr i'r Brifysgol i'w wneyd, a gallwn deimlo yn gwbl hyderus y bydd, wrth ei gyflawni, yn gwasanaethu yn effeithiol i bob amcan y gall fod a fyno mewn unrhyw ffordd â dyrchafiad ein hanwyl wlad.

Ac o herwydd hyn oll, fel yr ydoedd y Traethodydd flynyddoedd yn ol yn rhoddi ei gefnogaeth galonog i'r amcan pan yr ydoedd eto i fesur mawr yn y cymylau, felly y mae yn awr yn teimlo hyfrydwch neillduol mewn llongyfarch cyfeillion y symudiad wedi i'r Brifysgol ddyfod yn ffaith. Y mae gormod o lawer wedi ei wneyd i'r amcan fyned yn fethiant. Dechreuwyd ar yr ymdrech o geisio ennill cydymdeimlad y genedl o blaid yr amcan, ac o gasglu cyfroddion tuag ato, yn 1863. Yn 1867, er nad ydoedd ond ychydig iawn o arian mewn llaw, fe brynwyd y *Castle House* yn Aberystwyth i fod yn gartref i'r sefydliad, am 10,000p., swm a olygid, mewn cymhariaeth i werth yr adeilad, yn fychan iawn.

Gan nad oedd ond ychydig arian wedi eu casglu pan wnaed y pryniad, ac fod y llôg a redai trwy flynyddoedd o arafwch yn dyfod yn hynod o drwm, yr oeddid ymron yn ofni y byddai raid rhoddi yr holl amcan i fyny, a gadael i'r adeilad fyned. Pa fodd bynag, mewn ffordd o "gymeryd y tarw gerfydd ei gyrn," a dangos eu bod yn penderfynu gwneuthur yr hyn a amcanent, fe benderfynodd y pwyllgor agor y Coleg yn Hydref, 1872, gyda thri o Athrawon, ein cydwladwr galluog a gweithgar, y Parch. Thomas Charles Edwards, M.A., yn Llywydd y sefydliad. Gwnaed hyn trwy godi *guarantee fund* o 6000p., sef 2000p. i gael eu talu bob blwyddyn am dair blynedd. Ar yr agoriad, Hydref 15, cafwyd *breakfast* yn y Coleg, i'r hwn y gwahoddwyd nifer fawr o gyfeillion y sefydliad. Traddodwyd amryw areithiau rhagorol, ac yn enwedig caed addewidion am gyfraniadau gwerthfawr iawn at gyllid y Coleg. Nid oedd yr aelod anrhydeddus dros Fwrdeisdrefi Ceredigion hyd hyny wedi rhoddi ond 400p.; ond pan welodd fod y peth yn benderfynol o *fyw*, fe addawodd y pryd hyny 3000p. yn ychwanegol, a deallwn fod y 3000p., cyn pen ychydig amser, wedi eu gwneyd yn 5000p. Addawodd amryw foneddigion eraill hefyd symiau tra anrhydeddus, ac anturiwyd i goledd gobaith am 50,000p. fel *endowment fund* tuag at gario ymlaen waith y sefydliad. Ar ddiwedd y tymmor cyntaf, yr 20fed o Fehefin, 1873, cynnaliwyd cyfarfod yn y Coleg i ranu y gwobrwyon a ennillasid gan yr efrydwyr, &c., ac fe osodwyd enwogrwydd arno trwy waith rhai o'r boneddigion oeddynt yn bresennol yn dadgan eu penderfyniad i fynu clirio yr arian oedd ar yr adeilad o fewn blwyddyn i'r diwrnod hwnw. Ymgymerai cyfeillion o Fanchester—y rhai sydd yn haeddu clod arbenig am eu hymdrech i gael y symudiad o'r "gors"—â gwneyd i fyny 2000p. o'r swm oedd yn eisieu; a chyfeillion o Lundain 2000p.; a dysgwylid 3000p. oddiwrth Liverpool a Chymru. Mehefin 19eg, 1874, yr oeddid yn cael yr hyfrydwch o ddadgan fod y swm hwnw wedi ei gael, ac fod yr adeilad yn ddiddyled, ac wedi ei dïogelu yn ngofal ymddiriedolwyr. Rhwng y pryniad, a'r llogau, a'r gwaith newydd a wnaethpwyd arno, y mae yr adeilad wedi costio 15,000p. Y mae y *guarantee fund*, tua 6000p., wedi eu cael, a bellach wedi eu talu. Ac yn ychwanegol y mae tua 10,000p. o'r *endowment fund* wedi eu talu. Y mae felly tua 30,000p. wedi eu cyfranu eisoes at yr amcan mawr hwn. Y mae pob boddlonrwydd hefyd yn cael ei roddi gyda golwg ar effeithiolrwydd y Coleg. Yr oedd yr efrydwyr y tymmor diweddaf tua 100, a nifer dda o honynt yn profi eu bod wedi gwneyd cynnydd rhagorol mewn dysgeidiaeth. Rhwng pobpeth, yr oedd y pwyllgor yn teimlo fod ganddo sail dda i fyned at y Duc o Richmond yn Mehefin diweddaf i ofyn am help oddiwrth y Llywodraeth at yr achos hwn. Nid oeddynt yn gofyn llawer. Y mae y Llywodraeth wedi rhoddi 100,000p. tuag at adeiladu Colegau y Frenhines yn Iwerddon; ond ni ofynid ond 5000p., sef tua hanner y swm sydd yn eisieu, tuag at gwblhâu yr adeilad yn Aberystwyth; a thra y mae y Llywodraeth yn cyfranu 50,000p. bob blwyddyn at draul addysg uwchraddol yn Scotland ac Iwerddon, ni ofynai y ddirprwyaeth o Gymry ond rhodd flynyddol o rhyw 2,500p., i gyfarfod â rhyw 2,500p. a allent wneyd eu hunain oddiwrth eu *endowment fund*, yn ychwanegol at daliadau yr efrydwyr. Yr oedd Mr. Gladstone, fe wyddid, yn edrych yn dra ffafriol ar yr amcan hwn cyn iddo fyned allan o swydd,

ac y mae yn hynod o ffodus fod Arglwydd Aberdâr erbyn hyn yn Llywydd Cynghor y Brifysgol; nid allai Duc Richmond ychwaith lai yn derbyn y ddirprwyaeth yn barchus iawn, gan addaw, yn y dymher oreu, osod yr achos ger bron Canghellydd y Trysorlys, &c. Mae yn debyg y rhaid aros tipyn am *grant*, ond prin y mae lle i ammheu am fynyd na cheir ef, a hyny, fe allai, cyn bo hir. Nid oes neb o bobl fawr y pleidiau politicaidd wedi yngan gair yn anghefnogol i'r amcan; ac nid ydyw yn bosibl iddynt beidio ymdeimlo â theilyngdod yr achos ac â thegwch hollol y cais a wneir atynt, heblaw fod gallu Cymru yn y Senedd yn dyfod yn fwyfwy pwysig iddynt ofalu ar fod dealltwriaeth dda yn cael ei sicrhâu rhyngddynt âg ef. Ond mae yn debyg fod y Llywodraeth, fel y dywedai Napoleon am Ragluniaeth, yn ochri gyda y *battalions* cryfaf, ac yn helpu y bobl sydd yn eu helpu eu hunain. O leiaf nid allwn ni y Cymry ddim ymostwng i'w gorfodi i estyn ffafrau i ni trwy droi yn Ffeniaid a myned yn wrthryfelwyr. Mae yn rhaid i ni ddangos mawredd ein difrifwch yn yr amcan o gael Prifysgol i Gymru trwy barhâu am yspaid i gadw y sefydliad yn agored ein hunain. A thuag at hyny, y mae ail *guarantee fund* o 6000p., neu 2000p. yn y flwyddyn am dair blynedd, *wedi dyfod eto yn anhebgorol.* Y mae ymdrech egnïol yn cael ei gwneyd hefyd, cofier, tuag at gwblhâu y gronfa gynnaliaethol o 50,000p. Ond y mae hyny yn cael ei gyfyngu yn neillduol i'r bobl arianog. Fe ddysgwylir am y 2000p. yn y flwyddyn am y tair blynedd hyn oddiwrth gyfeillion addysg ymhlith y bobl. Gofaler am eu sicrhâu yr wythnos olaf yn yr Hydref hwn trwy yn gyntaf ganfasio yr ardaloedd, ac wedi hyny trwy ei osod o flaen y cynnulleidfäoedd y Sabbath canlynol yn y fath fodd ag a baro iddynt deimlo fod dyfodol ein gwlad yn galw am fod y peth yn cael ei wneyd! Nid oes eisieu ond i arweinwyr ein cymydogaethau a'n cynnulleidfäoedd osod hyn at eu meddwl, na bydd y gorchwyl wedi ei lawn gwblhâu, a Chymru oll yn well ac yn llawer siriolach o'r ymdrech. Y mae ein cenedl yn llawer mwy abl i orphen hyn o orchwyl yn awr nag ydoedd i'w ddechreu a'i ddwyn hyd yma, heblaw fod ei ffydd yn yr amcan a'i chariad tuag ato, erbyn hyn, wedi dirfawr gynnyddu.

# DR. GUTHRIE.

AUTOBIOGRAPHY OF THOMAS GUTHRIE, D.D., AND MEMOIR. *By his Sons, Rev.* DAVID K. GUTHRIE, *and* CHARLES J. GUTHRIE, M.A.—*In Two Volumes. Vol. II.* London: Daldy, Isbister & Co., 56, Ludgate Hill. 1875.

III.

PROFIAD tanllyd eglwysi a chyfundebau crefyddol, fel yn hanes personau unigol, sydd wedi troi allan y meithriniad goreu i'w bywyd, yn gystal a'r cyfnerthiad cryfaf i'w cynnydd ysbrydol. Tra yr ydym yn cael profedigaethau yn angenrheidiol i ddyn yn unigol, er ei gadw yn ei le yn y presennol, a'i gymhwyso i well lle yn y dyfodol, y maent yn ymddangos yr un mor angenrheidiol i eglwysi a chyfundebau, i'w cadarnhâu yn ngras Duw, yn gystal ag i'w hargyhoeddi o'u nerth gwirioneddol, er ymroddiad adnewyddol i waith Iesu Grist yn y byd.

Ceir prawf diwrthdro o hyn yma yn hanes Ymneillduad bythgofiadwy Eglwys Rydd Ysgotland yn 1843. Yn sicr ni buasai y wlad hono heddyw yr hyn ydyw o ran ei chrefyddolder a'i gweithgarwch diail, oni bae am y prawf tanllyd y dygwyd hi drwyddo mor lwyddiannus dan arweiniad Duw y nefoedd yn y flwyddyn grybwylledig. Bydd dylanwad "Deng Mlynedd yr Ymdrech," fel y gelwir y rhyfel crefyddol hwn, i'w deimlo ar y wlad a'i thrigolion ddyddiau y ddaear. Bydd yn eglwysig iddynt hwy fel cenedl yr hyn fu Peniel i Jacob gynt, gyda hyny o wahaniaeth, mai ymdrechu dros Dduw yr oeddynt hwy, a Jacob yn ymdrechu gyda Duw.

Ynglŷn â'r amgylchiad byd-enwog hwn, nid oes dim y carasai darllenwyr goleuedig, cydnabyddus i fesur â'r personau a gymerent ran ynddo, yn fwy ei gael na hanes yr ymdrechfa gan Dr. Guthrie. Efe o bawb y buasem yn hoffi ei glywed yn adrodd i ni yr hanes. Buasai efe yn alluog i daflu y fath fywyd a newydd-deb iddo, fel y teimlasem fod trydan athrylith yn ail fywhâu pob ffaith. Rhaid addef mai cyfrolau gwerthfawr ar y mater ydynt eiddo y diweddar Dr. Buchanan, ac y mae llawer o ddyddordeb yn cael ei gymeryd braidd yn yr oll o'r mân friwsion a geir o hono gan lïaws dynion blaenaf y symudiad, gan mor doreithiog ydyw yr amgylchiad o ffeithiau dyddorol; ond wedi y cwbl, Dr. Guthrie a ymddengys i ni y dyn â mwyaf o gymhwysderau ynddo i ysgrifenu yr hanes yn llawn, yn enwedig ar ol treiglad ugain mlynedd neu well o amser i edrych arno yn ngoleuni ei ganlyniadau.

Er hyn oll, gan nad beth oedd ei gymhwysderau i'r gwaith, a'n hawydd ninnau am gael yr hanes ganddo ef yn bersonol, ni a gawn Ragluniaeth

y nefoedd yn trefnu yn wahanol, ac yn ei symud i fyd arall, pan y mae yn yr hunanfywgraffiad y cawsom y fath wleddoedd ynddo yn ein hysgrifau blaenorol, yn dechreu codi cŵr y llèn ar yr olygfa fyd-gynhyrfus dan sylw. Ni chafodd ond prin ddechreu yr hanes, a phan y mae, yn ei ddesgrifiadau bywiog a chyffröus, yn peri i ni ddal ein hanadl gan bryder am y diwedd, y mae y gorchudd yn cael ei dŷnu i lawr, ac yntau yn cilio i'r byd ysbrydol i dderbyn gwobr gwas da a ffyddlawn yr ymdrechfa ogoneddus hon, fel rhan o fywyd ymroddedig, sydd yn llawn o'r un ymdrechion bendigedig o gariad at ei Feistr, ac o awydd angherddol am ei ogoniant.

Pa fodd bynag, ni a gawn ei feibion, yn y cofiant dan sylw, yn gwneyd y goreu o'r gwaethaf trwy gyflwyno i ni bob briwsionyn y deuwyd o hyd iddo o eiddo Dr. Guthrie, ac yn ei gorffori yn ddeheuig i wneyd i fyny hanes o'r amgylchiad a dâl yn dda am ei ddarllen. Nis gallwn eu dilyn yn fanwl yn yr adroddiad o ymraniad 1843, yn unig rhoddi arbenigrwydd ar y rhanau hyny o hono y mae gwrthddrych ein hysgrif yn ymddangos amlycaf ynddynt.

Fel y mae deng mlynedd yr ymdrech yn treiglo ymlaen, yr ydym yn cael fod gormes y Sefydliad Gwladol yn dyfod yn fwy annyoddefol o hyd, a'r penodiadau o weinidogion i'r gwahanol fywiolaethau yn dyfod fwyfwy annerbyniol gan y plwyfolion. Y mae wedi myned yn rheol lled ddieithriad cyn diwedd yr ymgyrch o osod yn weinidog, nid y dyn goreu y ceid gafael arno, ond y dyn ffyddlonaf i'r blaid Geidwadol, oedd â'i holl egni yn gwrthod llais i'r aelodau yn y dewisiad. Gwneid pob egni i ddifodi y blaid efengylaidd o'r wlad. Eu cynllun oedd, fel yn adeg haint yr anifeiliaid ar ol hyny, lladd pob un afiachus, er mwyn attal rhwydd ledaeniad syniadau rhyddfrydig a goleuedig. Ond y ffaith ydoedd, pe cauesid geneuau y dynion hyn rhag traethu eu hegwyddorion, buasai y gàreg o'r mûr, a'r trawst o'r gwaith coed, yn ateb ar unwaith. Yr oedd bywyd a gallu, pa fodd bynag, gan y blaid ryddfrydig, er fod holl rym y gallu gwladol i'w herbyn, a doeth a medrus anarferol fuont yn eu trefniadau i ennill teimlad ac argyhoeddiad y werin drwy yr holl wlad o'u tu, ac i'w gadw felly trwy yr holl ymdrechfa.

Un moddion effeithiol i hyn yma fu anfon dirprwyaethau drwy yr holl wlad i osod y mater yn dêg ger bron, ac i gadw i fyny ddyddordeb y lliaws ynddo yn ddiattaliad i'r diwedd. Yn y gwaith hwn, fel y gallesid dysgwyl, ni bu neb mwy llwyddiannus na Dr. Guthrie. Ceir hanes rhai o'r cyfarfodydd ganddo ef ei hun, ac y maent yn ddyddorol anghyffredin. Yr oedd gweithrediadau y Gymdeithas er Helaethiad yr Eglwys yn flaenorol wedi parotöi y ffordd yn dda i'r gwaith mawr presennol, fel y gellir ystyried fod rhywbeth gŵr ragluniaethol o amserol yn nadblygiad baner y Gwrth-Nawddogaeth gan Dr. Andrew Thomson i hawlio i bob aelod o'r eglwys a'r gynnulleidfa bleidlais yn newisiad eu gweinidog. Taflodd Dr. Guthrie ei enaid i'r ddau fudiad fel eu gilydd, ac o ran hyny, nid oedd y naill ond dilyniad naturiol o'r llall. Gwrthwynebid y ddau amcan ger bron yr un personau, er y ceid ymysg gwrthwynebwyr Cymdeithas Helaethiad yr Eglwys rai a dybient mai yr amcan oedd sathru i lawr yr holl Ymneillduwyr. Yr oedd y naill blaid a'r llall yn dueddol i fyned i eithafion gormodol o bob tu.

Ni a gawn Dr. Guthrie yn adrodd hanes un cyfarfod o eiddo y Gymdeithas hon yn y geiriau canlynol:—

"Bydd i gyfarfod a gynnaliwyd genym ar ran Helaethiad yr Eglwys yn mhlwyf —— egluro y gwrthwynebiadau creulawn a rheolaidd y gelwid arnom i'w cyfarfod. Ein gweinidog yno ydoedd ffŵl mawr, dyn garw ac anwybodus iawn. Buasai yn dilyn yr aradr yn y plwyf yr oedd yn awr yn weinidog ynddo. Rywfodd neu gilydd, yr oedd wedi gwthio ei ffordd ymlaen o'r aradr i'r pulpud; ennillodd ei blwyf trwy nawddogaeth, ond gydag ef ennillodd gan leied o barch, fel yr oedd yn ddywediad cyffredin, fod y plwyf, yn ei ordeiniad ef i'r fywoliaeth, wedi colli yr aradwr goreu, ac wedi cael y gweinidog salaf fu ganddo erioed. Ond os oedd y gweinidog plwyfol yn ynfyttyn, yr oedd gweinidog yr Eglwys Ymneillduol ymhell o fod felly. Yr oedd yn bregethwr rhagorol, yn weinidog galluog ac ymroddedig, er nad yn or-uniawngred gyda golwg ar uniondeb y ffordd a gymerai i rwystro ein hamcanion ac i gyrhaedd yr eiddo ei hunan. Dr. Alexander Simpson, o Kirknewton, a Dr. John Paul o Sant Cuthbert, Edinburgh, gyda mi, a ffurfient y ddirprwyaeth apwyntiedig gan Bwyllgor Helaethiad yr Eglwys. Ar ein mynediad i'r eglwys blwyfol, lle y cynnelid y cyfarfod, cawsom y lle wedi ei orlenwi i'r drŵs gan dyrfa, y rhai yr oedd yn amlwg wrth eu hedrychiad a'u hystumiau, y sŵn a wnaent, a'r derbyniad cyffredinol a roddent i ni ar ein dyfodiad atynt, nad oeddynt wladwyr gonest, syml-feddwl, a charedig, ond yn gynnulliad o Wirfoddolwyr ffyrnig. Am unwaith yr oedd yr Eglwys Wirfoddol yno wedi gwaghâu ei hunan i'r un Sefydledig, a chefnogwyr y flaenaf wedi casglu at eu gilydd o'r holl wlad o amgylch. Y rhai hyn, yn cael eu trîn yn fedrus gan y gweinidog Ymneillduol, yr hwn oedd bresennol ar faes yr ymgyrch i lywodraethu ac arwain ei fyddin, oeddynt fwyafrif mawr y cyfarfod. 'Rwy'n cofio dyweyd wrth Dr. Paul fel yr ymwthiem drwy y dyrfa, 'Ni gawn fiwsig yma heno.' Ni bu raid aros yn hir am dano. O'r braidd yr oedd y weddi drosodd, a'r araeth gyntaf wedi dechreu, pan y cychwynwyd y cynhwrf i'n herbyn.

"Yr oedd yn amlwg fod y gwrthwynebiad yn cael ei arwain gan y gweinidog Ymneillduol, yr hwn gydag amnaid ei law a reolai y cynnulliad fel y dymunai, gan dawelu neu gynddeiriogi yr ystorm, tra yr oedd ef ei hunan yr holl amser yn ymddangos mor dawel a diniwed a cholomen sugno. Yr oeddynt wedi penderfynu na wrandewid ni, a gwrandawiad ni chawsom. Eisteddasom ar yr esgynlawr am bedair neu bum' awr yn fûd o dan gawod o ddirmyg; a phen moel Dr. Paul, yr hwn a gyflwynai wrthddrych dysgleiriol yn nôd i ddynion ddifyru eu hunain trwy daflu atom ddarnau o galch o'r orielau, yn dyoddef rhywbeth gwaeth na dirmyg. Yr oeddynt wedi cael gafael ar y gloch, a chadwasant hono i gânu uwch ein pen yn ddidòr—difyrwch, pa fodd bynag, a amrywid weithiau trwy alw am gân, yr hon, er nad bob tro o'r fath fwyaf chwaethus a phrïodol, a gymerid i fyny gan y tŷ mewn cydgan grymus, yn nghanol rhuadau ac ebychiadau chwerthinlllyd, gan chwibanu, curo traed a dwylaw, a chadw amser ar yr eisteddleoedd gyda'u ffŷn.

"Eisteddasom yno am bedair neu bum' awr, heb ganiatâd i agor ein genau unwaith na chyfarfyddid ni gan ddadwrdd a foddai ein llais. Gwnaem hyny i'w rhwystro hwy, ar ol i ni ffoi, gymeryd meddiant o'r maes, a hawlio buddugoliaeth, a chario pleidlais y cyfarfod cyhoeddus yn erbyn Helaethiad yr Eglwys. Hyd yma, rhwystrasom hwy i hyn, gan eistedd allan yr ystorm nes yr oedd ei grym wedi darfod, neu yn hytrach hyd nes yr oedd braidd yr oll o'n gwrthwynebwyr, ar ol cael eu blino gan ein penderfyniad a'n dyfalbarhâd ystyfnig, wedi gadael yr eglwys am eu cartrefi. Yr oedd nerth y teimlad mor gryf, fel y melldithiwyd ni ar hyd y ffordd fel yr äem drwy y pentref yn hwyr y nos, a theflid cèryg atom yn gystal a melldithion. Teimlai y Gwirfoddolwyr mwyaf parchus drwy yr holl wlad—y rhai crefyddol o honynt, fel y gwahaniaethid hwy oddiwrth y rhai gwladol—yn llawn cywilydd oblegid ymddygiadau fel hyn, a gofalem ninnau am gyhoeddi adroddiadau llawn o'r cyfryw driniaethau, gan wybod gymaint oeddynt dueddol i wanychu dwylaw ein gwrthwynebwyr, yn gystal a chryfhâu ein breichiau ninnau."

Yr un pryd, rhaid addef mai eithriadau oedd y math yma o gyfarfodydd, nid am na chyfarfyddid â chynddaredd dynion wedi ei godi i'r pwynt eithaf, ond am y llwyddid trwy olew cariad, arabedd gorchfygol, ac ymresymiadau effeithiol i droi gweddill cynddaredd a gwrthwynebiad

yn foliant i'r achos mewn llaw. Fel yr awgrymwyd o'r blaen, yn y cyfwng hwn y daeth Dr. Andrew Thomson ymlaen â'i gynnygiad am ganiatâd i'r eglwysi a'r cynnulleidfäoedd i ddewis eu gweinidogion eu hunain. Wrth gwrs, gwrthwynebid ef gan y noddwyr a chan yr holl blaid gymedrol yn yr eglwys y pryd hyny, y rhai a gyfansoddent fwyafrif anferth a threfnus. Yn ddirgelaidd hefyd tueddid i edrych arno fel Diwygiwr *radicalaidd* peryglus gan lawer o'r blaid efengylaidd y perthynai iddi. Cefnogid ef yn unig gan ychydig o ddynion beiddgar a gwrol o blith y llëygwŷr. Adgofia Dr. Guthrie yn y gyfrol hon am gyfarfod o eiddo Dr. Thomson yn Edinburgh, pryd y traddododd un o'i areithiau mwyaf galluog, ffraeth, ac argyhoeddiadol, ac nis gallai alw i gôf bresennoldeb un gweinidog ar yr esgynlawr ond efe ei hunan. Yr ydym wedi gweled yn barod yn ei hanes yn Arbirlot, ei fod ymlaen ar ei oes yn ei syniadau ar lywodraeth eglwysig, a'i fod yn barod bob amser i roi pob help llaw i unrhyw a phob diwygiad yn y cyfeiriad hwn.

Yr oedd yn un o'r rhai cyntaf a mwyaf zelog i gefnogi y *Veto Act*. Amcan hon ydoedd gwrthweithio niwed y nawddogaeth trwy attal i weinidog gael ei ordeinio i eglwys neillduol yn erbyn ewyllys a dymuniad mwyafrif ei haelodau, y rhai oeddynt i'w glywed ar ddau Sabbath gwahanol, ac os nad yn foddhäol ganddynt, i anfon i'r awdurdodau eu gwrthwynebiad i'w benodiad. Ar sail hynyma, gallai yr Henaduriaeth gyhoeddi y lle yn wâg, a galw ar y noddwr i enwi un arall. Llwyddwyd i basio y weithred hon gyda mwyafrif mawr; ond ni atebodd y dyben oedd gan lawer iddi, o drefnu yn arosol y cwestiwn, a rhoi i lawr bob cynhwrf a therfysg yn y mater. Yn unig, gwnaeth y blaid ryddfrydig yn fwy argyhoeddedig nad oedd un penderfyniad hannerog a ystyrid bellach yn orpheniad ar y gwaith. Teimla Dr. Guthrie yn bur sicr pe buasai y rhai oeddynt mewn awdurdod wedi iawn brisio ymdrechion y blaid efengylaidd, ac wedi eu parchu i'r graddau y darfu iddynt eu diraddio, y buasai ymraniad 1843 wedi ei ochelyd; ond fel hyn y mynid iddi fod. Aeth perthynas y gallu gwladol ac eglwysig yn fwy cyfyng o hyd, daeth y galluoedd yn nes i wrthdarawiad y naill fis ar ol y llall; ac fel yr oedd y rhwyg rhyngddynt yn ymehangu, yr oedd yr egwyddorion a chwareuent yn y glorian yn dyfod yn fwyfwy pwysig yn eu golwg.

Fel hyn yr ysgrifena Dr. Guthrie ar y pen hwn:—"Buasai yn ddoeth yn y noddwyr a'r tirfeddianwyr dderbyn y sefyllfa yr oeddynt wedi eu gosod ynddi. Gyda gwaddoliadau gwladol, cynnrychiolaeth boblogaidd, a chyfartaledd da o'r elfen lëygol yn ei llysoedd, buasai Eglwys Ysgotland yn dangos sefydliad wedi gwreiddio yn serch y bobl; un o dyrau a cholofnau cryfaf ein cyfansoddiad; eglwys gyda threfniant llawn ŷni mewn arolygiaeth a dysgyblaeth; credo yr hon hefyd oedd yn gyson â syniadau y bobl, a gweinidogion yr hon ni wthid arni gan noddwyr (y rhai a allent fod yn Anffyddwyr, Tyrciaid, Iuddewon, neu gymeriadau isaf y wlad o amgylch mewn ystyr foesol), ond wedi eu dewis i'r swydd gan lais rhydd a phleidleisiau agored yr aelodau mewn llawn gymundeb."

Methu adnabod yr arwyddion hyn o'r amseroedd a ddarfu i'r arglwyddi gwladol a'r bobl mewn awdurdod yn Ysgotland, ac felly wneyd rhwyg yn eu perthynas â'r bobl gyffredin na wneir i fyny am byth. Ond yn y

methiant hwn, cafodd eglwys fodolaeth y teimlir oddiwrth ei dylanwad i dragywyddoldeb. Nid gormod ydyw dyweyd fod yr eglwys a fagwyd yn nghrŷd y gwrthwynebiad a'r gormes eglwysig hwn, wedi gwneyd mwy er argyhoeddi ein teyrnas o nerth yr egwyddor wirfoddol yn nghynnaliaeth crefydd, ac o niwed sefydliadau gwladol o grefydd fel y maent yn crebachu gweithgarwch, ac yn parlysu ymroddiad syml i'r Arglwydd Iesu, na dim un peth arall o fewn ein teyrnas yn y ganrif bresennol.

Gwelwyd yn bur fuan tra y byddai i weithrediad y *Veto Act* effeithio i gymmodi pleidiau yn yr eglwys, y byddai iddi yn anorfod ddwyn yr eglwys a'r gallu gwladol i wrthdarawiad pwysig. Yn Awst, 1834, cawn i hyny gymeryd lle. Daeth plwyf Auchterarder yn wâg. Penododd Arglwydd Kinnoul, y noddwr, un Mr. Young i'r lle, yr hwn ar ol ei wrandaw gan y plwyfolion a wrthodwyd braidd yn unllais. Gwrthodai yr Henaduriaeth, gan hyny, ei ordeinio, a chadarnhäwyd hyny gan ei *Synod* a'r Gymanfa Gyffredinol. Ar hyn, ceisiodd y noddwr a Mr. Young ymyriad y llŷs gwladol. Dyma y ddau allu ar unwaith i wrthdarawiad peryglus. Hawliai yr eglwys iddi ei hunan bob hawl ynglŷn âg ordeiniad gweinidog, heb unrhyw ymyriad o eiddo y wladwriaeth. Penderfynodd y llŷs gwladol drachefn nas gallasai yr eglwys wrthod ordeinio un a gyflwynid gan noddwr i blwyf, os na fyddai rhyw ddiffyg moesol yn ei gymeriad. Dyma ddechreuad gofidiau pwysig perthynas y Sefydliad a'r gallu gwladol yn Ysgotland. Codwyd yr achos o'r naill lŷs i'r llall, nes y penderfynwyd ef yn yr uchaf gan wyth barnwr, yn erbyn pump, o blaid Mr. Young, ac yn erbyn yr eglwys. I liniaru ychydig ar y siomedigaeth, yr oedd ganddynt y cysur fod gallu meddyliol a dysg y fainc farnol o'u plaid. Dyddorol iawn ydyw y desgrifiad yn y gyfrol hon o'r pryder a amlygid gan y ddwyblaid gyda golwg ar ba ochr i'r cwestiwn a gymerai yr Arglwydd Farnwr Glenlee, barnwr a luddiasid gan lesgedd henaint rhag cymeryd ei le arferol ar y fainc, ond yr hwn y tro hwn a ddaeth allan, ac mewn geiriau cryfion a eglurodd y gyfraith o blaid y gallu eglwysig, ac yn erbyn y gallu gwladol.

Yr oedd dolen rydd, pa fodd bynag, yn y ddedfryd hon a allai gadw rhag gwrthdarawiad uniongyrchol; canys er y penderfynai fod yr Henaduriaeth yn rhwym o gymeryd Mr. Young ar brawf, eto ni *orchymynodd* hyny, ac felly peidiodd ag ymyryd â'u rhyddweithrediad. Cododd achos yn bur fuan yn yr hwn y cymerwyd y cam pellach hwn o weithrediad. Heb fanylu, digon ydyw dyweyd ddarfod i'r llŷs gwladol pan oedd Henaduriaeth Dunkeld ynghylch ordeinio brawd i blwyf gwâg, ganiatâu gwaharddeb iddynt, ac felly geisio eu rhwystro ynglŷn â'r gweithrediad *ysbrydol* hollol yma. Beth oedd i'w wneyd? Aeth yr Henaduriaeth ymlaen â'r ordeiniad fel pe heb glywed gair, am yr hyn y gwŷsiwyd hwy o flaen "eu gwell," lle y dywedwyd wrthynt mai y tro nesaf y torent waharddeb fel hyn, yr ymwelid â hwy gan holl lymder y gyfraith, yr hyn o'i gyfieithu ydyw, cartref yn ngharchar Calton. Erbyn hyn gwelid nad oedd y frwydr ond hen frwydr y Cyfammodwyr mewn gwisg newydd, a rhaid ydoedd ei hymladd allan.

Un anhawsder mawr a deimlid er dwyn barn i fuddugoliaeth ydoedd, nad oedd yr eglwys ei hunan yn un ar y pwnc. Gwelsom fod ymbleidio yn eu plith yn y cysylltiad hwn. Yr oedd yn rhaid i'r blaid efengylaidd

ymladd â'u brodyr eu hunain, ac â'r gallu gwladol yr un pryd. Cododd achos drachefn a ddaeth â hyn eto i bwynt. Cyflwynodd Arglwydd Fife ddyn ieuanc yn weinidog i blwyf Marnoch, poblogaeth o dair mil, mor hynod anmhoblogaidd, fel y methwyd cael ond un, a hwnw ond tafarnwr, i arwyddo yr alwad iddo. Gwrthododd Henaduriaeth Strathbogie ei gymeryd ar brawf ar y cyntaf, ond ar ddangosiad cilddannedd y gallu gwladol, dychrynwyd mwyafrif o'r aelodau, yn cynnwys saith o weinidogion i roi derbyniad iddo. Ar unwaith, daew allu uchaf yr eglwys ar waith er amddiffyn ei hawliau, mewn condemno y saith hyn, trwy eu hattal rhag cyflawni dyledswyddau eu swydd am dymmor. Aeth y Gymanfa ymlaen i enwi rhai o'i gweinidogion galluocaf i lanw pulpudau y plwyfi hyn yn y cyfamser, ac ymhlith yr enwedigion hyny cawn Dr. Guthrie. Wrth gwrs, appeliodd y seithwŷr at y gallu gwladol am nodded, nid yn unig yn y ffordd o gyflog, ond llawn ryddid i wasanaethu eu plwyfi fel o'r blaen, a chaed gwaharddebau i rwystro yr ymwelwyr hyn i darfu dim ar eu praidd. Nid oedd gwaharddeb ar y cyntaf ond i'w rhwystro i fyned i eglwysi ac ysgoldai y plwyfi. Aeth Guthrie i lawr yno yn Chwefror, 1840, a thra y bu yn gwasanaethu, cawsant waharddeb bellach yn eu rhwystro i bregethu na gweinyddu yr ordinhadau mewn unrhyw adeilad o gwbl yn y dosbarth, nac hyd yn nôd ar y ffordd fawr, neu ar y gwaenydd agored. Cynnyrchodd hyn ddigofaint dynion goreu pob plaid, a dechreuai y blaid gymedrol ofni mai tòri y llinyn a ddilynai gylymiad rhy dŷn arno. Gwasanaethwyd gwaharddeb ar Dr. Guthrie tra yn Keith.

Fel hyn yr adrodda yr hanes ei hunan:—"Wrth fyned i bregethu i Strathbogie, cyfarfyddwyd fi a gwaharddeb y llŷs gwladol, gwaharddeb i'r hyn ynglŷn â materion gwladol, y rhoddaswn iddi yr ufudd-dod llwyraf. Ar ddydd yr Arglwydd, pan oeddwn yn parotöi at y gwasanaeth dwyfol, i mewn daeth gwas y gyfraith, gan gyflwyno i mi y waharddeb. Dywedais wrtho ei fod ef wedi gwneyd ei ddyledswydd, ac y gwnawn innau fy nyledswydd. Gwaherddid i mi dan boen carchar Calton Hill i bregethu yr efengyl yn eglwysi plwyfol Strathbogie. Dywedais, Eiddo y wladwriaeth, yr eglwysi a'r ysgoldai, o ran y coed a'r cèryg, ni ymyraf ynddynt. Gwaherddid i mi bregethu yn y mynwentydd, am mai eiddo y wladwriaeth ydyw llwch y meirw, ni ymyraf yno. Ond pan y gwahardda yr Arglwyddi gwladol hyn i mi bregethu efengyl fendigedig fy Meistr, a chynnyg iachawdwriaeth i bechaduriaid yn unrhyw le yn y dosbarth o dan ffurfafen y nefoedd, gosodaf y waharddeb o dan draed, a phregethaf yr efengyl."

Tra y mae y frwydr yn dyfod yn agosach, a'i dylanwad yn dwyseiddio, nid ydym yn cael Guthrie yn cymeryd rhan arweinydd uniongyrchol yn y llysoedd eglwysig. Eglura efe ei hun hyny, pan y dywed mai ei atebiad i'r cwestiwn paham na wnai areithiau yn Henaduriaeth Edinburgh fel y gwnai yn Arbroath, fyddai ein bod yn siarad trwy gynghorwyr yn Henaduriaeth Edinburgh; oblegid pan y mae Cunningham a Candlish yn siarad ar rhyw fater, nid oes anghen ychwanegu gair atynt. Ychwanegai ar amgylchiad arall, "y byddai yn teimlo yn hynod ddiolchgar fod Duw wedi bendithio eu heglwys a chynifer o ddynion oeddynt, nid yn unig yn uwch, ond yn meddu chwaeth hefyd at lysoedd eglwysig. Yr wyf yn foddlawn i aros yn y caban, a gadael i eraill y gorchwyl o gerdded ar y

bwrdd." Onder y syniai fel hyn am dano ei hun, yr oedd ei bresennoldeb yn allu pwysig i'w eglwys yn ei hargyfwng presennol. Nis gallwn yn well yn y fan hon na dyfynu geiriau Dr. Candlish am dano yn ei bregeth angladdol iddo:—"Yr oedd Guthrie yn allu diail ynddo ei hunan, ac yn codi yn yr ystyr yma uwchlaw pob gallu arall. Ni ddarfu iddo anturio llawer i dir dadleuaeth eglwysig, na gweinyddiadau cyffredin yr eglwys; gadawai hyny i eraill, rhagoriaeth pa rai a gydnabyddai yn rhwydd. Ond yn ei gylch a'i ffyrdd ei hun, yr ydoedd i ni, ac i'r egwyddorion y gweithredai arnynt, yn dŵr o gadernid. Yr oedd ei hyawdledd, yn unig, mor nodweddiadol o hono ei hunan, mor drwyadl ysbrydoledig gan ei dymher bersonol, mor lawn yn wastad o arabedd dymunol, mor dueddol o fflachio yn saethau o ffraethineb, ac eto, trwy y cwbl, mor ddwfn-deimladwy a pharod i appeliadau tyner a serchog—gwnai y ddawn hon, pe heb yr un arall, yn rhodd anmhrisiadwy i'n heglwys yn nghyfyngder ei deng mlynedd ymgyrch, ac ar ol hyny." "Cyn yr ymraniad," meddai ei hunan, "yr oeddwn yn amlach yn cael fy hunan gyda'r magnelau, nag wrth y llyw."

Er hyn oll ni fu gwasanaeth neb yn fwy gwerthfawr er llwyddiant yr ymdrech na gwasanaeth Guthrie, ac y mae yn ddiammheuol y gellir priodoli y dylanwad a gariodd yr ymdrech ar gorff y werin yn fwy i hyawdledd a thân areithyddol Dr. Guthrie nag odid neb arall. Gwir ydoedd geiriau Arglwydd Palmerston am dani, "fod Ysgotland yn wenfflam ar y cwestiwn eglwysig." Yr ydym yn ei gael yn rhanu teuluoedd, ac fod hyd yn nôd bechgyn yr ysgolion elfenol yn rhanu eu hunain yn bleidiau ar yr enwau adnabyddus. Mae yn anhygoel y llênyddiaeth ddadleuol gynnyrchodd yr ymgyrch hefyd. Meddylier am saith gant a phedwar ugain a dau o draethodau gwahanol ar yr un pwnc yma yn ymddangos mewn ychydig amser, ac yn cael eu lledaenu wrth y miloedd, ac yn syrthio fel plŷf eira dros yr holl dir. Yn bur ebrwydd, yr oedd yr holl wlad wedi ei meddiannu gan y symudiad, a sylw gwledydd eraill yn cael ei dŷnu tuag ati gyda dyddordeb cynnyddol a pharhaus. Yn niwedd 1840, ni a gawn Eglwys Henaduriaethol yr Iwerddon mewn cydymdeimlad llawn â'r blaid efengylaidd yn gwahodd dirprwyaeth o Ysgotland i ymweled â'r Iwerddon. Nid oedd un ddirprwyaeth o'r fath yn gyflawn heb fod Guthrie yn aelod o honi, ac yn Chwefror, 1841, fe'i ceir yn cychwyn yn nghwmni y Parch. C. J. Brown a Mr. Bridges i'r daith hono. Dyddorol anarferol ydyw ei lythyrau at ei deulu yn desgrifio y daith a'r cyfarfodydd. Tystia y Parch. C. J. (yn awr Dr.) Brown, ymhlith pethau eraill, mai Guthrie oedd bywyd y daith drwyddi, yn gystal mewn cynnal i fyny galon ei gymdeithion, ac mewn dylanwad ar y cynnulleidfäoedd Gwyddelig er ennill cydymdeimlad o'u plaid.

Yn union ar ol eu dychweliad i Edinburgh, dygodd Duc Argyll ei fesur i Dŷ yr Arglwyddi er amcanu terfynu yr ymrafael. Er mor hannerog ydoedd, boddlonai y blaid Efengylaidd ar y cyfan iddo, ond cawn Guthrie, yn llawn cydwybod i grefydd, yn dadgan yn groew bellach nad oedd dim erbyn hyn a benderfynai y cwestiwn ond llwyr ddiddymiad nawddogaeth, yr hyn a gyhoeddai o'r dechre yn groes i ysgrythyr a rheswm. Wrth ddyweyd hyn, pell ydym o feddwl fod Dr. Guthrie yn ystyried nawddogaeth yn brif bwynt yr ymdrechfa; na, gwyddai fod egwyddorion uwch a phwysicach yn y chwareu. Ar ol

cymhariaeth o faes Waterloo, efe a ddywed, "Felly yma, dechreuodd y frwydr gyda hawliau y bobl, ond daeth ymlaen yn gyson a grymus, nes trwy ei hymestyniad y daeth i gynnwys o fewn i dwrf a llŵch yr ymdrech yr egwyddor ardderchog, ganolbwyntiol, a chysegredig o hawl Iesu Grist fel Brenin i lywodraethu o fewn ei eglwys ei hunan."

Yr oedd y frwydr yn amlwg erbyn hyn yn dyfod i gysylltiadau a dystient nad oedd y diwedd ymhell. Cariwyd y cynnygiad am lwyr ddiddymiad nawddogaeth yn Nghymanfa 1842 gyda mwyafrif ardderchog. Teimlai yr arweinwyr nad oedd ei hymladd fel hyn ond coll amser, ei bod yn bryd bellach dwyn y cwbl i brawf. Ni a'u cawn trwy Mr. Dunlop yn tŷnu allan osodiad o'u hawliau *(Claim of Rights)*, yr hwn a anfonwyd i'r Llywodraeth. Yr oedd o'r un natur ac i'r un cyfeiriad ag a nodwyd genym o'r blaen, nas gallai yr eglwys roddi fyny ei hawliau ysbrydol yn unol â Gair Duw i unrhyw lywodraeth wladol. Yn yr adeg hon parodd dyfarniad y gallu gwladol yn ail achos Auchterarder yn erbyn yr eglwys iddynt deimlo nad oedd mynyd i'w golli o gwbl. Gan hyny, penderfynwyd galw cynnadledd o'r holl eglwys i ystyried eu sefyllfa; ac yn ddiammheuol dyma y cyfarfod a benderfynodd dynged yr eglwys yn yr ymdrechfa. Hawdd casglu y fath bryder a feddiannai yr arweinwyr gyda golwg ar ganlyniad y gynnadledd, ac yn eu mysg ni a gawn lythyrau oddiwrth Guthrie at gyfeillion a pherthynasau yn dadgan pryder dwfn ynghylch eu dyfodol.

Pa fodd bynag, llwyddiant fu y gynnadledd ymhob ystyr. Yr oedd yn bresennol bedwar cant a thriugain a phump o weinidogion o bob cŵr o'r wlad wedi cyfarfod yn Eglwys Roxburgh, Edinburgh, ar ddyddiau niwlog Tachwedd. Dyma y nifer mwyaf o weinidogion a fu erioed o'r blaen wedi cyfarfod mewn cynghor yn Ysgotland. Dau gwestiwn oedd ger bron: Yn 1af, Beth ydyw ein cŵyn, a'n meddyginiaeth ar ei gyfer? Yn 2il, Beth ydyw dyledswydd yr Eglwys os gwrthodir caniatâu i ni y feddyginiaeth hon? Ni chyhoeddwyd adroddiad o'r gweithrediadau, ond dywedir fod yno bob unfrydedd na allent aros yn ychwaneg mewn Eglwys y gwrthodid iddynt hawliau cyfiawn teyrnas yr Arglwydd Iesu ar y ddaear. Deuent i hyn yma er gweled y byddai cario yr egwyddor allan yn eu colledu o'u bywiolaethau, ac yn eu taflu yn gwbl ar drugaredd eu brodyr crefyddol a rhagluniaeth Duw am eu bara beunyddiol. Bu *tact* Dr. Guthrie o werth annhraethol iddynt yn y gynnadledd hon, a llwyddodd amryw weithiau, pan oedd y llestr yn ymddangos yn myned i'r graig, trwy ei arabedd a'i natur dda, i daflu olew ar y dyfroedd, ac i ddwyn y llestr i ddïogelwch. Ni anghofiodd neb oedd yn gwrando arno ei waith ar ddiwedd ei araeth yn adrodd yr adnod hono, fel mynegiad uwch ei awdurdod, o eiddo y Meistr a wasanaethai, "Yn wir, meddaf i chwi, nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu rïeni, neu frodyr, neu wraig, neu blant, er mwyn teyrnas Dduw, a'r nis derbyn lawer cymaint yn y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol."

Trefnwyd i roi hysbysrwydd i'r holl wlad am yr hyn y daeth y gynnadledd iddo, a rhanwyd yr holl blwyfi, pleidiol a gwrthwynebus, rhwng gwahanol weinidogion, i egluro iddynt agwedd pethau. Syrthiodd coelbren Guthrie i fyned i Henaduriaethau Haddington a Dunbar. Deallwyd ar unwaith fod y werin o'u plaid; ac yn eglwys y Doctor, yr ydym yn cael fod rhai o'r aelodau er ys misoedd yn cadw arian yn y Banc

Cynnilo, er cyfarfod yr hyn a ystyrient yn anocheladwy. Yr oedd masnachwyr cyffredin mewn rhan dlawd o'r ddinas wedi gwneyd eu meddwl i fyny i dalu punt yn flynyddol am eisteddle yn yr addoldŷ, a morwynion, er yn cynnal rhïaint methedig yn yr Ucheldiroedd, yn dwyn o'u prinder i gyfarfod yr argyfwng yr oedd yr eglwys ynddo. Taith i'w chofio ydoedd hon yn hanes Guthrie. Siaradai â chynnullfäoedd llïosog yn yr awyr agored am oriau bwy gilydd. Yn wir, ni siaradai un tro am lai na dwy awr o amser. "Yr wyf yn dechreu meddwl," meddai, "y gwnaf, ar ol y prawf hwn o waith nosawl, bregethwr teithiol ardderchog, cyfartal i Whitfield ei hunan! Y gwir ddïogelwch ydyw, bwytewch ddigon, gorweddwch wyth neu naw awr yn y gwely, ac yn fwy na'r cwbl, *peidiwch yfed dim byd cryfach na dwfr oer*." Nid ydyw y sylw diweddaf hwn yn annheilwng o ystyriaeth yr ychydig flaenoriaid Methodistaidd uchel-dybus hyny a dueddant i brïodoli diffyg lleisiol mwyafrif gweinidogion ein Cymdeithasfäoedd diweddar i'r ffaith *eu bod yn ddirwestwyr*.

Un peth oedd yn eisieu er penderfynu y cwestiwn, a chafwyd ef ar y 4ydd o Ionawr, 1843—atebiad y Llywodraeth i'w gosodiad o'u hawliau a gyflwynasid ganddynt yn y mis Awst blaenorol. Cyhoeddai yr ystyrid cais yr Eglwys yn afresymol, ac nas gallai y Llywodraeth gynghori ei Mawrhydi i gydsynio â'r gofynion. Nid oedd eisieu ond i'r Senedd gefnogi y Weinyddiaeth yn y dyfarniad hwn na fyddai y gwaith ar ben. Gwnaed hyny ar y 7fed o Fawrth, 1843, a chollwyd y cais am bwyllgor ymchwiliadol gan fwyafrif o 135, yr hyn, wrth gwrs, oedd yn oruchafiaeth i'r Llywodraeth, ac yn gadarnhâd i'w gweithrediadau.

Galwyd y Gymanfa Gyffredinol ynghyd ar y 18fed o Fai, 1843. Wrth adael ei dŷ y boreu hwnw, cawn Dr. Guthrie yn dyweyd wrth ei wraig mewn tôn siriol ond hollol benderfynol,—"Wel, Annie, dyma y tro diweddaf yr âf allan trwy y drŵs hwn yn weinidog Eglwys Sefydledig." Ymhen tuag ugain mlynedd, ni a'i cawn yn desgrifio yr olygfa fel hyn:—

"Y mae rhywbeth mwy hyawdl nag areithyddiaeth. Meiddiaf ddyweyd na phregethodd Hall, Foster, na Chalmers, erioed bregeth fwy effeithiol ac aruchel ag eiddo y gweinidog lleiaf ei ddoniau o eiddo ein Heglwys ar y 18fed o Fai, 1843, pan y rhoddodd i fyny ei fywoliaeth er cadw ei egwyddorion, ac yr ymunodd â'r dyrfa a ymwthiai allan trwy ddrŵs Eglwys St. Andrew, gan rodio yn drefnus a rheolaidd, a rhoddi i bobl yr Arglwydd a lanwent yr heolydd achlysur i wylo dagrau, nid o ofid, ond o lawenydd, fel y dywedent, 'Dyma hwy yn dyfod! Dyma hwy yn dyfod! Diolch i Dduw, deuant ymlaen!'

"Ni ddaethom allan yn fyddin fechan wasgaredig; ond fel afon yn ymwthio allan o'r Alp-rew—yn afon yn ei chychwyniad. Mewn rhif, mewn safle, mewn cyfoeth, yn gystal ag mewn duwioldeb, gallaf ddyweyd fod ein Heglwys yn gyflawn o faint y dydd y ganed hi. Uwchlaw y cwbl, ac yn nesaf at y gweddïau a sancteiddiai ein hachos, dilynwyd ni gan lu o gydwladwyr, brwdfrydedd y rhai a gynneuwyd wrth lŵch merthyron, a rhai na welent yn ein symudiad ond gwêdd arall ar yr hen ddyddiau gogoneddus a ennillodd i Ysgotland ei chlod, ac a wnaeth iddi enw a chymeriad drwy yr holl ddaear."

Mor wahanol yr ymadawiad hwn rhagor ymadawiad gweinidogion y Sefydliad yn yr Iwerddon. Dyma agos i bum' cant o weinidogion yn dadsefydlu a dadwaddoli eu hunain, yn gosod i lawr wrth allor cydwybod dderbyniadau o gan' mil o bunnau yn y flwyddyn, cyfartal i

gyfalaf o ddwy filiwn o bunnau. Nid rhyfedd i Mr. Gladstone ddyweyd am danynt, nad oedd un gair gwanach nac îs na mawrhydi yn gymhwysiadol atynt, yn ol ysbryd beirniadaeth hanesyddol.

Nid yn unig y mae y golled i'r Sefydliad yn fawr mewn nifer, ond y mae cymeriad y dynion a gollodd yn gwneyd y golled yn llawer iawn mwy. Collodd ei dynion goreu, mwyaf dysgedig, hyawdl, tanllyd, a duwiol. Wrth ddyweyd hyn, nid ydym o gwbl am awgrymu i'r cwbl o'r dosbarthiadau hyn ymadael, ond aeth y corff mawr o'r dynion mwyaf cydwybodol allan gyda'u gilydd. Mewn sylw ar air o anerchiad Mr. Norman McLeod, eu bod wedi cynneu tân yn yr hen dŷ, a gadael iddynt hwythau ei roi allan, helaetha Dr. Guthrie mai ei syniad ef ydoedd eu bod wedi myned â bron yr holl dân gyda hwy allan. Ac os oedd peth yn aros, eu bod wedi gadael digonedd o beiriannau dwfr i'w roi allan. Eto nid yn unig aeth y dynion goreu allan, ond wedi amser dyladwy, dyma bob cenadwr o eiddo Eglwys Ysgotland yn y gwledydd tramor, gyda Dr. Duff fel eu pen, yn dilyn eu brodyr, ac yn ymuno â'r Eglwys Rydd a ffurfiasid ganddynt yn Canonmills y 18fed o Fai bythgofiadwy yn 1843. Llawenycha Guthrie yn nghydymdeimlad enwadau Ymneillduol Ysgotland â hwy yn eu hymadawiad â'r Sefydliad, a edrycha ar hyny yn weithred o hunanymwadiad mawr, ac yn dangos fod eu cariad at lwyddiant crefydd bur ac ysbrydol yn llywodraethu eu holl drafodaethau.

Daeth cydymdeimlad iddynt o bob cyfeiriad, ac ymhlith y llïaws ni a gawn nodiad fod eiddo y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig wedi ei dderbyn ganddynt, a sirioli llawer ar eu meddyliau. Mater o hanesiaeth ydyw ei llwyddiant o hyny hyd yn bresennol. Carasem roddi sylwadau rhagorol Guthrie ei hunan ar y mater fel y traddododd hwy yn ei anerchiad o Gadair Lywyddol eu Cymanfa yn 1862, ond yr ydym wedi bod hwyrach yn rhy faith eisoes. Ein hunig esgusawd dros y meithder hwn ydyw, fod hanes gwrthddrych ein hysgrif mor gymhlethedig â hanes yr argyfwng hwn o eiddo crefydd yn Ysgotland, fel nas gellir gweled y cymeriad dysglaer, a'r craffder, a'r gallu, ond mewn undeb â hanes yr Eglwys y dadblygwyd ef ynglŷn â hi.

Rhaid prysuro weithian at hanes blynyddoedd dilynol ei fywyd. Nid adeg o orphwysdra gafodd ef ar ol hyn, ond gweithio caled iawn hyd y diwedd. Yr oedd cylchoedd o weithgarwch yn cael eu tòri ar ei gyfer, nad oedd neb mor gymhwys i'w llanw âg efe. Y cymeriad cyntaf y mae yn debyg y gosododd amgylchiadau neillduol cychwyniad yr Eglwys Rydd ef ynddo ydyw fel Casglydd a Rheolwr y Drysorfa er adeiladu tai i'r gweinidogion a droisent allan.

Teimlai Dr. Guthrie o hyd, faint bynag oedd yr aberth arianol y gelwid ar y gweinidogion yn y trefydd i'w wneyd, mai ar eu brodyr yn y wlad y disgynai y baich trymaf. Ysgafn yr ystyriai y peth iddo ei hun, er ei fod yn golledwr arianol o tua chan' punt yn y flwyddyn tra y bu byw. Ond yn y wlad daeth tòn yr ymraniad, gwelodd y gweinidogion hi yn eglur, ac wynebasant hi yn hŷf; ond torodd drostynt, gan adael llawer o honynt ynghanol drylliad eu cwbl o bethau y bywyd hwn. Dyma fel y dywed ar y pen hwn:—"Cefais achlysur i ymweled â llawer o'r bythynod y mae ein gweinidogion yn byw ynddynt ar hyn o bryd, a theimlaf dan rwymau i ddyweyd, fel dyn gonest, na bu cabldraeth mwy ofnadwy erioed na haeru fod y dynion hyn yn gofidio y cam a gymeras-

ant; ond gadewch i mi ddyweyd wrthych fod llawer o honynt yn byw yn foddlawn, a dystaw, a hapus, gyda'u teuluoedd, ar y drydedd ran o'u cyflogau blaenorol." Nid dyma ychwaith yr unig fath o ddyoddefaint y gelwid arnynt i fyned trwyddo; na, bu raid wynebu yn wrol bob gwrthwynebiad dichonadwy oddiallan. Gwnaed ailargraffiad o erlidigaethau Charles II. er attal cymundeb rhwng gweinidogion yr Eglwys Rydd â'u praidd. Gwnaed pob ymdrech i'w difodi trwy wrthod lleoedd iddynt i adeiladu. Dygwyd hawliau meddiannau i ormesu hawliau cydwybod, gan y gwrthodid pob cynnyg am bryniant unrhyw ran o dir, er rhoi ei lawn werth am dano. Nid rhyfedd i hyn oll gynhyrfu Guthrie drwyddo. Daeth y peth mor annyoddefol, a geiriau cyrhaeddgar Guthrie am yr erlidigaeth mor hallt, fel y cyttunwyd ar ymchwiliad seneddol i'r mater, a Dr. Guthrie oedd un o'r prif dystion yn yr ymchwiliad. Y mae ei dystiolaeth yn neillduol o ddyddorol, yn enwedig fel y mae yn cyfarfod y cwestiynau yr oedd yn amlwg arnynt eu bod wedi eu bwriadu fel maglau i'w rwydo. Daeth trwy yr arholiad gan beri i bawb deimlo fod cam mawr wedi ei ennill yn y cyfeiriad o gael lleoedd i adeiladu. Bu rhai yn cynnal gwasanaeth mewn pabell symudol ar ros-diroedd yr *Highlands*, ond gommeddid iddynt yr hyn a ganiateid yn ddirwgnach i'r crwydriaid Gwyddelig adnabyddus. Nid oedd ganddynt ond crefydda ar ganol prif-ffordd y Brenin, a dyna lle bu llawer cynnulleidfa trwy ystod un gauaf caled, heb gysgod na thô o fath yn y byd. Anfonid Guthrie i bregethu i lawer o'r lleoedd hyn er calondid iddynt, am ei fod mor boblogaidd ganddynt, a dyddorol iawn ydyw yr adroddiadau a geir ganddo o'r ymweliadau.

Terfynodd yr ymchwiliad seneddol mewn dadgan yr ystyrient y peth yn gamwri, ond heb gymeryd un mesur er ei attal pellach na hyderu y symudid yr achos o hono trwy i'r perchenogion ildio, a chaniatâu tiroedd i adeiladu. Gwnaeth rhai, ond gwrthododd y lleill. Pa fodd bynag, daethant o un i un, nes yr oedd gwrthod myned yn eithriadol yn eu hanes. Er ys blynyddau bellach, y mae ganddynt eu Deddf Seneddol i hawlio tir at addoldai fel at reilffordd, a'r wlad o gwr-bwy-gilydd wedi ei llanw âg eglwysi Cristionogol i raddau mwy nag un wlad arall o fewn terfynau crêd.

Yr oedd ai weinwyr yr eglwys yn argyhoeddedig nad oedd dim amser i'w golli i barotöi tai i'r gweinidogion hyn; ond er eu hanrhydedd, rhaid dyweyd, iddynt fel gweinidogion attal y pwyllgor oedd barod i weithredu, nes yr adeiledid addoldai ac ysgoldai dyddiol i ddechreu. Prawf eto o hunanymwadiad a'i gwnelai yn amlwg o nifer rhai rhagorol y ddaear. Cyn i ddwy flynedd o hanes yr Eglwys ddirwyn i'r pen, yr oedd tua saith gan' mil o bunnau wedi eu codi ganddi at wahanol achosion, cannoedd o eglwysi ac ysgoldai wedi eu hadeiladu, ei chenadaethau yn llawn gweithgarwch, a'i thrysorfa gynnaliaethol yn cynnyddu yn anrhydeddus. "Trwy adeiladu *Manses*," (tai i'r gweinidogion,) meddai Guthrie, "chwi a gwblhewch ein peirianwaith eglwysig, ac a roddwch i'r Eglwys Rydd safle o barhâd yn y wlad na feddai heb hyny."

Felly yn Mai, 1845, penderfynwyd codi trysorfa gref i'r dyben yma. Hanner can' mil ar un adeg, a chan' mil o'r diwedd, oedd y swm isaf a ystyrid yn ddigonol. Yr oedd gofyn hyn gan bobl oedd wedi eu trethu mor drwm y ddwy flynedd ddiweddaf yn hawlio ffydd gref, ac o'r braidd

nad oedd hyd yn nôd Dr. Guthrie yn ofni y canlyniad. Y peth mawr anhebgorol angenrheidiol i'w llwyddiant oedd dyn cymhwys i'w gweithio allan. Cafwyd hwnw yn Dr. Guthrie. Ei gwthio a wnaed arno, fel y dywed ef ei hunan yn y cyfarfod cyntaf y bu ynddo ar ran yr achos. "Buasai yn llawer gwell genyf aros gartref gyda'm teulu a'm praidd; yr wyf wedi cael digon o siarad, teithio, ac ymladd, ac wedi blino arno; ac oni bae fod genyf reswm cryf i gredu mai myfi yw y 'cardotyn mawr' diweddaf a welwch byth, ac oni bae fod i'r achos fy nghydymdeimlad goreu a'm dyddordeb dyfnaf, ni buaswn yn ymgymeryd âg ef o gwbl. Buaswn yn ddedwydd pe buasai yr Eglwys wedi dewis rhywun mwy cymhwys na myfi; ond yr wyf yn sicr nad oes neb mwy cyfaddas mewn un ystyr, oblegid os nad oes genyf ben, y mae genyf galon fawr yn y gwaith."

Heblaw ei gymhwysderau naturiol at y gwaith hwn, yr oedd ei gydnabyddiaeth ëang a manwl â dyoddefiadau ei frodyr, yn gystal a'i ddesgrifiadau bywiog a theimladwy o honynt yn peri mai anhawdd iawn, os nad anmhosibl, oedd cael ei ragorach. Ychwanegwn un desgrifiad o'i eiddo o fwthyn gweinidog defnyddiol, er dangos mor naturiol i'w oedd ddawn ennyn cydymdeimlad ar unwaith :—

"Aethum allan y gauaf diweddaf i edrych am Mr. Baird, gweinidog a adawodd un o'r *manses* prydferthaf yn Ysgotland, a chefais ef mewn bwthyn bychan salw, yn cynnwys dwy ystafell, gyda *chloset* cyfyng oddi tanodd, a *garret* oddi arnodd. Y nos a ddaeth, a gofynais pa le yr oeddwn i gysgu. Dangosodd *gloset* i mi. Yr oedd y muriau yn wlybion, ac nid oedd modd rhoi tân yno i'w sychu. Edrychais yn synedig ar y lle, ond nid oedd dim dewisiad. 'Yn awr, Mr. Baird,' meddwn, 'pa le yr ydych chwi yn myned i gysgu?' 'Deuwch,' meddai, 'a dangosaf i chwi.' Felly efe a ddringodd fath o risiau tyllog, ac a aeth i fyny i'r *garret*, a dyna lle yr oedd efrydfa y gweinidog, gyda chadair, bwrdd, a gwely *flocks*. Ychydig fodfeddi oddiarnodd yr oedd llechi y tô, heb ddim calch arnynt, ac mor wyned gan y llwydrew odditanynt ag oeddynt felly gan yr eira oddiarnynt. Pan ddaeth i lawr boreu drannoeth, gofynais iddo pa fodd yr oedd wedi treulio y noswaith, a dywedodd na chauodd ei lygad unwaith gan faint yr oerfel. Yr oedd hyd yn nôd ei anadliad ar y gwrthbanau wedi rhewi mor galed â'r rhew oddiallan. Yr wyf yn meiddio dyweyd fod y dyn hwn yn gorwedd mewn bedd merthyr."

Nid oedd hwn ond engraifft o ugeiniau o rai tebyg ar hŷd a llêd y wlad. A dyma ymgymeriad mawr Guthrie bellach ydyw sicrhâu trysorfa i gael annedd-dai cysurus i'r gwroniaid anghymmarol hyn. Aeth ar daith trwy ogleddbarth y wlad i ddechreu, nid i gasglu arian, meddai efe ei hun, ond i gasglu yr hyn a wnelai arian iddo; a chyda mesur o ofid yr ydym yn gorfod gadael heibio y llythyrau dyddorol a ysgrifenodd ar y daith hono, rhag dyfynu o honynt. Y mae y desgrifiad o'r ddau Mackensies o Tongue yn neillduol o effeithiol. Erbyn ei ddychweliad o'r daith hon, yr oedd cynllun y Drysorfa wedi cael cyttuno arno. Yr oedd eisieu saith gant o dai. Y swm gwreiddiol yr amcenid ato oedd hanner can' mil i gyfarfod anghenion presennol, ac i'w gwneyd yn gan' mil yn y diwedd. Nid oedd y drysorfa i wneyd i ffordd, ond i symbylu ac attodi, ymdrechion cynnulleidfäol. Yr oedd pob cynnulleidfa i dderbyn o honi rodd o ddau gant o bunnau. Faint bynag o gost dros ben hyn y yr elid iddi, yr oedd i'w godi ganddynt hwy eu hunain. Trefnwyd i weinidogion plwyfi yr Ucheldiroedd fel y rhai cyntaf i dderbyn o honi; yn nesaf, plwyfi gwledig yr Iseldiroedd; yna y rhai

oeddynt yn y trefi lleiaf; ac yn olaf, y rhai oeddynt wedi sefydlu fel Dr. Guthrie, ei hunan, yn y trefydd mawrion. Nid oedd ond y dosbarth canol a'r dosbarth uchaf i roddi yn y Drysorfa gyffredinol hon. "Pum' punt ydyw ein tanysgrifiad isaf," meddai Guthrie, "ond peidiwch rhedeg ymaith â'r *idea* nad ydych i roddi ond pum' punt." Yr oedd pum' mlynedd o amser i dalu yr addewidion os dewisent, a gwnai Dr. Guthrie ddefnydd mawr o hyn yn ei areithiau, trwy gymeryd ei hunan yn engraifft o'r priodoldeb o hono. "Nid ydyw yn un gyfrinach," meddai yn Glasgow, "nad wyf fi yn gyfoethog, ond mewn plant; ac felly pe buasai rhywun yn gofyn i mi, 'Mr. Guthrie, a roddwch chwi gan' punt, y rhai y rhaid i chwi eu talu i lawr heno?' Gallasai yr un mor hawdd ofyn, 'Mr. Guthrie, a wnewch chwi ehedeg?' Ond y mae yn beth pur wahanol os daw dyn ataf a gofyn, 'Mr. Guthrie, a danysgrifiwch chwi gan' punt, a rhoddaf i chwi bum' mlynedd o amser i'w talu?' Cynghorwn chwi i fyned i mewn i'r dyryswch ardderchog yma, a chwi a gewch ffordd i ddyfod allan o hono."

Dechreuodd ei daith gardotyddol yn Glasgow. Llwyddodd gymaint yn y dref hon mewn tri diwrnod fel y taer annogid ef gan ei frodyr i godi y safon o hanner can' mil i gan' mil ar unwaith. Cafodd ddeng mil mewn tridiau yn Glasgow. Ni a'i cawn yn anerch cynnulleidfa yn y City Hall, ac yn dyweyd:—

"Yr wyf wedi treulio tri o ddyddiau dedwyddaf fy mywyd yn y ddinas hon. Yr wyf wedi bod yn myned o dŷ i dŷ, o swyddfa i swyddfa, ac ni chyfarfyddais âg edrychiad oer, ond caredigrwydd pur. Dywedid wrthyf yn fynych, 'Oh! Mr. Guthrie, nid oes angen gwneyd araeth. Yr ydym yn gwbl barod atoch; pa le y mae eich llyfr?' Nos Lun ysgrifenais i Edinburgh, a thrannoeth cefais lythyr yn dyweyd eu bod oll yn ceisio dyfalu pa swm a gefais ddydd Llun; a pha faint feddyliech oedd eu dyfaliad? Wel, gwnaethant ef yn 1,500p. Yn awr, yr oedd yr holl swm a gasglwyd ddydd Llun mewn un hanner awr nid yn 1,500p., ond yr un swm cyntaf oll a gafwyd yn 1,500p. Yr wyf yn credu eich bod yn gwybod oddiwrth bwy y daeth—William Campbell, of Tilliechewan."

Rhwng y cyfarfod cyntaf hwn yn Glasgow ar y 9fed o Gorphenaf, 1845, a'r dydd cyntaf o Fehefin, 1846, pan yr hysbysai y canlyniad i'r Gymanfa Gyffredinol yn Edinburgh, rhaid ei fod wedi teithio miloedd o filldiroedd. Ymwelodd â thair ar ddeg o Gymanfäoedd, tair ar bymtheg a deugain o Henaduriaethau, ac amryw gannoedd o gynnulleidfäoedd unigol; mewn llawer achos yn pregethu yr efengyl, ond hefyd yn gwneyd appeliad cynhes am awr neu well ar ran y Drysorfa. Yn y lleoedd pwysicaf, treuliai y dydd canlynol mewn gwneyd ymweliadau personol, a'r llyfr yn ei law, â phersonau o foddion tebygol i danysgrifio. "Yr wyf yn argymhell Mr. Guthrie i chwi," meddai Mr. Fox Maule mewn cyfarfod cyhoeddus, "fel un a adawodd ei deulu am hir dymmorau ynghyd, ac a grwydrodd dros y rhan fwyaf o'n gwlad, ac a siaradodd ddigon i ladd unrhyw ddyn cyffredin. Y mae, fe allai, wedi tanysgrifio mwy at y drysorfa hon na phawb o honom gyda'n gilydd." Pan ystyriom pa fodd y cariwyd y gwaith ymlaen ganddo ddydd ar ol dydd, wythnos ar ol wythnos, a mis ar ol mis, gellir dychymygu y fath ddirwasgiad ar ei *system* ewynol ydoedd—dirwasgiad a ychwanegwyd yn ddifrifol am dri mis o'r adeg yna, gan wybyddiaeth fod y *scarlet fever* yn ei gartref, yn dwyn dan ei phoenau saith o'i blant anwyl y naill ar ol y

llall. Gadawodd ymdrechion y flwyddyn hono effeithiau ar ei gyfansoddiad a ddygodd gydag ef o hyny hyd ei fedd.

Llanwai ei areithiau y pryd yma ar ran y drysorfa gyfrol drwchus, ac er o angenrheidrwydd y rhaid fod cryn unrhywiaeth ynddynt, eto tarewir un wrth eu darllen â'r casgliad y rhaid fod ei feddwl yn neillduol o gynnyrchiol, gan y cyfarfyddir ynddynt â'r fath amrywiaeth.

O Glasgow aeth i'r trefi cylchynol a'r dosbarthiadau gwledig. Yr ydym yn ei gael yn adrodd yr hanes i ail gyfarfod eu Cymanfa Gyffredinol a gynnelid y flwyddyn hono yn Inverness, y 26ain o Awst, 1845. Cynnyrch pedair wythnos oedd ganddo i'w adrodd, ac yr oedd yn bymtheng mil ar hugain o bunnau yn barod. Treuliodd y pedwar mis dilynol yn ymweled â rhanau eraill o'r wlad yn y gorllewin a'r dwyrain. Daeth i Edinburgh o'r diwedd, lle, ar yr 11eg o Ragfyr, 1845, y cyfarchodd gyfarfod neillduol o frwdfrydig, yn cynnwys tua phedair mil o bersonau, yn y neuadd yn Canonmills. Fel engraifft o'i anerchiadau ynglŷn â'r Drysorfa, ni a ddyfynwn o hwn yn Edinburgh:—

"Nid oes arnaf ofn am ddiwedd llwyddiannus ein symudiad. Gwelais dri chant o weinidogion o fewn y muriau hyn yn arwyddo ymaith eu cwbl o dda y byd hwn (gan gyfeirio at eu gwaith yn arwyddo eu hymadawiad â'r Sefydliad ddwy flynedd yn flaenorol yn yr un lle), ond hyd yn nôd y pryd hyny nid oeddwn yn credu y gadawai Duw ei weision. Teimlais y pryd hyny fel yr wyf yn teimlo y fynyd yma, pwy bynag a welid yn cardota, yn ddarostyngedig i Dduw, ni welir y llaw hono a fu yn arwyddo y weithred grybwylledig byth yn cael ei dal allan i dderbyn elusen oer y byd, ac y bydd Duw yn Dad i feibion a merched y dynion hyn.

"Yr wyf yn galw ar bobl Edinburgh i wneyd eu dyledswydd i'r dynion ardderchog hyn, ac i'r achos ardderchog hwn. Beïir fi am fod yn rhy daer yn y mater. Gall hyny fod; ond bydded i'r rhai a ddywedant hyny gofio lle yr ydwyf wedi sefyll; bydded iddynt gofio beth ydwyf wedi ei weled; ni chenfigenwn wrth y dyn, yr hwn, ar ol cael yr un cyfleusderau i fod yn gydnabyddus â'r ffeithiau, na fyddai yr un mor daer a didroi yn ol. Pe buasent hwy fel myfi wedi bod yn myned i mewn i'r bwthyn Ucheldirol, pe buasent wedi sefyll ar ei lawr pridd, ac o dan ei dylathau duon, a gweled Gŵr Duw yn byw mewn hofel sâl—pe buasent wedi clywed llais crynedig y tad yn dyweyd nad oedd ei blant yn ei adnabod y tro diweddaf y gwelodd hwynt, am ei fod wedi bod cyhyd oddiwrthynt—pe gwelsent y tad, yr hwn a ddywedai mai ei orchwyl diweddaf y nos oedd cau i fyny yr agenau trwy ba rai y deuai yr awel finiog i chwythu ar wely ei blentyn yn ymyl angeu—pe gwelsent y pethau hyn, ni feïent fi am fod yn rhy daer.

"Syr, gallwn sefyll curiad tymhestl gormes, pe curasai yn unig ar fy mhen i; ond edrych ar y gwrîd afiach ar rudd plentyn—edrych ar wywiad ymaith y darfodedigaeth twyllodrus—i ddwyn i'r bedd fam plant y dyn ei hunan—i ddyfod yn ol o'r fynwent i dawelu gofid baban newydd gladdu ei fam,—yn wylo am fam nad ydoedd mwyach ar y ddaear, a dyma beth ydyw rhan o'r dyoddefiadau y mae rhai o'n gweinidogion didai a digartref wedi gorfod dyfod trwyddo. Bydded i fy llaw ddeheu wywo ymaith pan y cefnaf ar fy mrodyr yn eu caledi a'u cyfyngder!"

Ar ddiwedd y cyfarfod hysbysodd Dr. Guthrie fod yn agos i bedwar ugain o'r can' mil punnoedd wedi eu cael. Yr oedd yn anmhosibl i appeliadau o'r fath o nodwyd beidio agor llinynau tyneraf y galon, a dwyn trwyddi yr aur a'r arian yn helaeth at ei wasanaeth. Gwnaeth yn rhagorol yn Edinburgh, a threuliodd y misoedd dilynol ar yr un neges yn Fife, Lothian, Merse, a Teviotdale, Dumfries, a Galloway. Ysgafnhëid ei waith gryn lawer gan barodrwydd y bobl i gyfranu. Nid oedd eisieu cymhell o bum' mil Arglwydd Breadalbane i bum' punt y gweith-

iwr. Difyr iawn fyddai gwrandaw arno yn adrodd fel y siomid ef yn ei ofn a'i obaith yn fynych gan ei danysgrifwyr. Yr oedd yn ciniawa un diwrnod yn Monboddo House, gyda'r diweddar ragorol Cadben Burnett, cyn cyfarfod y gynnulleidfa yr oedd y Cadben yn ddïacon iddi. Parodd i brysurdeb a thymher ddrwg y Cadben yn herwydd colli ei wydrau *(spectacles)*, i Guthrie ofni na chawsai rhyw lawer ganddo. Yr oedd wedi meddwl am hanner cant o bunnau, ond wrth ei glywed o hyd yn baldordd am y gwydrau, "Rhy ddrwg! rhy ddrwg!! a hwythau wedi costio pedwar swllt ar ddeg i mi yn Llundain," ofnodd na chaffai yr hyn a ddysgwyliasai. Lled ddigalon y teimlai wrth nesâu ato i ofyn; ond er ei syndod, ar ol yr araeth, dyma Cadben Burnett yn dechreu y rhestr gyda thanysgrifiad o ddau gant o bunnau!

O'r diwedd, cwblhäwyd y gwaith; a phan y cyfarfyddodd y Gymanfa Gyffredinol yn Edinburgh, yr oedd ganddo y boddhâd mawr ar y 1af o Fehefin, 1846, o hysbysu, fel ffrwyth ei flwyddyn o lafur, fod y swm anrhydeddus O GANT AC UN AR BYMTHEG O FILOEDD, TRI CHANT A DEG A THRIUGAIN, O BUNNOEDD wedi eu tanysgrifio.

Y mae yn brofedigaeth i ni ymattal rhag rhoddi rhai dyfyniadau o'i araeth ar yr achlysur, ac eto, er ein gofid, gwelwn y rhaid i ni wneyd hyny, gan fod gofod yn brin. Dyfynwn ei sylw diweddaf:—"Meddyliais unwaith—wrth weled fy hun wedi gwneyd *ffortiwn* o gant ac un ar bymtheg o filoedd mewn deuddeng mis—am gael tocyn wedi ei roddi i fyny, a'r geiriau '*Retired from Business*' wedi ei argraffu arno mewn llythyrenau duon breision! Nid oes genyf ond un cais i'w wneyd gan yr Eglwys, a dyna ydyw, ar iddynt bellach adael llonydd i mi."

Dyma, wedi y cwbl, wasanaeth uchaf a mwyaf Dr. Guthrie i'r Eglwys Rydd, a llawer gwaith o hyny hyd ddiwedd ei oes y siriolwyd ei feddwl, wrth edrych yn yr Ucheldiroedd pellenig, neu yn ynysoedd anhygyrch Shetland, ar anedd-dŷ cyfleus a chysurus gan ŵr Duw i wylio ei braidd a'u harwain yn ddïogel drwy anialwch y byd dyrys presennol. Cymerodd diolchgarwch ei gyfundeb ffurf ymarferol yn lled fuan, trwy amcanu gwneyd cydnabyddiaeth arianol iddo am ei lafur; ond mewn llythyr nodweddiadol iawn o hono at Gynnullydd y Pwyllgor, rhwystrodd hwynt i fyned ymlaen. Pa fodd bynag, ar ol treiglad rhai blynyddoedd, llwyddwyd i'w berswadio i dderbyn, ac am y ddwy flynedd ar bymtheg diweddaf o'i oes, cafodd y pleser o fyw mewn palasdŷ ar gyffiniau Edinburgh, un o attyniadau penaf yr hwn iddo ef oedd—fod rhan o'r arian pryniant yn offrwm diolchgarwch ei frodyr yn y wlad.

Gwelwn y rhaid cadw ei hanes ynglŷn â'r Ysgolion Carpiog, ei lwyddiant fel gweinidog yr Eglwys Rydd, a'i enwogrwydd fel awdwr a golygydd, hyd ysgrif ddyfodol, yr hon a fydd y ddiweddaf ar y gŵr da a'r gweinidog ffyddlawn hwn i'r Arglwydd Iesu Grist.

## IAWN Y GROES.

IAWN Y GROES i f' oes haul fydd,—Iawn y Groes
—Unig graig mewn 'stormydd;
Modd i fyw yn dragywydd
Iawn y Groes yn unig rydd.

Iawn y Groes! nid oes ond un,—dim ond un!
Damnedig yw pobun
Weithia hedd o'i waith ei hun,
Neu wnelo *Iawn* o eulun.

Iawn y Groes! O enwog ryw!—agen y graig
Yw Iawn y Groes heddyw,
A godidog dŷ ydyw
I ochel barn, a chael byw.

Iawn y Groes! myrdd rhoes yn rhydd,—enwog rym
Iawn y Groes a orfydd;
Trwy dy fôd—tra Duw a fydd
Ei ddirfawr rîn ni dderfydd.

Iawn y Groes! O! moes i mi,—fy Nuw da,
Yn f' enaid ei brofi;
Y clydwch yn mhob caledi—
Angor i'm llong yn ngrym y lli'.

Iawn y Groes yn oes oesoedd—gynnydda
'N ogoneddus foroedd,
Yn llanw ei flas—mewn llon floedd
Y nofia yr holl Nefoedd.

# NODIADAU LLENYDDOL.

*The Scottish Philosophy, Biographical, Expository, Critical, from Hutcheson to Hamilton.* By JAMES McCOSH, LL.D., D.D, President of the College of New Jersey, Princeton. London: Macmillan & Co.

Y MAE enw Dr. McCosh yn dra adnabyddus i'n darllenwyr, nid yn unig fel boneddwr cristionogol sydd yn cymeryd dyddordeb dwfn yn nghrefydd Cymru, ac yn awyddus i gael y Methodistiaid i'r undeb ffurfiol o'r Presbyteriaid trwy y byd y mae ei ysbryd wedi bod bellach am lawer o flynyddoedd yn dyheu am dano, ond hefyd fel un o athronwyr galluocaf ein hamseroedd. Mae y gwaith hwn o'i eiddo yn hynod o werthfawr. Ni osodir pris mawr ar yr athroniaeth Ysgotaidd gan lawer y dyddiau hyn. Y mae llawer, yn wir, yn eu boddloni eu hunain nad oes gan athroniaeth oll nemawr ddim i'w gyflwyno i'w sylw amgen cwestiynau anorphen, a hyny ynghylch materion nad ydynt wedi y cwbl ond o ychydig bwys; ac am gyfraniadau Ysgotland yn y gangen yma o efrydiaeth, y mae rhywbeth yn ysbryd llênyddiaeth boblogaidd ein dyddiau sydd yn awgrymu yn bur ddibetrus eu bod yn perthyn i'r cyfnodau sydd wedi myned heibio, ac na fyddai ond yr un mor ofer meddwl am eu gweled eto yn meddu dylanwad ar feddyliau dynion, ag a fyddai dysgwyl gweled y mastodon a'r megatherium eto yn tramwy y ddaear. Bid sicr, hawdd iawn ydyw dibrisio athroniaeth, a elwir yn brïodol felly, a gwênu gyda doethineb oruchel ar y darnodiad o arddansoddiaeth fel gwaith un dyn yn siarad wrth un arall, gan edrych yn gall, a hwnw yn ei ateb yn yr un dull, a'r naill a'r llall heb wybod yn y byd am ba beth y maent yn siarad; ac mewn canlyniad bwrw ymaith fel ynfydrwydd y syniad o ymdrafferthu dim yn ei chylch. Ond y mae athronyddu, wedi y cwbl, i ddyn yn anocheladwy. Y mae cwestiynau mawrion athroniaeth o'n hamgylch yn barhaus, ac y mae yn rhaid i ninnau, y naill ffordd neu y llall, eu hwynebu. Nid ydyw mewn un modd yn beth anghyffredin gweled dynion yn darostwng efrydiau o'r fath yma, gan alw am bethau a olygant yn fwy dewisol yn eu lle, a hyny yn ngoleuni darganfyddiadau, a hyd yn nôd gan ddefnyddio termau, na fuasent yn gwybod dim yn eu cylch oni fuasai eu bod wedi dyfod iddynt fel cynnysgaeth yr athroniaeth y maent yn ddiystyru. Ac nid ydyw mewn un modd yn beth anghyffredin y dyddiau hyn fod gwŷr enwog sydd yn mawrhâu efrydiau anianyddol fel yr unig bethau a ellir gyfrif yn deilwng o ddyn, gan gymeryd yn ganiatäol nad yw athroniaeth mwyach i feddwl am dani o gwbl, yn myned y tu hwnt i ffiniau eu hanianyddiaeth, ac yn penderfynu cwestiynau mawrion athroniaeth y materion a fo ganddynt dan sylw, a hyny mor ddiseremoni a phe na buasent yn ymwneyd ond â rhanau mwyaf elfenol eu hefrydiaethau. Nid ydym yn eu beïo am fyned felly i athronyddu uwch ben y cyfryw faterion; mae hyny, fel y dywedasom eisoes, yn anocheladwy; ond yr ydym yn beïo eu gwaith yn dibrisio athroniaeth, ac felly yn anghefnogi yr efrydiaeth o honi allai arwain y meddwl at rywbeth tebyg i syniadau addfed, ac eto yn tŷnu eu cleddyf trwy ei chwestiynau mwyaf dyrys fel pethau nad oes eisieu meddwl dau fynyd uwch eu pen. Ac nid ydym yn meddwl y petrusai neb, a deimla fod pwys a gwerth mewn ymchwiliadau athronyddol, i gydnabod fod Ysgotland wedi cymeryd rhan dra blaenllaw yn

yr efrydiau hyn. Os nad ydyw y lle sydd iddi yn awr mewn cysylltiad â hwy yn rhyw amlwg iawn yn ngolwg y deyrnas, nid oes eisieu ond ymbwyllo am fynyd na chofir fod i Ysgotland hawliau arbenig yn y ffordd yma. Y mae Trefnidedd Gwladol erbyn hyn wedi dyfod yn wyddor bwysig; ond ei thad ydyw Adam Smith, awdwr yr *Inquiry* anfarwol *into the Nature and Causes of the Wealth of Nations.* Y mae ein Rhyddfrydiaeth politicaidd yn awr yn cael ei deimlo genym fel un o ddeddfau natur; ond rhaid cofio ein bod i fesur mawr iawn yn ddyledus am dano i'r ysbrydiaeth a gynnyrchid gan addysg athronyddol Dugald Stewart yn Edinburgh, pan oedd y fath ddynion a Horner, a Brougham, ac Arglwyddi John Russell, a Palmerston, a Jeffrey, a Lansdowne, yn eistedd wrth ei draed, y rhai wedi hyny a wnaethant gymaint i gario allan yn y Senedd yr egwyddorion a ddysgid iddynt gan yr athraw y credent yn gymaint ynddo. Mae yn ddiammheu nad oes neb a adawodd y fath argraff ar feddwl uchaf y ganrif hon a Kant; ac eto fe gydnabyddai efe ei fod wedi ei ddeffro o gwsg esmwyth ei hen gredöau, ei *dogmatic slumbers*, gan draethawd mawr David Hume ar y Natur Ddynol. Y mae athroniaeth Hume wedi gadael ei hargraff trwy Kant ar holl athroniaeth a duwinyddiaeth Germany, a thrwy Germany ar Ewrop ac America. Nid oes nemawr yn athroniaeth John Stuart Mill, sydd yn awr yn bur barchus yn Mhrydain, nad ydyw wedi dyfod trwy yr Ysgotiad ei dad, James Mill, oddiwrth Ysgotiad arall, Hume. Gellid dyweyd fod ammheuyddiaeth Hume wedi deffro Reid yn Ysgotland fel y gwnaeth â Kant yn Germany, gan beri iddo wneyd mwy nag a wnaethai neb arall mewn rhoddi ffurf i'r argyhoeddiadau athronyddol yr oedd cydwladwyr meddylgar o'i flaen wedi dyfod iddynt, a gosod i lawr sylfeini yr athroniaeth y mae i'w genedl y fath achos i fod yn falch o honi. Ar y sylfeini hyny y goruwch-adeiladai ei ganlynwyr, hyd Hamilton, yr hwn sydd wedi ymdrechu gwneuthur math o gyfuniad o Reid a Kant, a sefydlu cyfundrefn athronyddol, yr hon sydd, trwy ei ddysgybl zelog, y Deon Mansel, yn cael ei derbyn yn Rhydychain gyda dirfawr barch. Os nad ydyw Ysgotland yn meddu nemawr o athronwyr yn bresennol sydd yn gallu hawlio clust y deyrnas ag y mae iddynt enwau yn Ewrop, y mae yn amlwg oddiwrth y gallu sydd wedi bod iddi yn efrydiaeth athronyddol gwledydd eraill, y rhaid fod ganddi yn y pethau hyn *hanes*, a dyweyd y lleiaf, sydd yn werth ei hastudio.

A dyma paham yr ymgymerodd Dr. McCosh a pharotöi y gyfrol werthfawr hon. Y mae efe yn awr wedi gadael ei wlad, ac yn llanw lle anrhydeddus iawn fel Llywydd Athrofa Princeton, yn America. Ond nid ydyw o herwydd hyny yn ei charu yn llai, ond yn hytrach yn fwy, a mawrhâ ei fraint o gael, fel hyn, ddangos ei barch iddi, ac i'w hathroniaeth. Yr oedd Cousin wedi sylwi fod athroniaeth Ysgotland yn rhan o hanes y wlad. Y mae yr awdwr yn ei chymeryd felly. Pan ofynai Grote paham y meddyliai ei brïod am ysgrifenu ei fywgraffiad, gan sylwi nad oedd dim yn ei hanes ef yn werth ei grybwyll, ei hatebiad synwyrol hi ydoedd, "It is the history of a mind." Y mae hanes meddwl, yn enwedig meddwl uchaf, cenedl—y meddwl sydd yn meddu gallu mawr yn ffurfiad ei chymeriad—yn llawer mwy pwysig na hanes ei rhyfeloedd. Ac wrth weled Germany yn bwrw allan yn aneirif hanesion ac adolygiadau hanesyddol o'i hathroniaeth o Kant hyd Hegel, fe deimlodd McCosh yn chwith nad oedd neb yn meddwl am ysgrifenu hanes athroniaeth Ysgotland, yr hon ydoedd i'r fath raddau yn hanes meddwl ei genedl, ac wedi gwneyd cymaint tuag at roddi cymeriad i athroniaeth gwledydd eraill. Cyhoeddwyd amryw o'r erthyglau sydd yn gwneyd i fyny y llyfr hwn yn y *North British*, a'r *British and Foreign Evangelical Review*, a'r *Dublin University Magazine;* ond y mae y rhan fwyaf o honynt erioed heb eu cyhoeddi o'r blaen, ac y mae y cyfan wedi eu hailysgrifenu. Dyma yr unig hanes, gwerth ei alw felly, o weithgarwch athronyddol y meddwl Ysgotaidd. Ac yn sicr y mae yn un teilwng iawn. Rhoddir ynglŷn âg enw pob athronydd a ddygir ger bron gymaint o'i hanes personol âg a wasanaetha i'w osod yn glir o flaen meddwl y darllenydd; yna dangosir beth oedd ei olygiadau athronyddol; ac yna rhoddir dyfarniad ar

werth ei lafur, yr hwn, hyd y gallwn ni weled, sydd yn dda a thêg iawn. Mae y cyfan yn ffrwyth cydnabyddiaeth drwyadl â'r materion a ddaw dan sylw, a hyny gan un ag y mae astudio athroniaeth ei wlad wedi bod iddo yn llafur cariad, ac sydd ei hunan wedi gwneyd ychwanegiad at ei chyfoeth ag yr oedd yn wiw gan y mwyaf o'i hathronwyr, Syr William Hamilton, siarad yn hynod o barchus am eu gwerth. Un o nodweddion gwahaniaethol yr athroniaeth Ysgotaidd, yn ol McCosh, ydyw ei bod yn dilyn yn fanwl y dull cyfosodiadol, *inductive*, o ymchwiliad. Mae yn wir nad oedd yn bosibl i neb wneyd nemawr mewn athronyddu heb dalu rhyw gymaint o sylw i ffeithiau ; ond er hyny, yr ydym yn cael mai lle bychan mewn cymhariaeth sydd wedi ei roddi iddynt. Cychwynir weithiau mewn cwrs o feddwl sydd yn cael ei awgrymu gan ryw ffaith neillduol ; a dychwelir yn achlysurol at ffaith fo yn ymgynnyg i'r meddwl fel yn cadarnhâu unrhyw olygiad neillduol a argymhellir. Ond y mae yr athronydd yn dra phell oddiwrth feddwl ei fod ef a'i olygiadau i sefyll neu syrthio yn ol y ffeithiau. Os ydyw y ffeithiau yn dygwydd bod gydag ef, pob-peth yn dda ; ond os nad ydynt, nid oes dim i'w wneyd ond ymgysuro yn yr ystyriaeth mai "gwaethaf yn y byd i'r ffeithiau." Mae yn wir y dysgwylid y byddai i'r sylw mawr a roddwyd i'r dull *inductive* o ymchwilio am wybodaeth gan Bacon effeithio hefyd ar athroniaeth, yn gystal ag ar wybodaeth anianyddol. Dysgwyliai efe ei hun y buasai yn effeithio cyfnewidiadau amlwg mewn rhesymeg, a moeseg, a gwleidyddiaeth. A dywedai Syr Isaac Newton, "Ac os bydd i athroniaeth naturiol yn ei holl ranau, o ddilyn y dull yma, gael o'r diwedd ei pherffeithio, fe ehangir terfynau athroniaeth foesol hefyd." Ond rhaid addef mai araf iawn y buwyd mewn cymhwyso y drefn yma at athroniaeth feddyliol a moesol. Yn Ysgotland, pa fodd bynag, fe wnaed hyny yn ffyddlawn. Mae yn hawdd addef fod ei hathroniaeth mewn canlyniad yn ymddangos yn fynych yn dlawd a chyffredin mewn cymhariaeth i ddamcaniaethau rhamantus yr ysgolion cyfriniol a beirniadol, a'i bod hefyd yn ymddangos yn anmhenodol a dyrys o'i chymharu â'r athroniaeth faterol sydd mewn ffordd mor hynod o ddidrafferth yn gallu esbonio y dirgelion oll. Ond wedi hyny, y mae ei hefrydwyr yn cael y boddlonrwydd o deimlo eu bod yn astudio y ffeithiau, a'u bod o angenrheidrwydd yn tramwyo yn nghyfeiriad y goleuni. Y mae eisieu "synied i sobrwydd" mewn athroniaeth hefyd, ac y mae yn rhaid derbyn ei theyrnas hithau "fel plant bychain." Yr ail egwyddor wahaniaethol yn yr athroniaeth Ysgotaidd, ydyw ei bod yn defnyddio hunan-ymwybyddiaeth fel offeryn ei sylwadaeth. Yn hyn yr ydys yn ddyledus mewn modd neillduol i Descartes, yr hwn a ddysgai ddynion, pan yn astudio y meddwl dynol, i ymaflyd mewn ffeithiau tufewnol mawrion. Ond ni raid dyweyd fod athronwyr yn fynych wedi bod yn dra esgeulus o'r ffeithiau tumewnol oedd wrth eu llaw, gan redeg ar ol bob hudlewyn a ymddangosai, ac felly yn lle cael eu harwain at wirionedd, yn cael eu cymeryd i'r corsydd. Y mae yr athronwyr Ysgotaidd, pa fodd bynag, wedi glynu yn ddyfal wrth eu hunan-ymwybyddiaeth ; ac os nad allent wneyd allan bob amser yn hollol glir yr hyn yn floesg a lefarai wrthynt, yr oeddynt yn gallu deall rhywfaint o'i leferydd ; ac wedi gwneyd hyny allan, gallent deimlo yn hyderu sna fyddai byth eisieu dad-ddysgu y wers hono. Y drydedd nodwedd wahaniaethol a hawlir i'r athroniaeth Ysgotaidd ydyw ei ffyddlondeb parhaus i egwyddorion y teimla ei bod yn cael gafael arnynt trwy hunan-ymwybyddiaeth, nad allant fod yn ymddibynol ar brofiad am eu bodolaeth. Mae y rhai hyn yn cael eu desgrifio yn wahanol gan wahanol athronwyr,—Hutcheson yn eu galw yn synwyrau, ac yn eu cael yn nghyfansoddiad y meddwl ; Reid yn eu cael fel egwyddorion synwyr cyffredin, ac yn eu dangos fel yn naturiol, gwreiddiol, ac angenrheidiol ; Stewart yn eu gosod allan fel egwyddorion sylfaenol meddwl a chrediniaeth ddynol ; Brown yn eu nodweddu fel darweliadau syml a gwreiddiol ; a Hamilton yn edrych arnynt fynychaf, yn ol Kant, fel ffurfiau neu ammodau *a priori* yn y meddwl,—ond mae y cyfan yn credu ynddynt fel egwyddorion cynhenid yn y meddwl, ac fel cynseiliau angenrheidiol yr oll o'n gwybodaeth. Fe geir felly fod yr athron

iaeth hon, gan belled ag y mae yn myned, yn ddehongliad cywir ar egwyddorion mawrion ein natur, ac yn gyfaddas i unrhyw ddadblygiad pellach a aller wneyd arni gyda chynnydd gwybodaeth a chryfhâd ein meddylgarwch. Y mae hefyd yn ymffrost arbenig o eiddo yr athroniaeth Ysgotaidd ei bod, tra yn cael ei hefrydu a'i dysgu, o leiaf hyd ddyddiau Chalmers, yn gwbl ar wahân i'r Dadguddiad Dwyfol, ac fel astudiaeth annibynol ar y llyfr arall, Natur, a roddwyd i ddyn i'w efrydu, wedi ymgadw yn ffyddlawn—gydag un eithriad—i burdeb uchaf y natur ddynol, ac wedi bod erioed yn ffafriol i rinwedd a chrefydd.

*The Miracles of our Lord in relation to Modern Criticism.* By F. L. STEINMEYER, D.D., Ordinary Professor of Theology in the University of Berlin. Translated, with the permission of the Author, from the German, by L. A. WHEATLEY. Edinburgh: Clark.

Y MAE brwydr y gwirionedd wedi bod bellach, er ys llawer o amser, yn troi o amgylch y gwyrthiau yn yr hanes efengylaidd. Wedi i ddynion gael eu dwyn i ymdeimlo i bwrpas â'r sefydlogrwydd goruchel sydd i'w weled yn ngweithrediad deddfau natur, nid ydyw yn anhawdd iddynt benderfynu ei fod yn llawer mwy tebygol fod dynion, pan yn adrodd am wyrthiau, yn camdystiolaethu, na bod gweithredoedd mor gwbl wahanol i ddim a welwn yn nghwrs cyffredin natur erioed wedi cymeryd lle. Dyma ddadl Hume yn erbyn gwyrthiau, a dyma, yn sylweddol, ddadl y Rhesymolwyr hyd heddyw. "Mae yn gwbl anmhosibl," meddai Strauss, "i feddwl am amgylchiad ymha un na fydd i'r ymchwilydd mewn hanesyddiaeth ei gael yn fwy tebygol, tu hwnt i bob cymhariaeth, ei fod yn ymwneyd â hanes anghywir nag â ffaith wyrthiol." Mae yr wrthddadl yma wedi ei theimlo mor gref gan lawer sydd yn parhâu i dderbyn yr efengyl, fel y teimlant fod eu hathroniaeth yn galw arnynt i ildio y gwyrthiau. Tra y mae llawer yn chwilio am y ffyrdd mwyaf cywrain i'w hesbonio ymaith o'r hanes, y mae eraill, tra yn eu gadael yn eu lle yn yr efengylau, yn boddloni eu hunain trwy eu dibrisio. Mae yn ddiammheu fod dylanwad Schleiermacher, yr hwn, mewn ystyron eraill a fu o gymaint bendith i Ewrop, wedi bod yn hyn yn rhyfeddol o niweidiol. Mae yn berffaith amlwg fod yr efengylwyr eu hunain, wrth ysgrifenu hanes y gwyrthiau, yn dysgwyl cael eu deall fel yn cofnodi ffeithiau diammheuol. Ni cheir gan yr un o honynt gymaint ag awgrym fod unrhyw ystyr arall i'w gymeryd "rhwng y llinellau." Mor bell ydynt, yn wir, o fradychu unrhyw wendid yn hyn, fel y maent yn cofnodi y gweithredoedd mwyaf nerthol a dyeithr yn y dull mwyaf syml, fel rhai yn adrodd ffeithiau na feddyliai neb am eu gwadu, a ffeithiau oeddynt, yn eu cysylltiad â'r Person yr ysgrifenent am dano, yn rhy fawrion a goruchel iddynt hwy feddwl am ddyweyd dim yn eu cylch, ond yn unig eu gosod yn eu mawredd noeth eu hunain o flaen meddyliau eu darllenwyr. Ac yr ydym ni yn credu ei fod wedi ei brofi, drosodd a throsodd, y buasai y dystiolaeth efengylaidd am y gwyrthiau, a thybied ei bod yn ddisail, yn fwy o wyrth na dim un o'r gweithredoedd dyeithr o gofnodir ynddi. Ond y mae Dr. Steinmeyer yn y gwaith galluog hwn yn myned ymhellach, ac yn profi nad ydoedd mor *annhebygol*, nac yn wir yn annhebygol *oll*, fod y gwyrthiau, fel y rhoddir eu hanes yn yr efengylau, wedi eu cyflawni. Cymerir yn ganiatäol fod Duw yn bod, fel yr addefir gan y rhai sydd yn gwneyd y fath ymdrech i esbonio y gwyrthiau ymaith. Ond ac addef hyny, y mae y gwyrthiau iddo ef yn ddiammheuol hanesyddol. Os oes Duw hollalluog, y mae y cnawdoliad yn bosibl. Ac ar y dybiaeth o fod y fath un a Iesu Grist, y mae efe yn cael fod y gwyrthiau yn meddu y tebygolrwydd uchaf. I Strauss a'i gyfeillion nid yw yr adroddiadau efengylaidd ond ffugiau, ac am hyny nid oes ganddynt ond chwilio am eu hesboniad yn amcanion y

bobl a ddarfu eu dychymygu, i Steinmeyer, o'r ochr arall, y maent yn wirionedd, ac nid oes ganddo ond chwilio am reswm y gwyrthiau yn yr Iesu ei hunan. Nid oes gan Strauss ddim sail i'w olygiad amgen na'i ddychymyg ei hunan; a chan mai ei reswm mawr dros wrthod yr efengylau yn eu cymeriad hanesyddol ydyw eu *hannhebygolrwydd*, y mae awdwr y gwaith hwn yn teimlo ei fod yn cael ei lawn gyfiawnhâu wrth ddal ei afael ynddynt pan y mae yn cael perffaith foddlonrwydd am eu tebygolrwydd. Y mae hyn yn cael ei gadarnhâu iddo mewn dwy linell benodol o efrydiaeth. Yn gyntaf, ymofyna yn gyffredinol i'r rheswm neu y rhesymau paham y cyflawnid gwyrthiau gan yr Iesu o gwbl; a châ fod y pethau a alwai am hyny mor gryfion, fel mai ar dir gwyrthiau yn unig y gallesid eu derbyn gan y byd,—yr hyn o angenrheidrwydd a sefydla y tebygolrwydd uchaf yn ffafr ei wyrthiau. Yn ail, ymofyna yn neillduol i hanes nifer o'r gwyrthiau ar wahân, a châ fod yr amgylchiadau yn gwneyd yn dra thebygol, yn wir, yn gwbl naturiol iddynt gael eu cyflawni. Nid ydyw yn ceisio eu hesbonio. Mae y ffaith eu bod yn wyrthiau ar unwaith yn eu gwneyd yn anesboniadwy. Nid ydyw ychwaith mewn un modd yn cymeradwyo y culni a ddangosir gan lawer wrth ymofyn am reswm eu cyflawniad. Mae yr efengylau eu hunain yn dangos fod lle yn rheswm eu cyflawniad i garedigrwydd a chydymdeimlad yr Iesu, ei awydd i wneuthur daioni, &c. Ond yn arbenig fe ddangosir eu bod yn ateb dyben neillduol mewn egluro ei ogoniant a dadguddio y deyrnas y daethai efe i'w sefydlu yn y byd. I'r dyben yma ca ei fod yn gyfleus eu cymeryd dan bedwar o wahanol ddosbarthiadau. 1. Fel arwyddion teyrnas nefoedd, neu brofion fod teyrnas Dduw wedi dyfod. Yn y dosbarth yma gesyd iachâd chwegr Pedr, iachâd y wraig i'r dyferlif gwaed, iachâd y wraig oedd wedi bod mewn gwendid ddeunaw mlynedd, iachâd y dyn â'r dropsi, a iachâd y dyn â'r llaw wedi gwywo. 2. Gwyrthiau fel arwyddluniau o fendithion ysbrydol y deyrnas. Yn y dosbarth yma gesyd iachâd y dyn â'r parlys, glanhâd y gwahangleifion, iachâd gwas y canwriad, ynghydag agor llygaid y deillion, rhoddi clustiau i fyddariaid, a gwneyd i'r mudion lefaru. 3. Gwyrthiau fel profion o nerth teyrnas nefoedd. Yma gesyd fwrw y cythreuliaid allan o ddynion, a chyfodi y meirw. 4. Gwyrthiau fel prophwydoliaethau, megys, y ddalfa fawr o bysgod, y darn arian yn ngenau y pysgodyn, tawelu y dymhestl, porthi y miloedd, troi y dwfr yn wîn, a melldithio y ffigysbren. Y mae gwerth mawr iawn mewn ystyr ddeonglyddol yn yr ymdriniaeth a geir yma ar y gwyrthiau, heblaw fod yr holl drafodaeth yn cydgadarnhâu gwirionedd cyffredin yr holl gyfrol, sef fod i Grist gyflawni gwyrthiau, a'r gwyrthiau a gofnodir yn benodol yn yr efengylau, y peth mwyaf *tebygol* y gellid meddwl am dano.

*Aids to the Study of German Theology.* Edinburgh: Clark.

CYFROL fechan a groesawir gyda dyddordeb dwfn gan ein cyfeillion sydd yn ceisio astudio athroniaeth a duwinyddiaeth Germany. Nid ydym yn gwybod pwy yw ei hawdwr, ond y mae yn amlwg fod ganddo ddealldwriaeth addfed a barn alluog mewn perthynas i'r materion y mae wedi ymgymeryd â'r cyfrifoldeb o ddarparu *Cynnorthwyon* i'w hefrydiaeth. Y mae, er mwyn gochel y gerwindeb a'r tywyllwch a ddysgwyliasai llawer darllenydd mewn gwaith o'r fath, wedi amcanu at roddi yr hyn a eilw yn "feddwl-gyfieithiad" o olygiadau yr athronwyr yr ysgrifena yn eu cylch,—sef yn adrodd eu syniadau yn ei ddull a'i iaith ei hunan, heb ffwdanu gyda yr ymdrech ofer o geisio gosod mewn Saesoneg darllenadwy eu brawddegau tywyll a'u geiriau caledion. Y mae y llyfr mor ddarllenadwy ag y mae yn bosibl i waith o'r fath fod, ac yn sicr, yn hynod o feistrolgar. Y mae yr awdwr yn gallu coledd cyd-deimlad hynod o barchus a charedig â phethau goreu y gwahanol gyfundrefnau sydd yn dyfod ger ei fron,—cymhwysder sydd yn lled brin mewn dynion o'r fath ymlyniad wrth y gwirionedd, yn enwedig pan yn ymwneyd â golygiadau y mae eu

dylanwad ar y cyfan wedi bod yn niweidiol i'r byd. Ond mae yn amlwg ei fod ef yn deall fod "enaid o ddaioni mewn pethau drwg," ac y mae ehangder yr olwg y mae yn abl i gymeryd ar bethau yn peri iddo deimlo yn hyderus wrth edrych ymlaen i'r dyfodol. Y mae wedi myned yn rhy hwyr ar y dydd bellach i neb feddwl am ddychrynu ein pobl ieuainc feddylgar rhag ymdrechu cael duwinyddiaeth Germany. Ond y mae dau anhawsder neillduol ar eu ffordd i rhyw syniad am gyfran mor hynod o bwysig yn hanes meddwl y byd ag ydyw cyrhaedd hyny. Yn un peth, y mae cymaint o wahaniaeth rhwng safle y meddwl Germanaidd a'r un Prydeinig o edrych ar bethau, ac yn enwedig mewn athroniaeth a duwinyddiaeth; ac yn ail, y mae y llafur a gymerodd y Germaniaid yn yr efrydiau hyn wedi bod mor fawr, a'u cyfundrefnau wedi bod mor lïosog, ac mor amrywiol. Mae yr efrydydd yn ei gael ei hunan ar dir mor hollol newydd fel mai prin y mae yn ei adnabod ei hunan arno; ac y mae y wlad y mae wedi wynebu ar y gorchwyl o'i harchwilio yn ymddangos yn anhysbyddadwy ei hadnoddau, ac fel yn ymestyn i'r diderfyn. Y mae llawer Prydeinwr mewn sefyllfa fel yma wedi ei ddwyn i ddirfawr benbleth, a llïaws yn wir wedi anobeithio am ymwared. Fe gai yr efrydydd y llyfr hwn, pa fodd bynag, yn gymhorth tra gwerthfawr iddo fel arweiniad i'r efrydiaeth a ddymuna feistroli. Fe'i galluogai i weled ymha le y mae yn sefyll. Yn lle ymlusgo yn arafaidd a gochelgar gyda'r cynneddfau "sydd yn barnu yn ol y synwyrau," fe'i caiff ei hun mewn cwmni anturiaethus sydd ar y cyfan yn ddiystyr o bob peth ond o'u hunan-ymwybyddiaeth a'u dychymygion, ond sydd gyda y pethau hyn yn teimlo yn alluog i roddi cyfrif am bob bodolaeth, ac i esbonio y dirgelion oll. Fe gaiff fod eu hathroniaeth yn dduwinyddiaeth, yn ymwneyd â'r cwestiynau mwyaf sylfaenol, a hyny ymhell cyn cyfarfod yr ystyriaeth hyd yn nôd am y posiblrwydd o Ddadguddiad Dwyfol. Ac fe wêl hefyd, er mor ddyrys y mae y gwahanol gyfundrefnau yn ymddangos iddo ar y cychwyn, fod "dechreu, a chanol, a diwedd," a hyny mewn mwy nag un ystyr, yn perthyn iddynt; ac fod yr un peth yn wir am y cyfnodau o frwdfrydedd arbenig a ddangosir mewn cysylltiad â'r naill a'r llall o honynt yn hanes "dadblygiad" athronyddol y genedl. Mae yn rhyfedd na fuasai rhywbeth wedi ei wneyd cyn hyn mewn ffordd o arweiniad i dduwinyddiaeth athronyddol Germany, yn enwedig yn y ffurfiau diweddaraf sydd wedi bod arni. Y mae yr ymchwiliad hwn, fel y gallesid dysgwyl, yn dechreu gyda Kant. Gyda golwg ar dduwinyddiaeth, fe ellir dywedyd mai ei waith arbenig ef ydoedd dinystrio, llwyr ddinystrio y Rhesymoliaeth hyderus a olygai ei bod trwy ei doethineb oruchel wedi penderfynu y cwestiynau mawrion. Mae y dadleuon cyffredin am fodolaeth Duw,—oddiar y syniad sydd genym am hyny, oddiwrth fodolaeth y byd, ac oddiwrth ddybenion eithaf,—yn cael eu gwneyd yn ddirym ganddo, ac nid oes dim yn aros i ddyn i bregethu Duw ac anfarwoldeb ond llais y gydwybod. Yr oedd yn anmhosibl i ddynion aros ar y chwalfa a ddygasid o amgylch trwy Kant. Deffröwyd adweithiad mewn dwy ffordd. Yn gyntaf, trwy ymdaflu i freichiau ffydd. Gwnaed hyn gan Schlegel trwy fyned drosodd i Eglwys Rhufain, er mwyn cael awdurdod i ymddiried ynddo. A gwnaed hyn gan Schleiermacher trwy ymollwng i arweiniad ei deimladau. Yr oedd ganddo ef galon fawr a chynhes, yr hon ydoedd hefyd i fesur helaeth yn ei lle, ond yr ydoedd yn gwbl ddibris am y gwirionedd; yr oedd ei olygiadau yn llawn o bob anghysondeb, a'i ganlynwyr yn coledd pob math o opiniynau. Ond yn rhinwedd daioni ei galon, yr oedd bendith i grefydd yn ei dduwinyddiaeth oedd yn well na'i hathroniaeth, ac mae yn ddiammheu fod ei ddylanwad, ar adeg dra phrofedigaethus, wedi bod yn Germany yn ddïogelwch i lawer. Ond fe gymerodd adweithiad arall le mewn canlyniad i'r chwalfa ar bethau trwy Kant, a hyny yn nghyfeiriad tryblith. Daeth hyn o amgylch trwy Fichte. Yr oedd Kant wedi llafurio i brofi nad ydoedd y pethau a olygid fel arwirebau rheswm ond cwbl groes i reswm, ac nad oes dim pwys i'w roddi ar unrhyw dystiolaeth a dderbynir trwy brofiad allanol, ac nad oedd y drychfeddwl am effeithiau ac achosion ond peth oedd wedi ei wthio ar natur gan y meddwl

dynol. Aeth Fichte i ymofyn beth oedd yn werth ei gydnabod oll y tu allan i'r meddwl dynol, a chafodd foddlonrwydd i'w feddwl ei hun nad ydoedd dim. Yr oedd Kant wedi dinystrio pobpeth a ellid ei olygu fel rheswm dros fodolaeth byd allanol, ond eto yn credu ynddo fel rhywbeth anwybyddus ac y gellid ei alw yn fater. Ond methai Fichte a gweled fod yn werth glynu wrth fodolaeth peth oedd yn anwybyddus ; a chan nad oedd ein holl brofiad o fyd allanol ond ffurfiau o feddwl oedd yn cael eu harosod genym arno pa ddyben dyweyd bod dim yn bod ond y meddwl ? Ffurfair ei athroniaeth ef ydoedd, "Y Myfi sydd un ac oll." Hyny yw, nid oes ond y meddwl, ac nid oes ond un meddwl. Gan gymeryd hyny yn ganiatäol, fe aeth Hegel a Schelling i adffurfio, allan o'r meddwl, ïe yr un meddwl, os mynir, oedd wedi ei adael, yr oll ag ydoedd wedi ei golli,—crëadigaeth, Duw, Crist, anfarwoldeb, a deddfau bodolaeth dragywyddol. Yr oedd Hegel yn cael ei bobpeth mewn trindod. Mae pob syniad o eiddo y meddwl yn cael ei wneyd i fyny o dair elfen, dwy o'r rhai hyny yn wrthwynebol, a'r drydedd yn ddolen sydd yn eu cydio. Beth yw y syniad o hunan-ymwybyddiaeth ond cyfuniad o'r syniad am Myfi a nid Myfi? Diddymer y naill neu y llall ac y mae hunan-ymwybyddiaeth yn diflanu. Mae gan y meddwl dynol, ynte, drindod ynddo ei hun. Hanfod ysbryd yw hunanymwybyddiaeth, a hunan-ymwybyddiaeth sydd gyfuniad mewn un meddwl o'r byd tumewnol a'r byd allanol. Y mae efe hefyd yn cymeryd yn ganiatâol fod yr hyn sydd yn wir am ddyn yn wir hefyd am Dduw, gan fod ei galon yn ei ddysgu fod dyn wedi ei wneyd ar ddelw Duw. Mae llawer wedi esbonio y trindod a brïodolir gan Hegel i Dduw fel o gymeriad hollol anffyddol ; ond mae awdwr y gwaith hwn yn teimlo fod ganddo hawl i'w gymeryd mewn ystyr efengylaidd. Y mae ysbryd neu berson dyn yn undeb enaid a chorff; felly hefyd, medd efe, yr Ysbryd neu y Personoliaeth Dwyfol. Cynnwysa y Tad, fel yr enaid cyffredinol, a'r Mab, fel y corff neu y tŷ yn yr hwn y mae yr enaid yn preswylio. Yn nhragywyddoldeb mae yr undeb yma yn berffaith ; ond mewn amser y mae yn ymddangos fel wedi ei ddattod, ac yn myned trwy yr oruchwyliaeth o gael ei gyfanu. Mae y Tad yn ymddangos dros amser heb neb i gynnal cymundeb âg ef ; ac y mae y crëadur wedi ei ysgar oddiwrth y Tad anfeidrol, yn ymdrechu ei gynnal ei hun yn y wlad bell, nes y mae yn dyfod i ddeall, trwy fethu, fod pellder yn drueni. Ond yn Nghrist, y dyn perffaith, y mae y Tad yn cael gorphwys drachefn, ac ynddo ef, y mae dynoliaeth adferedig yn cael ei dwyn yn ol. Ynddo ef y mae y nefoedd a'r ddaear wedi eu dwyn i gymmod, yr anfeidrol a'r meidrol wedi ymbrïodi. Drychfeddwl mawr amser ydyw dygiad oddiamgylch y cyfnewidiad hwn. Fe orphenodd Crist ei waith mawr trwy farw. Ei farwolaeth ydoedd y fynedfa i fywyd uwch ei adgyfodiad, yn yr hwn y mae bellach yn eiddo i'r holl ddynoliaeth. Ac y mae Mab y dyn yn myned trwy ei hanes personol eto yn mywyd ei Eglwys. Y mae hono hefyd yn myned trwy ddarostyngiad i ddyrchafiad. Nid ydym i anobeithio am dani, hyd yn nôd ar ei hadegau tywyllaf ; y mae ar ei ffordd i oleuni a gogoniant. Y mae i'r Eglwys ei thair ystâd, yn gyffelyb i'r rhag-gynllun yn y Personoliaeth Dwyfol ; ond yn Nuw y mae y corff a'r enaid yn dragywyddol unedig, eithr yn yr Eglwys yn dyfod felly ar ol llawer o ddyddiau. Y cyfnod cyntaf yn ei hanes ydyw pan y mae y corff yn oruchaf ar yr enaid, yr allanol a'r hanesyddol a'r teimladwy yn gryfach na'r tumewnol a'r ysbrydol. Yr ail ydyw y cyfnod ymha un y mae yr enaid yn oruchaf yn y corff, pan y mae yn dechreu myntum ei bersonoliaeth, ac yn hawlio y fraint o feddwl a myfyrdod personol. Y trydydd ydyw y cyfnod pan y mae y corff a'r enaid wedi eu cymmodi, pan nad yw rheswm mwyach yn gwrthryfela yn erbyn awdurdod hanesyddol, ac y mae y dealltwriaeth dynol yn gallu cyfarfod ffeithiau dadguddiad. Golygir fod y cyfnod cyntaf yn estyn o'r ganrif Gristionogol gyntaf hyd y Diwygiad Protestanaidd ; mae yr ail yn estyn o hyny ymlaen hyd anterth Rhesymoliaeth, pan oedd yr enaid, nid yn unig yn hòni ei uchafiaeth ar y corff, ond hefyd yn bygwth ei ysgwyd ymaith ; ac y mae trydydd cyfnod, pan y cymmodir egwyddorion eithafol Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth, pan fydd

y corff yn derbyn ei sefyllfa fel yn israddol i'r enaid, ac y bydd yr enaid yn foddlawn i gydnabod yr angenrheidrwydd am y corff,—mae y cyfnod gwynfydedig yma wedi gwawrio gyda chyfodiad Duwinyddiaeth Hegel! Y mae Dê ac Aswy yn perthyn i gofleidwyr yr athroniaeth hon. Mae y Ddê yn cymeryd i mewn dduwinyddion uniongred, megys Dorner, Martensen, Lange, &c. Mae y rhai sydd ar yr Aswy yn wrthwynebol i Gristionogaeth hanesyddol. Dyma y blaid sydd wedi gwneyd hafog ar egwyddorion beirniadaeth ysgrythyrol. Iddi hi y perthyna Strauss. Fe ddygodd efe uchafiaeth yr athroniaeth Hegelaidd gydag ef at y Testament Newydd, ac heb geisio gwadu ei wirioneddau mawrion, fe feddyliodd ei fod yn deall ymha ffordd yr ydoedd yn eu gosod ger bron, sef mewn gwedd chwedlonol. Proffesai fod yn gwbl rydd oddiwrth bob tueddiad duwinyddol wrth wynebu ar efrydiaeth y Testament Newydd; dylasai gydnabod ei fod, fel llawer o'r fath, yn cael ei lywodraethu gan annhueddiad, yn wir gan wrthwynebiad pendant, yn y cyfeiriad hwnw. Fe ymddangosodd un ymhlith yr Iuddewon oedd yn amlwg ragori ar ei gydwladwyr, ac ni fu ei edmygwyr a dynion athrylithgar yn araf i brïodoli iddo ef holl ragfynegiadau mawrion yr Hen Destament am yr hwn oedd i ddyfod, a daeth Iesu o Nazareth i gael ei gydnabod yn Grist. Y mae y drychfeddwl am dano yn ddesgrifiad o'r ddynoliaeth, a'r traddodiadau am dano, pa mor amddifad bynag o wirionedd hanesyddol, yn llawn o wirionedd ysbrydol. Mynai Bruno Bauer, o'r ochr arall, nad oedd y drychfeddwl Messianaidd ond crëadigaeth uniongyrchol o eiddo yr Eglwys, ac nad oedd yr Eglwys ond gwrthweithiad rhyddid Iuddewig yn erbyn gorthrwm Rhufain; a dyma a roddes fod i ysgol Tübingen, a'r ddamcaniaeth am gyfansoddiad y Testament Newydd gan ryw awdwyr anhysbys yn yr ail ganrif. Yn ddiweddar, ac ymhen deugain mlynedd ar ol ymddangosiad ei *Fywyd Iesu*, y mae Strauss wedi cyhoeddi *Yr Hen Ffydd a'r Newydd*, ymha un y mae yn trîn ei olygiadau mythaidd ef ei hunan fel pethau i'w llwyr anghofio, ac nid oes ganddo ddim i'w gynnyg yn eu lle ond natur a hanesyddiaeth. Y mae yr un cyfnewidiadau mawrion, ond yn cael eu cynnyrchu mewn gwahanol ffyrdd, wedi nodweddu duwinyddiaeth Ewrop ag a brofwyd yn ystod y tymmor uchod yn Germany. Ac am y sylw arbenig roddir y dyddiau hyn i natur, a'r ymdeimlad a'r *gallu* sydd yn ei hydreiddio, y mae o nodwedd hanner duwinyddol; o leiaf y mae yn gwahaniaethu yn ddirfawr oddiwrth faterolaeth amser a aeth heibio, a gellid hyderu nad ydyw ymhell oddiwrth deyrnas Dduw.

*Atomism: Dr. Tyndall's Atomic Theory of the Universe examined and refuted.* By the Rev. PROFESSOR WATTS, D.D., Assembly's College, Belfast.

*Science and Revelation: a Series of Lectures in reply to the Theories of Tyndall, Huxley, Darwin, Spencer, etc.* Belfast: William Mullan.

Y MAE ein gwyddonwyr yn ymddangos yn dra awyddus i gael eu hystyried yn ferthyron rhyddid. Y maent yn llafurio dan yr argraff fod rhywrai yn eu gwylio gyda llygad eiddigus, ac yn anfoddlawn iddynt fwynhâu "heddwch meddyliol ond ar draul marwolaeth feddyliol;" ac am hyny, mewn trefn i amddiffyn eu hawl i fôd a byw, y maent yn rhedeg i eithafion yn eu damcaniaethau, ac fel yn golygu fod y rhai hyny yn gwneyd yn dda eu hawl i fawredd athronyddol yn ol eu gwrthwynebrwydd i olygiadau cyffredin dynion. Mae yn wir y bu adeg pan oedd gan wyddonwyr gryn sail i gŵynion o'r fath. Y mae Eglwys Rhufain, o'r dechre, wedi bod yn dra eiddigus o bob goleuni newydd y tybiai ei fod yn codi ar y byd, ac y mae efrydwyr natur wedi cael triniaethau celyd oddiar ei llaw am feiddio traethu y pethau y golygent eu bod wedi eu dadguddio iddynt. Ond nid ydym ni yn gweled fod y cyfundebau Protestanaidd o gwbl yn rhagfarnllyd yn erbyn unrhyw wirionedd a allo ddyfod i'r golwg ar dir natur. Yn wir, yr ydym yn ofni fod y "culni" sydd

yn bodoli yn bresennol i'w gael ymron yn gwbl yn ysbryd y rhai sydd yn cymeryd cymaint o drafferth i wrthdystio yn ei erbyn yn y duwinyddion. Yr oedd cyfeillion crefydd yn barod i roddi y derbyniad mwyaf croesawus i gyfarfodydd y *British Association* yn Belfast y llynedd, ac yr oedd *Professor* Watts wedi darparu papyr rhagorol i'w ddarllen yn yr adran D, fel plê dros heddwch a chydweithrediad rhwng gwyddoniaeth a duwinyddiaeth. Ond yr oedd dysgyblion gwyddoniaeth yn ddigon *rhyddfrydig* i wrthod i'r papyr hwnw gael ei ddarllen. Ac nid yn unig hyny, ond fe gymerodd *Professor* Tyndall, fel Llywydd yr *Association*, gyfleusdra yn ei araeth agoriadol i daflu y dibrisdod eithaf, a hyny yn gwbl ddisail, ar bobl sydd yn teimlo cymaint o barch i wirionedd ag yntau, ac yn llawer mwy parod i'w dderbyn yn ei gyfanrwydd. Fe deimlir parch neillduol i wŷr fel efe pan y maent yn gosod ger ein bron ffrwyth eu hymchwiliadau i natur a'i deddfau; ond nid oedd hyny yn ddigon ganddo ef yn Belfast; mŷnai hefyd ddysgu i ni ddirgelwch byd-haniaeth, gan ddyweyd ei fod "yn gyru y weledigaeth yn ol dros derfynau pob tystiolaeth oddiwrth brofiad, ac yn canfod mewn mater, yr ydym yn ein hanwybodaeth, ac er gwaethaf ein parch proffesedig i'w Grëawdwr, wedi ei orchuddio hyd yma â dirmyg, addewid a dichonolrwydd pob ffurf ac ansawdd ar fywyd." A Materoliaeth ydyw yr allwedd fawr sydd i agor holl gloion y cwestiynau dyrys. Mae y llyfr cyntaf a nodwyd uchod yn cynnwys beirniadaeth dra galluog Dr. Watts ar yr araeth hòno; ac y mae y gyfrol *Science and Revelation*, yn cynnwys naw o ddarlithiau gwerthfawr iawn a draddodwyd yn Belfast yn ystod y gauaf diweddaf ar y gwahanol bynciau y mae athroniaeth y dyddiau hyn yn gwahaniaethu ynddynt oddiwrth athrawiaeth yr efengyl.

*Diseases of the Hip, Knee, and Ankle Joints, and their Treatment by a new and efficient Method.* By Hugh Owen Thomas. Liverpool: Dobb & Co.

Y mae i ni yn hyfrydwch o'r mwyaf i weled ein cydwladwyr yn llwyddo i grëu enwau anrhydeddus iddynt eu hunain, yn enwedig pan yn gorfod gwneyd hyny mewn cydymgais tŷn âg ysbrydoedd gwychion eraill o'u hamgylch sydd yn benderfynol o ragori. Ni raid dyweyd wrth bobl Liverpool pwy ydyw awdwr y llyfr hwn, a da iawn genym ddeall fod lliaws mawr yn Nghymru yn gystal ag mewn gwledydd eraill, wedi cael achos, trwy yr ymwared y bu yn foddion i'w estyn iddynt o anhwylderau poenus, i'w gofio gydag anwyldeb a pharch. Ymddengys fod Dr. Thomas, er ys llawer o amser, wedi cymeryd anhwylderau y cymalau yn efrydiaeth arbenig, ac y mae, trwy hir brofiad a dyfal astudiaeth, wedi bod yn llwyddiannus i wella llawer a ddyoddefent danynt, a hyny pan yr oedd gwella, o bob cyfeiriad arall, yn ymddangos yn dra anobeithiol iddynt. Yn y llyfr hwn, y mae wedi gosod ffrwyth ei brofiad at wasanaeth y cyhoedd, ac yn enwedig ei frodyr y meddygon. Ymddengys mai y peth mawr y dylid amcanu ato pan y mae enyniad yn y cymalau, heblaw gofalu am iechyd y cyfansoddiad, ydyw rhoddi iddynt berffaith lonyddwch. Ac y mae llawer dyfais gywrain wedi ei llunio i'r dyben o geisio sicrhâu hyny trwy gynnorthwyon celfyddydol. Rhoddir yn y llyfr hwn hanes tra chyflawn am y dyfeisiau a wnaed i'r perwyl yma yn y wlad hon ac yn America, gyda darluniau manwl o honynt. Dangosa yr awdwr hefyd ymha bethau y mae efe wedi cael y naill a'r llall o honynt yn ddiffygiol. Yna rhydd hanes ei ddyfais a'i drefn syml ei hunan tuag at wella y drygau poenus y cyfeiria atynt, a nodir nifer o amgylchiadau, y rhai a ddygir ymlaen fel engreifftiau o lïaws mawr yn ychwaneg a allesid enwi, ac a ddewisir yn unig o herwydd eu cymeriad cynnrychioladol, ymha rhai y mae ei drefn ef wedi bod yn llwyddiannus Mae yn ddïau nad ellir sicrhâu dawn a medr meddyg llwyddiannus with unrhyw drefn; ond ar yr un pryd, pan y mae cynllun wedi profi mor hynod o lwyddiannus ag eiddo Dr. Thomas yn yr amgylchiadau hyn, y mae yn deilwng o sylw ai ni fyddai yn gystal rhoddi prawf arno.

Darlithiau Athrofäol.—*Hanesiaeth a Gwyddoniaeth y Bibl yn wir a chywir.* Gan JOHN OGWEN JONES, B.A. Dinbych: Thomas Gee.

Y MAE i ni yn foddhâd digymysg i gael yr hyfrydwch o roesawu y gyfrol hon. Y mae llawer o ddysgwyl wedi bod am dani er pan y traddodwyd ei sylwedd yn ddarlithiau i efrydwyr Athrofa y Methodistiaid yn y Bala. Gresyn na ellid cyhoeddi y darlithiau a draddodir felly yn fuan ar ol eu traddodiad, ac mewn gwedd unffurf, yn deilwng o'r materion yr ymdrinir â hwynt ynddynt, ac o'r gallu a'r ddysgeidiaeth a ddangosir yn eu cyfansoddiad. Mae yn dda genym weled fod y Methodistiaid a'r Annibynwyr yn ddiweddar yn ymddangos fel wedi deffro i bwrpas i deimlo yr anghen am ryw lwybr mwy effeithiol i ddwyn y llyfrau a ddygir allan o'r wasg Gymreig i gyrhaedd y bobl,—yn debyg fel y mae llyfrwerthwyr estronol yn llwyddo i wthio arnynt y llyfrau drudion ac anghyfaddas y maent hwy yn ddwyn allan yn unig er mwyn gwneyd elw o honynt. Pob llwyddiant i siopau y llyfrwerthwyr yn ein plith; ond bydd yr arafwch y cwynir o'i herwydd mewn rhoddi derbyniad priodol i lyfrau da yn aros yn ein gwlad nes y ceir yn ychwanegol nifer o ddynion da, gonest, a charedig, fo eu hunain yn hoff o lyfrau, i fyned o amgylch i gynnyg llyfrau i'r bobl. Carem weled dynion o'r fath yn ymgymeryd â'r gorchwyl yma fel cyfleusdra gwerthfawr iawn i feithrin diwylliad ein cydwladwyr; caent felly yr hyfrydwch o deimlo eu bod yn gwasanaethu i amcan mawr a dyrchafedig, ac mae yn ddïau y caent trwy hyny eu llawn ddigolledu mewn ystyr arianol hefyd. Mae yn ofidus meddwl, dan yr amgylchiadau presenol, mor ofnus ydyw ein meddylwyr galluocaf i gyhoeddi ffrwyth eu myfyrdodau trwy y wasg, a phan anturir gwneyd hyny y mae yn beth dyeithr os rhyfygant feddwl am ddim mwy na llyfr swllt! Ac eto y mae y Cymry yn hoff o ddarllen, ac yn falch o'u hathrawon. Yr ydym yn credu nad oes eisieu ond ychydig well hwsmonaeth na chroesawid llyfrau da mewn helaethrwydd mawr yn ein plith; ac yn sicr fe fyddai y canlyniadau o hyny yn dra dymunol. Mae y llyfr hwn yn un a ddarllenid gan filoedd o'n cenedl gyda blâs neillduol. Y mae y Bibl yn annhraethol barchus yn eu golwg, ac y mae pob peth a daflo oleuni ar ei gynnwys, neu a gadarnhäo ei awdurdod yn wyneb ymosodiadau ei wrthwynebwyr, yn rhwym o gael ei werthfawrogi ganddynt. Mae y gwaith hwn yn wynebu yr anhawsderau hanesyddol a gwyddonol yn yr Ysgrythyrau, ac y mae yn dangos yn bur glir nad oes dim i'w ofni oddiwrth y pethau hyny; yn wir, fod goleuni pellach yn barhaus yn dangos cryfder mwy yn y lle y pryderid yn ei gylch fel gwendid. Ni wyddom beth a all ddyfod i'r golwg eto yn y dyfodol; ond gwyddom fod y Bibl gannoedd o weithiau wedi ei ddinystrio, ond er y cwbl yn codi ei ben o bob ymgyrch fel pe na fuasai wedi derbyn yr un niwed. Y mae Mr. Ogwen Jones wedi gwneyd gwasanaeth tra gwerthfawr i'w genedl wrth osod ger ei bron mewn modd mor gryno a chyflawn atebion mor foddhäol i'r gwrthddadleuon diweddaraf a gyfodwyd yn ei erbyn.

*Owain Tudur: Rhamant Hanesyddol.* Buddugol yn Eisteddfod Porthaethwy, 1873. Gan WILLIAM PRITCHARD, Pentraeth. Llanerchymedd: L. Jones.

LLYFR a ddarllenasom gyda dyhewyd neillduol. Yr ydym yn ofni fod cryn lawer o anwybodaeth yn ein plith am helyntion y dyddiau gynt yn hanes ein cenedl. Mae y rhamant hanesyddol yn gyfleusdra rhagorol i osod ger bron fywyd yr hen amseroedd, a rhaid addef fod awdwr y llyfr hwn wedi astudio i bwrpas y dull yma o gyfansoddi, ac yn feistr arno. Darllenir y llyfr yn ddïau gan filoedd gyda blâs, a byddant yn well o hyny.

TREFFYNNON: P. M. EVANS, ARGRAFFYDD.